# Y TRAETHODYDD.

AM Y FLWYDDYN 1869.

LLYFR XXIV.




TREFFYNNON:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS.

MDCCCLXIX.

# CYNNWYSIAD.

---

# Y TRAETHODYDD.

## CENADAETH DRAMOR Y WESLEYAID.

Y MAE crefydd y Bibl ymhob oes wedi bod o natur ymdaenol, ac wrth ymledu o galon i galon, ac o ardal i ardal, ni chollai ddim o'i nerth na'i phrydferthwch. Ceir ambell i brophwyd yn llafurio tu hwnt i derfynau ei wlad ei hun, naill ai mewn caethiwed, neu trwy anfoniad pendant Duw, at bobl baganaidd. Darfu i lawer o genedlddynion, o bryd i bryd, gael eu dwyn i oleuni gwir Iuddewiaeth. Ond ar ol adgyfodiad ac esgyniad y Prynwr y cymerodd crefydd ei chymeriad cenadol yn yr ystyr ehangaf; yr oedd yr efengyl yn cael ei phregethu i'r holl genhedloedd; y maes oedd y byd; lle bynag y byddai dynion, yr oedd gorchymyn i gyfodi baner y groes yn eu mysg. Cawn ddysgyblion ac apostolion yr Arglwydd Iesu, yn ddioed ar ol ei esgyniad i'r nefoedd, a dyfodiad dydd y Pentecost, yn llafurio i weithio allan egwyddorion cenadol yr oruchwyliaeth newydd. Yr oedd amseroedd yr anwybodaeth wedi myned heibio, a'r gorchymyn wedi myned allan i bob dyn ymhob man i edifarhâu. Y mae holl fywyd apostolaidd Paul yn wir genadol; ac y mae ei brif deithiau, gan ddechreu yn Antiochia, yn Syria, yn gynllun mewn egwyddor, ysbryd, a llafur, i holl weinidogion y Testament Newydd. Yr oedd agos y byd adnabyddus y pryd hwnw yn gylch llafur Paul. Ymdaenodd yr efengyl fel adenydd y wawr dros diroedd tywyll y byd. Yr oedd y deuddeg ŷch a ddalient fôr pres y brenin Solomon yn edrych tua phob cŵr o'r byd, yn lled arwyddo y prysurai cenadon hêdd i bob gwlad i fynegu cynghor Duw. Ar ol oesoedd o lwyddiant, y mae yr eglwys fawr gyffredinol yn ymgysylltu â llywodraethau gwladol, yn ymddyrysu mewn dadleuon ffyrnig a chyfeiliornadau marwol; collwyd symledd cyntefig crefydd; daeth defodau dyeithr a llïosog i mewn; collwyd bywyd ysbrydol; aeth pregethu Crist i'r cysgod, a'r Bibl bron o'r golwg yn llwyr. Aeth y goleuni ag oedd yn yr eglwys bron oll yn dywyllwch; a pha faint oedd y tywyllwch hwnw, Duw yn unig a ŵyr. Eglwysi llygredig y Dwyrain a'r Gorllewin oedd yn bob peth am oesoedd lawer. Dïau fod gweddill pur yma a thraw heb blygu eu gliniau i eilunaddoliaeth Rhufain, nac i gyfeiliornadau amrywiol yr eglwys Ddwyreiniol.

Anfonwyd llïaws o genadon, dan nawdd y Pabau, gan Eglwys Rufain am ganrifoedd; ond ni fedodd y gwledydd fawr lês oddiwrth y cenadon Pabaidd. Lledanwyd Cristionogaeth dan ffurfiau erchyll, annaturiol, a drwg. Hyd yn nôd ar ol y Diwygiad Protestanaidd yn Ewrop, yr oedd y llèni yn aros ar yr eglwysi i fesur mawr. Yn wir, yr oedd eu gwaith yn gartrefol yn benaf; ymdrechent am ryddid gwladol a chrefyddol, ac

nid oedd fawr hamdden ganddynt i gyraedd moddion i anfon yr efengyl i barthau pell a phaganaidd y byd. Ond yn ystod y can' mlynedd diweddaf, ac yn enwedig wedi i ryfeloedd Napoleon I. ddarfod, y mae eglwysi Protestanaidd Crêd wedi ymddeffroi at eu gwaith cenadol cartrefol a thramor. Y mae yr elfen wir genadol wedi ei rhyddhâu bron yn gwbl oddiwrth ei chysylltiadau dyryslyd â llywodraethau bydol. Cymdeithasau gwirfoddol gan wahanol enwadau cywir-grêd yw y ffordd symlaf a mwyaf nerthol i ddychwelyd y byd at Grist. Y mae nawdd llywodraeth wladol yn dda yn fynych, ond y mae ei hymyraeth yn attal i'r gwirionedd redeg a chael gogonedd. Y mae perthynas llywodraeth wladol â chrefydd y Testament Newydd yn un o'r pynciau mwyaf tywyll yn bod i frenhinoedd a phendefigion daear. Rhedant i un o ddau eithafnod—naill ai mynant i bawb lyncu ffurf o grefydd a lunir mewn cysylltiad â llywodraeth wladol, neu ynte gwgant ar bob ffurf o wir grefydd. Y mae hwylio trwy lwybr canol yn gamp sydd heb ei dysgu ond gan ychydig o farnwyr y ddaear. Er hyny, dylem fod yn ddiolchgar fod goleuni yn tòri ar hŷd ac ar draws y mynyddoedd hyn o ragfarn, dallineb, a daearoldeb. Y mae yr egwyddor *foesol* yn cael ei chydnabod fwy-fwy yn y wladwriaeth, yn gystal ag yn eglwys Crist. Ennill dynion, nid gŷru, yw y ddeddf fawr tuag at ddychweliad y byd at y Ceidwad.

Can' mlynedd i Hydref, 1866, y dechreuodd yr achos Wesleyaidd yn America, gwlad oedd y pryd hwnw yn rhan o'n trefedigaethau tramor. Yn y Gynnadledd yn Leeds, yn y flwyddyn 1769, y gofynodd John Wesley, "Pwy sydd barod i fyned i America at ein brodyr yno?" Daeth Richard Boardman a Joseph Pilmoor ymlaen i'w cynnyg eu hunain, a derbyniwyd hwy yn ddioed. Casglwyd 50p. yn y Gynnadledd; 20p. at draul y ddau genadwr, a 30p. i ddiddyledu capel bychan ag oedd yn New York. Ond llwyddodd y gwaith yn America mor fawr, fel ag iddo ddyfod yn hollol annibynol ar y famwlad; ac y mae Wesleyaeth yno, er ys amser maith bellach, yn rhy fawr a lliosog ei haelodau, yn rhy gyfoethog ac ëang ei gweithrediadau, i fod fel cangen o Wesleyaeth Prydain. Y mae y ferch yn llawer mwy na'i mam, er bod cydnabyddiaeth serchus rhyngddynt bob blwyddyn trwy anerchiad, a phob pedair blynedd trwy ddirprwywr. Y mae cenadon gan Wesleyaid Unol Daleithiau America yn benaf yn India, Germany, a Ffrainc. Er mai cenadaeth a ddechreuodd yr achos mor llwyddiannus yn America tua chan' mlynedd yn ôl, ni ffurfiwyd y Gymdeithas Genadol Wesleyaidd hyd y flwyddyn 1813, er fod lliaws o genadon Wesleyaidd cyn hyny. Dyna y pryd yr aeth cenadon i blith gwir baganiaid. Hyd y flwyddyn hono, yn America a'r India Orllewinol yn unig y llafuriai y cenadon Wesleyaidd; ond o hyny allan, aeth y maes a'r gweithwyr yn fwyfwy.

Dr. Thomas Coke, brodor o Aberhonddu, a fu yn offerynol i fyned ar y genadaeth gyntaf tuag India; ac er iddo ef farw ar y môr, a chael ei gladdu yn yr eigion, dechreuwyd y gwaith ar lànau pell y wlad hono. Wedi i'r cenadon ieuainc golli eu harweinydd a'u noddwr mor annysgwyliadwy, bu eu pryder a'u trallod yn fawr; collasant lawer o'u heiddo wrth ymdrechu glànio ar draeth ynys Ceylon. Yr oeddynt heb ddim arian; ond darparodd Rhagluniaeth gyfeillion iddynt yn eu cyfyngder, a dechreuwyd y Genadaeth yn nghanol adfyd. Y mae Thomas Squance, un o'r cenadon y pryd hwnw, newydd farw. Budhwaeth oedd ffurf

baganaidd a brodorol crefydd yr ynys hon pan aeth y cenadon yno; ac y mae darnau mawr o'i chaerau heb syrthio hyd heddyw. Cadw ysgol yn *Point-de-Galle* oedd y gorchwyl cyntaf a wnaethpwyd mewn ffordd o ddysgu y brodorion, ac o dynu i lawr deyrnas y gelyn. Bu yno lafur mawr, a phetth llwyddiant. Yr oedd gobaith y genadaeth yn y plant, am fod yn hynod anhawdd ennill rhai mewn oed oddiwrth hen arferion eilunaddolgar, yn enwedig pan yr ystyriom fod y gyfundraeth baganaidd yno wedi ymwreiddio trwy gymdeithas yn gyffredinol. Dechreuodd Mr. Clough, gydag eraill, gyfieithu yr Hen Destament a'r Newydd i'r Pali, iaith gysegredig y Budhŵaid. Cyhoeddodd ef Eiriadur dwy-ieithog yn y Singalaeg a'r Saesoneg. Aeth y cenadon rhagddynt mewn llafur, dysg, a llwyddiant. Er fod rhai yn colli eu hiechyd, ac yn gorfod ymadael â'r maes, âi y gwaith ymlaen, a dygid eraill i lanw y bylchau, ac i ehangu yr achos. Yn y flwyddyn 1823, aeth Daniel J. Gogerly i Colombo, yn Ceylon; a thrwy lafur a blynyddoedd meithion, cyfododd i bwys mawr yn y gwaith cenadol. Cydnabyddid ef fel un o'r prif ddysgedigion, os nad y mwyaf ei wybodaeth, yn llênyddiaeth y Budhŵaid; efe a fu gyda'r blaenaf i ysgrifenu traethynau i ddynoethi paganiaeth yr ynys, i ddadleu yn gyhoeddus gyda'r offeiriaid Budhŵaidd, ac i roddi ergydion mor drwm ac effeithiol i deyrnas Satan yno, fel na saif yn ddigryn byth eto. Dyn arall a gododd yn uchel yn ei gysylltiad â'r maes hwn ydoedd Robert Spence Hardy, yr hwn a benodwyd i Colombo yn y flwyddyn 1825. Ysgrifenodd hanes Budhŵaeth, a gwnaeth lawer o waith yno yn ystod y deugain mlynedd y llafuriodd yno. Y mae yntau hefyd newydd farw. Ai efe o bentref i bentref i bregethu; ymwelai o dŷ i dŷ; a dywedai ef ei hun iddo un flwyddyn ymweled â 1700 o dai y brodorion, a chafodd gyfle i gymhell crefydd Crist iddynt. Nid yw Budhŵaid Ceylon, fel Bramhiniaid India, yn erbyn i genadon ymweled â'u tai. Ai weithiau ar deithiau o ddau can' milldir i ddosbarthu traethynau a'r Ysgrythyrau. Y mae y rhwystrau gwladyddol ar ffordd y genadaeth wedi bod o'r dechre yn llai yn ynys Ceylon nag ar Gyfandir India, am fod yr ynys yn cael ei llywodraethu gan yr *Home Office*, tra yr oedd yr hen *East India Company*, a llywodraeth ddeublyg y wlad, yn gormesu ar y cenadon yn barhäus, nes i'r cwmni uchod golli eu llywodraeth wladol tuag wyth mlynedd yn ôl.

Un agwedd obeithiol a dyddorol neillduol ar y Genadaeth Wesleyaidd yma yw, y pregethwyr a'r gweinidogion *brodorol* sydd ar y maes. Y mae gwaith Duw yn cyfodi dynion o fysg y bobl i bregethu Crist, y miloedd plant sydd dan addysg ddyddiol a Sabbothol, a dyrchafiad y rhyw fenywaidd mewn cymdeithas yno, yn elfenau o nerth a gobaith presennol, ac yn addaw dyfodiant llwyddiannus. Yn y Singalaeg a'r Tamilaeg y pregetha y cenadon yno. Heb fyned yn fanwl i ystadegau y genadaeth, goddefer i ni grybwyll y dosbenion a ganlyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ............................ | 31 |
| Athrawon Ysgolion Dyddiol ......... | 129 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ........... | 56 |
| Aelodau Eglwysig .................... | 1693 |

Y mae y genadaeth yn nerth ac yn fywyd i filoedd a fuont unwaith yn

baganiaid, ac yn addoli Satan dan lun sarph. Y mae y sarph a'r mwnci, yn gystal a'r fuwch, yn gysegredig yno.

Yn y fl. 1817 y cychwynwyd y genadaeth yn *Madras*, ar gyfandir India. Prif fanau y genadaeth yma ydynt Madras, Mysore, Negapatam, Manaargoody, Trichinopoly, Trivaloor, Caroor, Bangalore, Seringapatam, Goobbee, &c., &c. Y mae agweddion y gwaith yma wedi bod yn hynod o amrywiol; weithiau trwy ddiffyg llwyddiant uniongyrchol; yn awr trwy ffyrnigrwydd eilunaddoliaeth; yna trwy gysylltiad annaturiol a gwrthun ein Llywodraeth â chrefydd baganaidd y tir; yn y man trwy farwolaethau disymwth cenadon o'r *cholera;* a gwasgai lliaws o adfydau cyfamserol ar y gwaith. Y mae llawer o enwogion wedi syrthio ar y maes mawr hwn. Caria y cenadon eu gwaith ymlaen yma trwy gyfieithu darnau o'r Bibl a llyfrau da eraill; trwy adeiladu capelau ac ysgoldai; myned ar deithiau pell a gwasgarog gyda brodor o ymddiried a duwioldeb; pregethu ymhob lle y gallont gael pobl i'w gwrando; ymweled yn fynych â manau cyhoeddus y trefi; dadleu â'u Bramhiniaid, neu â rhyw ymofynydd o fysg y bobl; ac addysgu nifer o ieuenctyd gobeithiol mewn ambell i fan gyda bwriad iddynt fod yn weinidogion brodorol, neu yn ysgolfeistriaid. Y mae eu llafur yn fawr, amrywiol, a chyson. Rhaid i genadwr llwyddiannus fod yn ddyn cyffredinol, a allo droi ei law at bob peth, a bod yn ddyn i bawb. Yn y plant sydd dan addysg wythnosol a Sabbothol y mae prif obaith am lwyddiant yma. Anhawdd iawn yw troi Mahometaniaid a Hindŵaid wedi myned i oedran; ac er nad oes dim yn anmhosibl gyda Duw, eto ychydig o rai mewn oed a ddychwelir at y Ceidwad. Y mae addysg frodorol yn uchel yn Bangalore, ac y mae rhai ysgolion dyddiol yn India, ac yn ein trefedigaethau, yn derbyn peth cymhorth oddiwrth y llywodraethau lleol; ond ni dderbynir dimai at y weinidogaeth. Y mae y wasg genadol yn gwneyd gwaith mawr yn nhalaeth Mysore. Y mae yr hinsawdd afiachus i Ewropëaid yn effeithio yn ofnadwy ar y genadaeth yn y wlad hon. Y mae terfynau cyfyng ein hysgrif yn ein hattal i ymfwrw i mewn i hanes y maes ëang yn India. Dywedodd dyn mawr, "Nid ellir cymeryd India trwy ruthr; rhaid gweithio dani." Ar yr egwyddor yna y llafuria y cenadon. Ceir fod cymdeithas yn symud yno o gorsydd eilunaddoliaeth, ac yn dangos arwyddion o ymofyniad a phryder; ofna a chreda lliaws o frodorion fod diwedd eu duwiau lliosog a'u gau-grefyddau gerllaw. Nid yw yr Hindŵaid dysgedig yn cael dim cysur yn eu crefydd. Y mae eilunaddoliaeth gyffredin y wlad, fel ei harferir gan ddilynwyr Sifa a Vishnu, a'i holl sectau, i lawr i'r rhai sydd yn addoli cythreuliaid, fel yn adfeilio; y mae llênyddiaeth y Puranas yn myned i anfri; ac y mae y Fedas, neu y llyfrau cysegredig, wedi eu dynoethi, a'u gwir gynnwysiad o flaen y byd; y maent yn amddifad o wir henesiaeth, duwinyddiaeth, athroniaeth, a gwyddiant. Ceir fod y nifer mwyaf o'u hymnau wedi eu cyfansoddi i'r tân, i'r haul, i'r gwlaw, i'r gwynt, ac i wrthddrychau naturiol eraill. Y mae naturiaeth, a'r "sêr yn eu graddau," yn ergydio i dynu teyrnas y gelyn i lawr. Os yw hen grefyddau India wedi bod 3000 o flynyddoedd yn lledu eu gwraidd a'u brig, tòrir hwy i lawr mewn llawer llai o amser na hyny. Y mae amlwreigiaeth y *Coolin Brahmans* yn myned i warth yn ngolwg miloedd o'u gwladwyr. Y mae gwragedd gweddwon yn gallu

prïodi yno er gwaethaf deddfau Hindŵaeth; ac y mae eilunaddoliaeth yn cael ei newynu yno. Ceir fod y gŵyliau paganaidd yn fwy o ffeiriau a mabsantau na dim arall. Dysgir merched bellach, ac y mae cymdeithas yn chwyddo i dòri yn yfflon holl lyffetheiriau *caste;* y mae gwir ryddid wedi tòri ar filoedd yn y wlad. Y mae gan y Genadaeth Wesleyaidd bron yn wastad ddigon o ddynion addas wrth law i'r maes hwn; ond y mae prinder arian, a threuliau annysgwyliadwy, yn cyfyngu ar eu gweithrediadau. Dim ond tua thair blynedd yn ol y dechreuwyd y genadaeth yn Calcutta, ac yn Oude; hefyd yn Bombay; ond y maent hyd yn hyn yn gweithio yn dda. Y mae y cenadon yn Oude a Bombay yn llafurio yn benaf ymysg y milwyr Prydeinig; ac y mae y swyddogion milwraidd a gwladol yn estyn pob nawdd dichonadwy iddynt i hyrwyddo eu hamcanion. Y prif ystadegau ydynt:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 35 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 12 |
| Aelodau ... ... ... ... | 6 42 |
| Ysgolfeistriaid ... ... | 115 |

Gwelir ar unwaith fod swm mawr o ddylanwad Cristionogol gan y goruchwylwyr uchod, pa rai sydd yn cymhell crefydd trwy fywyd a llafur. Y mae yn lefain yn y blawd. Yr ydym yn gadael o'r neilldu, o angenrheidrwydd, genadon enwadau eraill sydd ar y maes; yn unig gallwn grybwyll ein bod yn mawr lawenhâu yn eu llwyddiant.

Cymerwn olwg fèr ar *Canada* a'r *India Orllewinol.* Yr oedd Wesleyaid America (Unol Daleithiau yn awr) wedi estyn eu gweithrediadau yn fore i'r ddwy Ganada, pa barthau oeddynt newydd eu cymeryd oddiwrth y Ffrancod gan lywodraeth Prydain Fawr. Yn y fl. 1783 y cyhoeddwyd Annibyniaeth Taleithiau America, ar ol hir rhyfel. Meddyliwyd gan Wesleyaid y byd gorllewinol y byddai yr achos ar ei ben ei hun, ac yn rhydd oddiwrth Brydain, yn well ac yn fwy manteisiol mewn gwlad ag oedd newydd fyned trwy afonydd o waed i ymryddhâu oddiwrth y famwlad; a phan aeth Canada i feddiant Prydain, rhoddodd y Wesleyaid y Taleithiau yn gangen o'r achos yn Canada i fod mewn cysylltiad pendant â'r Genadaeth Dramor Wesleyaidd ag oedd yn Mhrydain Fawr. Felly, mewn gwirionedd, y mae y genadaeth yn Canada, a'r meddiannau Prydeinig yn y parthau cyfagos, yn hen, ac wedi dechreu ymhell cyn cyfluniad ffurfiol y Gymdeithas Genadol yn Leeds yn y fl. 1813. Erbyn heddyw y mae maes y Genadaeth yn y meddiannau Prydeinig yn Ngogledd America yn ëang iawn—yn ymestyn dros gannoedd o filldiroedd o Canada ymysg Indiaid, Ymsefydlwyr, Ffrancod, Germaniaid, a Saeson; Newfoundland, Nova Scotia, Labrador; ac yn myned i lawr i British Columbia, ar lànau y Frazer River, ac wedi cael ei throed yn sefydlog ar Ynys Vancouver. Y mae pob moddion daionus ar waith yn y parthau dirfawr hyn i oleuo ac i droi y gwâr a'r gwyllt. Y mae llwyddiant mawr wedi bod o bryd i bryd ymysg Indiaid Gogledd America, a chyfododd dynion o bwys—penaethiaid eu llwythau—i ddylanwad a defnyddioldeb trwy y cenadon yno. Y mae y diweddar Gardinal Wiseman, yn ei Ddarlithoedd, yn addef i'r Wesleyaid gael peth llwyddiant ar y maes enadol hwn; ond dywed ei râs na chafodd y Gym-

deithas Genadol Wesleyaidd, nac un arall Brotestanaidd, ddim llwyddiant yn un rhan o'r byd. Ac i brofi ei bwnc, yn ei ffordd ef, dyfyna o Adroddiadau y gwahanol Gymdeithasau Cenadol yn ein gwlad! Peter Jones, a John Sunday, oedd enwau Cristionogol dau benaeth dychweledig, pa rai a fuont flynyddoedd yn rhodio yn ngras Duw, ac a fuont feirw mewn ffydd yn Nghrist. Eu henwau brodorol oeddynt Kahpewaquonaby, a Shawundais. Yn y dinasoedd a'r trefi y mae y genadaeth wedi ymsefydlu ac ymnerthu yn fawr; ac y mae ganddi ei hathrofäau, ei hysgolion, a'i holl sefydliadau eraill yn ennill tir yn barhäus. Er gwaethaf Pabyddiaeth o un tu, Paganiaeth o'r tu arall, a holl ddirywiaeth y trigolion, coronir llafur y cenadon yma â llwyddiant mawr, bron bob blwyddyn. Y mae yno amryw Gynnadleddau erbyn hyn i drafod pethau yr achos. Y mae eu Cynnadleddau yn gysylltiol â Chynnadledd Prydain Fawr, yr hon a enfyn Ddirprwywyr oddiyma bob blwyddyn yno; ac y mae yr un Frydeinig yn cadarnhâu amryw o'u hetholiadau hwy draw o ddynion i swyddau uchel y corff. Ffŷna brawdgarwch heb gaethiwed; ac y mae yr achos yno yn derbyn amryw filoedd o bunnau bob blwyddyn o'r Drysorfa Genadol.

Yn y fl. 1786, aeth Dr. Coke, a thri chenadwr, gan fwriadu i ymweled â Halifax, Nova Scotia, Gogledd America, ar eu ffordd i'r Unol Daleithiau; ond darfu i groeswyntoedd chwythu y llong i'r India Orllewinol, a glàniwyd hwy yn Antigua. Yr oedd ychydig o "bobl barod" ar yr ynys wedi bod am beth amser yn gweddïo am ddyfodiad Cenadon Wesleyaidd yno, ac yr oeddynt mewn ffydd gref yn dysgwyl am danynt. Dyna ddechreuad y genadaeth yn yr India Orllewinol. Erbyn hyn y mae y genadaeth wedi ymdaenu trwy Antigua, Dominica, Montserrat, Nevis, St. Christopher, St. Eustatius, St. Bartholomew, St. Martin, Tortolá, St. Vincent, Grenada, Trinidad, Barbadoes, Tobago, &c. Aeth y genadaeth a'r cenadon "trwy ymdrech mawr o helbulon," pan oedd parotöadau yn myned ymlaen yn Mhrydain, ac yn yr Ynysoedd Prydeinig yn yr India Orllewinol, i ddiddymu caethwasanaeth. Deffröwyd holl fudrelw a llygredigaeth lliaws yn yr ynysoedd ac yn y famwlad yn erbyn y cenadon a'u gwaith. Deallwyd fod cenadon y Gymdeithas Wesleyaidd yn gyfeillion cywir a chynhes y Negröaid yn eu darostyngiad ofnadwy. Yr oedd rhai o'r cenadon o gryn ddylanwad mor hŷf a diofn fel ag i ddynoethi trwy y wasg natur ac effeithiau arswydus caethwasanaeth; dygent ymlaen enghreifftiau bron yn ddigyffelyb o greulonderau y dynion gwŷnion Prydeinig at y caethion yn Jamaica, ac ynysoedd eraill. Cyfododd erlidigaeth yn eu herbyn. Yn y fl. 1817, pan oedd y ddadleuaeth yn boeth, ac anmharch a gwawd yn ymdywallt ar y cenadon a'u gwaith, daeth y Parch. Richard Watson allan mewn "Amddiffyniad" i oruchwylwyr y Gymdeithas ar y maes hwn. Yr oedd llawer un yn y Senedd Brydeinig â'i fryd o blaid y dynion duon. Gwrthryfel y caethion ar Ynys Barbadoes a roddodd achlysuron i'r ymosodiad mawr a ddilynodd ar y cenadon. Prïodolid y gwrthryfel gan rai o'r gelynion i'r cenadon Wesleyaidd! Cyhuddwyd hwy o bregethau cynhyrfus, o gynnal cyfarfodydd yn y nos, ac o amryw o ymgeision i beri i'r Negröaid godi yn erbyn eu meistriaid. Bu y cŵyn o flaen yr *House of Assembly* yn Ynys St. Vincent, a lluniwyd deddf i "reoleiddiant gwell y Genadaeth Wesleyaidd." Rhoddwyd cyfarchiad i Uchelreithwyr Llŷs cyffredinol yr Eisteddiad Chwarterol

yn Titchfield, yn Jamaica, ar yr angenrheidrwydd o wylied symudiadau y cenadon teithiol, "y rhai a allent fod yn rhagrithwyr gwael, yn benboethiaid drygionus; gan gynhyrfu meddyliau eu gwrandäwyr, a'u hestroni oddiwrth eu dyledswyddau a'u galwedigaethau." Camgyhuddiadau, wrth reswm, oedd y cyfan, wedi eu llunio gan yr anwybodus, y drygionus, y llygredig, a'r creulawn. Appeliodd Cyfarwyddwyr y Genadaeth at lywodraeth y famwlad, ac at yr Awdurdodau Trefedigaethol yn yr India Orllewinol. Tŷnwyd a chyfiwynwyd deisebau, galwyd tystion, codwyd y cyfan i'r gwynt, a nithiwyd yr holl hwnc. Ond fel y mae yr aur yn gwella yn y tân, egwyddorion da yn ymgryfhâu wrth eu profi, a'r erfyn da yn glöewi yn y gwaith, felly yr ymgododd y genadaeth o'r tân, a'r mŵg, a'r gwawd, yn ogoneddus.

Y mae y cenadaethau hyn, er yn hynod o lwyddiannus, wedi myned, o bryd i bryd, trwy ddyoddefiadau mawr oddiwrth farwolaethau mynych cenadon galluog; tânau yn dyfetha yr eiddo cenadol a chyffredin; ystormydd yn cludo capelau, tai, ac eiddo eraill, a bywydau dynol ymaith; ac y mae gwaith Duw yn ddarostyngedig i'r anffodau cyffredin yn y parthau trofanol hyny. Ar y cyfan, myned rhagddo y mae y gwaith da ymysg Negröaid ac Ewropëaid; ond y mae peth lleihâd mewn aelodau eglwysig mewn amryw ynysoedd yn y blynyddoedd diweddaf, trwy wrthgiliadau, marwolaethau, &c., heb nifer digonol o aelodau newydd yn ymuno i lanw pob bwlch, ac i liosogi rhesi y saint. Saif ystadegau Canada, Newfoundland, &c., fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 381 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 251 |
| Aelodau ... ... ... | 33,966 |
| Ysgolfeistriaid ... ... | 31 |

A'r India Orllewinol, yn cynnwys hefyd British Guiana:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 84 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 367 |
| Aelodau ... ... ... | 38,508 |
| Ysgolfeistriaid ... ... | 154 |

Yr ydym yn awr yn prysuro i ddywedyd gair am Ffrainc. Er mai bechan ydyw y genadaeth yn y wlad fawr hon, y mae dyddordeb a bywyd er hyny ynddi, ac y mae ei chynnydd yn sicr, er yn raddol. Y mae y gwaith yn ymestyn i Switzerland, ac yn ymsefydlu mewn amryw barthau o'r wlad fynyddig hon, sydd wedi bod yn gawell ac yn noddfa y Diwygiad Protestanaidd yn yr unfed ganrif ar bymtheg. Yn nechre y ganrif bresennol, tröwyd meddwl Dr. Coke at sefyllfa resynus y carcharorion Ffrengig a gedwid ar y Medway yn Lloegr. Cafodd ryddid i bregethu iddynt. Dyna wir gychwyniad y genadaeth at y Ffrancod. Yn y diwedd—yn y fl. 1816—anfonwyd cenadwr yno; ac yn y man cyfododd ambell un o fysg y bobl eu hunain i bregethu i'w wladwyr. Y mae chwyldröadau a therfysgoedd y wlad wedi bod yn wrthgloddiau dirfawr yn erbyn llwyddiant y gwaith. Am flynyddoedd lawer, ar *oddefiad* yr awdurdodau cyffredin a lleol y safai y genadaeth; weithiau tröid y gyn-

nulleidfa lonydd allan o dŷ annedd â grym arfau; dirwyid y pregethwr, colledid eraill, a dygid y gwaith i derfyn buan. Ambell i dro bwrid y pregethwr a'r Biblgludwr i garchar yn unig am bregethu yr efengyl a lledanu Gair Duw. Cyffröai Atheistiaeth a llygredigaethau eraill; a byddai Pabyddiaeth fynychaf wrth waelod pob gwrthwynebiad ac erlidigaeth. Dim ond ugain mlynedd yn ol, neu ychydig fwy, gosodid milwyr wrth ddrysau ein capelau bob tro y byddai cyfarfodydd yno, rhag ofn i unrhyw beth gael ei draethu a ellid ei wneyd yn drosedd gwladyddol. Yr ydym yn cofio am hanesyn tarawiadol ar y pen hwn: yr oedd dau filwr yn arfer sefyll wrth ddrws un o'n capelau, bob tro y byddai cyfarfod, i wylied unrhyw beth a allai fod yn drosedd yn yr addoliad. Caent gyfle felly i glywed ambell i bregeth; daeth goleuni ac argyhoeddiad i'w meddwl; a'r canlyniad fu i un o honynt gael ei ddychwelyd at yr Arglwydd, a daeth y ddau filwr a'u teuluoedd i wrandaw yn gyson i'r capel. Y mae cyfeillion y genadaeth yn Ffrainc wedi appelio at yr Ymherawdwr presennol amryw weithiau pan yn cael eu llethu gan yr awdurdodau lleol; ac y mae yn anrhydedd iddo ei fod wedi ffafrio rhyddid crefyddol bob tro. Bu y Gynnadledd Ffrengig Wesleyaidd mor hŷf, dair neu bedair blynedd yn ôl, âg anfon deiseb at Napoleon i ddeisyf arno estyn mwy o ryddid crefyddol iddynt; a chawsant wrandawiad bron mor belled a'u cais. O ran rhyddid gwladol, y mae y gwaith yn bresennol yn ddiymattal. Diffyg arian yw cyfyngder mawr y genadaeth yn y wlad hon. Y mae llyfrfa a chyhoeddiad misol yn Paris, ysgol i weinidogion ieuainc yn Lausanne, pregethu yn y Ffrancaeg a'r Saesoneg, ac yn neheudir y wlad y mae y gwaith yn casglu nerth. Y mae capel newydd Paris yn werth 9000p. Dyrnaid o halen yn nghanol clamp dirfawr o lygredigaeth yw yr achos yma; er hyny ni ddylid diystyru dydd y pethau bychain. Rhoddodd y Fam-Gymdeithas 500p. at gynnorthwyo i gario allan gynllun o bregethu Protestanaidd mewn cysylltiad âg Arddangosfa Paris. Saif yr Ystadegau fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 28 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 91 |
| Aelodau ... .. ... | 1699 |
| Holwyddolwyr, &c. ... ... | 16 |

☞ Rhaid symud yn nesaf i *Orllewin Affrica*, yn cynnwys Sierra Leone, y Gambia, &c. Dechreuwyd y Genadaeth yn Sierra Leone yn y fl. 1796. Y parthau cyffredinol sydd yn faes llafur y cenadon, a elwir Sierra Leone, Gold Coast, Ashante, a pharthau eraill o Guinea. Dechreuwyd trefedigaeth yn Sierra Leone gan William Wilberforce, a dyngarwyr Prydeinig eraill, i'r dyben i hyrwyddo gwelliant y caethion rhyddedig yn y parthau crybwylledig. O ddiddymiad y gaethfasnach hyd heddyw y mae miloedd o ddynion duon—plant Ham—wedi cael ymgeledd a manteision gan y genadaeth hon. Trwy lafur, traul, a dyoddefiadau y cychwynwyd y gwaith. Gwelwyd yn fuan fod yr hinsawdd yn hynod o anffafriol, ïe, yn farwol i Ewropëaid; a chafwyd y fath golledion yno ar fywyd y gweithwyr, fel y galwyd y wlad yn "*Fedd Ewropëaid.*" Yr oedd y wlad yn hynod gynhes ac afiachus i ddyeithriaid. Dygwyd golygfeydd erchyll o flaen y cenadon, megys rhyfeloedd rhwng y llwythau,

ymladdau a llofruddiaethau cymydogion; cyrff y gelynion yn cael eu gadael ar wyneb y ddaear yn ymyl y trefydd i gael eu dyfetha gan gŵn, gwylltfilod, eryrod, &c.; dynion yn cymeryd arnynt harddu eu personau â phenglogau dynol, ac â darnau o esgyrn eraill y meirw. Cododd paganiaeth y wlad yn ei holl ffieidd-dra o flaen y dyn gwŷn. Aberthid dynion fel lladd gwibed yno. Bu y Parch. William Davies, Croes Efa, Sir Ddinbych, neu fel y mŷnai y bobl ei alw ar ol ei ddychweliad o Affrica—"William Davies, Affrica,"—yn genadwr bore yno. Ysgrifenodd a chyhoeddodd ddyddlyfr yn cynnwys hanes ei deithiau a'i lafur. Llafuriodd am bedair blynedd yn Sierra Leone. Y mae enwogrwydd arbenig yn perthyn i lafur y Parch. T. B. Freeman; ymwelodd ddwywaith â brenin Ashante; aeth â cherbyd unwaith yn anrheg i'r brenin, ac yr oedd yn gorfod tòri llawer o goed i lawr i gael ffordd i'r unig gerbyd ag oedd yn y wlad cyn y gallai gyraedd y brifddinas. Y mae hanes y teithiau uchod yn llawn bywyd a dyddordeb. Darfu i hyd yn nôd y "*Times*" eu canmawl ar gyfrif eu harddull a'u cynnwysiad. Weithiau ni chai y dynion ieuainc zelog a anturient i'r maes hwn lafurio ond am ychydig fisoedd—tòrid hwy ymaith gan glefyd y wlad, ac felly colledid y genadaeth yn ddirfawr.

Yn Sierra Leone y mae y gwaith da yn myned ymlaen yn benaf yn Free-Town, Wellington, Hastings, York, Wilberforce, &c., &c. Yn y Gold Coast, &c., yn y Cape-Coast Town, Providence, Anamabu, Kumasi, Lagos, Whydah, Abbeokuta, &c. Y mae gan yr efengyl yn llaw y cenadon ran gref yn y gwaith o wanhâu a thŷnu i lawr baganiaeth y dynion duon, ac o leihâu a dinystrio llawer o lygredigaethau y dynion gwŷnion chwannog i elw a gwobr anghyfiawnder. Y mae cannoedd a miloedd o Negröaid wedi eu cipio o afael dynionfasnachwyr creulawn, oddiwrth baganiaeth druenus, ac oddiwrth holl lygredigaeth eu natur bersonol. Beth bynag a daera yr *Anthropologists* yn erbyn cenadaethau diweddar, y mae y ffrwythau bendigedig a gasglwyd yma, a'r agwedd ddymunol bresennol ar y gwaith, yn taflu yn ôl mewn llid sanctaidd bob camgyhuddiad a ddygir ymlaen er mwyn gwarthruddo ymdrechion dynion da i oleuo ac i droi plant duon Ham. Y mae lliaws o ddynion a phlant wedi codi o'r dirywiaeth dyfnaf i fod yn aelodau gwaraidd a phrydferth mewn cymdeithas; rhai i fod yn siopwyr a masnachwyr llwyddiannus, ac eraill i fod yn ynadon a swyddogion uchel yn y wladwriaeth. "Cododd finnau hefyd," yw profiad llawen llawer un o "blant dinystr" yn y parthau hyn.

Y mae cychwyniad y genadaeth ar lànau yr afon Gambia yn *St. Mary's* a *Macarthy's Island* yn llawn dyddordeb; ac y mae yr hanes gan y Parch. John Morgan, y cenadwr cyntaf, yn naturiol, tarawgar, a chlir. Dygir y wlad, ei thrigolion, ei waith a'i anhawsderau ef a'i gydlafurwr, mewn modd byw ac effeithiol o'n blaen. Yr oedd efe yn ddyn craff a pharod, gyda phenderfyniad anhyblyg i gyfarfod â gofynion y gwaith mor agos ag oedd yn bosibl. Byddai yn hyfryd genym roddi pigion o'i hanes, ond rhaid ymattal. Er cyfarfod â cheryddon rhagluniaeth, a phob math o wrthwynebiad oddiwrth frodorion a Satan, y mae y gwaith yn myned rhagddo, ac y mae agos i fil o aelodau yno yn y cymdeithasau.

Saif ystadegau y Gold Coast, Sierra Leone, a'r Gambia, wedi eu bwrw ynghyd, fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 23 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 160 |
| Aelodau ... ... ... ... | 9198 |
| Ysgolfeistriaid ... ... ... | 121 |

Symudwn yn nesaf i Ddeheubarth Affrica, yn cynnwys *Penrhyn Gobaith Da*, y *Ddwy Caffraria*, *Namaqualand*, a *Natal*. Dechreuwyd y Genadaeth yn y Penrhyn, &c., yn y fl. 1816. Yn 1826 aeth y Parch. W. Shaw allan fel goruchwyliwr y Gymdeithas. Y mae ei enw ef, y Parch. B. Shaw, ac S. Broadbent, yn nodedig fel offerynau cychwynol y gwaith. Bu y ddau Shaw am tua deugain mlynedd yn llafurio yno,—yn tòri tir gwyllt, yn teithio trwy anialwch mawr a disathr, ac yn mheryglon llewod, bleiddiaid, llifddyfroedd, a dynion anwar. Y mae hanes eu teithiau, eu llafur, a'u llwyddiant, yn swynol ac yn syndod. Mr. Broadbent oedd y cyntaf i blànu baner y groes ymhlith y Baralongs; a mawr oedd ei lafur, ei beryglon, a'i ddyoddefaint wrth deithio o fan i fan. Mynych y byddai y llew liw nos yn myned âg eidion neu ddau oddiwrtho; ambell dro neidiai y llew o'r llwyn i ymdrechu cipio ŷch o'r tresi, a tharfid y da yn ofnadwy; bryd arall deuai cystudd trwm ar ei wraig ac yntau; bu efe yn hir ar drengu mewn clefyd ymhlith llwyth gwyllt o bobl; byddai y naill lwyth yn rhyfela â llwyth arall nes dinystrio holl eiddo a gobaith y cenadwr; a chrogai anobaith du, i olwg dyn, uwchben y cwbl. Heblaw ymsefydlwyr yn y Cape, amcenid llafurio i gasglu llwythau gwahanol dan benaethiaid penigol i ddysgu ffordd iachawdwriaeth iddynt: y Caffirs, y Fingoes, y Bushmen, yr Hotentots, y Namaquas, y Zulu, &c. Dynion o ffydd fawr ac o galon ëang oedd y gweinidogion a anturient ar orchwyl mor anhebyg o ddyfod byth i ben, sef troi y bobl "o feddiant Satan at Dduw."

Y mae un cenadwr yn y *Trans-Vaal Republic*, pa barth a berthyn i'r *Dutch* ymsefydledig yno. Y mae hyn yn gam tuag at fyned i mewn i ganol Deheubarth Affrica, ac y mae arwyddion bywyd yn coroni llafur y cenadwr. Y mae y gwaith yn myned rhagddo yn yr holl brif fanau yn y parthau ëang a rag-grybwyllwyd. Yn y Dutch, y Caffir, a'r Saesoneg, y pregethir yn benaf. Y mae pob math o gyfryngau defnyddioldeb ar waith yma: cenadon Ewropëaidd a brodorol; ysgolion dyddiol a Sabbothol; ambell i ysgol i bregethwyr ieuainc; gwasg neu ddwy mewn llawn waith; ysgol fawr mewn un man (Heald Town, yn Nhalaeth Graham's Town), i ddysgu crefftau buddiol i fechgyn a merched: heb son dim am y driniaeth dawel ar y ddaear sydd yn myned ymlaen yno. Y mae y Caffirs yn enwog am eu da corniog, eu rheibwyr a'u swynwyr; ac am eu rhyfeloedd a'u hymgyrchoedd yn erbyn ein gwlad ni, ac yn erbyn eu cymydogion a berthynant i wahanol lwythau. Y mae ganddynt hefyd eu crachfeddygon, y rhai a gariant ddylanwad hynod o ddwfn a niweidiol ymysg y bobl. Tua deng mlynedd yn ôl, twyllwyd y Caffirs yn ofnadwy gan un o'u gaubrophwydi. Fel hyn y bu:—Yr oedd meddiannau y bobl, yn enwedig y penaethiaid, yn gynnwysedig mewn da corniog; dysgodd y gaubrophwyd y dylai pawb ladd eu holl dda, am fod adgyfodiad cyffredinol yn ymyl i holl hen breswylwyr y wlad, ac o'r holl dda a fuasent erioed yn cyfanneddu tiroedd gwlad Caffir. Penodwyd diwrnod yr adgyfodiad, a nodwyd yr amser o'r dydd—ar godiad

haul. Cerddodd dinystr yr anifeiliaid trwy y tir, ac ymdrechwyd clirio y genedl oddiwrth faich y da byw i gael lle i ddynion a da yr adgyfodiad. Daeth y dydd, a bu dysgwyliadau dirfawr; rhedai y dynion i ben y bryniau i gael golwg am y cyntaf ar yr haul. Ond y mae bron yn afreidiol dywedyd i'r cwbl droi yn siomedigaeth chwerw. Eithr er ein syndod, ni ddigiodd y bobl wrth y gaubrophwyd a'u tŷnodd i'r fath drallod: daeth o'r dyryswch yn ddigon rhwydd; ond nid mor hawdd oedd ymryddhâu oddiwrth y dyoddefiadau a dŷnwyd ar genedl gyfan. Bu cannoedd os nad miloedd o'r bobl farw o newyn; aeth lïaws o honynt i'r tiriogaethau Prydeinig nesaf atynt i ochelyd newyn du; gadäwyd tua dau gant o filltiroedd o wlad dda yn ddibreswylwyr; a bu anghyfannedd-dra hyll yn ganlyniad naturiol y dinystr a'r mudiadau.

Annichonadwy nodi holl anhawsderau a ffrwythau da y genadaeth yn y parthau hyn; ond goddefer i ni grybwyll un enghraifft o lïaws o effeithiau bendigedig y llafur duwiol a fu yno; ac y mae y ffrwyth yn aros hyd heddyw. *Heald Town*, yn nhalaeth Graham's Town, yw man ein detholiad. Gelwir y genadaeth hon yn *Fingoe Mission*, am mai Fingöaid yn benaf yw y trigolion. Pan ddechreuwyd y gwaith yn y fan hon, anialwch oedd y cwbl; a chyfanneddid y wlad yma a thraw gan wahanol lwythau crwydrol, y rhai a drigent mewn bythynod truenus, a'u parth yn ddwfn yn y ddaear. Dechreuodd y cenadwr godi tŷ iddo ei hun, a chapel hefyd; ymdrechodd ddarbwyllo rhai o'r penaethiaid i ymsefydlu yn y fan a ddetholasai y cenadwr i fod yn ddechreuad tref newydd; daeth ambell un i fyw gerllaw; perswadiwyd Fingoes, Bushmen, Hottentots, &c., i adael eu bywyd gwyllt a phaganaidd, ac i ddyfod i dreio byw fel Ewropëaid. Nid gwaith bychan oedd tòri i lawr arferion ag oeddynt wedi gwreddio am genedlaethau lawer, pa rai a dderbynient faeth parhäus oddiwrth ddylanwad llëol, a llygredigaeth gyffredinol y natur ddynol. Ond wedi cael Gair Duw yn iaith y bobl, a pharhâu i lafurio a gweddïo, dyna *Heald Town* yn cael ei seilio; galwyd y dref newydd ar enw James Heald, Ysw., un o brif noddwyr y Genadaeth Wesleyaidd am y deugain mlynedd diweddaf. Erbyn hyn y mae, fe ddichon, 8000 o drigolion yn y dref; capel mawr iawn; ysgoldŷ dyddiol ëang; ysgol fawr i ddysgu crefftau i blant; ac agwedd waraidd yn ymddangos ar y cwbl. Y mae y genadaeth wedi llunio a phuro cymdeithas yno, ac y mae pob peth yn newydd yn y lle a'r cymydogaethau. Nid oes neb ond y cenadon Wesleyaidd wedi llafurio yma o'r dechre, ac y mae y maes yn dêg a llwyddiannus yn eu meddiant. Y mae Syr George Gray, fel llywydd y drefedigaeth, wedi bod o bryd i bryd yn yr Arholiad cyhoeddus mewn cysylltiad âg Ysgolion y Genadaeth yn *Heald Town*, wedi cael y boddlonrwydd mwyaf, ac wedi talu gwarogaeth brïodol i'r genadaeth yn y wlad. Pwy sydd wedi dysgu y brodorion i adeiladu tai yno? Y cenadon Wesleyaidd. Pwy sydd wedi dyfod â hâdau gerddi, a choed ffrwythau prïodol i'r wlad hono? Y cenadon. Pwy sydd wedi dyfod â'r bâl, y cryman, yr aradr, a'r oged i blith y bobl hyn? Y cenadon Wesleyaidd. Pwy sydd wedi dysgu crefftau, moesau da, dyfod â'r Sabbath a glân brïodas i'w plith? Goruchwylwyr y gymdeithas hon. Y mae naturiaeth a dynoliaeth yn gwênu yno dan ddylanwad bendigedig yr efengyl. "Yr anialwch a'r anghyfanneddle a lawenychant o'u plegid; y diffeithwch hefyd a orfoledda ac a flodeua fel rhosyn."

Yn nhaleithiau *Graham's Town* a *Queen's Town* bu adfywiadau nerthol ar y gwaith agos i ddwy flynedd yn ôl, pryd y chwanegwyd o 5000 i 6000 at yr eglwysi. Dychwelwyd tua 2000 o Gaffirs. Y mae y gwaith da yn casglu nerth mawr yn barhäus ymysg brodorion ac Ewropëaid. Rhaid prysuro at ystadegau byrion, y·rhai a safant fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 61 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 467 |
| Aelodau ... ... ... ... | 10,108 |
| Ysgolfeistriaid... ... ... | 93 |

Y mae miloedd ar brawf am aelodaeth eglwysig, y rhai ni chyfrifir fel aelodau llawn heb gryn addysg yn y grefydd Gristionogol, a phrawf boddhäol i'r cenadon ac i'r eglwysi yn gyffredinol.

A ddaw y darllenydd gyda ni càn belled â China? Treiwn ddyfod yn ol cyn y nos. Yn y fl. 1851 y dechreuwyd y genadaeth ymhlith y bobl henafol a llïosog a gyfanneddant y wlad hon. Cafodd dyn ieuanc yn Lloegr argraff cryf ar ei feddwl y dylasai fyned yn genadwr i China. Ni wyddai ddim am y Chinaeg, ac nid oedd yn ddyn dysgedig. Gwrthododd y Pwyllgor Cenadol yn Llundain y cynnyg o herwydd diffyg arian i'r fath anturiaeth gostus. Yn y diwedd, cafodd George Piercey ganiatâd y Pwyllgor i fyned allan *ar ei draul ei hun;* ac os methai yn China, bwriad y dyn ieuanc hwn oedd myned oddiyno i Australia. Anturiodd i China fawr; cafodd le i roi ei droed i lawr; dechreuodd pobl gyfoethog yn Mhrydain adael cymynroddion o filoedd o bunnau at y Genadaeth Wesleyaidd yn China; codwyd capeli yn Canton; aeth cenadwr ar ol cenadwr allan; ymwelwyd â pharthau ëang o'r wlad i ddosbarthu llyfrau da, yn enwedig Gair y bywyd; dysgwyd yr iaith; anfonwyd cenadwr o *feddyg* allan i Hankow; ac erbyn heddyw y mae y gwaith yn dechreu cymeryd ffurf ddymunol a nerthol. Y mae parotôi y ffordd fel wedi ei wneyd, a cherbydau iachawdwriaeth yn treiglo ymlaen. Y mae y gweision wedi ymsefydlu yn Canton, Fatshan, Wuchang, Hankow, a Kinkkiang. Y mae yno naw o genadon, pedwar o ysgolfeistriaid, a saith o oruchwylwyr cyflogedig eraill. Y mae dyfodiant y genadaeth hon yn derbyn gobaith oddiwrth y llïaws o Chinëaid sydd yn ymfudo i Australia, llawer o ba rai sydd yno dan ofal y cenadon Wesleyaidd; gwna llawer un ddychwelyd i China, a chan fod amryw o honynt wedi eu dychwelyd at Dduw mewn gwlad estronol, ânt â Christionogaeth fyw yn eu mynwesau yn ol i wlad eu tadau. Y mae rhagfarn rhai o'r Chinëaid yn cilio dan ddylanwad nefol yr efengyl. Y mae ysgolheigion Ewropëaidd, Americanaidd, a Chinëaidd, yn cydweled mai hen enw China oedd Sinim; os felly, y mae bŷs prophwydoliaeth yn ein cyfeirio at amseroedd dedwydd a ddeuant ar y bobl hyn. "Wele, y rhai hyn a ddeuant o bell; ac wele y rhai acw o'r gogledd, ac o'r gorllewin; a'r rhai yma o dir SINIM," Esa. xlix. 12.

Symudwn bellach i gymeryd golwg ar Australia, New Zealand, Tasmania, ac Ynysoedd Môr y Dê. Ond pa fodd y mae yn bosibl rhoddi golwg fèr, gryno, a chynnwysfawr ar y genadaeth ar y meusydd hyn, nis gwyddom. Ymdrechwn wneyd oreu ag y gallom. Nid ymhelaethu yw yr orchest yma, ond talfyru fydd y gamp. Dechreuwyd y genad-

aeth yn Australia yn y fl. 1815; yn New Zealand yn y fl. 1823; ac yn Ynysoedd Môr y Dê yn y fl. 1822.

Y Parch. Samuel Leigh oedd y cenadwr cyntaf i Australia, nid yn unig fel y perthynai i'r Gymdeithas hon, ond efe hefyd oedd y cyntaf yno fel cenad cyhoeddus dros Grist. Gwir fod gan ein Llywodraeth gapelwr yno o'i flaen, ond cyfyngai ei lafur yn hollol i ddrwgweithredwyr a alltudiesid o'r famwlad yno. Llafuriai y cenadwr cyntaf i leshâu y brodorion yn gystal âg ymfudwyr y wlad. Bu efe mewn teithiau meithion yn fynych, ac yn mheryglon yn yr anialwch, ac oddiwrth lifddyfroedd, i dòri y garw, ac i osod i lawr sail llwyddiant. Nid oedd brodorion Australia yn lliosog hyd yn nôd yn nghychwyniad y genadaeth; ond yr oedd eu cyflwr yn resynol, a thybid gan lawer nad oedd yn bosibl eu gwella mewn dim, llawer llai eu troi i fod yn bobl dduwiol. Trwy ddeddf ddyeithr y mae y brodorion yn Australia yn myned lailai, ac fel yn cael eu gwthio i derfyn gan ymdaeniad y dynion gwynion. Tebygol fod eu cyflwr diymgeledd yn anffafriol i'w cynnydd fel pobl. A oes yna felldith y Crëawdwr yn gorphwys arnynt i'w diwreiddio o'r ddaear? Fel y mae ymfudiaeth wedi cryfhâu o'n gwlad ni ac o China, felly y mae y genadaeth wedi cynnyddu yn ddirfawr. Y mae yr achos yn ogoneddus yn y trefi mwyaf yno; y mae gweinidogion lawer yn cyfodi o fynwes yr eglwysi yno. Ychydig flynyddau yn ôl, barnwyd fod y genadaeth yn Australia yn ddigon cref i gael ei ffurfio yn Gynnadledd, ac i gael New Zealand, Tasmania, ac Ynysoedd Môr y Dê yn gorfforedig gyda hi. Cariwyd hyny allan; ac felly y maent yn parhâu hyd heddyw, ond fod eu prif swyddogion, a sefydliad eu gweinidogion, yn cael eu dwyn o flaen y Gynnadledd Frydeinig i'w cydnabod a'u cadarnhâu. Yn y dref boblogaidd, ar y ffarm bellenig, ac yn holl ardaloedd y mwngloddiau aur, gwna y cenadon Wesleyaidd estyn eu llafur. Y genadaeth hon yw y gryfaf o lawer o'r holl rai Protestanaidd yn y wlad. Estyna ei gweithrediadau efengylaidd a dyngarol yn New South Wales, i dalaeth Sydney, i dalaeth Bathurst, a Goulburn, trwy Queensland; yn Victoria, trwy daleithiau Melbourne, Geelong, a Ballarat, Castlemain, a Sandhurst; hefyd trwy South Australia. Y mae nerth ac adnoddau mewnol y genadaeth yn ymddadblygu yn gyflym; ac y mae gan y Wesleyaid ran arbenig yn ymdaeniad teyrnas gras yn y wlad newydd a dyddorol hon. Y mae ei chenadaeth yn amlwg yno. Er fod yr achos bron yn ei gynnal ei hun yma, eto, fel Cynnadledd, dibyna yn helaeth ar y Drysorfa Genadol yn Mhrydain. Y mae rhoddi golwg helaeth ar godiad a chynnydd yr achos yma yn beth annichonadwy yn nghwmpas erthygl. Chwanegwn y dosbenion canlynol mewn ystadegau:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 152 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 948 |
| Aelodau ... ... ... ... | 18,913 |
| Ysgolfeistriaid... ... ... | 188 |

Y mae New Zealand yn galw am sylwadau neillduol fel maes eang a llwyddiannus y genadaeth. Wedi cychwyn yn y fl. 1823, ymysg barbariaid canibalaidd, y mae gair yr Arglwydd wedi rhedeg a chael gogonedd yn y tir. Y mae miloedd o'r brodorion wedi eu dwyn dan aden

crefydd. Gwelodd Mr. Leigh, y cenadwr cyntaf, ugeiniau a channoedd o frodorion yn cael eu bwyta pan fyddai brwydr drosodd. Ffŷnai y creulonderau mwyaf yno; a dychrynid hyd yn nôd y morwyr Prydeinig. Syrthiasai holl ddwylaw rhai llongau o'n gwlad ni yn ysglyfaeth i gynddaredd a gwanc y Maoris, fel y gelwir y brodorion. Y maent yn ddynion cryfion, craffus, hyf, a dïalgar. Cariasant lawer rhyfel yn erbyn yr awdurdodau Prydeinig, am ryw gam, gwir neu ddychymygol, a gawsent oddiar ein dwylaw. Nid ydynt yn ddynion meddal a diegni, y gellir eu trîn fel y mŷno y dyn gwŷn balch a ffroenuchel. Y mae cenadon ac eraill yn amrywio mewn barn o berthynas i'n llywodraeth ni â'r Maoris; beïa rhai y naill, a chyhudda eraill y lleill. Nis gallwn yma fyned i'r pwnc dyrys hwn. Ymddengys fod y gwir frodor yn diflanu o'r wlad hon yn gyflym, ac fod pobl gymysg lïosog yn cymeryd eu lle; gesyd y Parch. Walter Lawry obaith cryf yn y genedl newydd a chymysglyd hon. Nid oes un wlad dan haul wedi gwneyd mwy o gynnydd na New Zealand yn awr er ys haner can' mlynedd mewn gwareiddiad, crefydd, amaethyddiaeth, a masnach. O fod yn llwyr baganaidd a chanibalaidd, y mae wedi ei dyrchafu fel ag i gael ei chwanegu at wledydd Cristionogol y byd. Y mae tair ar hugain o gylchdeithiau yno, yn rhedeg o Aukland, y brifddinas, trwy bob parth cyfanneddol bron; ac y mae yno alw mawr am ychwaneg o weinidogion. Y mae amryw o'r brodorion yn y weinidogaeth reolaidd, ac y mae gobeithion yr achos yn oleu ac ymdaenol. Rhaid taflu Tasmania i mewn yn y fan hon er mwyn byrder. Gan gychwyn o Hobart Town, y mae yno wyth o gylchdeithiau, yn cymeryd i mewn ranau helaeth o'r tir. Yn Campbell Town y mae gan y Genadaeth Goleg sydd o wasanaeth arbenig. Y mae Hobart Town yn gylchdaith ddigon pwysig i gael pedwar o weinidogion. Ynglŷn â'r cenadaethau hyn, y mae Leigh, Waterhouse, a Lawry yn sefyll yn uchel; ac ennillasant iddynt eu hunain enw da fel gweision ffyddlawn a llwyddiannus. Hwy a lafuriasant, ac erbyn heddyw y mae llïaws wedi myned i mewn i'w llafur hwynt. Y mae y gwaith yn aros, er fod arloeswyr y tir wedi myned i orphwys. Rhaid dywedyd fod ymfudiaeth o Brydain a'r Iwerddon wedi cyfnerthu y gwaith yn fawr yn y parthau pell hyn. Saif prif ddosbenion ystadegau New Zealand a Tasmania fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 54 |
| Pregethwyr Cynorthwyol ... | 232 |
| Aelodau ... ... .. ... | 3,996 |
| Ysgolfeistriaid ... ... ... | 33 |

*Ynysoedd Môr y Dê.* 1. *Yr Ynysoedd Cyfeillgar.* Y mae yr ynysoedd hyn yn dri chyttwr, Tongatabu, Haabai, a Vavau. Darganfyddwyd ynysoedd y cyttwr gyntaf gan Tasman, yn y fl. 1643. Y mae yr oll o'r Ynysoedd Cyfeillgar tua chant a hanner o nifer. Ceir fod pymtheg o honynt yn ymgodi i gryn uchder o'r môr; y mae pymtheg ar hugain o honynt yn codi ychydig; a gorwedd y gweddill yn isel. Y mae ynys Vavau yn un brydferth, ac yn agos i bymtheg ar hugain o filldiroedd o amgylchedd. Dywedir fod yr ynysoedd yn y moroedd hyn bron oll o wreiddyn tanllyd neu wylar. Y mae yr Ynysoedd Cyfeillgar yn hynod am eu hinsawdd hyfryd, ac am amrywiaeth mawr eu ffrwythau. Ceir

fod lliw y trigolion yn fwy goleu o lawer na phreswylwyr *Navigators' Islands*, ac y mae eu plant bron yn wŷn. Y maent o ffurfiad cryf a lluniaidd, ac y mae eu menywod yn hynod o brydferth. Bernir fod y boblogaeth tua 60,000. Y mae yno raddau mewn cymdeithas,—Brenin, Penaethiaid, Mataboolies, neu gymdeithion penaethiaid, Tooas, a Tamaioeikis, neu gaethion. Y mae gan y trigolion draddodiadau, duwiau, a ffugchwedlau. Ond erbyn heddyw y mae y traddodiadau mewn anfri, y duwiau wedi eu taflu ymaith; a'r ffugchwedlau wedi syrthio i'w lle eu hun.

Goruchwylwyr Cymdeithas Genadol Llundain a aethant â'r efengyl gyntaf i'r Ynysoedd Cyfeillgar a'r cyttyrau cymydogaethol. Deg o grefftwyr oedd y cenadon hyn, y rhai a laniasant yn Ynys Hipïpo, Tongataboo, o'r llong "*Duff*," Cadben Wilson, yn y fl. 1797. Lladdwyd amryw o honynt pan dòrodd rhyfel allan, ac aeth y genadaeth i'r dim mewn ymddangosiad. Yn y fl. 1822 y dechreuwyd y Genadaeth Wesleyaidd yma gan y Parch. Walter Lawry. Wedi llafurio am ychydig, gorfu iddo ymadael â'r maes am dymmor. Yn y fl. 1826 aeth dau genadwr, y Parch. Nathaniel Turner a'r Parch. W. Cross, i Nukualofa, i adgymeryd y gwaith a gychwynasai Mr. Lawry. Ar y 10fed o Ionawr, 1830, bedyddiwyd y brenin *Tubou* wrth yr enw Josiah. Yr oedd y frenhines wedi ei bedyddio cyn hyny, a llawer o'r deiliaid. Bu farw y brenin yn Tachwedd, 1845. Daeth George wedi hyny yn frenin Tonga; yr oedd efe cyn hyny yn frenin Haabai. Yn y diwedd daeth yn frenin yr holl ynysoedd a adnabyddir wrth y cyd-tyrau Tonga, Haabai, a Vavau, sef y cwbl o'r Ynysoedd Cyfeillgar. Cafodd y cenadon fod pedwar o brif dduwiau gan y brodorion,—*Mani*, yr hwn a dŷnodd yr ynysoedd o'r môr â bach a llinyn; *Hikuleo*, duw yr ysbrydoedd, a brawd ieuengaf Mani; *Tangaloa*, yr hwn sydd â'i breswylfod yn yr awyr, ac y mae yn cynhyrfu mellt a tharanau, a thybir ei fod ar adeg felly yn lladd penaeth; tybir ei fod yn dduw yr holl ddyeithriaid, y rhai a ddysgwyd ganddo i wneyd llongau prydferth; tybiwyd i Cadben Cook, ac eraill, ddyfod o'r awyr wrth orchymyn Tangaloa;—*Hea-Moana-uli-uli*, yr hwn a lywodraetha y môr, ac addolid ef dan y ffurf o fôr-neidr; y mae yr holl bysgod o dan ei lywodraeth ef, ac y mae pysgodwyr yn ymbil âg ef cyn ymosod ar eu gwaith. Y mae gan y trigolion ddrychfeddwl cymysglyd am fodolaeth eneidiau wedi gadael y fuchedd hon. Galwant drigfod y cyfryw eneidiau *Butolus;* ac y mae amryw fanau o'r fath. Crêd y preswylwyr fod pob drwg yn cael ei anfon ar ddynion gan dduwiau penodol a elwir *Otua Bauu*, neu y duwiau drygionus. Credai y Tongäiaid mai eneidiau y penaethiaid yn unig ydynt anfarwol. Ni chredant mewn sefyllfa ddyfodol o gosb; tybiant fod cosb a gwobr am ddrygioni a rhinwedd yn cael eu cyfyngu i'r byd hwn. Enwaedir arnynt yn bedair blwydd ar ddeg oed. Ni bu dim rhyfel yn yr ynysoedd hyn oddiar y fl. 1840. Fel paganiaid, yr oeddynt yn drachwantus, segur, a dïalgar. Ar y cyntaf gwrthwynebwyd y cenadon, ac ni welsant fawr o lwyddiant. Ond wedi hâu am gryn amser mewn dagrau, medwyd a chasglwyd ysgubau lawer mewn gorfoledd. Y mae gair Duw er ys blynyddoedd bellach wedi ei gyfieithu gan un o'r cenadon i'r Tongäaeg, ac erbyn hyn y mae amryw lyfrau eraill yn iaith y bobl, megys llyfrau ysgol, hanesiaeth eglwysig, hymnau, &c., a'r holl drigolion yn meddu cryn wybodaeth am bethau

Biblaidd. Y mae y brenin George, sydd eto yn fyw, yn sefyll yn amlwg iawn fel prawf gogoneddus o allu yr efengyl i droi pagan at Duw, ac i ffurfio cymeriad newydd y neb a gredo. Cofleidiodd y brenin George Gristionogaeth pan tua 18 mlwydd oed, pan yn byw yn Lifuka. Tra eto yn bagan, dangosodd gryn wroldeb trwy ystranciau o'i eiddo tuag at un o'r menywod "ysbrydoledig." Aeth yn nghyfeillach amryw o wŷr ieuainc o'r un feddwl âg yntau, gwisgodd sachlïan, ac aeth i'r ysbryd-dŷ, gan gyflwyno *Cava* i'r ddynes Atua. Daeth y wraig yn ysbrydoledig yn fuan, a rhoddodd ar ddeall iddo fod ganddi "ffon yn yr heli" ar ei gyfer ef a'i gymdeithion. Dysgwylid pethau felly gan y dynion ieuainc, y rhai a gyfodasant yn ddioed, a George, gan gymeryd deilen *Cocoa-nut*, yr hon a guddiasai, a roddodd fonclust trwm i'r wraig â hi. Wedi i'r mater fyned ar lêd, dywedodd un o'r archoffeiriaid wrth George fod y duwiau wedi ei adael, a'i fod yn awr yn ddiymgeledd, ac os meiddiai i'r môr, y dyfethid ef gan y *sharks*. Yr oedd George yn hoff iawn o nofio. Darfu George hèrio yr offeiriad i nofio am y goreu âg ef i'r môr agored, a derbyniwyd yr hèr. Dechreuodd y ddau nofio yn y môr yn ddioed; a'r canlyniad fu i George ddychwelyd ar ol nofiad hir mewn dïogelwch, ond ymosododd *shark* ar yr offeiriad yn y fath fodd fel y bu farw yn fuan. Bu hyn yn ergyd trwm i dòri i lawr ofergoeledd y bobl, ac i barotôi y ffordd i syniadau gwell. Yn ystod ei baganiaeth, aberthodd George drydydd bŷs ei law chwith i foddloni un o'i dduwiau! a phan yn pregethu, gwna yn fynych gyfodi y llaw hono i ddangos ffolineb a chreulondeb crefydd eu tadau. Y mae y brenin bellach er ys llawer o flynyddoedd yn Gristion croew, ac yn bregethwr ffyddlawn; yn meddu deddfau Cristionogol, ac yn llywodraethu mewn cyfiawnder a thangnefedd. Y mae yn esiampl i benau coronog yr holl fyd. Y mae ei barch i'r Sabbath yn ddwfn a thrwyadl, ac y mae ei gymeriad yn ddysglaer fel codiad haul yn mis Mai.

Gellir dywedyd mewn gwirionedd fod crefydd wedi treiddio trwy yr holl ynysoedd hyn, ac wedi trwytho y trigolion â'i naws nefol, fel y dengys yr ystadegau canlynol:—

| | |
|---|---|
| Cenadon | 21 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol | 846 |
| Aelodau | 8645 |
| Ysgolfeistriaid | 196 |

2. *Ynysoedd y Fiji* a ddaw nesaf dan ein sylw. Y mae yr ynysoedd hyn tua thri chant a thriugain milldir i'r gogledd-orllewin o'r Ynysoedd Cyfeillgar. Y maent yn 152 mewn nifer, ond tua chant o honynt a gyfanneddir. Ymwelir â'r rhai anghyfannedd weithiau i bysgota, ac i ddybenion eraill. Y mae dwy o'r ynysoedd yn fawr, ac yn ymestyn càn belled â'r holl rai eraill. Tybir fod y ddwy fwyaf bob un tua thri chant o filldiroedd o gwmpas. Y mae yr olygfa yn ardderchog wrth ddynesu atynt, ac y mae yn anhawdd credu fod paganiaid canibalaidd yn preswylio parthau mor odidog. Lle y mae natur oreu, y mae dynion waethaf yn fynych. Y mae gan bob ynys ei phrydferthwch penodol ei hun. Ceir eu bod yn hynod o ffrwythlawn ymhob peth bwytadwy; y mae rhywbeth at gynnaliaeth dyn yn tyfu ar bob pren yno. Y mae yr ynys-

oedd yn enwog am eu cotwm, eu da pluog, eu moch, eu ffrwythau gerddi, a phob cynnyrch dymunol perthynol i wledydd trofanol. Ymddengys fod y trigolion wedi ymfudo o rai o wledydd deheuol Asia, megys Malaya, Cochin-China, &c., tua dau gant a hanner o flynyddoedd yn ol, fel y barna naturiaethwyr. Y mae eu hwynebau, eu dull o gyfarch, a rhai o'u harferion, yn cyfeirio at eu tarddiad Malayaidd. Eu dull o gyfarch eu gilydd, a dyn dyeithr hefyd, sydd trwy arogli, ymrwbio drwyn-nhrwyn, ac arferyd geiriau tebyg mewn dull i drigolion Asia. Ceir eu bod yn hynod o roesawgar, os cymerant arnynt unwaith i ddangos llettygarwch. Y ddysglaid fwyaf ddewisol a ddygir o flaen dyn dyeithr a fwriedir ei barchu i'r eithaf ydyw, *mochyn cyfan wedi ei rostio*, a digon o *yams*, a ffrwythau eraill; ond yn ffodus, ni ddysgwylir i'r ymwelydd fwyta y cyfan a osodir o'i flaen. Cafodd y Parch. Robert Young, fel ymwelydd dros y Fam-Gymdeithas, amryw flynyddoedd yn ol, fwrdd wedi ei hulio felly o'i flaen pan yno; ond ni orfodwyd ef i fwyta y cyfan. Oddiwrth yr hyn a allodd y Parch. Walter Lawry ei gasglu o enau y brodorion henaf a ddychwelwyd at Gristionogaeth yno, barnai efe mai agwedd go ddiweddar ar eu paganiaeth oedd eu canibaliaeth. Pe ffynasai yr arferiad o ladd a bwyta eu gilydd o'r oesoedd cyntaf yr ymsefydlasant yno, tebygol y buasent wedi eu llwyr ddyfetha fel pobl. Ymddengys mai ymdrech olaf Satan oedd eu gosod i ymborthi ar eu gilydd, i gael eu dyfetha gan eu gilydd. Ond daeth yr efengyl i'w plith mewn pryd i rwystro i'r "lleiddiad dyn" gael ei ddymuniad. Y mae y Fijïaid yn bobl gryfion, brydferth, lygadgraff, deallus, a gwrol. Y mae dealltwriaeth yn gwreichioni yn eu hwynebau. Ond mewn moesau ac arferion, ni chafwyd neb mwy diraddiol erioed ar wyneb y ddaear. Y mae yn anmhosibl traethu am eu holl greulonderau. Er fod yr efengyl wedi gwneyd llawer drostynt fel pobl, y mae miloedd eto yn aros dan lywodraeth duw y byd hwn, a llawer o honynt yn ganibaliaid fel eu teidiau. Y mae llawer o'r ynysoedd o wreiddyn tanllyd; ac y mae yno ffynnonau poethion, yn rhai o honynt y gwna y brodorion drîn eu bwyd, yn enwedig berwi eu *yams*. Y mae daeargrynfäau yn blino y parthau hyn; pan gynhyrfir tir a môr ar y fath amserau, tybia y paganiaid mai rhai o'u duwiau sydd yn ymddeffroi ac yn ymdroi yn eu trigfod tanddaearol. Rhenir cymdeithas yno i frenhinoedd, penaethiaid, rhyfelwyr, negeswyr y brenin, a chaethion. Y prif ynysoedd Fijïaidd ydynt, Mhau, Rewa, Verata, Muthuata, Somosomo, Natasiri, a Mbua; ac y maent dan wahanol benaethiaid; ond y mae brenin ar yr oll, er fod rhai penaethiaid agos yn annibynol. Y mae gan y bobl hyn "dduwiau lawer." Digon tebyg fod tua 200,000 o'r Fijïaid eto yn eu paganiaeth, er cymaint a wnaeth yr efengyl iddynt. Y mae parthau tufewnol rhai o'r ynysoedd mwyaf yn ganibalaidd, ac heb weled nemawr o ddynion gwynion erioed. Y mae yn alaethus meddwl i ddifrod mawr gael ei gyflawni gan rai o lwythau mewnol ynys *Vitilewa*, ar ddydd Sul mor ddiweddar a Gorphenaf 21ain, 1867. Tra yr oedd y Parch. Thomas Baker, un gweinidog brodorol, ac wyth o wŷr ieuainc perthynol i ysgol dduwinyddol ar un o'r ynysoedd, yn gwneyd taith o ymchwiliad, gyda bwriad i blànu cenadaeth yno, llofruddiwyd y ddau genadwr a chwech o'r gwŷr ieuainc; ond llwyddodd dau o honynt i ddïanc am eu heinioes. Pastyn-

wyd, trywanwyd, a saethwyd hwy yn y modd mwyaf bradwrus, diarbed, ac ofnadwy. Llusgwyd hwy i'r dref nesaf, a gosodwyd hwy yn bentwr, a'r dyn gwŷn yn uchaf. Bernir iddynt gael eu bwyta! Enw y dref i ba un y perthynai y gwŷr llofruddiog yw Ngangadetavatu, yn nhalaeth Navosa. Enw y cenadwr brodorol oedd Shadrach Seileka.

Yn y fl. 1835 y dechreuwyd y genadaeth Wesleyaidd yn Fiji, gan y Parch. William Cross, yr hwn a symudwyd yno o'r Ynysoedd Cyfeillgar. Aeth trwy lïaws mawr o beryglon yno ar dir a môr; boddodd ei brïod gerllaw iddo mewn llongddrylliad; a thrwy gymhorth y brodorion, a'r coed a dyfent ar y graig, yr achubwyd ef a'r morwyr. Y mae hanes y llongddrylliad hwn yn ofnadwy. Ar draul llawer o arian, peryglon, a bywydau, cychwynwyd y gwaith da yn Fiji. Wedi dechreu unwaith ar droi y trigolion o feddiant Satan at Dduw, gwelwyd peth llwyddiant; ond yn araf y derbyniwyd y gwirionedd; eto rhedeg yr oedd a chael gogonedd. Gelwir John Hunt, er ieuenged y bu farw, yn "Apostol y Fiji." Bachgen anwybodus, yn gweithio gyda ffarmwr yn Lloegr ydoedd, a'i dad mor dlawd fel y tòrai gèryg ar y ffordd fawr i ennill tamaid o fara; ond cododd y mab, trwy ras ac addysg, i fod yn un o brif oleuadau y byd paganaidd. Er mai deng mlynedd y llafuriodd fel cenadwr, dysgodd yr iaith frodorol, ysgrifenodd amryw lyfrau yn Saesoneg, cyfieithodd y Testament Newydd i'r Fijiäeg, gwelodd lwyddiant dirfawr ar grefydd ymysg y paganiaid, a bu farw yn dra gorfoleddus, gan weddïo dros Fiji. Y mae enwau David Cargill, M.A., James Calvert, sydd eto yn fyw; Richard B. Lyth, David Hazlewood, &c., yn sefyll yn uchel yn eu cysylltiad â'r genadaeth hon yn Fiji. Oddieithr rhai ymosodiadau cyfrwys gan offeiriaid Pabaidd dan nawdd llongau rhyfel o Ffrainc, y mae y cenadon Wesleyaidd wedi cael y maes hwn iddynt eu hunain. Y mae manylu ar gychwyniad, cynnydd, a llwyddiant mawr gwir grefydd yn Fiji yn beth annichonadwy o fewn cwmpas un erthygl; rhoi cipolwg yn unig sydd genym mewn golwg. Y mae y gyfrifaeth a ganlyn yn dangos nad am ddim y llafuriodd gweision Duw yn yr ynysoedd pell hyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 55 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 474 |
| Aelodau ... ... ... | 17,829 |
| Ysgolfeistriaid ... ... | 1,351 |

Yn *Germany*, dechreuwyd y genadaeth yn y fl. 1832, yn Wirtemberg, ac y mae wedi ymledu o'r canolbwynt hwnw i amryw fanau gyda chryn lwyddiant. Er mai un cenadwr o Loegr sydd yno, y mae wyth o Germaniaid yn y gwaith; a derbyniwyd yn y fl. 1866, 769 i'r gwahanol gymdeithasau mewn tref a gwlad.

Rhaid yw dywedyd gair am *Italy*, pa wlad sydd wedi tŷnu cymaint o sylw y byd Cristionogol a gwladyddol yn y blynyddoedd diweddaf. Yn y fl. 1859 y sefydlwyd y genadaeth; ac y mae cenadwr yn awr yn Padua, Spezia, a Naples. Y mae un o'r cenadon yn frodor. Pe caniatâi cyllid y gymdeithas, gellid ar unwaith lïosogi y gwaith yn ddirfawr. Y mae yno ryddid cyffredinol i bregethu Crist, ac i gario ymlaen bob cangen o lafur cenadol. Os gwna y bobl, dan ddylanwad Pabaidd ac ofergoelus, neu ynte trwy elyniaeth naturiol, aflonyddu ar y cenadon

mewn unrhyw ffordd, cânt amddiffyniad y llywodraeth ar unwaith, dim ond gofyn am dano. Y mae y pulpud, yr Ysgol Sabbothol a dyddiol, lledanu gair Duw, a llyfrau da eraill, ar waith yno. Y mae lliaws o "bobl barod" yn y wlad; ac er gwaethaf gelyniaeth ac ystrywiau Pabaidd, gair Duw nis rhwymir yno bellach. Cawn fod llawer o gyfeillion goreu yr achos yn ein teyrnas yn cyfranu yn helaeth at y gwaith yn *Italy* yn arbenig. Deallwn fod llawer wedi marw yn yr Arglwydd fel ffrwythau y genadaeth. Efengyl bur yn unig a rydd sefydlogrwydd, gwir fawredd, a phob bendith, i'r wlad dywell hon.

Y mae y genadaeth, bellach, yn hen yn *Hispaen*. Dechreuwyd hi yn y fl. 1808, ond y mae wedi ei chyfyngu yn benaf i *Graig Gibraltar*. Y mae pregethu yn yr Hisbanäeg a'r Saesoneg. Ymdrechir llesâu y brodor a'r milwr, ac y mae dwy ysgol yn ffurfio cangenau o'r gwaith. Bu y Parch. Owen Rees, o Lanymddyfri, yn llafurio yma am dair blynedd, sef o'r fl. 1822 hyd 1825. Y mae effeithiau da y llafur yma yn hynod o wasgaredig, gan fod y milwyr mor symudol; byddant hanner blwyddyn yn Gibraltar, ac yna änt i India, China, &c.

Dechreuwyd y gwaith yn *British Guiana*, Deheubarth America, yn y fl. 1814; ac y mae y llafur yn myned rhagddo mewn cysylltiad â'r prif drefi yn y drefedigaeth, megys Demerara, Essequibo, a Berbice. Y mae cenadaeth ymysg y *Coolies* yn George-town. Ceir fod llawer o'r ymfudwyr rhydd o India i'r wlad hon yn cario eu holl baganiaeth gyda hwynt; cadwant eu gŵyliau Hindŵaidd, a chariant allan eu defodau ynfyd yn ddiattalfa. Nid gwiw edrych at y llywodraeth i rwystro pethau mor warthruddol i ddynoliaeth, ac i grefydd y Testament Newydd. Y ffordd fèr i wella y trueiniaid hyn ydyw eu dwyn dan addysg grefyddol, trwy gael digon o genadon i gyfarfod â'u heisieu. Y cyfrif a saif fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 10 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 40 |
| Aelodau ... ... ... | 3166 |
| Ysgolfeistriaid ... ... | 28 |

Ar wahân i'r gwaith rheolaidd yn yr *Iwerddon*, y mae yno genadaeth wedi ei dechre er y fl. 1799. Amcan y gangen *genadol* o'r gwaith yn y Chwaer Ynys yw gwneyd ymosodiadau pellach ar dywyllwch a Phabyddiaeth y parthau mwyaf dirywiol a thruenus o'r wlad. Y mae iddi bedair a deugain o orsafoedd cenadol yn y wlad hon, heb gyfrif y *Curragh*, neu y gwersyll mawr sydd yno. Ymysg y milwyr yn y fan yma y mae cenadwr yn gwneyd gwaith da, ac y mae yn fynych "yn cael ffafr gyda Duw a dynion." A y cenadon i ffeiriau, marchnadoedd, y prif-ffyrdd, y caeau, a phob man y gallant gael pobl i wrandaw arnynt, i gyhoeddi efengyl y tangnefedd. Weithiau cyfyd llû ffyrnig yn eu herbyn dan nawdd offeiriaid Pabaidd y lle; teflir cèryg at y pregethwr, crëir terfysg, a baeddir cenadon hêdd mewn gwahanol ffyrdd. Ond nid yw y gweision yn digaloni; yn llawn cariad at Dduw a'u gwladwyr tywyll, wedi eu gwisgo â gwroldeb dros Grist, ni pheidiant â phregethu yr Arglwydd Iesu. Yn fynych y mae y troseddwyr yn cael eu dwyn o flaen eu gwell am aflonyddu ar y pregethwyr, ac y mae y cenadon bron bob amser yn cael y goreu arnynt, er nad yw y gosb ddim llawer ar y dynion

drwg. Pregethir yn gyson yn y Wyddeläeg, yn gystal â'r Saesoneg, i filoedd. Y mae tua 2,000,000 eto o'r bobl heb wybod dim ond yr iaith Wyddelig, ac y maent yn gyffredin mewn cyflwr gresynol iawn. Y mae gan bob un o'r llafurwyr hyn ei waith, ei gylch, a'i hanes penodol ei hun; ac y mae eu bywyd a'u llafur teithiol yn drylawn o ludded ac amrywiaeth helyntion. Prif fanau y llafur cenadol ydynt, Lucan, Trim, Kilkenny, Tralee, Rathmelton, Donegal, Ballymena, Ballymacarrat, &c. Y mae ystâd y genadaeth fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Cenadon ... ... ... ... | 30 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... | 29 |
| Aelodau ... ... ... | 2,070 |
| Ysgolfeistriaid ... ... | 18 |

Nid anfuddiol nac anmherthynasol fyddai crybwyll am *longau* cenadol yr achos. Yn gyntaf cawn y "Triton;" yn lle hono daeth llong oedd fwy, dan yr enw "John Wesley;" aeth hon yn ddrylliau o herwydd daeargryn ar draeth Tan, Haabai, Ynysoedd Môr y Dê, Tachwedd 18fed, 1865; ond achubwyd pob bywyd a llawer o'r llwyth. Yn ystod y chwyddiadau, a chynhyrfiadau arswydlawn y môr, yn cael eu hachosi yn benaf trwy ddaeargryn, taflwyd y llong yn llwyr rhwng dwy graig, a daeth dinystr arni. Yn mis Mai, 1867, hwyliodd yr *ail* long "*John Wesley*" o'r Tafwys i Australia; ac y mae wedi cyraedd yr ochr arall i'r byd yn hwylus a diogel. Y mae yn anmhosibl traethu hanner gwasanaeth y llongau hyn i'r genadaeth rhwng Ynysoedd Môr y Dê, Australia, New Zealand, Tasmania, &c. Heblaw talu ei ffordd, y mae y llong genadol yn anhebgorol angenrheidiol i fyned â chenadon o wlad i wlad, i gyfnewid nwyddau am arian, i gludo ymborth i'r teuluoedd cenadol, &c.

Yn y fl. 1863—64 y dathlwyd *Jubili* y gymdeithas genadol, gan gyfrif, nid o sefydliad y genadaeth, ond o'i chychwyniad ymysg paganiaid pur yn Ceylon. Cynnaliwyd miloedd o gyfarfodydd ar yr achlysur llawen, cyfranwyd ac addäwyd symiau dirfawr at Drysorfa y Jubili, a rhoddwyd tair blynedd i ddyfod â'r addewidion i mewn. Daeth yr eglwysi cartrefol a thramor yn frwdfrydig ymlaen i wneuthur eu rhan. Bu y dathliad o'r Jubili yn achos o orfoledd trwy yr holl gyfundeb, a daeth miloedd â'u hoffrymau i'w rhoddi ar allor y genadaeth. A ganlyn sydd olwg ar ystâd Trysorfa y Jubili:—

ADDEWIDION.

| | P. | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Brydain Fawr ... ... | 172,378 | 17 | 11 |
| Gwledydd Tramor ... | 8,237 | 2 | 3 |
| | P180,616 | 0 | 2 |

DERBYNION.

| | P. | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Brydain .. .. ... | 146,584 | 1 | 7 |
| Tramor .. .. .. | 7,112 | 4 | 7 |

DYLEDUS.

| | P. | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Brydain ... | 25,794 | 16 | 4 |
| Tramor ... | 1,124 | 17 | 8 |
| | 26,919 | 14 | 0 |
| | P180,616 | 0 | 2 |

Y mae rhai miloedd o bunnau wedi dyfod i law y Trysorwyr er pan wnaethpwyd y cyfrif uchod; ond diammheu y bydd £10,000 o golledion

trwy farwolaethau, symudiadau, &c. Mewn rhyw ystyr, yr oedd yn anfantais i'r Drysorfa fod cymaint o amser wedi ei roddi i ddyfod â'r addewidion i mewn, er fod adeg felly yn gyfleusdra i lawer un. Saif y dosbarthiad o Drysorfa y Jubili fel y canlyn:—

| | P. | S. | C. |
|---|---|---|---|
| Ysgol Dduwinyddol Richmond ... ... | 37,500 | 0 | 0 |
| Deheubarth a Gorllewin Affrica ... | 5,000 | 0 | 0 |
| Ffrainc a Switzerland ... ... ... | 7,000 | 0 | 0 |
| Yr India Orllewinol ... ... ... | 50,000 | 0 | 0 |
| Italy ... ... ... ... ... | 5,000 | 0 | 0 |
| India ... ... ... ... ... | 10,000 | 0 | 0 |
| China ... ... ... ... ... | 5,000 | 0 | 0 |
| Gweinidogion Methedig, Gweddwon, a'u Plant ... ... | 30,000 | 0 | 0 |
| At y ddyled genadol yn y fl. 1862 ... | 6,300 | 0 | 0 |
| Arian gweithio ... .. ... ... | 24,000 | 0 | 0 |
| Arian gweithio y Coleg ... ... | 20,000 | 0 | 0 |
| | P180,000 | 0 | 0 |

Y mae y coleg yn Richmond, gerllaw Llundain, i fod yn gwbl *genadol*, a bydd y dynion ieuainc yno dan addysg bendant ar gyfer y maes y bwriadant lafurio ynddo. Cânt fantais i feistroli o leiaf elfenau yr iaith dramor a fydd yn gyfrwng pregethu i frodorion, a thrwy hyny arbedir llawer o amser. Mor belled ag yr ydym wedi darllen, clywed, a chofio, aeth y gwŷr canlynol o Gymru* yn genadon Wesleyaidd:— William Davies, Sir Ddinbych; Edward Jones, a David Jehu, Sir Drefaldwyn; John Lewis, a John Jenkins, Sir Aberteifi; Richard D. Griffiths, a John Price, Sir Forganwg; ac Owen Rees, Sir Gaerfyrddin. Y mae dyfodiant mawr a goleu yn ymagor i'r gymdeithas, os bydd yr eglwysi yn ffyddlawn. Y mae y genadaeth Dramor yn rhan arbenig o'r cyfansoddiad Wesleyaidd; y mae yr holl gyfundeb yn fyw yn y gwaith hwn; casglodd y plant dros 9,000p. yn y flwyddyn 1866. Llwyddodd un ddynes ymroddgar yn Ngogledd Lloegr y llynedd i gasglu y swm mawr o 160p.

O orfod, ac yn anewyllysgar, terfynwn ein herthygl gydag ystadegau byrion cyffredinol, yn y rhai y dangosir, mewn cylch bychan, fawredd y maes, a lliaws y goruchwylwyr, ynghyda'r prif lyfrau cenadol.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Cyllid y Gymdeithas am y flwyddyn 1866 | P148,140 | 14 | 9 |
| Dyled eto - - - - - - - | 24,632 | 19 | 2 |

| | |
|---|---|
| Cylchdeithiau ar y maes cenadol ... ... ... | 688 |
| Capelau, a lleoedd eraill i bregethu ... ... | 5,227 |
| Cenadon ... ... ... ... ... | 1,011 |
| Goruchwylwyr cyflogedig, megys Ysgolfeistriaid, &c. ... | 1,630 |

* Ychydig flwyddau yn ol, aeth Clark a Williams fel cenadon i Australia, ac y maent fyth yn llafurio yno.

| | |
|---|---|
| Goruchwylwyr di-dâl, megys Athrawon Ysgolion Sul, &c. ... | 20,340 |
| Pregethwyr Cynnorthwyol ... ... ... | 3,990 |
| Aelodau Eglwysig Llawn ... ... ... | 148,909 |
| Ar Brawf am Aelodaeth ... ... ... | 17,029 |
| Ysgolorion ... ..., ... ... | 161,402 |
| Swyddfäau Argraffu ... ... ... ... | 8 |

"Y cynauaf yn ddïau sydd fawr, ond y gweithwyr yn anaml. Am hyny attolygwch i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf," Mat. ix. 37, 38.

Ychwanegwn restr o'r prif Weithoedd sydd yn rhoddi hanes gweithrediadau cenadol y Wesleyaid:—

*The Year Book of Missions*, gan y Parch. Dr. Hoole. 1847.
*American Methodist Episcopal Church Missions*, gan Barge a Strickland.
*Wesleyan Missions*, gan y Parch. Dr. Alder.
*Wesleyan Methodism*, gan y Parch. T. Jackson. 1840.
*Scenes in the Carribean Seas*, gan y Parch. H. Bleby.
*History of the West Indies*, gan y Parch. Dr. Coke.
*Narrative of Wesleyan Missions in Jamaica*, gan Duncan. 1849.
*A Voice from the West Indies*, gan y Parch. John Horsford.
*Memorials of Missionary Labour in the West Indies and Western Africa*, gan y Parch. W. Moister.
*Wesleyan Missions in Jamaica and Honduras*, gan y Parch. P. Samuel. 1850.
*Notes on South Africa*, gan y Parch. W. Boyce.
*Memoirs* y Parch. S. Broadbent, gan Threlfall.
*Memorials of South Africa*, gan y Parch. B. Shaw.
*Narrative of Missionary Labours in South Africa*, gan y Parch. W. Shaw.
*South Africa delineated*, gan y Parch. Thornley Smith.
*Ashantee and the Gold-Coast*, gan y Parch. Dr. Beecham. 1841.
*Two Visits to Ashantee*, gan y Parch. T. B. Freeman. 1843.
*Wesleyan Missions in Western Africa*, gan y Parch. W. Fox. 1851.
*Memoirs of Rev. Daniel West*, gan y Parch. T. West.
*Memoirs of Rev. J. Bumby*, gan y Parch. A. Barrett.
*Memoirs of Rev. J. Cross*, gan y Parch. J. Hunt.
*Tonga and the Friendly Isles*, gan Sarah S. Farmer. 1855.
*Fiji and Fijians*, gan y Parchn. Williams a Calvert. 2 *vols*. 1859.
*Memoir of Rev. John Hunt, of Fiji*, gan y Parch. G. S. Rowe. 1859.
*Missions in Tonga and Fiji*, gan y Parch. W. Lawry. 2 *vols*. 1852.
*Memoir of S. Leigh, Missionarg to New Zealand and Australia*, gan Strachan. 1855.
*Va-ta-ha: the Fijian Princess*, gan y Parch. J. Waterhouse.
*Missions in the Mysore*, gan y Parch. W. Arthur. 1849.
*Madras, Mysore, and South India*, gan y Parch. Dr. Hoole. 1844.
*Buddhism in Ceylon*, gan y Parch. R. Spence Hardy.
*Eastern Moniachsm*, gan y Parch. R. Spence Hardy.
*The Wesleyan Misssion in Ceylon*, gan y Parch. W. M. Harvard.
*Memoirs of Dr. Coke*, gan y Parch. Dr. Etheridge. 1860.
*Memoirs of Rev. T. L. Hodgson*, gan y Parch. Thornley Smith.
*Introduction of the Gospel among the Baralongs, South Africa*, gan y Parch. S. Broadbent.
*Missions to the Gambia, Western Africa*, gan y Parch. John Morgan.
*Canmlwyddiant Wesleyaeth*, gan y Parch. Thomas Jones.
*Natal, South Africa*, gan Holden.
*The King and People of Fiji*, gan y Parch. Joseph Waterhouse.
*Newfoundland and its Missionaries*, gan y Parch. William Wilson.
*Hudson's Bay Missions*, gan y Parch. John Ryerson.
*Southern World*, gan y Parch. Robert Young.

*Australia: with Notes on the Way*, gan Dr. Jobson.
*The Objerway Indians*, gan y Parch. Peter Jones.
*History of Missions of the Methodist Episcopal Church in America*, gan y Parch. Dr. Bangs.
*Missionary Travels in Western Africa*, gan y Parch. R. M. Macbrair, M.A.
*The African at Home*, gan yr un.
*Travels and Researches in Kaffraria*, gan y Parch. S. Hay.
*Methodism in America*, gan y Parch. Dr. Dixon.
*Memorial Tribute to the Rev. Daniel James Draper*, gan y Parch. Dr. Jobson.
*The Legends and Theories of the Buddhists, Compared with History and Science*, gan y Parch. R. Spence Hardy, Hon. M.R.A.S.

CYHOEDDIADAU MISOL CENADOL:
*The Monthly Missionary Notices*, pris ceiniog.
*The Juvenile Offering*, pris dimai.

---

# CWM TAWY.

### IV.—PRYDYDDION A RHIGYMWYR.

ARWEINIWN y darllenydd unwaith eto i Gwm Tawy. Fe allai nad annifyr fyddai ganddo wanu ei ben am awr neu ddwy i ganol tŵr o hen brydyddion a rhigymwyr yr ardal, y rhai oeddent agos oll yn cydoesi, gan mwyaf yn gyfeillgar â'u gilydd, a'r rhai ydynt oll er ys blynyddoedd bellach wedi myned i ffordd yr holl ddaear. Nid ydym yn addaw dim tebyg i wledd feddyliol i'r darllenydd, na nemawr ddim addysg nac hyfforddiant, ond yn unig rhoddi mantais iddo weled beth oedd yn myned ymlaen yn y cwm yma cyn geni rheilffordd na thelegraph, a chyn fod mŵg a thân y gweithiau mawrion yn anmhuro ei awyrgylch; pan oedd helyntion ysbrydion, drychiolaethau, a chanwyllau cyrff, yn cael mwy o sylw y trigolion na helyntion y Senedd; a phan oedd rhigwm i "Weithwyr y Drum," neu "Gân i'r Cwrcath" yn gwneyd mwy o gyffro ymysg y trigolion nag y mae yr ysgrif fwyaf dalentog yn y TRAETHODYDD yn abl ei wneyd heddyw. Dynion anllythyrenog oedd y rhan fwyaf o'r prydyddion hyn, heb fod yn ddigon o ysgolheigion i roddi eu cyfansoddiadau i lawr ar ddu a gwŷn, y rhai a gedwid yn unig mewn côf, ac a dderbyniai y naill oddiar wefus y llall. Eto, dealler fod amryw o honynt yn fodau pwysig a phoblogaidd yn y byd bach yr oeddent hwy yn troi ynddo, a phrif foddion eu dylanwad oedd eu doniau prydyddol. Mae yn wir na freuddwydiodd neb o honynt am gael gweled eu henwau mewn print ar dudalenau Cyhoeddiad Chwarterol ymhen rhai oesau wedi iddynt hwy adael y byd. Beth bynag, felly y mae; wele y TRAETHODYDD yn cipio ychydig o enwau hen rigymwyr Cwm Tawy o ebargofiant, ac yn eu hanfarwoli ar ei dudalenau. Yr ydym eisoes wedi rhoddi ein llith ar eu

brenin—Owen Dafydd, y Melinydd. Rhoddwyd ychydig enghreifftiau hefyd o "ddawn" Thomas Powell o'r Ongur, Ymlaen y Cwm (gwêl TRAETHODYDD 1865, tu dal. 244); ond y mae ychydig friwsion yn ngweddill oddiwrth yr hen ffarmwr Cymreig ffraethbert hwnw. Yr oedd Shôn y Tiler wedi galw heibio i'r Ongur un diwrnod ar amser cinio, a mam y bardd yn cynnyg basnaid o gawl iddo, ac yntau yn gwrthod ei gymeryd. Dywedodd Thomas wrth ei fam,—

Mae Shôn y Tiler lloerig,
Yn hanner gŵr boneddig;
Rhaid dweyd yn dêg wrth was y d—
Cyn yfo gawl canolig.

Dro arall, pan oedd Shôn yn myned i groesi y mynydd tuag adref, dywedodd y prydydd wrtho,—

Os wyt yn croesi 'r mynydd,
Gâd ddefaid pawb yn llonydd;
'Rwy 'n clywed fod gŵr main ei bîg
Yn gwerthu cîg mewn trefydd.

Dymunai unwaith gan Shôn ddysgu y grefft iddo ef, a dywedai,—

Fi bryna ffedog gynfas,
A morthwyl mawr, a phicas;
'Da'i ddim i weithio gwaith mewn niwl,
Fi bryna *rule* a chwmpas.

Ei ddymuniad un tro ydoedd,—

Tri pheth wyf yn ddymuno,
Cael tywydd têg i galcho,
A thywydd mwyn i fyn'd i'r ma's,
A'r hen gôb lâs yn gryno.

"Sut mae ar y caeau yna heddyw, Thomas," gofynai ei fam iddo, wrth ddyfod i mewn ar ddiwrnod oer,—

Mae 'r gwynt yn chwythu 'n deneu,
Ar lân ar ben y caeau,
Ac nid oes ganddo fawr o bris
Ar ŵr â *breeches* llaprau.

Bu farw llawer o ddefaid un tymmor i Watkin Morgan, ei gymydog, a dywedodd Thomas Powell wrtho un diwrnod i'w gysuro,—

O Watkin Morgan wirion,
Os cefaist beth colledion,
Cei arian cryno am y crwyn,
Am hyny cwyd dy galon.

Yr oedd un o'r enw William Hopkin unwaith yn gwylio twll cwningen yn ei blŷg, tra yr oedd arall yn ei phrocio allan. Daeth y creadur bychan allan, ac eisteddodd William arni nes ei lladd; a dyma ddaeth dros wefus Thomas Powell,—

Ow! William Hopkin sceler,
Sy'n fawr ei sgil a'i feder;
Mae'n lladd cwningod â'i b— —l,
Wnai hwn ddim ffôl o *fowler*.

Dyna ddigon am Thomas Powell. Yr oedd rhai rhigymwyr eraill yn yr un ardal âg ef y dyddiau hyny, er nad oedd neb mor ffraeth a pharod. Clywsom ein hunain yr hen Llewelyn Morgan, o Nantgwaered, yn adrodd

llawer o'i rigymau ei hun, ac yr oedd yn amlwg fod cyffyrddiad o'r awen ynddo. Bu ganddo was o'r enw William Hopkin, yr hwn yr oedd yntau hefyd yn hóni perthynas â'r frawdoliaeth. Bu y gwas yn y clefyd melyn, a chyn ei fod wedi cwbl wella, aeth un diwrnod i ben y coedcae i gyrchu y gwartheg adref, a phan ddychwelodd, cwynai ei fod yn wan a *stiff*. Dywedodd ei feistr wrtho,—

Mae Wil yn methu bwyta
Ond tamaid bach fynycha,
Mae 'n myn'd yn wan, mor *stiff* a phren,
Cyn cyraedd pen y coedcae.

Atebodd William Hopkin ef yn union,—

Mae 'n anhawdd imi fwyta
Eich bara heiddyn cwta,
Rhowch i mi dê a bara càn,
Fe gryfha 'r gwan mi gwranta.

Wrth alw am ddïod yn "Nhŷ Lewis o'r Tafarn," dywedai William Hopkin unwaith,—

O Mrs. Lewis löew,
Mae arnaf syched garw!
Ewch i'r seler ar eich *start*,
A llenwch gwart o gwrw.

Yr oedd mab gan Llewelyn Morgan, o'r enw William, yn fachgen o dalent neillduol. Treuliodd y rhan fwyaf o'i amser yn Ystradgynlais, a bu farw yn ŵr ieuanc 30ain oed. Cyfansoddodd amryw ddarnau barddonol, ac y maent o nodwedd uwch na nemawr ddim allwn gael yn y parthau hyn. Dyma enghraifft o'i "Adgofion Mebyd,"—

Hoff Lynfell* fach, mae sŵn dy dòn
Yn dwyn adgofion fyrdd i mi,
Am hen amseroedd dedwydd, llòn,
A dreuliais gynt ar làn dy li':
Fy mynwes oedd mor iach pryd hyn
A'r brithyll chwery yn dy lŷn.

Ond erbyn heddyw, llawer siom
A wnaeth i'm mynwes deimlo 'n glâf,
Nes peri im' â chalon drom
Hiraethu am yr amser brâf
'R eisteddwn ar y dorlan werdd,
I wrando Llynfell yn rhoi cerdd.

Yr un o hyd yw 'r creigiau erch
O amgylch trigle 'm mebyd gwan,
Yr un o hyd y pletha 'm serch
Fel eiddew gwyrdd o gylch y fan;
Tra calon geidw 'm chwyth tan glo,
Bydd hen Nantgwaered yn fy ngho'.

Hyfryd yw murmur Tawy fwyn,
I mi mae 'n odlau organ gain;
Yn mlodau 'r glŷn mae mwy o swyn
Na gwrid symudliw sidan main;
A'r oll a'i gwna i mi mor wiw,
Mai yma y dechreuais fyw.

* Ffrŵd yn rhedeg i Dawy.

Er i'r tymhestloedd broch eu hin,
  Am oesau gribo 'r creigiau maith,
'D oes dant ar goll o'u 'sgythrog fin,
  Nac ar eu llwyd benglogau graith;
Yn falch boed meibion llôn y glŷn
O'r talpiog addurniadau hyn.

Yr un o hyd yw 'r llwybr cam
  Arweinia at y ffynnon glir,
Lle rhodiais ganwaith dros fy mam,
  A'm stôn i gyrchu dyfroedd pur;
Yr un yw pobpeth gylch y tŷ,
Ond beth, beth am y teulu cu

Oedd yn preswylio 'r annedd glyd,
  Yn meddu pob tymmorol hêdd?
Tra 'n gwenu arnynt oedd y byd,
  Boddlonrwydd ddawnsiai ar eu gwêdd:
A ydyw rhai 'n yn wych eu hynt,
Fel oeddynt yn y dyddiau gynt?

O, na, daeth cyfnewidiad mawr,
  Dattodwyd rhwymau 'r teulu llôn:
Rhai sydd ar wasgar—pell ŷ'nt 'nawr,
  Hyd wyneb dyrus daear gron;
Ac eraill sydd heb gri na braw,
Is cwrlid gwyrdd y fynwent draw.

Dyn o gymeriad uchel, ac o ddefnyddioldeb mawr, oedd Daniel Jones o'r Henglyn, Palleg, ac wedi hyny o'r Gurnos. Bu yn ddïacon gyda'r Methodistiaid yn Cwmgïedd am hanner can' mlynedd. Yn ei ddydd yr oedd yn un o brif ddïaconiaid Morganwg, yn teithio llawer i'r Cymanfäoedd, ac yn gyfarwydd â'r rhan fwyaf o weinidogion henaf y Methodistiaid. Efe oedd yn arwain y cânu cynnulleidfäol. Yr ydym yn ei gofio yn dda yn sefyll ar risiau y pulpud i gânu. Darn o ddyn praff, cadarn, pendrwm, llais dwfn, a'i droed dehau ar y gris uchaf ond un, a'r aswy ar ris nôs i lawr, yn pwyso yn erbyn braich y grisiau, yn cau ei lygaid, a'i law ar ei glust, a'i wyneb tua'r llawr; byddai y llais dwfn wedi taranu am dipyn cyn y gallai y gynnulleidfa ddeall pa dôn fyddai ganddo; ond yr oeddent yn wastad yn berffaith dawel, oblegid gwyddent ei *bod* ganddo, ac y delai â'r dôn allan i eglurder toc. Yr oedd ganddo ef amcan glew am bennill, a chyfansoddodd lawer o honynt, ond nid ydym ydym yn cofio gweled yr un o'i eiddo wedi ei argraffu erioed. Dyma bennill da o'i eiddo, ag y bu cânu mawr arno yn Nghwm Tawy,—

Mae 'r Baban gaed yn Bethle'm wael,
  Yn Dduw anfeidrol fawr,
Cyfuwch â'r Tad mewn mawredd yw,
  Crëawdwr nef a llawr;
Fe goncrodd uffern, cnawd, a byd,
  Ac angeu er grym ei gledd,
Fe ddaeth i'r lân y trydydd dydd
  Yn fyw o waelod bedd.

Bu cânu mawr ar yr un canlynol hefyd, er nad yw cystal â'r un blaenorol,—

'R efengyl fawr drag'wyddol
A gerdd yn awdurdodol,
A'i chenadwri i bob gwlad,
  A'i hêdd i'r edifeiriol;

Mae 'n gwâ'dd y pelledigion
O wlad y mab afradlon,
A 'u dwyn i'r gwleddoedd llawnion sydd
Ar dawel fynydd Sïon.

Dyn o nodwedd gwahanol iawn oedd Shôn Levi. Treuliodd ef ran fwyaf a goreu ei oes i ddilyn oferedd, ac felly testynau ysgafn a digrifol y cânodd ef arnynt. Yr oedd ganddo dalent arbenig, a chraffder sylw, cof hynod, a ffraethineb digyffelyb. Gŵr anllythyrenog ydoedd. Cyfansoddodd gyfrol fechan, ond ni fu gair o honynt ar bapyr erioed. Yr oedd "*Cân Tafarn y Rhôs*" yn destun y gwyddai efe yn dda am dano,—

Pan oeddwn yn dyfod o Dafarn y Rhôs,
Wedi 'cwmpneïa hyd lawer o'r nos,
Gan fyned tuag adref gogyfer â'm gwraig,
Atebai fi 'n fuan mewn geiriau Cymraeg,

Codwch, Gwen, codwch, agorwch y ddôr,
Mae yna 'n gryn gynhes, mae yma 'n gryn oer,
Mae 'r tô yn dyferu dip dip ar fy mhen,
Mi wn na ddymunech ddim drwg i mi, Gwen.

Na chodaf, na chodaf, O coelia di 'nghair,
Mae llettŷ o'r goreu 'n y daflod a'r gwair,
A phob meddwyn arall sy'n debyg i ti,
Yn gwario pob ceiniog heb *gount* am ei dŷ.

Codwch, Gwen, codwch, agorwch i mi,
Neu gen' i mae gwïal-ffon neu ddwy yn y tŷ;
Os na chaf y rheiny, caf bolyn cae 'r ardd,
Mi pletha yn ddeuplyg oddeutu dy wàr.

Mi goda', 'ngŵr anwyl, mi goda' ar ffrwst,
Breuddwydio o'wn gynau, neu dd'wedyd trwy nghwsg,
A thaflu croeschwedlau'nas gwyddwn i b'le,—
Mae 'r tegell yn berwi, yn wir chwi gewch dê.

Yr oedd ei gân i'r "*Stwmpyn Pengoch*" yn un gywrain a doniol iawn; ond gan fod perthynasau i'r pleidiau hyny yn fyw, gwell ei gadael allan. Cafodd y gŵr hwn dröedigaeth amlwg, ac ni chânodd ond ychydig wedi hyny. Bu farw yn America. Clywsom adrodd pennillion a adroddodd wath adael y llong *Shannon*, yn New York, ond nis gallwn gofio ond dau neu dri o honynt:—

Diolchaf 'n awr i'r *Shannon*,
A'n cariodd ni mor dirion,
Er iddi 'n hysgwyd ddydd a nos,
'Rŷm heddyw oll yn rhyddion.

Wrth ddesgrifio yr ystorm, dywedai,—

Y *Boxes* bwyd yn twmlo,
Y cablwyr yn gweddïo,
A'r rheiny, 'r ol gostegai hi
Yn cânu ac yn dawnsio.

* * * *

*Ten* (10) oedd rhif y gwely,
Bu yno 'n gryn galedi,
'R oedd rhaid myn'd iddo 'ngwysg fy nghefn,
A tharo 'mhen wrth hyny.

Mae enw yr *Hen Domos o'r Gors* yn deilwng o goffâd. Corshelyg oedd ei drigfan, ac yr oedd yn aelod ffyddlawn a gweithgar yn Nghwmllynfell. Bu farw yn 1838, wedi cyraedd 96 mlwydd oed. Cyfansoddodd yntau lawer o brydyddiaeth yn ei oes faith, ond emynau yn benaf, ac y mae rhai o honynt yn o lew. Wedi gwrandaw pregeth am arch Noah, dywedodd,—

Pa beth oedd arch hen Noah,
At arch yr Iesu glân?
Fe geidw hon eneidiau
Rhag myn'd i uffern dân:
Wyth gadwyd yn arch Noah,
Bydd cof am hyny byth;
Ond ceidw 'r Arch ysbrydol
Fyrddiynau rif y gwlith.

Ar y ffordd wrth fyned i gynnal cyfarfod gweddi i dŷ brawd claf, gofynodd ei gyfaill ganddo wneyd pennill cymhwys i'w gânu; ac yn y cyfarfod rhoddwyd hwn allan:—

Mae 'r babell 'r wy 'n trigo mor wan,
Sigledig 'r wy 'n teimlo ei bod;
O Iesu, gâd imi gael rhan
Mewn pabell na siglodd erioed:
Llinynau hon yma a dŷr,
Mae 'r hoelion yn *slaco* bob dydd,
Ac yna fe 'm rhoddir ar fŷr
I orwedd mewn gwely o bridd.

Dyma ddau bennill eto, ag y mae ychydig o'r *tinc* ganddynt,

Dystewch, gwrandewch, mae llef
Yn galw o'r nef o hyd,
Oddiyma 'n fuan dring i'r lân,
Heb *loitran* yn y bŷd;
Mae 'r 'storom fawr gerllaw,
Mae Soar draw o'r blaen;
Llu Sodom, brysiwch, ffowch o hon,
Mae 'r ddinas bron ar dân.

Prophwydwyd yn hynod gan Daniel
Am lwydd yr efengyl trwy 'r byd,
Y gàreg a dòrwyd o'r mynydd
Faluria 'r holl ddelwau i gyd;
Amen, medd fy enaid, boed hyny,
Gwŷn fyd a gaiff weled yr awr
Y byddo gwybodaeth o'r Iesu
Yn llenwi holl wyneb y llawr.

Gwêl y darllenydd fod gwaeth pennillion nag eiddo Thomas o'r Gors yn cael eu cânu bob Sabbath yn lawer o gynnulleidfäoedd Cymru y dydd hwn. Hen gymydog i Thomas oedd *Dafydd William Rees* o'r Llidiart, y naill ochr i Waungurwen, ac aeth i orphwys ychydig flwyddi ar ei ol, wedi cyraedd yr un oed, sef 96 mlynedd. Claddwyd ef yn mynwent Llangiwc yn y flwyddyn 1843. Mae peth o'i gyfansoddiadau ef wedi eu cyhoeddi yn y *Diwygiwr*. Yr oedd teimladau crefyddol, a syniadau ëang a chywir, gan Dafydd, ond yr oedd mwy o'r ysgafn a'r digrifol ynddo na'i gymydog o'r Gors. Bu cydymddyddan maith rhyngddo â'r Parch. T. Edwards, Cwmaman, gynt, ond yn awr o Cincinnati, America. Yr oedd cân Dafydd yn dechreu,—

Mae duwiolion yn myn 'd adrau,—Dedwydd hil,
Er ys miloedd o flynyddau,—Dedwydd hil;
Dirfawr lu a welodd Ioan,
Methai 'r cof a rhifo 'r cyfan,
Er mor anwyl oedd ei anian,—Dedwydd hil, &c.

Wedi i Mr. Edwards ei ateb mewn rhes o bennillion ar yr un mesur, dychwelodd Dafydd y rhai canlynol i Edwards:—

Y prydydd mwyn parodol,
Dwysgadarn a dysgeidiol,
Mewn unol anian;
Rhyfeddol yw dy ddoniau,
Os gweithi dy dalentau,
Mewn goleu gwiwlan,
Cei barch, a myned mewn i'r arch,
Pan ddelo 'stormydd ar rai digrefydd,
Am fyw 'n anufudd, annedwydd fydd eu nôd,
A dyna 'u cân pryd hyny, Gwae 'n geni 'r byd erioed, &c.

Yr oedd yr hen brydydd hwn yn hynod am ei ffraethineb. Tarawodd asgwrn ei ysgwydd o'i le unwaith, ac aeth ar ffrwst at Dr. Price, Glàntwrch, a chyfarchodd ef,—

Oh, please to feel my shoulder,
'R wy 'n dyoddef poen ysgeler!
If you will give me good advice,
Mi waeddaf 'Price for ever!'

Rhaid i ni eto gael lle i'w

GAN I'R GOFID.

Peth rhyfedd fod y gofid
Mor chwannog i fy erlid,
Hen ŵr bron pedwar ugain oed,
A'i droed bron methu symud.

Y mae ef hwyr a borau
Yn rhodio oddeutu 'r drysau,
A phrin câf geiniog at fy *use*,
Gael bwyd i Luce a finnau.

Mi aethum tua 'r Gwter,*
Er mwyn cael peint o'r seler,
Fe dd'wedai 'r gofid, "Och fi, 'r gŵr,
Ti yfi ddŵr yn glyfer."

*Gwter Fawr.

Atebwn innau 'n smala
Fod dŵr yn oeri 'r cylla,
A phan y bawn â'm bol yn wâg
Mai dîod frâg oedd bena'.

Ar hyn atebai yntau
Fod dîod frâg o'r gorau,
Ond 'r elai 'r geiniog lawer llai
Wrth ddilyn tai tafarnau.

Gâd lonydd imi 'r cecryn,
'R wyt ti am starfo pobdyn,
Mi fŷnaf ddîod gyda' mwyd,
'R wy'n ddigon llwyd fy nghudyn.

'R wyt yn fy mhen yn wastod,
I wisgo prin câf wasgod;
Ond mŷnaf gôt o frethyn llwyd,
Ac eithaf bwyd a dïod.

Cei fyn'd i Waun Caegurwen,
I'r làn dros Benlle 'r fedwen,*
Mi wn cyfrifa pawb di 'n ffôl
Os troi di 'n ôl drachefen.

Galw yn Gellilwca,
A gofyn sut mae Lydia;
Ti helaist hono 'r hŷd y byd
Wrth fod yn cydlettŷa.

Ti cedwaist hi yn yr eisin
Nes oedd yn dyoddef newyn,
Heb ganddi ddim i guddio 'i thrwyn,
Ond eithaf llwyn o eithin.

Mae hyn yn ddigon i ddangos y medrai Dafydd William Rees bryd-yddu; gwnaeth amryw gynnygion ar y mesurau caethion, ond nid oedd ganddo fawr amcan ar y rheiny. Dyma enghraifft o beth alwai yn englyn, pan ofynwyd iddo pwy oedd gwraig Cain, —

Ei chwa'r, o ryw *shâr* oedd hi 'n siŵr,—lled fastaidd
Wrth 'chydig o fwstwr;
'D oedd ond oferdden a fatsiai fwrddwr,
Pwy ond ei gâr a gelsai 'r gŵr?

Yr oedd cryn lawer o ddawn rhigymu gan Richard Hywel (neu, fel y gelwid ef yn gyffredin, "Hic Hywel"), Craig-y-fforest, Cilbebyll. Glöwr cyffredin ydoedd, ond byddai ei destunau bob amser yn ddealladwy ac yn deimladwy i'r llïaws, ac am hyny byddai ei gâneuon yn boblogaidd iawn ymysg y gweithwyr. Mae "Cân yr amser drwg i Siop y Cyfyng," yn enghraifft o hyn, ac ynddi ddesgrifiad go fyw o galedi yr amseroedd, a gallai aml un mewn llawer ardal heddyw adrodd eu teimladau yn ngeiriau y gân hono. Dau bennill o eiddo un o gyd-löwyr Richard, o'r enw John Lewis, Llangiwc, fu yn achlysur i'r gân. Fel hyn oedd dau bennill Shôn;—

Holl *Golliers* Pwll-y-cyfyng, mae wedi myn'd yn ddrwg,
'D oes yma ddim canwyllau, na modd i wneuthur mŵg,†
Na chig, na chaws, na siwgwr, na llafur‡ o un rhyw,
Na sebon i ymolchi; pa wedd y byddwn byw?

Pan ddaethum yma gyntaf, 'r oedd pobpeth yn ei le,
'R oedd cig, a chaws, a 'menyn, a siwgwr yn y tê,
A phŷs, a chàn, a llafur, pob peth at gynnal dyn,
A hyny wedi eu rhoddi yn gyflawn gan yr un

A dyma ateb "Hic Hywel,"—

Ni thâl in' ddigaloni wrth bob ryw awel groes,
Mae gobaith am oleuni yn nghanol tywell nos;
Cawn eto fara ac enllyn, a thê a siwgwr gwŷn,
Ac arian i'n pocedi ar ol y prinder hyn.

Canwyllau a thybaco fydd yma ini i'w cael,
A'r siopwr mawr‡pryd hyny,'n cyflawni pawb yn hael;
'N lle gorwedd ar y sachau, a gwatwar hwn a'r llall,
Fe ddichon gael ei ddysgu, ond ini fod yn gall.

* Llechwedd mynydd gerllaw. † Tybaco. ‡ Yd

Mae ganddo ddwy a dimai y *pound* wrth werthu caws,
Pwy weithiwr all eu talu heb iddo altro 'i naws?
Dwy geiniog yn y siwgwr, a dau-swllt yn y tê,
Gwae fi na chaem ein harian i bawb gael myn'd i'r dre'.

Tai pawb trwy 'r gymydogaeth yn cael cynnaliaeth lew,
A pheidio d'od mor fynych i flino 'r siopwr tew;
Cael "*sistance*" pob pythefnos, a "chyfri" glân bob mis,
Mi wranta' deuai Morgan i werthu beth yn îs.

Mae Ifan Griffith, neu "Ifan yr Hwper," o Bontardawy, yn deilwng o le ymysg ei hen gymydogion prydyddol. Llifo oedd ei brif alwedigaeth, a bu yn cadw tafarn—"*Y Cooper's Arms*"—am flynyddoedd. O ran hyny medrai Ifan droi ei law at unrhyw orchwyl. Pan oedd gwaith llifo yn brin unwaith, trôdd ei law i dòri glô. A phan ddywedai cymydog ei fod yn sŷnu iddo adael gwaith mor lân â llifo am waith brwnt y glöwr, gwnaeth Ifan gân o atebiad iddo, daclus iawn. Fel hyn y mae yn dechreu,—

Mae 'r glöwr mor glaiar, ŵr dewr yn mol daiar,
Nid wyf yn edifar, er trydar, o'r tro,
Gwych dònog iach dalcen, rwy 'n garu 'n go gywrain,
Bod rhwng y ddwy lechwen yn lachio.

Diosgais fy ngwasgod am ddarn o ddiwrnod,
A'm bwriad oedd barod, yn hynod rym hon,* *Ei fraich.
Trwy ddyrnu oddiarno, a'i dŷnu o dano,
Ni gawson wrth guro werth coron, &c.

Yr oedd Ifan yn aelod eglwysig yn nghapel Alltwen. Mae ganddo fab a rhai ŵyrion â'r awen yn eu dilyn yn bur amlwg. Bu farw yn 80 ml. oed, Hyd. 26ain, 1843, ac y mae yr englyn hwn o'i waith ei hun ar ei gareg fedd yn mynwent Alltwen, yr hwn sydd yn profi ei fod yn deall cynghaneddion y mesur caeth:—

Edrych, ddyn dewrwych, cyn d' orwedd—am fodd
I faddeu d' anwiredd;
Tro i guro am drugaredd
Yn dy fyw cyn cau dy fedd.

Y gân gyntaf o'i waith ag y mae hanes am dani ydoedd pan yn 18 ml. oed, ar yr achlysur o gladdedigaeth ei dad, yr hon sydd ar ddull o gydymddyddan rhwng y byw a'r marw. Y mae llawer o gywreinwaith ynddi, a gormod o ymgais i gynghaneddu geiriau. Rhoddwn ychydig bennillion fel esiampl o honi:—

*Y byw.* Trwm ini yw tramwy, trom galon rhaid celu,
Trwm achwyn, troi 'nychu, trwy 'ch rhoddi chwi, 'nhad;
Rhyfeddol mor fuddiol, pe cwnech i 'n canol,
Fai gen 'i 'ch gwêdd siriol a 'ch siarad.

*Y marw.* Dwys genad, 'd oes gen 'i, nawr gynnyg ar gwni,
O'r llwch lle 'r wy 'n llechu, tro 'i dani dan dir;
Lle 'm rhoisoch, fi arosa', wrth deml, waith dyma
Orweddfa, cysgodfa cysgadur.

*Y byw.* Och brudded! Och briddo! Och alar! Och! wylo
Maith gâf fi wrth gofio, a chwyno i chwi,
Mewn hiraeth o 'ch herwydd wrth golli 'ch llawenydd,
Oedd gynau ar gynnydd gwiw gen 'i.

*Y marw.* Rho ystyr yn wastod, ac ystyr heb ystod,
Gwaith diwêdd sy 'n dyfod, 'nol defod i'r dyn;
Gŵr hyddysg, pe rhoddai dda 'r byd, nid arbedai
Yr angeu, fain edau, fynydyn, &c.

Gwnaeth gân fu yn boblogaidd iawn i *Mr. Tennant*, o ymyl Castellnedd, yr hwn y bu yn gweithio dano yn hir, yn gwneyd Camlas Bryncoch, rhwng Pontardawy a Chastellnedd. Nid yw y gân hono oll genym wrth law, er fod genym fwy nag a allwn argraffu. Wele yn canlyn rai pennillion,—

Brydyddion dewrion, mwyn, gwrandewch,
Am unwaith dewch i'r unman,
Yn wŷr tawel a chyttun,
Yn unol o'r un anian;
Er ys dyddiau, oes, mae eisiau
Gwneuthur carol o'r gwaith gorau,
A bod yn bendant ar uchel-dànt,
Pawb yn foddol,—pam na fyddant?
I gânu clod wrth deithio 'r glŷn
Ar dànau tŷn i *Tennant.*

Gŵr o fawredd, pen ein bonedd,
Hardd ei rodiad mewn anrhydedd,
Sewier enwog, glew, calonog,
Daeth o deidiau doeth godidog;
Ar g'oedd ein gwlad fe haeddai, clywch,
Ei barchu cuwch â marchog.

Er ys rhai blynyddau 'n ôl
O dan ein côl yn galed,
'D oedd mil o 'n bro ond byw o'r braidd,
Och! oer oedd gwaedd y gweiniaid.
Gwragedd gweinion a gydgerdden',
Dan law eisieu am elusen;
A gwŷr a gweision yn o ddigalon,
Yn ffaelu, er chwilio, cael gorchwylion,
A bonedd Cymru heb falio fawr
Am g'ledi mawr y tlodion.

Ar ol i fonedd Cymru fawr,
Fel hyn i'r llawr ein llethu,
Sewier Tennant ar ei daith,
Wr cadarn ddaeth i 'n codi;
Lawr o Lundain daeth i'r dyben,
Ac a gydiodd mewn dwy goden,
A'u rhanu 'rwan, i gyd yn gyfan,
Un yn aur a'r llall yn arian;
Nis gallaf ddyweyd eu hŷd ar ben,
Na 'u llêd hwy gen mor llydan.

Mae genym lawer o gyfansoddiadau eraill o waith "Ifan yr Hwper," ond nid oes dim neillduol ynddynt yn rheswm am eu cyhoeddi. William Sherbone, neu "Sherbwn," fel y gelwid ef yn gyffredin, oedd brydydd arall o'r un ardal. Bu ef yn glochydd yn eglwys Cilbebyll am 54ain o flynyddoedd. Mab ydoedd i Phillip Sherbone, Monachlog Nedd. Bu fyw hyd 82ain mlwydd oed. Glanhäwr clociau ydoedd wrth ei alwedigaeth, ac anaml y treuliai hanner awr i edrych trwy ei wydrau ar ymysgaroedd cloc ar wasgar ar y bwrdd o'i flaen, heb adrodd pennill, neu rigwm, neu hanesyn; yr oedd hyny yn gwasanaethu fel olew ar y mân olwynion. Yr oedd ei weddw yn fyw yn o ddiweddar ar Graigdrebanos.

Yr oedd y Parch. Fleming Gough, tad Gough presennol o Ynyscedwyn, yn ei gynghori unwaith i adael y dybaco, a gwnaeth yntau gân mewn atebiad i ganmol ei rinweddau. Nid oes dim neillduol yn y gân, ond ei bod ysywaeth yn cynnwys profiad miloedd o'n cydwladwyr y dydd hwn. Bydd un pennill yn ddigon i ddangos ei nodwedd, ac yn ddigon o ganmoliaeth i arferiad mor ffol :—

Y bibell hon, a'i golwg glir,
Mae 'i blâs hi fel y brandi pur ;
Pan bydda 'i 'n hir heb brofi hon,
Fe faga briwder dan fy mron, &c.

Y peth goreu o'i eiddo a ddaeth i'n dwylaw ni ydyw ei Farwnad i'r Parch. John Davies, Alltwen, yr hwn oedd weinidog enwog yn ei ddydd gyda'r Annibynwyr; ac er mai clochydd yr Eglwys oedd Sherbone, cânodd ar ei oreu glâs i'r gweinidog. Mae y gân yn ddeunaw o bennillion; ond nis gallwn ond pigo ychydig o'r pennillion goreu o hóni, yma a thraw :—

Rhowch osteg i wrando fy nhestun,
  Rhof ichwi, 'mhen gronyn i lawr;
Rhyw seren oleuwen fachludodd,
  Mae hiraeth ar gannoedd yn awr,;
Gwaith colli gweinidog, mor enwog,
  'R oedd pawb yn ei 'nabod o bell;
Daeth cenad i fyn'd â'r gwas duwiol
  I ardal dragwyddol oedd well.

Yn aml ar ei ddeulin mewn gweddi,
  Cyfodai o'i wely liw nos,
I ymbil am ras a maddeuant
  Yn unig trwy haeddiant y groes;
Ei fywyd, a'i nefol athrawiaeth
  Oedd gywir dystiolaeth o'i ffydd,
A sicrwydd a gafodd ei dderbyn
  Ei fod ef yn blentyn y dydd.

Ehedodd yn ebrwydd uwch wybren,
  Yr haul, a phob seren, a lloer,
A'i elw uwchlaw y cymylau,
  A'i nefol drysorau yn stôr;
Mae heddyw a'i dànnau yn dŷnion,
  Digwmwl yn canmol mab Mair,
Ymhlith y nefolaidd lâu werin,
  A'i balmwydd, a'i delyn o aur.

Ni fuasai raid i farwnadwyr adnabyddus y dyddiau hyn gywilyddio gosod eu henwau wrth y pennillion uchod. Ond rhaid i ni gânu yn iach i'r clochydd ar hyn o sylw.

William Dafydd, o Benygraig, Craigtrebanos, ydoedd fab i hen bregethwr o'r un enw, yr hwn a bregethai yn rheolaidd yn Gellionen, a Chwmllynfell, meddir, ac mewn capel oedd y pryd hwnw ar dir Fforchegl. Ymddengys fod y mab yn brydydd, ac yn meddu ar gryn dalent, ond fod hono yn cael ei defnyddio gàn mwyaf at bethau digrif. Dywedodd "yr hen Ddafis, Alltwen," wrtho unwaith, "Trueni na fuasit ti, Wil, wedi cael gras; buasit yn fwy cymhwys i'r pulpud na dy dad." Ei

ateb byrbwyll ef oedd, "Buaswn, ac yn fwy cymhwys na chwithau hefyd." Mae yr ateb yma yn rhyw lygeidyn o oleuni ar nodwedd y gŵr. Beth bynag, cânodd farwnad dduwiol iawn i'r Parch. Lewis Rees, Mynydd Bâch. Ond yr oedd ganddo fwy o fedr mewn digrifwch nag mewn pynciau eraill. Y gân fwyaf poblogaidd o'i eiddo sydd wedi aros yw ei "Gân i'r Cwrcath." Dywedid i ddyn grogi y Cwrcath; ond aeth y son i gymydog ei frathu â chyllell ymhen tridiau wed'yn, a pharodd yr helynt gythrwfl mawr yn y lle. Mae hon yn gân hir; ond er mor isel yw y testun, rhaid rhoddi ychydig bennillion i gadw ar gof enw "Wil Penygraig:"—

Gan William Evan Siencyn
'R oedd cawr o gwrcath cethin,
Y goreu 'i synwyr yn y Sir,
A d'weyd y gwir o'r gwreiddyn.

Cath o'r fagwraeth oreu,
Un uchel iawn o achau,
Yn cânu 'n beraidd wrth ei bodd,
Nid anllad oedd yn unlle.

At lygod yn dda 'i lygad,
Pur hyfryd rhag pob afrad,
Fu ddim fath gwrcath melyn, mawr,
Erioed rhwng llawr a lleuad.

Daeth newydd tost i'r teulu,
Pan basiodd amser pwsi;
'Roedd Als a'r plant yn brudd eu bron
Yn wylo am hon yn heli.

A William dwym ei dymher
Yn bloeddio dan y blinder,—
"'R wy'n siŵr i'r cwrcath mawr gael cam;
Rhaid gŷru am y crwner.

A Harri o'r Plâs a haerai
Nad hongian oedd ei hangau;
'I harcholli 'n wir â chyllell wair,
Yn ddwy neu dair o ddarnau.

'D oedd *stop* ar waith cwnstepli,
A'r warant wedi ei thŷnu
Dan sel y brenin, sail, a'i fraint,
Nes hala 'r saint i sŷnu.

Rhoi 'i bawen ar Siôn Bowen,
A Samuel Siôn yn syten;
Fe all'sai hyn o chwedl wan
Gael ei fagu gan genfigen.

Fe 'u gŷrwyd hwy i'r frawdle
O flaen cyfreithwyr cathau,
Gael dau heb bwyll, na gwybod pam
Gael cystudd am eu castiau.

Heb 'rofyn aeth yn rhyfel,
Yn derfysg ac yn drafael,
Cyfreithio'n ffriw, a ffraeo 'n ffraeth,
'Madawai 'r gâth yn dawel.

Y cwrcath gâdd ei garco,
Rhoi 'i gorff i'r bedd i briddo,
Mewn pantle glâs, wrth bont y lôn,
Mae 'i gnawd a'i groen yn crino.

Os gofyn gŵr o gariad
Pwy fu yn fardd o fwriad,
Wil Benygraig â'i reswm glân
A luniai 'r gân â'i genad.

Bu y gŵr hwn farw Rhagfyr, 1820, yn 57 mlwydd oed. Gŵr arall, hefyd, oedd yn bur hoff o'r digrifol yn ei rigymau oedd Joseph Thomas, neu Joseph o'r Felin, neu "Josi'r Saer." Treuliodd hwn ei fywyd yn ardal Cilbebyll a Phontardawy, ac yr oedd yn barod iawn â'i rigwm, yn enwedig yn yr elfen ddigrifol. Pan ddaeth Gough, o Ynyscedwyn, a Price, Pontardawy, dau offeiriad, i gymeryd gofal Eglwys Cilbebyll, dywedodd Joseph,—

Dau offeiriad ffyddlon
Sydd yma wedi 'u hanfon
At grug o bobl ddrwg eu rhyw,
Heb ofni Duw na dynion.

Yr oedd Evan Gruffydd, y soniwyd am dano o'r blaen, gyda Joseph ar y pryd, ac atebodd ef,—

Ni gawn ddystawrwydd, bellach,
Fe dderfydd pob ymgeintach,
Ni faidd un cythraul garthu 'i gêg
Yn ymyl càreg Clydach.*

Daeth Price, yr offeiriad, heibio i Joseph, unwaith, pan oedd yn gweithio gwaith ei grefft, sef saer, a gwnaeth rhyw nodiad beirniadol ar ei waith. Nid oedd Joseph yn blasu hyny yn dda; a phan wnaeth y gŵr parchedig hyny yr ail waith, cododd y saer ei ben, a dywedodd wrtho yn hŷf ac yn groew,—

Saer ydwyf o'r dechreuad,
Yn dilyn wrth fy ngalwad;
'R wy'n meddwl gwn i beth sy'n ffit
Yn well na ffrit o 'ffeiriad.

Cafodd gwaith Joseph lonydd gan yr offeiriad o hyny allan. Mae dwy gân ddigrifol o'n blaen o waith Joseph. Un yw "Cân y Clychau," pan aeth llanciau drygionus i glochdŷ Cilbebyll ganol nos i gânu y clychau, ac y dychrynwyd Morgan Barlow a'i wraig, y rhai oeddent yn byw yn ymyl, nes iddynt agos golli eu synwyrau. Y llall yw "Cân Llŷn y Fan." Yr oedd hen arferiad, hyd yn nôd yn nghof yr ysgrifenydd, i gannoedd o bobl y Cwm fyned tua Llŷn y Fan—lle enwog gan draddodiad ar dalcen uchaf y Mynydd Du—ar y Sul cyntaf o Awst, i chwareu, yfed, a gloddesta. Yr oedd chwaer i Joseph wedi bod yn hen barotôi ar gyfer myned, a phan ddaeth y diwrnod, cychwynodd i'w thaith, a'i chariad gyda hi, yr hwn a lysenwid, am reswm amlwg, yn "Dyfal ei Dafod." Ond yn lle myned tua Llŷn y Fan, cymerasant rhyw gyfeiriad arall. Pan glywodd y prydydd na fuont yno, ar ol eu holl ddadwrdd, gwnaeth gân, fel math o ffûg-hanes, i'w gosod yn ngenau yr ymwelwyr bwriadol hyn, fel gwatwareg ar eu pleserdaith. Cofier mai lle creigiog, mynyddig, yw ardal y Llŷn, heb na thŷ, na thwlc, na choeden, yn agos iddi. Ond dyma y gan:—

Mae 'r ie'nctyd yn ffeindio anrhydedd wrth rodio,
'D oes dim yn eu blino tra 'u dwylo yn rhŷdd,
Ond dilyn eu trwynau i fyny tua 'r Fanau,
Gael gweled y llŷnau, dŵr llonydd.

* Yr afon sydd yn myned trwy y pentref.

Mae yno berllanau o gwmpas y llynau,
  Coed lemon, a 'falau, â'u blodau i'r brig,—
Ar dir yn y dwyrain, yn ngwyneb yr haulwen,
  Gardd lydan fel Eden fawledig.

Rhwng cernydd mae gerddi, a dail y dwmdili,
  Coed rhyw a rhosmari yn tyfu o'r tòn,
A phob rhyw o flodau yn bêr eu haroglau,
  Ac amryw o lysiau pur leision.

Difyrwch diddarfod oedd gwel'd y gwylanod
  Yn llusgo 'r llyswenod, llwyth hynod, o'u lle;
A'r filfran yn barod i frathu 'r brithyllod,
  Wrth neidio at blyfod y Blaene.*

Bu dyfal ei dafod yn rhifo 'r rhyfeddod,
  A'u cofio 'n ol canfod dan gysgod y gwŷdd;
Yr hŵyaid oedd wylltion, a'r gŵyddau, ni ' gwelsom
  Yn nofio ar grochon y Crychydd.

'D oes nemawr yn credu in' gael y fath rali,
  Wrth fyn'd i drafaelu y drumiau o dre';
Ond coden' eu golwg i ben y Fan amlwg,
  Cânt weled 'r un olwg a ninnau.

Fe allai y dysgwylir i ni goffa enw y Parch. Josiah Rees, Gelligron, yn ein hysgrif, gan ein bod yn sôn am gynifer o gylch ei annedd Ond y mae ef yn ŵr rhy uchel i'w osod yn llechres y prydyddion a'r rhigymwyr. Bu ef am lawer o flynyddau yn weinidog i'r eglwys Bresbyteraidd yn Gellionen, cyn yr ymraniad, a hyd ei farw, yr hyn a gymerodd le flwyddyn neu ddwy ar ol yr ymraniad. Cymerodd yr ymraniad le yn 1801. Yr oedd ef yn awdwr llawer o hymnau—er mai cyfansoddiadau go gyffredin oeddynt—a chyhoeddodd "Gasgliad o Hymnau," yr hwn sydd mewn arferiad gan yr Undodiaid, fel y deallwn, mewn amryw fanau. Yr oedd yn ddyn o ddysgeidiaeth dda, ac yn awdwr amryw lyfrau. Efe fu yn brif offeryn i gychwyn "*Yr Eurgrawn Cymreig,*" cyhoeddiad pymthegnosol, ac efe oedd ei olygydd. Dywedwyd wrthym mai oddeutu pymtheg rhifyn a gyhoeddwyd o hóno, ac i'r golygydd gael ei gynnorthwyo yn eu dygiad allan gan Iolo Morganwg, Peter Williams, Ieuan Brydydd Hîr, ac eraill o lênorion blaenaf Cymru ar y pryd. Yr oedd ei dad, Owen Rees, yn weinidog, fel y deallwn, yn Aberdâr. Daeth amryw o feibion Josiah Rees i enwogrwydd. Owen ei fab yw y Rees sydd yn *Firm* Longman, &c., Llyfrwerthwyr, Llundain. Mab arall iddo yw Dr. Thomas Rees, awdwr yr "*History of South Wales,*" ac ŵyr iddo yw Josiah Rees, y *Barrister at Law*. Yr ydym yn tybio, er nad ydym yn sicr, mai un o'r teulu hwn oedd Abraham Rees, awdwr yr "*Encyclopædia,*" a'r hwn a fu farw yn Llundain yn y flwyddyn 1825.

Gwnaed cyfeiriad eisoes mewn erthygl flaenorol at *Siôn Hywel, Gelligron*. Gwêl y TRAETHODYDD am 1866, tu dal. 415. Mae yno wall wrth roddi Gelligron, Pontardawy, wrth ei enw; Gelligron, Llangyfelach a ddylasai fod. Mae y ddau le o'r un enw, heb fod yn neppell oddiwrth eu gilydd—un o bob tu i Gellionen. Dyn o safle uchel yn yr ardal a'r eglwys oedd Siôn Hywel, ac a orphenodd ei yrfa tua'r flwyddyn 1822, yn 71 mlwydd oed, a chladdwyd ef wrth gapel y Bedyddwyr—

* Lle cyfagos.

Salem—yr hwn oedd yn ymyl ei dŷ. Mab ydoedd i Hywel Llywelyn, ffermwr cyfrifol o Langyfelach, ac aelod o eglwys Gellionen, pan ydoedd yn perthyn i'r Presbyteriaid. Pan fu farw ei dad, daeth Gelligron i law Siôn ei fab. Bu Siôn yn brïod deirgwaith. Ei ail wraig oedd chwaer Owen Dafydd, y Melinydd, y rhoddwyd ei hanes o'r blaen. (Gwêl TRAETHODYDD 1866, tu dal. 404). Ystyrid Siôn Hywel yn ddyn call, pwyllog, a meddai ddylanwad mawr yn yr eglwys yn Gellionen; a phan ddaeth y ddadl Undodaidd i mewn yno i ranu yr eglwys, efe oedd â'r llaw flaenaf i gadw y capel i Josiah Rees a'i blaid. Nid ystyrid ef ychwaith yn "Sosin," neu Undodwr hollol, er ei fod, yn marn y Calfiniaid, yn gogwyddo yn rhy bell i'r ochr hono. Nis gellir casglu dim o'r fath oddiwrth yr amrywiol hymnau a marwnadau o'i eiddo a welsom ni. Argraffwyd amryw gyfansoddiadau o'i eiddo yn y *Seren Gomer*, yn gystal âg ar eu pen eu hunain, ond y mae llawer mwy ar gael heb fod erioed yn argraffedig—marwnadau a hymnau, gan mwyaf. Yr oedd yn ddyn caruaidd, o dymher lòn a difyr; ac er mai yr elfen grefyddol oedd benaf yn ei fywyd a'i waith, medrai fod yn ddigrifol, a chânai ambell bwt felly, fel y dengys y gân ganlynol a wnaeth i *Geiliog Gwynt*, go anghelfydd, a osodwyd gan y plwyf ar ben hen glochdŷ Eglwys Llangyfelach:—

Gŵr moel yw 'r ceiliog melyn,
Sy 'n dechreu hala dychryn
Ar rai plwyfolion:
*Well done!* yr hen wardeniaid,
Chwi roisoch bris afrifed,
Os gwir dd'wêd dynion.
Fe gair, ar farchnad neu ben ffair,
Amgenach ceiliog
Am bum' chwe' cheiniog,—
Nid wy' 'n gelwyddog!
Peth annhrugarog yw
Bod llawer un yn talu
O'r braidd sy 'n gallu byw.

Fe ddywed Jones o Sgerach,—
Gŵr hardd yn ymhob cyfeillach,
Nad oedd ei eisiau;
Ond Jones o Lysynini
Oedd fwyaf am ei ddodi
Ar ucha 'r clychau;
Os te, ai oni ddylai fe
I fod mor g'redig,
Fel gŵr boneddig,
A thalu 'n ddiddig
Am y fath g'lenig glân,
Sy 'n *sport* i'r holl fforddolion,
Yn fawrion ac yn fân?

* * * *

Ce's *hint*, ei fod yn werth *dêg punt!*
Os gwir yw 'r 'stori,—
Pe buasai 'rhei'ny
Yn cael eu rhanu
Rhwng tlodion bro a bryn,
Nhw roisen' fwy o fendith
Na 'r lledrith ceiliog hyn.

Bu mewn carwriaeth âg etifeddes go gyfoethog, pan oedd yn ŵr gweddw; ond darfu i hono, rywsut, yr hyn, fe allai, nad yw yn beth mor anarferol, wrthod iddo, pan oedd pethau wedi myned yn o bell ymlaen. Bernid mai achos y tŷnu yn ol oedd fod poced Siôn yn rhy ysgafn iddi. Gwnaeth yntau gân faith, gŵynfanus, i'w rïan wrthgiliedig. Y mae yn rhy faith, ac yn rhy rywbeth arall, i'w gosod i lawr oll, ond pigwn un pennill o hóni:—

* * *

Considrwch, Gwen dirion, fod clefyd y galon,
'Nol iddo hir fagu, tu hwnt i feddygon!
Blinder fy meddwl, yn gwbl, 'r wy'n gwybod,
A'm tŷn oddiar y ddaear, yn fyddar, i feddrod!
A dyma 'r modd, yn ôd i mi,
'R wy'n bwrw dan yr angeu dû,
A 'nghyrchu idd ei garchar,
Lle nad oes poen na galar,
Na dadwrdd mwy, na thrydar,
Yn ddwfwn yn y ddaear
Diglaiar dan glô.
Boed imi, o'th fwynedd, drugaredd dan go.

Waeth i ni adael ar yr un pennill yna, mae yn ddigon i ddangos natur y gân, a phrofiad y cânwr siomedig. Mae tair o'i farwnadau ger ein bron, un i G. Morgans, Ysw., Glŷnhir, un i'r Parch. Lewis Rees, Mynydd Bâch, a'r llall i'r Parch. J. Davies, Alltwen. Yr ydym wedi rhoddi Galargân ei frawd yn nghyfraith, Owen Dafydd, eisoes, am Morgans, Glŷnhir, felly rhaid boddloni ar ychydig o'r pennillion goreu o'r ddwy farwnad arall. Am y Parch. Lewis Rees, dywed,—

Bu 'n genad yn y Gogledd dir,
Trwy Fôn a Sir Drefaldwyn;
Yn fugail eglwys Llanbrynmair,
Gan draethu 'r gair i'r werin.
'R oedd yno ddynion claidd, creulon,
Ac yn frodyr i'r afradlon,
Fe fu 'n offeryn yn llaw ei Frenin;
Trwy 'r Siroedd ucha.' a Llanuwchllyn,
I ddwyn dyeithriaid tua thre',
I'r goleu, o law 'r gelyn.
Llwyddai 'n rhyfedd yn y Gogledd,
Tra bu yno yn ei annedd;
Ac felly, rywfodd, galwad gafodd,
Ond, b'odd bynag, fe'i derbyniodd;
Bu 'n Llangyfelach* er mawr lês,
Was ffyddlawn, nes gorphenodd.

*Enw y plwyf.

Fe gâ'dd cyn'lleidfa Mynydd Bach
Athrawiaeth iach, a'r Sketty,
A Threforis yr un pryd,
Maent 'n awr yn cydalaru:
Wrth wel'd prlddo 'u hanwyl athro,
Aeth trwy angeu i dir ango';
Ond nid peth gweddus i rai deallus,
Fyn'd i ysgog mor ddiesgus,
Rho'w'd iddynt athro o'r un ffydd,
Parchedig Dafydd Dafis, &c.

Mae y gân i Davies, o'r Alltwen, yn well, ac ambell bennill yn dda iawn. Nid oedd y brawd hwn, na'r rhan fwyaf o'i gydbrydyddion, yn

cyfansoddi ar fwriad i argraffu, ond yn unig i dafod leferydd ei gymydogion, ac am hyny yr oedd yn cadw i eithafoedd at eiriau sathredig. Eu hamcan oedd gwneyd eu hunain yn ddealladwy; ac yr oeddynt yn gwneyd hyny yn berffaith. Yr oedd gormod o duedd ynddynt i chwilio am eiriau i gynghaneddu, a gwnaent hyny weithiau ar draul aberthu synwyr; ar yr un pryd, yr ydym yn sŷnu yn fynych wrth weled y fath awdurdod ar eiriau gan ddynion mor anllythyrenog. Y mae aml linell a phennill mor hynod o hapus o ran geiriad, mor

**Lyfndêg, yn rhedeg yn rhydd,**

fel y byddai yn dda i lawer o gyfansoddwyr "enwog" y dyddiau hyn ddysgu gwers ganddynt. Ond yn awr am ychydig o bennillion o farwnad "Dafis, Alltwen," yr hwn oedd weinidog eglwysi Alltwen, Cwmllynfell, a Chwmaman. Bu farw yn 1821, rhyw flwyddyn cyn marwolaeth y prydydd ei hun, ac yr oedd yntau yn nychu i'w ymadawiad ar y pryd:—

O'r hen awen, paid a thewi,
Dechre eto, dere ati,
Hwylia 'th dôn a'th ddanau 'n dŷnion,
Peth da yw cofio y rhai cyfion;
Er dy fod mewn oed methedig,
Dihûn, a ch'ôd, a d'wê'd ychydig;
Waith newydd trist a ddaeth i'n clust
Fod un o'r tystion heno,—
Parchedig Ddafis, weddus, wiwdda,
O'r Alltwen, ar ben ei yrfa!
Ar ymadrodd nid wyf fedrus,
Bach yw 'r gallu, mawr yw 'r gwyllus,
I dd'weyd ar g'oedd, y dull a'r modd
Y treuliodd ef ei amser;
Rhaid myn'd yn fud, 'd oes genyf feder,
I dd'weyd heno llai na 'r hanner.

Och, Alltwen! ei hen weinidog,
Fu gynt yn anwyl ac yn enwog,
Ni ddaw ef eto, yno atyn',
Yn ol ei arfer, er ei erfyn;
Fe fu yno 'n dadmaeth tyner,
Yn cydoesi ddirfawr amser;
Ei ddoniau maith, a'i felus waith,
Ro'i effaith a chyffro,
I newid gwêdd y rhai fai 'n gwrando,
I'w dyddanu a'u dihuno.
Llefarai 'n uchel ac yn awchus
Yn erbyn buchedd bechadurus,
A'r lle i ffoi, trwy ffydd, a throi
At Grist sy'n rhoi iechyd;
Efe yw 'r ffordd, efe yw 'r bywyd,
A thrwyddo fe ceir nefoedd hefyd.

Llawer gwaith ar daith yr aethai
Pan b'ai 'n rhewi ar y rhiwiau;
Myned allan dywydd oerllyd,
A'r gwlaw 'n ei guro ar y Gwrhyd;*
Croesi 'r cymoedd heb ei gymhell,
Pan b'ai 'n llifo 'i Gwm Llynfell.

* Mynydd ar ei ffordd i Gwmaman.

* * * *

Gwell yw tewi, y mae 'r tafod
Yn rhy fŷr, a maith fyfyrdod;
Nid yw dychymyg dyn daearol
Ond megys niwl am bethau nefol;
Ni chlywodd clust, ni welodd llygad,
Nid oes un dyn yn gallu dirnad
Y pethau sy' ymhlith y llû,
I fyny, bob mynyd;
Fe fethodd Paul, er cael eu clywed,
Fod mor graffus a'u hamgyffred;
Ond yw 'n ddifai fod hen Ddafis,
Wedi gorphen, yno 'n gorphwys.

* * * *

Bu coron wèn ar ben y Dafis,
Fe 'i gwisgwyd, do, yn anrhydeddus;
Aeth hono 'n awr i lawr i'r beddrod,
Pan ddarfu yma dreulio 'i hammod;
Er ei cholli, yn ddigellwair,
Câ'dd un sy 'n dysgwyl* yn fwy dysglaer,
Sef coron aur, hon a bair,
Pa nifer a geir ynddi
O berlau cywrain, all neb eu cyfri',
Ond y sawl sydd wedi eu rhoddi.
Er bod yma yn ammhëus,
Ar amserau 'n anghysurus,
Gan ofni rhith duwioldeb chwith;
Mae 'n ddilyth wirionedd,
Fod Dafis 'n awr mewn mawr orfoledd,
Yn ddiarswyd ar ei orsedd.

Yr eglwysi oedd e 'n perthyn,
Ag sydd yn drist, gweddïwn drostyn',
Ar yr Hwn a'i cym'rodd ato
Yn ddiattal roddi eto
Un wrth ei fodd, ar g'oedd y werin,
Un fo 'n ddyfal ar ei ddeulin,
Un doeth a chall, un diwall,
Fo 'n deall symylrwydd,
Ac yn taro at sancteiddrwydd;
Dyn o nodau cryfion crefydd;
Cofiwch chwithau mai peth chwithig,
I weinidog yn enwedig,
Gael gofid blin wrth eich trin;
Yn gyndyn na fyddwch;
I garu 'ch gilydd er dïogelwch,
O fy mrodyr, ymhyfrydwch!

Cofiwch am eich hen flaenorwr,
Nid oedd ef byth yn caru cynhwr',
'R wy'n gobeithio na chlywir pethau
Fyddo 'n chwith am danoch chwithau:
Os ewch i ochain yn ddiachos,
Un waeddi Paul, a'r llall Apolos,
Cewch wel'd yn wir, cyn bo hir,
Anghysur yn gyson;
Ni chais y gelyn well na'r galon,
Wrth bob rheswm, i hau ymryson.
Byddwch yn gyttûn â'ch gilydd,
A gweddïwch lawer beunydd,
Gall Duw 'r gras roddi gwas
Fo 'n addas,—mae 'n addo

* Arferir "dysgwyl" yma yn yr un ystyr ag edrych.

Diogelu a bugeilio;
Na fyddwch athrist, chwi gewch athro.

Oedran Crist, pan aeth i'r ddaeren,
Oedd deunaw cant ac un ar hugain;
A'i oedran yntau, dyna 'r nifer,
Oedd pedwar ugain mlwydd a phedair.

* * * *

Wrth Langiwc mae 'i gorff yn gorphwys,
Ac yno bydd, mae'n adnabyddus,
Nes dêl i lawr, ar ryw awr,
Yr udgorn mawr i gânu,
Fe fydd Dafis y pryd hyny
Gyda 'r cynta' yno 'n cwnu.

Tybed fod eisieu hysbysu i rywrai mai ystyr y linell gyffröus olaf yw "Gyd â'r cyntaf yno 'n codi?" Os nad yw y pennillion uchod yn llwythog o farddoniaeth, y maent yn llawn o synwyr da, ac ysbryd Cristionogol, ac yr ydym yn diolch yn galonog i'r hen brydydd am danynt, wrth ei adael.

Wyr i Siôn Hywel oedd John Davies (Carnhuandes), o'r Alltwen, ac wedi hyny o Pant-têg, a mab i James Davies, gynt o Nantmoel, ond wedi hyny o'r Alltwen. Dysgodd ei grefft fel crydd, ond codwyd ef wedi hyny yn ysgolfeistr, a bu yn cadw ysgol am dymmor go faith yn Pant-têg. Yr oedd ei holl fryd ar lênyddiaeth, ac ysgrifenodd lawer iawn i'r *Diwygiwr* o Ryddiaith a Barddoniaeth. Claddwyd ef yn 36ain oed, yn mynwent Alltwen, yn y flwyddyn 1838, ac y mae côf-golofn barchus ar ei fedd. Y mae llawer iawn o ysgrifau ar ei ôl gyda chwaer iddo sydd yn byw gerllaw Cilbebyll. Yr oedd wedi dysgu cerddoriaeth yn dda hefyd, ac yn cael ei ystyried yn gerddor campus yr amser hwnw. Un o'r pethau mwyaf poblogaidd a wnaeth erioed oedd y dôn a elwid "Ystradgynlais," ar y pennill o'i waith ei hun ar Ddydd y Farn. Clywsom hono yn cael ei chânu gyda hwyl neillduol gan gyfaill yn Aberystwyth yn ddiweddar; a dywedai ei fod yn cofio, lawer o flynyddoedd yn ôl, fod hon yn un o'r pethau mwyaf poblogaidd yn y dref gerddorol hono. Nid yw hwn yn lle i ni gyhoeddi y dôn, ond wele y pennill difrifol ar yr hwn y cyfansoddwyd hi:—

Y mae dydd ofnadwy 'n dyfod,
Gwyliwn bawb, a byddwn barod;
Dydd y mellt, a dydd taranau,
Dydd yr wylo, dydd dïalau,
Byd a'r môr ro' fyny eu meirw,
A'r rhai a fyddant byw a ddywedant fel hyn:—
Fel câ'dd Sodom a Gomorrah
Gan y tân yn llwyr eu difa,
Byd i gyd a lysg yn gyfan,
Môr a'i dònau mawr yn brwdian,
Sêr yn syrthio, 'r haul yn duo,
Lleuad fel y gwaed yn lliwio!
O ddydd mawr! dydd mawr iawn!
Ffown ar fyrder i Galfaria,
Rhag i'r diluw dd'od a'n dala;
O, ffown at Grist!

Rhaid i ni adael y gweddill o ysgrifau "Carnhuandes," yn gystal â'r holl bentwr ysgrifau eraill sydd o'n blaen, gan fod yr ysgrif yn myned yn faith. Mae yn debyg y rhaid cânu yn iach bellach i Gwmtawy hefyd, oddigerth i ni ladrata adeg rywbryd i ysgrifenu ychydig ar hen arferion ac ofergoledd y cwm.

# JONAH.

Er nad yw llyfr Jonah ond bŷr, nid oes un o lyfrau yr Ysgrythyr ag y mae mwy o amrywiaeth barn wedi bod yn ei gylch; ac nid ydyw anffyddwyr wedi bod yn gwawdio, na rhesymolwyr wedi bod yn dychymygu ac yn breuddwydio, uwchben dim yn fwy na chynnwysiad y llyfr hwn. Edrychai yr hen ysgrifenwyr, Iuddewig a Christionogol, ar lyfr Jonah fel hanes syml; a phob peth a gaent ynddo uwchlaw rheswm, hwy a'i prïodolent i ddylanwadau goruwchnaturiol. Nid oedd un canon ymysg eu rheolau beirniadol hwy i'r perwyl fod "gwyrth yn anmhosibl," a bod pa beth bynag nad allai rheswm roddi cyfrif têg a llawn am dano i gael ei ystyried yn ffûg neu chwedl. Yn ddiweddar, mewn cymhariaeth, gyda chodiad a chynnydd rhesymoliaeth yn yr Almaen, daeth i fewn ddull newydd o feirniadu—yr unig ddull, medd ei broffeswyr, ag sydd yn deilwng o allu meddyliol, gwybodaeth, a dysgeidiaeth yr "oes oleu hon." Rhai o brif bynciau y ffydd hono yw gwneyd i ffordd yn hollol â'r goruwchnaturiol, a gwadu cywirdeb hanesyddol yr hyn a adroddir yn Ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newydd. Yn ol yr ysgol hon o feirniaid, wrth gwrs, nid yw yr hyn a adroddir yn llyfr Jonah yn hanes gwirioneddol; ac yn perthyn iddi y mae Herder, Michaelis, Meyer, Hitzig, Baur, Bleek, Ewald, De Wette, Bunsen, ac eraill, ynghyda'u canlynwyr, Stanley, Williams, Davidson, Colenso, ac eraill yn y wlad hon. Gyda'r dosbarth hwn y mae yn dygwydd gyda golwg ar Jonah, fel y mae gyda golwg ar bawb a phob peth arall, eu bod yn methu cydweled â'u gilydd. Nid ydynt i gyd yn hollol benderfynol pa un a fu y fath berson â Jonah erioed neu beidio. Wrth gwrs, ni fu erioed yn mol y pysgodyn; ond y maent yn methu cydweled beth a roddodd fodolaeth i'r hanes. Mynant nad oes neb ag sydd yn "feirniad" a dybia am eiliad iddo fod yn Ninifeh; ond nis gallant gyttuno oddiar ba amgylchiad y cyfododd y chwedl. Nid Jonah, bid sicr, a ysgrifenodd y llyfr; gŵyr pob dyn "dysgedig," ac yn enwedig pob Hebrëwr cyfarwydd, fod y llyfr wedi ei ysgrifenu flynyddoedd lawer ar ol dyddiau Jonah; ond pwy a'i hysgrifenodd, neu pa bryd yr ysgrifenwyd ef, nid ydynt yn gallu penderfynu. Gyda'r broffes o ysgafnhau beichiau rheswm, a symud yn garedig bob peth oddiar ei ffordd a allai fod yn dramgwyddus iddo, y maent wedi gosod o'i flaen orchwylion ag nad ydyw credu gwirionedd hanesyddol y llyfr ond ysgafn o waith mewn cymhariaeth iddynt; ac er ein bod yn mawrygu ac yn gwerthfawrogi beirniadaeth alluog a thêg, rhaid i ni addef fod geiriau yr apostol wedi ein taro yn nerthol lawer pryd wrth ddarllen dychymygion y dynion dysgedig hyn:—"Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid." Codir gwrthwynebiad, i ddechreu, i gymeriad Jonah. Dywedir mai gwrthuni ac afresymoldeb hollol yw tybied y gallasai un dyn ag oedd yn brophwyd i'r Arglwydd ymddwyn yn y fath fodd;—fod ei anufudd-dod, y rheswm ei fod yn ffoi o wydd yr Arglwydd, ystyfnigrwydd a sarugrwydd ei dymher yn Ninifeh, yn profi nas gallasai dyn o'r fath fod yn brophwyd. Dadleuir ymhellach, fod y ffaith nad oes dim o'i hanes—dim o hanes

ei deithiau—dim o fanylion ei arosiad yn Ninefeh—na dim o'i hanes ar ol hyny, yn cael ei roddi, yn myned ymhell i brofi mai chwedl yw y cyfan. Rhaid addef fod y cymeriad yn un hynod—yn un ar ei ben ei hun; ond nid yw hyny, bid sicr, yn profi fod y fath gymeriad yn annichonadwy, oddigerth i ni brofi yn gyntaf fod yr Anfeidrol yn ddiffygiol mewn gallu, neu yn ddiffygiol mewn ewyllys, i ganiatâu i gymeriadau hynod ymddangos ymhlith plant dynion. Yma, yn ddïau, ni a dybiem, y mae llawer o feirniaid Jonah yn cyfeiliorni, am na wyddant hanes y ddynoliaeth na gallu Duw. Onid oes amrywiaeth diderfyn yn ei holl weithredoedd Ef? ac onid ydyw yn wirionedd fod pob cymeriad a luniwyd ganddo ef yn gymeriad gwreiddiol, ac na raid iddo wrth gopi na chynllun ond ei feddwl a'i ewyllys anfeidrol ei hun? Ymddengys i ni fod ystyriaeth prïodol a phwyllog o genedl, addysg, a chenedlaeth y prophwyd yn debyg o arwain y meddwl yn lled ddigyfeiliorni i'r casgliad fod yr holl hanes a roddir am dano yn wirionedd llythyrenol. Ymdrechwn egluro y pwnc hwn yn helaethach yn y tu dalenau dilynol.

Tybia un dosbarth fod yr hanes wedi ei gymeryd o un neu ddwy o hen chwedlau paganaidd, wedi eu taflu i ffurf Iuddewig, er mwyn dysgu i'r genedl ryw wirioneddau arbenig am gymeriad Duw. I'r rhai nad ydynt yn gyfarwydd â'r hen glasuron, ni a roddwn yma sylwedd y chwedlau y cyfeirir atynt. Un ydyw hon: Er mwyn gwneyd prawf ar drahäusder Laomedon, ymddangosodd Apollo a Poseidon iddo, ac addawsant gadarnhâu dinas Pergamus am swm penodol. Wedi iddynt orphen y gwaith, gwrthodai Laomedon dalu iddynt am dano yn ol y cyttundeb. Mewn canlyniad, anfonodd Apollo haint, ac anfonodd Poseidon anghenfil o'r môr, y rhai a wnaethant ddinystr mawr ar drigolion y gwastadedd. Dywedodd yr oracl y byddai i'r dinystr gael ei symud ymaith os byddai i Laomedon roddi ei ferch Hesione yn aberth i'r môranghenfil. Mor fawr a difäol oedd y dinystr, fel yr oedd yn dda ganddo gael gwaredigaeth ar ryw delerau. Cydsyniodd â chais yr oracl; a rhwymodd ei ferch wrth un o'r creigiau yn agos i'r làn. Wrth weled y ferch wedi ei rhoddi yn y fath sefyllfa, addawodd Hercules y byddai iddo ladd y môr-anghenfil a rhoddi Hesione yn rhydd, os byddai i Laomedon roddi iddo ef y ceffylau a roddasai Zëus yn ad-daliad am ei waith yn treisio Ganymede. Y mae y llall yn gyffelyb. Tramgwyddwyd y môr-dduwiesau wrth waith Cassiope, mam Andromeda, yn ymffrostio ei bod yn fwy prydferth na hwynt. Anfonodd Poseidon, yn y chwedl hon hefyd, lifeiriant a môr-anghenfil, y rhai a wnaethant ddinystr nid ychydig. Cynghor yr oracl, yma hefyd, oedd i Andromeda gael ei rhoddi yn ymborth i'r môr-anghenfil. Cadwynwyd hi wrth un o'r creigiau i'r perwyl hwnw. Cyttunodd Perseus â'i thad y byddai iddo ef ladd y môr-anghenfil a gwaredu Andromeda. Dyna sylwedd y ddwy chwedl. Ofer fyddai cynnyg rhoddi yma yr holl amrywiaethau gyda pha rai y cawsant eu hadrodd a'u gweithio i fyny o bryd i bryd, a'r modd y cysylltwyd yr olaf, ymhen canrifoedd ar ol Jonah, a Joppa, ac y dygwyd i fewn elfenau ag ydynt yn cyd-daro yn fwy hollol â hanes y prophwyd. Ac eto, dyma chwedlau o ba rai, yn ol y cyfryw ddynion â Baur, Rosenmüller, Gesenius, De Wette, Bertholdt, Knobel, ac eraill, yn yr Almaen, y cymerwyd rhyw gymaint o ddefnyddiau yr hanes a roddir yn llyfr y prophwyd Jonah. Y mae Baur a Bunsen yn gwrthod y dybiaeth

hon fel un ddisail ac annheilwng; ond mewn trefn i roddi lle i dybiaeth arall nad ydyw ond ychydig yn well. Nid ydyw Eichorn yn alluog i benderfynu pa un ai y chwedl a gymerwyd oddiwrth Jonah ai Jonah oddiwrth y chwedl. Ond y mae yn annirnadwy i ni pa fodd y gall neb weled y fath debygolrwydd rhyngddynt, pryd nad oes dim yn y naill ag sydd yn y llall ond yn unig y pysgodyn mawr, neu y môr-anghenfil. Dywedir, mae yn wir, gan ysgrifenwyr yn nghanrifoedd cyntaf Cristionogaeth fod Hercules wedi bod yn mol y môr-anghenfil am dri diwrnod a thair nos; ond ymddengys i ni fod Bleek ac eraill yn hollol gywir pan yn dyweyd fod y pethau hyn yn ychwanegiadau oddiwrth hanes Jonah; oblegid, hyd yn nôd yn ol y beirniaid a haerant mai ychydig o ganrifoedd cyn Crist yr ysgrifenwyd llyfr Jonah, yr oedd yr hanes wedi ei ysgrifenu rai canrifoedd cyn i ddim o'r ychwanegiadau y cyfeirir atynt ymddangos yn y ffugchwedlau.

Rhai a dybiant fod y rhan gyntaf o'r llyfr yn hanes gwirioneddol; ond mai breuddwyd a gafodd Jonah pan yn cysgu yn y llong ydyw y gweddill. Blasche a dybia mai gweledigaeth a gafodd Jonah ydyw y cwbl. Eraill a farnant fod y fath brophwyd â Jonah wedi bod, ac y gall ddarfod iddo ymweled â Ninefeh, a phregethu yno, ac ysgrifenu rhyw gymaint o'i hanes; a bod y llyfr, fel y mae, yn gyfansoddiad rhyw lênor Hebreig ymhen oesoedd ar ol i Jonah farw. Mae y dybiaeth hon yn cymeryd yn ganiatäol fod rhyw gymaint o wirionedd yn sylfaen i'r hanes, ond fod y rhan fwyaf o lawer wedi ei wneyd i fyny o gynnyrch darfelydd yr ysgrifenydd, a bod y gân a roddir yn ngenau Jonah yn mol y pysgodyn wedi ei chymeryd o wahanol ranau o Salmau eraill. Haerir fod geiriau yn y llyfr, ac arddull y cyfansoddiad, yn profi ei fod lawer yn ddiweddarach nag amser Jonah. Un o brif amddiffynwyr y golygiad hwn yw Ewald. Nid yw y geiriau a nodir er profi mai cyfansoddiad diweddar ydyw y llyfr, a ysgrifenwyd gan rywun na wyddys pwy, ryw bryd na wyddys pa bryd ar ol y caethiwed Babilonaidd, i ryw amcan na wyddys pa beth, ond ychydig iawn mewn nifer; a sicrhëir i ni gan rai a gyfrifir yn ysgolheigion Hebreig da, fod y rhai hyn oll, oddigerth un neu ddau, yn eiriau Hebraeg, er mai dyma y tro cyntaf i rai o honynt gael eu harferyd, oblegid eu bod yn dermau perthynol i'r môr. Y ddau air nad ydynt yn Hebraeg ydyw *rab* mewn cysylltiad â *hachobel* (i. 6) a gyfieithir "*meistr* y llong." Gair Phœniciaidd ydyw hwn, ac nid Aramæidd; a'i ystyr yw prif, penaeth, neu gadben. Trwy mai llong Phœniciaidd oedd y llong, yr oedd yn hollol naturiol i'r prophwyd arferyd gair Phœniciaidd am y *meistr*. Y gair arall yw *taam*, (iii. 7) a gyfieithir "gorchymyn." Gair Syriaidd yw hwn; ac y mae tu hwnt i bob dadl mai cangen o'r iaith Syriaeg oedd iaith Ninefeh; ac nis gall dim fod yn fwy naturiol nag i Jonah arferyd y term lleol a ddefnyddid am y cyhoeddiad brenhinol. Y mae ymddangosiad y ddau air a nodwyd, yn wir, yn brofion ychwanegol i ni fod yr holl hanes yn wirionedd, ac wedi cael ei ysgrifenu gan Jonah ei hun.

Y mae corff mawr ysgrifenwyr Brydain yn sefyll dros yr hen athrawiaeth. Ymysg y rhai hyn yn y blynyddoedd diweddaf y ceir Fairbairn a Pusey; ac y mae nifer o ddynion gwir alluog yn yr Almaen yn sefyll dros yr un golygiadau, y blaenaf o ba rai ydyw Hengstenberg, Hävernick, Sack, Baumgarten, Keil, Delitzsch, a Lange.

Yn bresennol, ni a gymerwn yr hanes yn syml, ac a geisiwn ddangos wrth fyned ymlaen pa mor ddisail ac anghyson âg egwyddorion beirniadaeth dêg yw rhai o'r tybiau a ddygwyd ymlaen fel esboniadau arno.

Am rïeni Jonah, a'i ddygiad i fyny, nid ydym yn gwybod dim. Mŷn traddodiadau Iuddewig mai efe ydoedd mab y wraig weddw o Sarepta, a godwyd o feirw gan Elias, iddo pan yn llanc ddilyn y prophwyd i'r anialwch, ac mai efe a eneiniodd Jehu, fab Nimsi, yn frenin ar Israel. Nid ydym yn gweled un rheswm dros beidio credu mai yr un ydoedd y Jonah a anfonwyd i Ninefeh (Jonah i. 1) â'r prophwyd Jonah y crybwyllir am dano yn 2 Bren. xiv. 25. Nid hawdd ydyw credu fod dau brophwyd o'r un enw (enw mor anarferol), a'r ddau yn feibion i Amittai (enw tra anarferol eto), ac yn byw yn yr un cyfnod. Ni ddywedir ychwaneg am ei deulu na'i fod yn fab i Amittai; na dim am ei ddygiad i fyny, na'i amgylchiadau ond ei fod yn byw yn Gath-hepher. Wrth droi i Joshua (xix. 10—13) yr ydym yn cael fod y lle hwnw o fewn terfynau llwyth Zabulon, i'r gogledd i Nazareth, ac heb fod ymhell oddiwrth Tiberias. Tua dwy filldir i'r dwyrain o Sepphoris (Sefuriah yn bresennol), ar ben bryn creigiog, y mae pentref bychan a elwir El-Meshad, a dangosir yno fedd Jonah hyd y dydd hwn. Mae y bedd yn meddiant y Mahometiaid; ond creda Cristionogion Nazareth, yr un modd, mai yno y mae Gath-hepher y Bibl, a lle genedigol y prophwyd Jonah. Oddiwrth y crybwylliad a geir am dano yn Brenhinoedd, gwelir ei fod yn cydoesi â Jeroboam II., mab Joas, am yr hwn y dywedir:—"Efe a ddŷg adref (a adferodd) derfyn Israel o'r lle yr eir i mewn i Hamath hyd fôr y rhôs (y môr marw), yn ol gair Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a lefarasai efe trwy law ei was Jonah, fab Amittai, y prophwyd, yr hwn oedd o Gath-hepher." Nid ydyw "gair" y brophwydoliaeth hono wedi ei gofnodi; ond y mae yn eglur oddiwrth dôn y cofnodiad hwn fod Jonah yn adnabyddus ymysg cenedl Israel fel prophwyd i'r Arglwydd. Ni ddywedir ymha adeg yn ystod teyrnasiad Jeroboam y llefarwyd y "gair;" ond y mae yn eglur fod Jonah wedi prophwydo ryw gymaint o amser cyn i Jeroboam ennill ei fuddugoliaethau, a dichon, yn wir, cyn iddo ddechreu teyrnasu. Gellir tybied felly fod Jonah yn byw yn y rhan gyntaf o deyrnasiad Jeroboam, os nad trwy holl ystod ei deyrnasiad. Yr ydoedd ar y maes felly ryw gymaint, os nad amryw flynyddoedd, o flaen Hosea; ond dichon fod y prophwyd hwnw, yn gystal â Joel ac Amos, wedi dechreu prophwydo cyn i amgylchiad mawr arbenig ei fywyd gymeryd lle, ac felly fod yr Iuddewon wedi rhoddi ei lyfr ar ol y rhai hyny. Tybia rhai mai yn amser Menahem yr aeth efe i Ninefeh, ac mai Pul, neu Ivalush, oedd yn frenin Ninefeh ar y pryd. Ymhen rhyw yspaid, pa fodd bynag, ar ol iddo ddechreu cyflawni gorchwylion cyffredin ei swydd fel prophwyd, derbyniodd orchymyn a chenadwri arbenig oddiwrth Dduw i fyned i Ninefeh. "Cyfod, dôs i Ninefeh, y ddinas fawr, a phregetha yn ei herbyn." Yr oedd y genadwri y fath fel y penderfynodd anufuddhâu. Gallem feddwl fod Duw wedi rhoddi y gorchymyn fwy nag unwaith, ac iddo yntau, o'r diwedd, benderfynu gadael y wlad er mwyn cael llonydd. Yr oedd Jonah yn gyfarwydd yn holl ddysgeidiaeth y genedl Iuddewig; ac un o'r gwirioneddau neillduol a ddysgid gan y genedl oedd fod y Duw a addolid ganddi yn hollbresennol. Dywed wrth y morwyr, yn awr, "Ofni yr wyf Dduw y nefoedd, yr hwn a wnaeth y môr a'r sychdir."

Nid ydys i feddwl fod Jonah yn meddwl y gallai fyned i un wlad na byddai Elohim yn bresennol ynddi, ond ei fod am ffoi "o ŵydd (rhag wyneb) Jehofah," hyny yw, allan o wlad Israel, yn yr hon yr oedd Duw yn bresennol fel Duw cyfammodol ei bobl, gan dybied y cai lonydd gan yr ysbrydoliaeth a'i cynhyrfai ond myned yn ddigon pell o derfynau gwlad Jehofah. Nid hawdd yw penderfynu paham yr oedd y prophwyd mor anewyllysgar i roddi ufudd-dod y tro hwn i'r Arglwydd. Yr oedd y ffordd yn faith ac yn ddyeithr; ond nis gallwn feddwl y buasai y prophwyd yn gadael i hyny ei berswadio i beidio cychwyn. Er na wyddai Jonah, na neb yn Israel, ond ychydig am Ninefeh, yr oedd son am dani fel "y ddinas fawr"—y fwyaf o holl ddinasoedd y byd, wedi cyrhaeddyd ei glustiau; ac yr oedd yntau yn deall yn dda, ac yn teimlo, pa mor egwan ac anaddas ydoedd i wynebu ar y fath le gyda'r fath genadwri; ond rhy brin y gallwn lettya y meddwl mai ystyriaethau o'r fath yma a ddylanwadent i'w rwystro i gychwyn i'r daith. Mae y rheswm i'w gael, o'i enau ef ei hun, yn pen. iv. 2:—

"Attolwg, Jehofah, onid dyma fy ngair,
Pan oeddwn i eto yn fy ngwlad?
Am hyny y rhagflaenais trwy ffoi i Tarsis;
Canys gwn dy fod di yn Dduw graslawn a thrugarog."

Gwybod fod Duw yn Dduw graslawn a thrugarog a barodd, yn ol ei eiriau ef ei hun, iddo anufuddhâu. Ar ryw olwg, y mae y prophwyd yn haeddu canmoliaeth yn ei anufudd-dod. Yr oedd y mynych gyfleusderau a gawsai i weled cymeriad Duw, yn y deddfau a'r barnedigaethau a roddasai i'w bobl, yn gystal ag yn ei ymddygiadau tuag atynt yn holl ystod eu hanes, wedi ei ddysgu i gredu mai Duw trugarog a graslawn ydoedd. Ond pa fodd yr oedd yr ystyriaeth hon wedi peri iddo anufuddhâu? Yr ateb a gynnygir gan rai i'r ymofyniad hwn ydyw hyn: Er nad oedd gair o efengyl, nac addewid, na thrugaredd, yn y bregeth, eto, yr oedd Jonah yn deall cymeriad ei Dduw mor dda fel y gwyddai mai oddiar drugaredd a thosturi yr oedd yn ei anfon ef gyda'r fath genadwri; gwyddai, ymhellach, os byddai i drigolion Ninefeh ymostwng ger ei fron ac edifarhâu, y buasai yn sicr o dosturio wrthynt a'u harbed. Os felly y buasai, yr oedd yn gweled y buasai ei gymeriad ef yn myned dan warth fel gau brophwyd. Os na ddisgynai y farn yn ol y cyhoeddiad, pa un oedd mor bendant a diammodol, teimlai y byddai ei enw ef yn cael ei sathru, a'i ddylanwad yn cael ei hollol ddystrywio. Eraill a dybiant mai meddwl yr oedd y prophwyd os buasai y farn yn cael ei hattal mewn canlyniad i edifeirwch y Ninefëaid, pryd yr oedd y cyhoeddiad mor ddiammodol, y buasai hyny yn adlewyrchu yn anffafriol ar gymeriad Duw; y buasai yn ei arddangos fel un anwadal a chyfnewidiol. Eraill a dybiant ei fod yn edrych ar yr amgylchiad mewn cysylltiad â'i genedl ei hun. Teimlai mai ychydig o argraff a gawsai ei waith—fod y genedl yn parhâu yn eu cyndynrwydd a'u hannuwioldeb er pob peth a wnaethai ac a lefarasai fel prophwyd yn eu mysg. Ac os na ddisgynai y farn ar Ninefeh ar ol ei brophwydoliaeth yn ei herbyn, y byddai hyny, wedi i'r hanes ddyfod drosodd i Israel, yn foddion i lwyr ddinystrio ei ddylanwad. Wrth weled nad oedd ond ychydig o sylw yn cael ei dalu i ddim a ddywedai eisoes, yr oedd yn bryderus rhag gwneyd dim, mewn un modd, a allasai

wneyd ei waith a'i genadwri fel prophwyd yn llai derbyniol yn y dyfodol gan ei genedl. A rhag i hyny ddygwydd, nid ydoedd yn foddlawn i fyned i bregethu i'r cenedloedd o gwbl. Ymddengys i ni fod mwy i'w ddyweyd dros y golygiad diweddaf hwn nag un o'r lleill; ac eto nid ydym yn teimlo ei fod yn hollol foddhäol. Ac ond edrych ar Jonah fel Hebrëwr—fel Iuddew defosiynol, wedi cael ei ddwyn i fyny yn addysg grefyddol yr Iuddewon, a than ddylanwad rhagfarnau Iuddewig, mae yr eglurhâd, dybygem ni, wrth law. Nid natur y genadwri, nid pellder ac anhawsder y daith, nid ei anghymhwysder i'r gwaith, nid ofn rhag i'w gymeriad ef na chymeriad ei Dduw fyned dan warth, nid pryder rhag i'w ddylanwad ar ei gydgenedl gael ei ddyfetha, oedd yr achos o'i anufudd-dod, ond y teimlad a lochesai yn ei galon ef, fel yr Iuddewon yn gyffredin, yn erbyn y cenedloedd. Mae yn wir mai dinystr digymysg oedd yn y bregeth; a gallesid meddwl na fuasai myned i bregethu *dinystr* ar y cenedloedd yn anghydnaws â meddwl y prophwyd; ond yr oedd efe yn adnabod cymeriad ei Dduw mor dda fel y clywai adlais trugaredd yn y bygythiad, er mor ofnadwy ydoedd—gwyddai mai trugaredd oedd yn nghalon ei Dduw pan yn ei anfon gyda'r fath bregeth—a gwyddai pe byddai y Ninefëaid yn edifarhâu, y buasai y "Duw trugarog a graslawn" yn rhwym o'u harbed, ac felly nid ydoedd yn foddlawn i fod mewn un modd yn gyfrwng trugaredd i'r cenedloedd. Mae yn anmhosibl i ni gredu mor ddwfn a chryf ydoedd y teimlad o ddygasedd yn meddyliau yr Iuddewon tuag at y cenedloedd. Ymhen oesoedd lawer ar ol Jonah, yr ydym yn gweled mor anystwyth ydoedd un a fuasai am fwy na thair blynedd wrth draed yr Athraw mawr i fyned i bregethu i'r cenedloedd.

Yn hytrach na myned i Ninifeh, y mae yn cychwyn i lawr o fynyddoedd Galilea tua'r môr. Y mae yn cyrhaeddyd Joppa, yr unig borthladd ar y pryd yn Israel. Gwelodd yno long ddyeithr, gyda phobl ddyeithr yn perthyn iddi, a chafodd ei bod ar hwylio allan i Tarshish. Tybia rhai mai Tarsis yn Cilicia, lle genedigol yr apostol Paul, ydoedd y lle hwn; ond mwy dewisol genym ni yw credu mai Tarshish, neu Tartessus, un o borthladdoedd y Phœniciaid yn Yspaen ydoedd. Tybiodd ar unwaith fod hwn yn gyflëusdra hynod o fanteisiol iddo roddi ei fwriad mewn gweithrediad. Wedi talu y llong-lôg, dacw ef yn myned i'w bwrdd. Golwg darawiadol ydyw hon: Jonah, y prophwyd, ymysg y cenedloedd eilunaddolgar ar fwrdd y llong yn ffoi oddiwrth ei waith ac o bresennoldeb ei Dduw. Ar ol lludded y daith (ar ei draed, mae yn debyg), efe a ymneillduodd oddiar y bwrdd i ystafell isaf y llong, ac yno efe a gysgodd yn drwm. Nid yn hir y bu Jonah heb gael prawf adnewyddol o gymeriad ei Dduw, pa mor barod bynag ydoedd i drugarhâu wrth yr edifeiriol a'r gostyngedig, nad ydoedd anufudd-dod i gael ei oddef yn hir heb ei gerydd. "Jehofah a daflodd wynt mawr ar y môr." Mae y llong yn yr enbydrwydd mwyaf; a'r morwyr, yn eu braw a'u harswyd, yn galw ar eu gwahanol dduwiau, ac yn taflu y nwyddau i'r môr, naill ai yn hêddoffrwm i'r duwiau, neu ynte er mwyn ysgafnhâu y llong. Ond uwch uwch, a mwy cynddeiriog a phenderfynol yr oedd y môr yn ymgodi yn eu herbyn. Nid oedd dim yn tycio i liniaru y gwynt a daflasai Jehofah ar ei dònau. O'r diwedd, cafwyd allan y gwir achos, yn y Galilëad lluddedig a gysgai yn yr ystafell. Wedi ei ddihuno gan eiriau cyffröus y

llywydd, deallodd ar unwaith mai efe oedd yr achos; mynegodd ei hanes; ac fel math o *rehearsal,* neu ymarferiad, cyn myned i Ninefeh, efe a bregethodd gymeriad ei Dduw i gynnulleidfa o genedloedd ar fwrdd y llong. Nid cyn gwasgu arno yn galed, pa fodd bynag, gan Dduw trwy y dymhestl, a chan y morwyr, y gwnaeth efe hyny. Yr oedd y morwyr yn ddynion crefyddol; ac yr oeddynt yn credu yr hen athrawiaeth a goleddir gan y byd yn gyffredinol, fod blinderau neillduol yn dyfod oddiwrth y duwiau fel cosbedigaeth am ddrygau arbenig. Wrth weled nad oedd yr ystorm yn peidio ag ymosod yn eu herbyn gyda ffyrnigrwydd mewn canlyniad i'w gweddïau a'u gwaith yn gyffredinol, penderfynasant wneyd ymchwiliad mwy manwl, er mwyn cael gwybod o achos *pa un* o honynt yr oedd y drwg hwn wedi eu goddiweddyd. Bwriwyd coelbrenau; a syrthiodd y coelbren ar Jonah. Ynddo ei hun, nid ydyw bwriad na syrthiad y coelbren ond hapchwareu hollol ddiystyr; ond byddai yr Arglwydd ar brydiau yn ymyraeth, ac yn cyfeirio y coelbren. Gwnaeth felly y tro hwn; a daliwyd y troseddwr. Wedi ei ddal felly, yr oedd y morwyr yn awyddus am wybod ei hanes—o ba wlad yr ydoedd—pwy oedd ei bobl—a pha beth oedd ei waith, fel y gallent benderfynu pa beth i wneyd o hóno, tuag at heddychu yr ystorm. Dywedodd yntau, "Hebrëad ydwyf, ac ofni (nid, y mae arnaf ofn, ond, parchu, addoli) yr ydwyf Jehofah Duw y nefoedd, yr hwn a wnaeth y môr a'r sychdir." Mynegodd iddynt hefyd, y pryd hwn, nid ar ei waith yn dyfod i'r llong yn Joppa, yn ôl Hitzig, ei fod yn ffoi rhag ei Dduw, ac mai o'i herwydd ef yr oedd yr holl derfysg hwn. Mae yr addefiad yn llanw y morwyr âg arswyd a syndod. Buasai dyn yn ffoi rhag un o'r duwiau yn beth digon dychrynllyd yn eu golwg; ond yr oedd gweled un yn ceisio ffoi rhag y Duw mawr y clywsent son am dano—y Duw rhyfedd yr oedd yr Hebrëaid yn ei addoli, yn ychwanegu eu dychryn yn fawr. "Beth a wnaethost ti!" Nid gofyn beth a wnaethai, na phaham y gwnaethai, y maent yn yr ymadrodd hwn; ond dadgan eu syndod a'u braw—"Mor ffol y gwnaethost! Mor ofnadwy dy sefyllfa! yn ceisio ffoi o ŵydd y fath Dduw, yr hwn sydd wedi anfon yr ystorm yn swyddog i dy ddal." Wedi deall mai un o bobl Jehofah ydoedd, nid ydynt am roddi dedfryd arno eu hunain. Pe buasai yn perthyn i ryw bobl ag yr oeddynt hwy yn adnabyddus o'u duwiau, buasent yn gwybod pa gosbedigaeth i weinyddu arno tuag at heddychu y duwiau hyny; ond gan mai yn nwylaw Duw yr Hebrëaid yr ydoedd, y Duw hwnw nad oeddynt yn ei adnabod, nac yn gwybod dim am ei gymeriad ond ychydig trwy hanes, a hyny ond ychydig iawn, yn gymaint a bod yr Iuddewon yn cadw eu hunain mor ddidoledig oddiwrth holl genedloedd y byd, ni wyddent pa gosbedigaeth i'w gweinyddu arno, ond appelient ato ef, fel un cyfarwydd â chymeriad ei Dduw, i'w cyfarwyddo pa fodd yr oeddynt i weithredu tuag ato. Y mae yntau yn cydsynio: "Bwriwch fi i'r môr." Nid oes un lle i dybied ei fod wedi cael amlygiad o fwriad Duw gyda golwg arno; ni chaniatëir i ni dybied, ychwaith, ei fod, yn nghyndynrwydd a chaledrwydd ei galon, wedi cael digon ar ei einioes, ac yn chwennych cael terfyn ar ei fywyd; ond, wedi cael ei daro yn nerthol gan ei gydwybod fod ei anufudd-dod yn haeddu marwolaeth, y mae yn dymuno syrthio i ddwylaw y Duw y pechodd yn ei erbyn, fel ei Farnwr, a chyflwyno ei hun yn gwbl iddo, i wneuthur âg ef fel y byddai da yn ei olwg. Crynai y

morwyr rhag hyn; a cheisiasant dòri rywfodd trwy y tònau a chyrhaeddyd y tir; ond yr oedd y môr dan orchymyn i gau i fyny bob ffordd o waredigaeth yn y cyfeiriad hwnw. Cyn gosod eu dwylaw ar un o weision Jehofah, mae y morwyr yn troi ato, yn niniweidrwydd eu calonau, ac yn ymbil arno na byddai iddo roddi ei waed yn eu herbyn. Yr oedd cymeriad y dyn yn ddyeithr iddynt—yr oedd cymeriad ei Dduw yn ddyeithr iddynt—nid oeddynt yn deall pwysigrwydd y trosedd, nac yn gweled yn hollol a oedd y prophwyd yn haeddiannol o'r ddedfryd a roddasai arno ei hun ai nad oedd; yn y tywyllwch a'r ansicrwydd hwn, gan hyny, y maent yn gweddïo ar y Duw nad adwaenent am fod yn drugarog wrthynt, a pheidio eu dyfetha os oeddynt yn cyflawni yr hyn na ddylasent mewn amryfusedd. Mor fuan ag y disgynodd y prophwyd i'r môr, dyna yr ymrafael wedi peidio; dyna yr ymdrafodaeth rhwng Duw â'r prophwyd wedi ei symud o'r byd gweledig i'r anweledig. Dyna bregeth ar gymeriad Duw na chafodd y morwyr erioed o'i bath; ac y mae genym le mawr i hyderu iddi fod yn effeithiol i'w dwyn i'w addoli mewn gwirionedd.

Ond nid ydoedd Jonah i gael ei gymeryd i fyd arall yn yr amgylchiad hwn; yr oedd ei waith yn y byd hwn heb ei orphen. Wedi ei gael yn foddlawn i ymdaflu arno, ac i dderbyn oddiar ei law yr hyn a fyddai da yn ei olwg, yr oedd yr Anfeidrol wedi darparu amgylchiad arall, ymha un yr oedd y prophwyd i gael ei ddwyn i brofi ei ymddibyniaeth ar, a'i ymostyngiad i, Dduw yn fwy llwyr fyth. "A Jehofah a ddarparasai bysgodyn mawr i lyncu Jonah. A Jonah a fu yn mòl y pysgodyn dri diwrnod a thair nos." Pa faint bynag o wawdio sydd wedi bod gan elynion Dwyfol ysbrydoliaeth ar y rhan hon o'r hanes, y mae y neb sydd yn addef bodolaeth Duw, ei ddoethineb, a'i allu, yn gweled ei ffordd yn glir ar unwaith i gredu yr hanes yn syml fel y mae. Nid ydyw yn anghenrheidiol i ni dybied ddarfod i Dduw grëu pysgodyn at y pwrpas; nid o herwydd na buasai hyny yn hollol ddichonadwy, ond o herwydd nad ydyw yr Anfeidrol wedi arfer gwneyd trwy wyrth yr hyn a fuasai yn bosibl trwy foddion cyffredin. Nid oedd eisieu crëu pysgodyn, o herwydd yr oedd pysgod yn y môr, ac yn Môr y Canoldir, ag oeddynt yn hollol gyfaddas at y pwrpas. Mae yn wir nad ydyw y mofil felly; ac y mae yn ffaith mai yn anaml iawn y gwelir y pysgodyn hwnw yn Môr y Canoldir; ac anffawd ydoedd i'r cyfieithwyr Cymraeg a Saesoneg (Mat. xii. 40) wneyd defnydd o'r gair morfil; o herwydd y mae gwddf y morfil yn rhy gyfyng i gymeryd dyn yn ei gyflawn faintiolaeth i fewn. Ond nid yw y gair Hebraeg yn Jonah a gyfieithir "pysgodyn mawr," na'r gair Groeg yn Matthew a gyfieithir "morfil," yn dynodi un pysgodyn arbenig, ond dosbarth o bysgod, ymha un y gellir cynnwys y morfil yn gystal â physgod mawrion eraill. Nid oes eisieu myned ymhellach na'r morgî, *(shark, canis carcharias, squalus carcharias)* i gael pysgodyn ag sydd yn gyfaddas ymhob dim at yr hyn a adroddir yn hanes Jonah. Rhaid i ni ymbwyllo ychydig yn y lle hwn, o herwydd yma y mae gwrthodwyr yr hanes wedi adeiladu rhai o'u prif amddiffynfëydd. Crybwyllasom eisoes mai nid y morfil ydoedd y pysgodyn, ac nad ydyw yr hanes yn dyweyd mai y pysgodyn hwnw ydoedd; ond y mae hanesiaeth naturiol yn sicrhâu i ni fod rhywogaeth o'r morgŵn i'w cael yn Môr y Canoldir ag ydynt yn alluog, nid yn unig i lyncu dyn, ond i lyncu crëaduriaid mwy.

Adrodda Müller:—"Syrthiodd morwr dros fwrdd y llong yn Môr y Canoldir mewn ystorm yn y flwyddyn 1758. Yr oedd morgî yn ymyl, yr hwn a welodd y dyn yn y tònau; rhedodd tuag ato, a chymerodd ef o'r golwg i'w safn. Archodd y cadben i fagnel ag oedd ar y bwrdd gael ei ollwng at y morgî, a saethwyd ef; taflodd yntau y morwr allan, a chymeryd ef i fyny i'r bâd, a chafwyd nad oedd wedi derbyn ond ychydig niwed. Picellwyd y pysgodyn, a daliwyd ef, a gwnaeth y cadben anrheg o hono i'r morwr, yr hwn a'i cymerodd o amgylch i'w arddangos yn mhrif ddinasoedd Ewrop. Yr oedd yn mesur ugain troedfedd o hŷd, a naw troedfedd o lêd pan fyddai ei esgyll wedi eu hagor allan; a phwysai dair mil, naw cant, a phedwar ar hugain o bwysau." Dywed Blumenbach, yn wir, fod rhai o'r pysgod hyn yn pwyso deng mil o bwysau, a bod ceffylau wedi eu cael yn gyfain yn eu cylla. Dywed ysgrifenydd yn yr unfed ganrif ar bymtheg, wrth draethu ar bysgod Marseilles, fod pobl Nice wedi dal un o'r rhywogaeth a nodwyd uchod, pa un oedd yn agos i bedair mil o bwysau, a bod dyn yn gyfan yn ei gylla. Sylwa Richardson, wrth son am y morgî gwỳn yn Ngogledd America, ei fod ef yn fynych tua deg troedfedd ar hugain o hŷd; a dywed naturiaethwyr fod gwddf morgî o'r maintioliaeth hwnw yn rhwym o fod tua chwe' throedfedd o amgylchedd. Dangosir ymhellach fod gweddillion pysgod llawer iawn mwy fyth i'w cael yn fynych ar hyd glànau Môr y Canoldir—pysgod ag yr oedd yn rhaid fod eu gyddfau yn mesur o wyth i ddeg troedfedd. Mae y pysgodyn hwn yn y cyffredin yn aros yn ngwaelod y môr, ac nid ydyw i'w ganfod un amser yn agos i'r làn, os na bydd yn ymlid ar ol ei ysglyfaeth, neu yn dïanc rhag y gelyn. Y mae yn wancus am bob math o grëaduriaid sydd yn preswylio y moroedd, ac yn ymosod ar ddyn ymha le bynag y gwêl gyfleusdra i hyny. Gellid dwyn ymlaen lawer o enghreifftiau i'r un perwyl; ond y mae hyn yn ddigon i ddangos fod gan yr Arglwydd ddigon o bysgod wrth law i fod yn babell i'w brophwyd anufudd am ychydig dymmor. Nid ydym yn meddwl fod y wỳrth yn gynnwysedig yn narpariaeth y pysgodyn, er fod yma amlygiad o'r modd y mae deddfau a gweithrediadau natur yn cydweithio er dwyn oddiamgylch fwriadau y Penllywydd. Y mae y wyrth yn hytrach yn gynnwysedig yn nghadwraeth Jonah yn fyw yn y môr ac yn mòl y pysgodyn am dridiau a theirnos. Nid oes un angenrheidrwydd am ystyried y "tridiau a theirnos" yn gyflawn, yn cynnwys pedair awr ar hugain bob un. Gellir cymeryd yr ymadrodd heb dòri ar draws un rëol, yn ol dull cyffredin yr Iuddewon o siarad, fel yn dynodi iddo gael ei daflu ar dir sych y trydydd dydd ar ol cael ei lyncu. fel y dywedir am yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn yr oedd Jonah yn arwyddlun o hóno, iddo gyfodi y trydydd dydd. Ond i ba fesur bynag y byrhëir yr amser heb osod un trais ar y geiriau, nid ydym yn gallu gweled fod dim llai na gwyrth a allasai ei gadw yn fyw yn y fath sefyllfa. Ymddengys oddiwrth ddesgrifiad y prophwyd o'i sefyllfa, nad oedd y pysgodyn yn agos i'r llong i'w gymeryd yn y fan, ond iddo soddi i'r gwaelod, ac mai yno y cafodd yr anghenfil afael arno. Gwaith diangenrhaid a dibwrpas yw son am y plentyn yn byw yn y groth am fisoedd cyn ei eni er dangos y gallasai Jonah fyw yn mol y pysgodyn. Nid oes dim cyfatebrwydd rhwng y ddau amgylchiad. Y neb ni fedr ganiatâu gwyrth yn y lle hwn, y mae yn anhawdd, os nad annichonadwy, iddo ganiatâu y posiblrwydd o wyrth o gwbl. Mae y rhan hon o'r hanes

mor bell o fod yn ffurfio gwrthddadl anorchfygol yn erbyn ei gwirionedd, fel y mae i ni yn ffurfio un o'r profion cadarnaf yn mhlaid ei gwirionedd, ac yn enwedig o blaid y grediniaeth mai Jonah ei hun a ysgrifenodd yr hanes. Mae y prophwyd yn cymeryd llong i fyned i eithaf y Gorllewin pryd yr oedd Duw wedi ei anfon i un o bell ddinasoedd y Dwyrain yn gwbl naturiol. Mae y desgrifiad o'r morwyr a'r ystorm, a'r crybwylliad am bysgodyn a allai lyncu y prophwyd, yn cario gyda hwynt arwyddion eglur, dybygem ni, hyd yn nôd i "feddyliwr," a "beirniad," ac "ysgolhaig"—geiriau ag y gwneir defnydd mawr o honynt gan blaid neillduol o ysgrifenwyr—fod yr hanes yn wirionedd, a'i fod yn cael ei adrodd gan un ag yr oedd y pethau hyn yn wirionedd yn ei brofiad ei hun. Yma hefyd yr ydym yn dyfod i gyfarfyddiad â phrawf arall o wirionedd yr hanes ag sydd yn gwbl anorchfygol yn ein tyb ni. Cyfeirio yr ydym at y crybwylliad a wneir gan Iesu Grist at yr hanes, a'r ystyr neillduol a roddir ganddo iddo. Gwyddom y gwna y blaid wrthwynebol yn ysgafn iawn o hyn. Eu dadl ydyw, fod Crist yn cyfarfod ei wrandäwyr ar eu tir eu hunain, ac yn llefaru am bethau fel yr oeddent hwy yn arfer credu a siarad yn eu cylch; na ddaeth efe i'r byd i ddysgu gwyddoniaeth na beirniadaeth i'r byd, ond ei fod yn cymeryd y pethau hyny fel yr oedd yn eu cael, ac yn eu defnyddio at amcan mawr ei genadaeth yn y byd. Yr oedd yr Iuddewon yn credu fod Jonah wedi bod am dridiau a theirnos yn mòl y pysgodyn; y mae yntau yn cymeryd yr hanes fel yr oeddynt hwy yn ei gredu, ac yn ei ddefnyddio er egluro gwirionedd pwysig mewn cysylltiad âg ef ei hun a hwythau. Ac wrth deimlo fod y cwrlid hwn braidd yn rhy gul i orchuddio y geiriau fel y maent yn Mat. xii. 40—42, y mae rhai wedi gweled yn angenrheidiol dwyn i fewn syniad arall. Y maent wedi cael allan na lefarwyd y fath eiriau ag a geir yn Matthew gan Iesu Grist; mai rhywun arall a osododd y geiriau hyn i fewn o'i fympwy Iuddewig ei hun; ac mai y cwbl a ddywedodd yr Iesu ydoedd yr hyn a gofnodir gan Luc (xi. 32). Drwg genym mai dyma olygiad y craffus a'r duwiolfrydig Neander. Yn ei waith gorchestol ar "Fywyd Crist," y mae wedi caniatâu mwy nag a oddef beirniadaeth dêg ar yr amgylchiadau i Strauss a'i ysgol, ar y pwnc hwn, ac ar amryw bynciau eraill. Yr ydym yn cael yr un peth yn cael ei grybwyll fwy nag unwaith, ac ar wahanol amgylchiadau, yn yr Efengylau; ac nid ydyw atebiad yr Arglwydd yn hollol yn yr un geiriau bob tro. Yn Matthew, yr atebiad ydyw, "Cenedlaeth ddrwg a godinebus sydd yn ceisio arwydd; ac arwydd nis rhoddir iddi ond arwydd y prophwyd Jonas: canys fel y bu Jonas dridiau a theirnos yn mòl y morfil, felly y bydd Mab y dyn dridiau a theirnos yn nghalon y ddaear. Gwŷr Ninefeh a gyfodant yn y farn gyda'r genedlaeth hon, ac a'i condemniant hi, am iddynt hwy edifarhâu wrth bregeth Jonas; ac wele fwy na Jonas yma," Mat. xii. 39—41. Yn ol Luc, cawn ef yn dywedyd, "Y genedlaeth hon sydd ddrwg; y mae hi yn ceisio arwydd; ac arwydd ni roddir iddi ond arwydd Jonas y prophwyd; canys fel y bu Jonas yn arwydd i'r Ninefëaid, felly y bydd Mab y dyn hefyd i'r genedlaeth hon. Gwŷr Ninefeh a godant i fyny yn y farn, &c.," Luc xi. 29—32. Nid yw yr atebiad a geir yn Marc yn wahanol; ond y mae yn fyrach nag un o'r rhai hyn. Wrth edrych ar y geiriau hyn yn syml, a'u hystyried yn eu cysylltiadau, rhaid i ni addef nas gallwn dybied am eiliad lai na bod Iesu Grist yn siarad

am Jonah a'r Ninefëaid fel hanes gwirioneddol. Addefwn na ddaeth efe i'r byd i ddysgu gwyddoniaeth na beirniadaeth; ond nis gallwn weled ei fod ef yn siarad am ddim fel ffeithiau a dygwyddiadau pryd nad oeddynt felly mewn gwirionedd. Yn y geiriau a nodwyd y mae efe yn gosod personau ac amgylchiadau ar gyfer eu gilydd:—

Y genedlaeth hon a'r Ninefëaid;
Efe ei hun a Jonas;
Efe yn nghalon y ddaear a Jonas yn mòl y pysgodyn;
Jonah yn pregethu ac yn arwydd i'r Ninefëaid;
Yntau yn pregethu ac yn arwydd i'r genedlaeth hon.
Gwŷr Ninefeh yn codi yn y farn yn erbyn y genedlaeth hon.

Nid oes dim ystyr i'r geiriau, os nad oedd y naill mor wirioneddol â'r llall. Os chwedl oedd hanes Jonah, a'i dafliad i'r môr a'i waredigaeth o fòl y pysgodyn, a'i ymddangosiad a'i bregeth yn Ninefeh, yna chwedl hefyd yw holl hanes Iesu o Nazareth, ei farwolaeth, ei gladdedigaeth, a'i adgyfodiad, ynghyda'r holl efengyl y dechreuwyd ei phregethu ganddo i fyd o golledigion; ond os yw y naill yn wirionedd, rhaid fod y llall hefyd, yn ol tôn y geiriau uchod. Nid mor hawdd yw penderfynu yn mha fodd yn neillduol yr oedd Jonah yn arwydd ac yn cyfateb i'r modd yr oedd Iesu Grist yn arwydd i'r genedlaeth hon. Mŷn rhai fod Jonah yn arwydd i Israel: er mor gryf ydoedd ei ragfarn ef, fel yr Iuddewon yn gyffredin, yn erbyn y cenedloedd, eto y mŷnai Duw, hyd yn nôd trwy orchwyliaeth oruwchnaturiol, ei blygu i ddwyn ei genadwri i'r Ninefëaid; a'i fod yn hyny yn arwyddlun i Israel, yn dangos iddynt, yn gymaint â'u bod hwy yn dibrisio trugareddau Duw, yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a anfonid atynt, y mŷnai Duw drosglwyddo eu manteision hwy i'r cenedloedd; a bod hyn oll yn cyfateb i, neu yn rhagarwyddo, y modd y byddai i'r cenedloedd, trwy waith yr Iuddewon yn gwrthod ac yn lladd y Messïah, ddyfod i feddiant o'u rhagorfreintiau a'u bendithion. Yn ol y syniad hwn, y mae hanfod yr arwydd, os nad yn cael ei adael allan o gwbl, yn cael ei daflu o'r tu cefn. Ymddengys i ni mai fel un wedi bod yn mòl y pysgodyn yr oedd y naill yn arwydd, ac fel un wedi bod yn nghalon y ddaear yr oedd y llall. Dangosir ymhellach mewn atebiad arall, ag sydd yn hollol yr un o ran ystyr, er fod y gymhariaeth yn wahanol, a roddwyd gan yr Arglwydd Iesu i'r un gofyniad mai yn hyn y mae cnewyllyn y mater:—"Dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau y cyfodaf hi," Ioan ii. 19. Yn y goleuni hwn, er na ddywed Jonah un gair am hyny, rhaid i ni gredu fod y Ninefëaid wedi dyfod i ddeall, rywfodd, am y tywydd mawr a'r amgylchiadau rhyfeddol y daethai y prophwyd trwyddynt mewn trefn i'w ddarparu i ddwŷn cenadwri yr Arglwydd atynt. Heb fod yn mol y pysgodyn, buasai yr arwydd yn amddifad o'i hanfod; ond ni buasai hyny yn ddim "arwydd i'r Ninefëaid," drachefn, heb i'r hanes gael ei fynegu iddynt. Ymddengys i ni ymhellach, y gall y golygiad hwn daflu gradd o oleuni ar yr hyn sydd yn peri cymaint o ddyryswch i "feddylwyr" rhesymoliaeth, sef, pa fodd y buasai i eiriau un dyn dyeithr, tlawd ei ymddangosiad, gael y fath wrandawiad yn ninas fawr Ninefeh, a chan ei phreswylwyr cyfoethog a galluog. Yn unol â'i gynllun, nid yw y prophwyd yn rhoddi dim o'i hanes ond cymaint ag sydd yn dal cysylltiad uniongyrchol â'i genadwri

ond y mae ein dychymyg yn dyweyd wrthym y gallasai ei fod wedi myned i Ninefeh ar ei union, heb fyned adref, heb na dillad nac ymgeledd—fod yr olwg arno yn cynhyrfu y Ninefëaid i holi ei hanes, a'i fod yntau yn adrodd yr helynt, ac y gallai fod hanes ei ddïangfa wyrthiol o fòl y pysgodyn, a'i ymddangosiad fel un wedi cyfodi o wlad y meirw, yn dylanwadu yn y modd mwyaf effeithiol mewn cysylltiad â'i genadwri. Trwy yr orchwyliaeth yn mòl y pysgodyn, a'r waredigaeth oddiyno, yr oedd y prophwyd wedi ei gymhwyso i fyned i Ninefeh; a thrwy yr amgylchiad hwnw yr oedd y dylanwad i wneyd ei genadwri yn effeithiol. Felly, trwy ei farwolaeth a'i adgyfodiad y cyfaddaswyd Mab y dyn i ddwyn iachawdwriaeth, nid i ddinas, ond i fyd colledig. Iawn y geilw un ysgrifenydd galluog yr efengyl yn "efengyl yr adgyfodiad." Ac oddiwrth ei farwolaeth a'i adgyfodiad y daw y dylanwadau nerthol sydd yn angenrheidiol i wneyd yr efengyl yn effeithiol er achubiaeth. Ac ymhellach, megys yr oedd toster cyfiawnder Duw ynghyda gwerth a helaethrwydd ei drugaredd yn cael eu harwyddlunio yn Jonah o flaen y Ninefëaid, felly yr oedd gwaith yr Iuddewon yn gwrthod ac yn croeshoelio Mab y dyn i fod yn arwydd iddynt y byddai i'w rhagorfreintiau hwynt gael eu cymeryd oddiwrthynt, ac y byddai i'r hwn a orweddodd yn nghalon y ddaear fod yn genad iachawdwriaeth i'r cenedloedd fel yr oedd Jonah wedi bod i'r Ninefëaid. A mwy: "Dinystriwch y deml hon;" ac ychwanega yr efengylydd, "efe a ddywedasai am deml ei gorff." Fel pe dywedasai, Yn eich gwaith chwi yn rhoddi y corff hwn i afael y dinystrydd, sef marwolaeth, byddwch yn gwneyd llwyr ddinystr ar y deml sydd wedi bod yn gysgod o hóno trwy yr oesoedd. Bydd yr holl sefydliad yn cael ei chwalu; bydd y seremonïau, yr aberthau, y defodau, a'r trefniadau a osodwyd dan y cyfammod cyntaf—y deml, preswylfa Duw dan y cyfansoddiad hwnw—yn myned heibio, yn darfod, ac yn diflanu am byth. Yn marwolaeth Mab y dyn, bu farw yr hen oruchwyliaeth; rhwygodd llèn y deml oddi fyny hyd i waered. Aeth Mab y dyn i galon y ddaear, a thrwy hyny efe a ddystrywiodd bob peth daearol, cnawdol, oedd yn perthyn i drefn iachawdwriaeth. Aeth yr hen drefniadau a'r hen olygiadau i gyd heibio; ac yn ei adgyfodiad foreu y trydydd dydd, wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd. Nid afon gûl yn rhedeg rhwng muriau yr enwaediad a'r ddeddf, y rhai oedd mor gryf ac mor uchel fel na fedrai ond ambell dòn ymdaflu drostynt, oedd gras i fod o hyn allan, ond môr ag yr oedd ei ddyfroedd i lanw ac i lifo dros bob gwlad. O hyn allan yr oedd y Groegwr fel yr Iuddew i fod yn ddeiliad bendithion y prynedigaeth. Yn Jonah, mewn modd arbenig, yr arwyddluniwyd y ffaith fawr hon. Cafodd eraill, o'i flaen, ac ar ei ol, awgrymu a chyhoeddi mai felly y buasai; ond iddo ef y rhoddwyd i fod yn arwydd—yn fath o gysgod gwanaidd o'r holl wirionedd. Trwy orchwyliaeth bòl y pysgodyn, bu farw, o leiaf am dro, ei hen syniadau Iuddewig, culion, cnawdol; a phan ddaeth allan foreu y trydydd dydd, yr oedd ei deimladau a'i olygiadau yn newyddion, ac yntau yn brophwyd i Dduw i weinyddu ei swydd mewn modd, mewn gwlad, ac ymysg dynion, ag oeddynt hyd yma yn ddyeithr iawn i Iuddew cartrefol, defosiynol, a chul. Yma, o law Iesu Grist yr ydym yn cael yr agoriad i lyfr Jonah. Yma yr ydym yn gweled ei le a'i gysylltiad yn nghadwen prophwydoliaeth; ac o wrthod yr eglur-

hâd hwn, yr ydym yn debyg o fyned i ymbalfalu mewn tywyllwch.

Yn môl y pysgodyn y mae Jonah yn cânu emyn; nid gweddi am waredigaeth, ond anthem o fawl am ei waredu. Mŷn rhai fod yma anghysondeb—mai ar ol cael ei daflu i dir sych y dylasai efe gânu, ac nid pan yn môl y pysgodyn. Ond y mae y cyfryw yn profi fod eu syniadau yn hynod o arwynebol a bychain. Y gwirionedd ydyw, yr oedd Jonah yn ystyried fod ei waredigaeth wedi ei chwblhâu mewn effaith pan gafodd efe ei hun yn ei lettŷ dïogel yn môl y pysgodyn. Teimlai ei hun yn llaw a than ofal ei Dduw mewn modd arbenig, a deallai yn dda na ddygwyddai iddo yn y llaw hono ddim niwed. Mae yn wir fod rhai o ymadroddion y gân wedi eu cymeryd o ganiadau eraill; ond nid yw hyny yn tŷnu dim oddiwrth ei phrydferthwch a'i phrïodoldeb. Dygodd yr Arglwydd Dafydd ac eraill o'i bobl i'r fath wahanol amgylchiadau, rhoddodd iddynt yn yr amgylchiadau hyny y fath brofiadau amrywiol a chyfoethog, a rhoddodd ei Ysbryd i'w dysgu a'u cynnorthwyo i roddi iaith i'r profiadau hyny yn y fath fodd ag i fod yn dafod i deimladau ei bobl trwy holl oesoedd y ddaear. Mynych iawn y bydd plant Duw ymhob oes yn cael eu gwneyd yn brofiadol o deimladau ag na fedrant gael geiriau i'w gosod allan yn hollol; ond yn y cyfyngder, daw salm, neu ran o salm, i'w meddwl, yr hon sydd yn gorff cymhwys i'w holl deimladau. Felly, i fesur helaeth, yr oedd yn amgylchiad Jonah. Dyn cyfarwydd â'i Fibl ac â'i Dduw sydd yma, yn rhoddi allan deimladau dyfnaf ei galon. Er fod llawer o'r gân wedi ei chymeryd o'r Salmau, nid ydyw y brawddegau wedi eu cymeryd yn hollol air am air; ac y mae y cyfnewidiadau a'r ychwanegiadau yn profi fod Jonah ei hun yn feddiannol ar lawer o allu barddonol. Yn wir, y mae yn ammhëus ai nid yn nghân Jonah yr oedd rhai o'r ymadroddion a geir yn y Salmau yn wreiddiol. Mae y gân yn un o'r rhai mwyaf barddonol a phrydferth. Ni a roddwn yma gopi o hóni mor agos ag y gallwn at y gwreiddiol, o ran meddwl a ffurf:—

Gelwais o'r cyfyngder a ddaeth i mi
Ar Jehofah, ac efe a'm hachubodd;
Allan o fòl uffern y gelwais,
Clybuaist fy llef.

Pan y teflaist fi i'r dyfnder—i galon y môroedd,
Y llifeiriant a'm hamgylchynodd,
Dy holl dònau a'th wanegau a aethant drosof;
Yna y dywedais,
Bwriwyd fi ymaith o ŵydd dy lygaid;
Er hyny, mi a edrychaf eto tua'th deml sanctaidd.

Dyfroedd a'm cylchynodd, ïe, hyd yr enaid,
Y dyfnder a'm hamgylchodd,
Yr hesg a ymglymodd am fy mhen,
Disgynais at dòriad ymaith y mynyddoedd,
Y ddaear, ei bolltau oedd arnaf yn wastad:
Yna ti a ddyrchefaist fy einioes o'r pwll,
O Jehofah, fy Nuw.
Pan lewygodd fy enaid ynof,

Meddyliais am Jehofah,
A'm gweddi a ddaeth i mewn atat yn dy deml sanctaidd.
Y rhai a ymafaelant mewn gwagedd ofer
A wrthodant eu trugaredd eu hun;
Ond mi a aberthaf i ti gyda llais clodforedd,
Yr hyn a addunedais a dalaf.
Iachawdwriaeth sydd eiddo Jehofah.

Wrth "fòl uffern," yn y pennill cyntaf, nid ydys i ddeall bòl y pysgodyn. Sonir yn Es. v. 14, am "safn" uffern, neu *sheol*, ac yma am groth, neu fòl uffern, neu y byd isod. Y meddwl ydyw, dyfnderoedd tiriogaeth y meirw, o ba un nid oes dim gwaredigaeth ond trwy gyfryngiad Duw. Yn yr ail bennill, y mae yn myned ymlaen i ddesgrifio ei sefyllfa mewn ymadroddion tra grymus a tharawiadol. "Ti a'm teflaist." Y mae yn gweled ac yn cydnabod nad oedd y morwyr ond offerynau; mai Jehofah oedd y gweithredydd. Yn wir, y mae y syniad hwn yn cael ei ddwyn allan yn y modd mwyaf eglur a desgrifiadol trwy yr holl lyfr. Jehofah a daflodd yr ystorm ar y môr; efe a daflodd y prophwyd i'r dyfnder, a ddarparodd bysgodyn i'w lyncu; ei dònau ef a lifent drosto; efe a orchymynodd i'r pysgodyn ei daflu ar dir sych; credu i Dduw a wnaeth pobl Ninefeh; yr Arglwydd Dduw a ddarparodd y cicaion; efe a ddarparodd y pryf drachefn i'w ddifa; ac efe a ddarparodd y poethwynt i daro arno. Nis gellir llai na gweled duwiolfrydedd a gallu barddonol y prophwyd yn yr ymadroddion hyn, ymha rai y gwelir y Jehofah yn taflu y gwynt (megys o'i ddyrnau) ar y môr, nes y mae hwnw yn ymgynddeiriogi dan ei ddylanwad—yn bwrw y prophwyd i lawr i waelodion bro marwolaeth—yn arwain y pysgodyn i le prïodol i'w dderbyn—yn sibrwd wrtho, pan ddaeth yr adeg, am ei ddychwelyd i dir, ac yn dangos iddo y lle prïodol i'w daflu i'r làn—yn llunio ac yn gwau y cicaion yn gysgod iddo—yn gwneyd y pryf ac yn ei anfon yno i ddifa dail y gysgodlen—yn anfon y poethwynt allan o'i ystafelloedd yn y dwyrain, ac yn gorchymyn i'r haul ergydio ar ben y prophwyd siomedig. Nid dyn egwan o feddwl na gwâg o Dduw oedd Jonah; ac nid rhywun cyffredin, na wyddys pwy, a fedrai ysgrifenu fel hyn. Yn y pennill nesaf yn y gân y mae yn defnyddio ffugyrau gwahanol eto i osod allan ei gyfyngder, ac yn terfynu gyda diolchgarwch a mawl i Jehofah yn ei deml. Yma y mae yn desgrifio ei hun yn y dyfnderoedd isaf—yn y gwaelodion, lle tyfa yr hesg, ac wrth dòriadau, terfynau, neu wreiddiau y mynyddoedd; holl lifeiriant y dyfnderoedd yn myned drosto, yr hesg, fel gwisgoedd marwolaeth, yn ymglymu am ei ben, a'r ddaear wedi cau ei holl folltau ar ei ol, a phob dôr wedi ei sicrhâu arno. Ac eto, o'r pwll, yn y dyfnder isaf hwn, y mae Jehofah wedi codi i fyny ei fywyd. Yn y pennill diweddaf, mae yn cyhoeddi, nid yn unig fod Jehofah wedi bod yn waredwr iddo ef, ond mai iddo ef yn unig y perthyn iachawdwriaeth; ac er mwyn dwyn allan y meddwl gyda mwy o nerth ac eglurder, y mae yn dangos ffolineb a thrueni y rhai a edrychant, gyda hoffder, serch, ac ymddiried, ar eilunod ofer. Wrth fyfyrio uwchben y cyfansoddiad hwn, mae yn ymddangos i ni yn llawer mwy anhawdd credu y gellid cael gafael mewn ffughanesydd Iuddewig a fedrai gyfansoddi y fath gân heb gael dim profiad o'r pethau a grybwyllir ynddi, na chredu fod

Jonah wedi bod yn mol y pysgodyn, ac wedi cael ei waredu oddiyno gan Dduw. Nid oes angen i ni feddwl iddo osod pob gair fel y maent wrth eu gilydd, mwy nag iddo ysgrifenu yr emyn pan yn mòl y pysgodyn. Digon, fe ddichon, ydyw credu ddarfod i'r holl syniadau hyn ddyfod i'w feddwl pan yn y dyfnder, ac iddo eu gosod yn drefnus wrth eu gilydd a'u hysgrifenu wedi hyny.

Ymha le y bwriwyd y prophwyd ar dir sych, nis dywedir; mae yn debyg mai yn rhywle manteisiol ar dueddau Palestina. Ni roddir i ni, ychwaith, ddim o fanylion y daith faith ar draws yr anialwch. Pa fodd yr oedd y prophwyd, ar ol cael ei ystwytho a'i blygu i roddi ufudd-dod i'w Dduw, yn teithio, nis gwyddom; pa ffordd yr aeth, pa hyd y bu ar ei daith, nac ar ba dymmor yn y flwyddyn yr oedd yn teithio, nis gwyddom. Gwarafunwyd i ni yr hyfrydwch o ddal cymundeb âg ef yn ei ymdaith, o herwydd nad oedd un wers arbenig i ni i'w dysgu oddiwrth hyny. Y lle y ceir ef nesaf ydyw yn Ninefeh—"y ddinas fawr i Dduw" (Jonah iii. 3) —y ddinas ag oedd yn fawr yn ngolwg Duw—yn fawr mewn gwirionedd —yn rhy fawr gan Dduw i'w dinystrio; neu, fe allai, fod yr ymadrodd, *le' lohim*, yn y lle hwn, fel lleoedd eraill, yn cael ei ddefnyddio fel yn yr eithafoedd, yn dynodi yr hyn sydd fawr anarferol. Mae yn anmhosibl rhoddi ei mesurau gyda manylrwydd ar y pryd presennol, o herwydd y difrod llwyr a ddaeth arni, yn ol gair yr Arglwydd trwy Nahum, trwy offerynoliaeth y Mediaid a'r Babyloniaid. Yn ol Gen. x. 11, adeiladwyd y ddinas ar y cyntaf gan Nimrod, ac yn ol haneswyr Groeg a Rhufain gan Ninus, sylfaenydd ymherodraeth Assyria. Yn amser Jonah, hi ydoedd brifddinas yr ymherodraeth, a thrigfa y brenhinoedd. Yn ol Strabo, hi ydoedd y ddinas fwyaf yn yr holl fyd. Yr oedd yn llawer mwy na Babylon. Amgylchedd yr olaf oedd 365 o ystadiau, tra yr ydoedd yr eiddo Ninefeh yn 480 o ystadiau. Ond y mae yn ymddangos, er fod y mûr felly tua 60 milldir o amgylchedd, fod mwy nag un cynnulliad o adeiladau o fewn yr amgylchedd hwnw. Y mae Mr. Layard, ac eraill a fuont yn archwilio yr adfeilion yn ddiweddar, wedi dyfod i'r penderfyniad fod yr enw Ninefeh yn cael ei arferyd am gydgynnulliad o bedair o ddinasoedd, yn gystal ag am un ddinas neillduol ag oedd yn un o'r pedair; yn gyffelyb, mewn ystyr, i'r modd y mae Llundain. Y mae dinas Llundain yn brïodol yn gorwedd o fewn y pyrth; ond Llundain yw yr enw cyffredinol a roddir ar Westminster, Southwark, Islington, a lleoedd eraill, yn gystal â dinas Llundain ei hun. Yr oedd Ninefeh, yn yr ystyr helaeth hon, yn bedairongl, ond yn llawer hirach y naill ffordd na'r llall. Ymddengys fod ei hŷd, gyda'r Tigris, tua phump ar hugain o filldiroedd Seisonig, a'i llêd tua phymtheg milldir. Ar ei therfyn gogledd-orllewinol y rhedai yr afon Khosr; ar ei thu gorllewinol yr oedd yr afon Tigris; ar ei thu dê-orllewinol, yr afonydd Zab uchaf a Gazr Su; ac ar ei thu dwyreiniol yr oedd y mynyddoedd. Yn y gongl ogledd-orllewinol i'r pedair-ongl, ar làn y Tigris, yr oedd Ninefeh brïodol, yn ol y gweddillion a gafwyd, yn cynnwys Kouyunjik, Nebbi, Yunus, a Ninria; yn y gongl ddê-orllewinol, rhwng y Tigris a'r Zab, yr oedd Nimrud (y lle hwn, mae yn debyg, oedd y brifddinas yn y tymmor diweddaf, a hon, fel y tybia Syr Henry Rawlinson, Cadben Jones, a M. Oppert, oedd Calah). Tybir fod gweddillion dinas arall ar y Tigris, yn gorwedd o dair i chwe' milldir oddiwrth y ddiweddaf; ond nid ydys wedi cael dim ymysg

ei gweddillion i ddangos pa beth oedd ei henw. Yn lled agos i'r gongl ogledd-ddwyreiniol, ar y Khosr, y mae gweddillion adeiladau mawrion, ag oeddynt yn cynnwys palasau, a thŵr, a theml; enw y lle hwnw yn bresennol yw Khorsabad; ond oddiwrth yr hen ysgrifeniadau ar y gweddillion, tybir fod y lle yn cael ei alw Dur-Sargina, oddiwrth y palas a adeiladwyd yno gan Sargon. Y mae Mr. Layard, pa fodd bynag, yn gryf o'r farn na fu y lleoedd hyn yn ddinasoedd gwahanol, ond eu bod yn cynnwys palasau brenhinol, gyda chaerau ac amddiffynfëydd, a bod y cyfan yn perthyn i'r un ddinas fawr, Ninefeh. Pan yn darllen fod mûr Ninefeh yn driugain milldir o amgylchedd, nid ydys i dybied fod yr holl dir oddifewn y muriau wedi ei lenwi âg adeiladau, fel y mae Llundain, a dinasoedd eraill, y dyddiau hyn. Y mae sylw gan Aristotle ag sydd yn taflu gradd o oleuni ar y pwnc hwn. "Nis gellwch farnu pa un a ydyw dinas yn un ai peidio oddiwrth fod son am furiau mewn cysylltiad â hi; o herwydd byddai yn bosibl gwneyd mûr o amgylch Peloponnesus; ac fe allai mai rhywbeth o'r fath yma oedd Babylon, a phob dinas ag yr oedd iddi amgylchedd cenedl yn hytrach nag amgylchedd dinas." Byddai y tai, ac yn enwedig tai o fwy o faint na'r cyffredin, yn sefyll bob un ar ei ben ei hun; a byddai gerddi, gwinllanoedd, a meusydd, yn perthyn iddynt, er cynnyrchu cynnaliaeth i'r preswylwyr, a'r cwbl o fewn y muriau. Pan y gwarchäeodd Cyrus ar Babylon, dywedir y gallasai y ddinas gynnal ei thrigolion am ugain mlynedd heb brofi newyn. Nid muriau o amgylch eu dinasoedd i gadw y gelynion allan yn unig a ddarparai yr hen genedloedd gynt, ond darpariaeth o fewn hefyd i gadw y trigolion rhag newynu. Yn y goleuni hwn, nid yw yn rhyfedd fod trigolion Ninefeh mor ychydig mewn cymhariaeth i faint y ddinas. Am ei maint, dywedir, "A Ninefeh oedd ddinas fawr iawn, o daith tri diwrnod." Mae y desgrifiad hwn yn cyd-daro â'r hen haneswyr, yn gystal ag â'r hyn a ddywedir gan ymchwilwyr diweddar. Taith diwrnod cyffredin ydoedd tuag ugain milldir; a bydd taith tri diwrnod yn cyfateb i amgylchedd y ddinas, sef tua thriugain milldir. Yr unig grybwylliad a roddir am nifer y trigolion ydyw geiriau Duw wrth Jonah: "Oni arbedwn i Ninefeh, yr hon y mae ynddi fwy na deuddeng myrdd o ddynion, y rhai ni wyddant ragor rhwng eu llaw ddehau a'u llaw aswy?" Myrdd yw deng mil; ac felly y nifer a grybwyllir yma mewn ffigyrau fyddai 120,000. Nid oes neb deallus a dybia fod y nifer hwn yn cynnwys holl drigolion y ddinas. Yr hyn sydd yn fwyaf tebyg ydyw, mai wrth y rhai ni wyddent rhwng eu llaw ddehau a'u llaw aswy y meddylid, babanod a phlant bychain. Os felly, a chymeryd yn ganiatäol fod y cyfryw, yn ol y cyfartaledd cyffredin, tuag un o bob pump o'r boblogaeth, yr ydym yn dyfod i'r casgliad fod holl drigolion Ninefeh tua 600,000.

Wedi myned i fewn i'r ddinas, dechreuodd Jonah gyhoeddi ei genadwri yn y fan, mor fuan ag y cafodd le ac adeg gyflëus. Nid ydys i feddwl iddo fyned i fewn i'r ddinas daith un diwrnod cyn dechreu pregethu; ond y mae yr ystyr yn eglur yn ol y cyfieithiad Cymraeg—"Jonah a ddechreuodd fyned i'r ddinas daith un diwrnod, ac efe a lefodd ac a gyhoeddodd, Deugain niwrnod fydd eto, a Ninefeh a ddymchwelir."

"A ddymchwelir,"—a lwyr ddinystrir i'w sylfeini. Tybia Niebuhr iddo fyned i fewn trwy y rhan a elwid Ninefeh yn brïodol, gan fyned ymlaen rhyngddo â Nimrud neu Calah, lle yr oedd preswylfod y

brenin ar y pryd, a chyrhaeddyd cymydogaeth y palas brenhinol yn y prydnawn. Nid oes dim yn annaturiol nac yn anhebygol yn y dybiaeth hon; yn gymaint ag nad oedd y pellder ond tuag ugain milldir; ond ymddengys i ni fod yr hanesydd yn anghywir pan y tybia na ddechreuodd y prophwyd gyhoeddi ei genadwri hyd nes cyrhaeddodd i gymydogaeth y palas. Tybia Pusey, o'r ochr arall, mai myned ar draws y ddinas gan bregethu a wnaeth, o'r ochr orllewinol, ymha un yr aeth i fewn, allan i'r ochr ddwyreiniol, yr hyn ydoedd lai nag ugain milldir o bellder mewn llinell union; oblegid y lle nesaf y ceir ei hanes ydyw yn gwneyd iddo ei hun gaban o'r tu dwyrain i'r ddinas. Nid ydym yn gweled fod yr ymadrodd diweddaf hwn yn profi dim, oblegid yr ydym yn cael Jonah yn anfoddloni, yn ymliw â Duw, ac yn myned allan o'r ddinas (iv. 5) cyn hyny. A dichon mai un rheswm paham yr aeth efe allan yr ochr ddwyreiniol i'r ddinas ydoedd, fod yn hawddach myned allan yr ochr hono na'r ochr orllewinol a deheuol, y rhai ageuid i fyny gan yr afonydd Tigris a Zab. Yn ffafrio y golygiad cyntaf y mae y son fod yr hanes wedi dyfod at frenin Nineveh. Nis gallwn gydweled â rhai o feirniaid yr Almaen fod yr hanesydd yn gosod allan fod y bobl wedi cyhoeddi ympryd ac ymostyngiad o honynt eu hunain, cyn cael un gorchymyn oddiwrth y brenin. Mae yn fwy na thebyg i'r ysbryd a'i harweiniodd yno ei dywys yn ddigyfeiliorn i gymydogaeth y llŷs brenhinol; a rhediad yr hanes yw hyn: Fel yr ydoedd yn myned ar hyd y prif heolydd a'r marchnadleoedd, ac yn llefain yn erbyn y ddinas, yr oedd son am ei ymddangosiad dyeithr, y tywydd rhyfedd a'i cyfarfuasai, a'r bregeth ddychrynadwy a gyhoeddai, yn rhedeg trwy y ddinas fel gwefrdân, ac yn taro y preswylwyr annuwiol âg arswyd. Taräwodd yr hanes yn fuan ar glustiau y brenin, deffrôdd ei gydwybod, cododd yn ddiatreg oddiar ei orseddfainc, diosgodd wisgoedd gwychion y deyrngadair, rhoddodd lïan sach am ei gnawd, ac eisteddodd mewn lludw; galwodd ei swyddogion, ysgrifenwyd ac anfonwyd allan gyda brys-genadon y llŷs y *taam*, neu y cyhoeddiad canlynol:—

Dyn ac anifail—eidion a dafad,
Na phrofant ddim—na phorant ac nac yfant ddwfr.
A gwisger dyn ac anifail â sachlïan,
A galwant ar Dduw yn egnïol,
A thröant bob un oddiwrth ei ffyrdd drwg,
Ac oddiwrth y trais sydd yn eu dwylaw;
Pwy a ŵyr a dry ac yr edifarhâ Duw,
Ac y try oddiwrth angerdd ei ddigofaint,
Fel na ddyfether ni?

Syrthiodd ofn Duw ar yr holl ddinas; ac wele yr holl drigolion, o fawr i fychan, mewn sachlïan a lludw ger ei fron. Nid ydyw hyn yn anghredadwy pan yr ystyriom mor hawdd eu cynhyrfu ydoedd, ac yw, trigolion y Dwyrain, ac yn enwedig pan feddyliont fod y Duw mawr yn ymyraeth mewn ffordd farnol neu gosbedigaethol arnynt. Nid dynion anwareiddiedig oedd yr Assyriaid. Profa y gweddillion aneirif a geir yn adfeilion eu dinasoedd mawrion eu bod mewn sefyllta uchel o ran medr celfyddydol; ac nid ydyw hyny un amser yn cydfodoli â sefyllfa

isel o ran gwareiddiad a gallu meddyliol; ac er mai eilunaddolwyr oeddynt, nid oedd eu credo wedi ei lwyr amddifadu o'r syniad am un goruchel Dduw. Nid cynt y gwnaeth Jonah ei ymddangosiad, ac y daeth ei hanes a'i bregeth i'w clustiau, nag y tarawyd hwynt gan yr argyhoeddiad mai prophwyd y Duw hwnw ydoedd, a'u bod hwythau yn euog ger ei fron. Mŷn rhai fod y cyhoeddiad yn ffrwyth dychymyg eithafol rhyw ysgrifenydd penboeth, ac nid yn gyhoeddiad gwirioneddol a roddwyd allan gan frenin Ninefeh, o herwydd y gorchymyn sydd ynddo i anifeiliaid ymprydio, a chael eu gwisgo mewn sachlïan, a galw ar Dduw. Ymddengys i ninnau fod yr ymadroddion hyn yn dangos angerddoldeb y teimlad a feddiannai y Ninefëaid, a bod y neb sydd yn eu gwawdio heb ddeall nac ystyried y modd y mae y creadur wedi ei ddarostwng mewn cysylltiad â darostyngiad dyn fel pechadur, ac yn ocheneidio yn llwythog gydag ef dan faich ei drueni. Nid oes dim yn dal cysylltiad â dyn nad ydyw dylanwad ei bechod wedi ei gyrhaeddyd, ac nad ydyw yn cael ei adferyd yn ei ddychweliad a'i adferiad yntau. Dadleuir hefyd na chymerodd y fath amgylchiad le erioed yn hanes Ninefeh, onidê y buasai wedi ei gofnodi yn yr hen gofysgrifeniadau. Cyn y byddo nemawr nerth yn yr wrthddadl hon, rhaid profi fod *pob* amgylchiad nodedig yn hanes y genedl yn cael ei groniclo felly, a bod *pob* cofysgrifen wedi ei chael, ac wedi ei dehongli yn gywir ac yn gyflawn. Ar hyn o bryd, nid ydyw y naill na'r llall o'r pethau hyn wedi eu profi; ac oblegid hyny, mae yn rhy gynnar i wneyd defnydd o'r wrthddadl. Y mae pob lle i gredu mai bŷr iawn fu parhâd y sefyllfa newydd, ddyeithr hon ar bethau yn Ninefeh. Ac nid yw hyny yn rhyfedd; oblegid un bregeth fèr a gafwyd, un diwrnod y bu y pregethwr yn eu plith; ac nid oedd yn y bregeth ddim efengyl, ond ychydig mewn posiblrwydd—"Pwy a ŵyr?" Pa mor ddwfn ydoedd yr edifeirwch, na pha beth yn hollol oedd natur yr arbediad, nis gallwn ni, na neb arall, benderfynu. Yr oedd yr edifeirwch yn dwyn llawer o arwyddion gwir edifeirwch; yr oedd yn cynnwys ymostyngiad gwirioneddol, ymadawiad, bob un oddiwrth ei ffyrdd drwg, a gobaith gwanaidd ar Dduw am arbediad. Yr oedd yn rhywbeth digon mawr a gwirioneddol i dŷnu sylw Duw, ac i ennill ei gymeradwyaeth, ïe, yn rhywbeth mor fawr ag a ddygodd arbediad i'w ganlyn. Rhaid i ni gael caniatâd i gredu ymhellach, fod yr arbediad hwn yn cynnwys mwy nag arbediad y ddinas mewn ystyr dymmorol. Tòn gref ydoedd hon a ymdaflodd dros geulànau afon y bywyd; ac yr ydym yn credu i filoedd o'r Ninefëaid yfed o'r dyfroedd a byw. Y mae calon y Duw a anfonodd Jonah i'r ddinas fawr wedi rhedeg ar drugarhâu, fel nas medrwn gredu iddo adael y trueiniaid yn y llïan a'r lludw heb gyfranu iddynt yno rywbeth anfeidrol fwy nag arbediad i'r ddinas am ychydig flynyddoedd. Heb hyn, buasai yr arwydd yn ddiffygiol.

Y mae yr amgylchiad hwn wedi ein dwyn ar draws mater, mewn cysylltiad â bwriadau a gorchwyliaethau Duw, ag y dylem ddyweyd gair arno, er na chaniatâ ein gofod i ni ymhelaethu. Y pwnc, os medrwn ei eirio yn eglur, ydyw hwn—Ymha wêdd yr ydym i edrych ar brophwydoliaethau yn eu cysylltiad, ar y naill law, â bwriadau Duw, ac ar y llaw arall, âg ymddygiadau dynion? Wrth gwrs, nid ydym ŷn y lle hwn yn ewyllysio sylwi mewn un modd ar olygiadau y "meddylwyr"

hyny a ddywedant nad ydyw prophwydoliaeth yn ddim ond cynnyrch meddwl dyn mewn cyflwr o ymweithiad anarferol mewn cysylltiad â sefyllfa pethau o'i amgylch. Nid ydyw y dosbarth hwn yn caniatâu fod yr hyn a elwir prophwydoliaeth yn gallu ymwneyd dim â'r dyfodol, ymhellach na rhyw ail olwg, neu olwg mewn golwg, a gyrhaeddir gan y meddwl pan mewn sefyllfa o gynhyrfiad anarferol, ac nad yw yr olwg hono yn cyrhaeddyd ymhellach na chylch y gorchwylwyr a'r gorchwylion fydd o fewn terfynau y maes ar y pryd. Am ragweled a rhagddywedyd pethau a gymerant le ymhen oesoedd, eu hateb parod a phenderfynol hwynt ydyw,—Y mae yn anmhosibl. Nid yw tiriogaeth y beirniaid hyny yn gorwedd o fewn cylch yr erthygl hon. Y mae yr ymofyniad sydd ger ein bron yn cyfodi yn hytrach oddiwrth olygiadau eraill a hollol wahanol—oddiwrth olygiadau y rhai a gredant fod prophwydoliaethau yn rhagfynegiadau penodol ac eglur, wedi eu rhoddi trwy ddadguddiad gan Dduw am bethau dyfodol, ac a gredant ymhellach fod Duw yn cyflawni pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun. Dywed un blaid fod pob prophwydoliaeth yn amlygiad o feddwl neu ewyllys Duw—fod y meddwl hwnw, o angenrheidrwydd, yn anghyfnewidiol, yr un o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, ac felly, fod pob rhagfynegiad o hono, cyn iddo gymeryd lle yn weithredol, yn rhwym o gael ei gyflawni; a dywedir mai y safon a osododd Moses i brofi pa un ai gwir ai gau ydoedd un a gymerai arno fod yn brophwyd oedd, pa un a ddeuai yr hyn a ragfynegai i ben ai peidio. Plaid arall a ddywed, mor bell ag y mae pob peth yn dal perthynas â meddwl Duw, y mae yn *angenrheidiol*, ond fel y mae yn dal cysylltiad â dyn, y mae yn *ammodol*. Dïau fod rhyw gymaint o'r gwirionedd gan bob un o'r pleidiau; ond dichon nad ydyw y gwir i gyd gan y naill na'r llall o honynt. Nid ydym yn chwennych myned i mewn i *athroniaeth* "angenrheidrwydd" yn y lle hwn. Ar yr un pryd, yr ydym yn credu fod meddwl Duw, o angenrheidrwydd, yn ddigyfnewid; rhaid i ni gredu ei fod hefyd, o angenrheidrwydd, yn Dduw gwirionedd, ac heb anwiredd; ac mai nid dyn yw Duw i ddywedyd celwydd, na mab dyn i edifarhâu. Rhaid i ni, ymhellach, adael yr hen ofyniadau, A ddywedodd efe ac nis cyflawna? A lefarodd efe ac ni gwna? yn atebion nacäol o'r fath gadarnaf iddynt eu hunain. Ond yr ymofyniad yw, Ar ba dir yr ydym i edrych ar ei eiriau trwy y prophwydi? Os yn hollol ddiammodol, pa fodd y cyfrifwn am na ddaethant i ben? Os yn ammodol, ac felly i ymddibynu ar ymddygiadau dynion, pa fodd y cydsaif hyny âg anghyfnewidioldeb Duw? Tuag at ffurfio barn gywir ar y pwnc, y mae genym, yn y lle cyntaf, i wahaniaethu rhwng meddwl ac ewyllys Duw fel y maent ynddo ef ei hun, â'r hyn ydynt o fewn cylch ei lywodraeth foesol; ac i wahaniaethu, hefyd, rhwng prophwydoliaethau yn ol y graddau y mae a fyno gweithrediadau dynion â'u dwyn i gyflawniad. Y mae dwy ystyriaeth arall hefyd a allant fod yn gynnorthwy i ni yn y mater. Y naill ydyw, fod Duw, pan yn mynegu ei feddwl i ddynion, yn gwneyd hyny gydag amcan moesol—nid er mwyn boddio chwilfrydedd neu gywreinrwydd, ond gyda golwg ar lesiant moesol y rhai y mae yn llefaru wrthynt. Y llall ydyw, fod yr Anfeidrol, pan yn llefaru ei feddwl wrth ddyn, yn gwneyd hyny yn iaith y ddaear—yn y dulliau o ymadroddi sydd yn arferedig gan ddynion. Nid ydyw ei feddwl Ef, mewn gwirionedd, yn newid; ac felly, fel y mae

ei feddwl yn bodoli yn ei fynwes ei hun, nid priodol yw dyweyd ei fod yn edifarhâu; ac eto, y mae ei ragddywediadau wedi cael eu rhoddi yn y fath fodd, fel yr oedd gan ddylanwadau dynol lawer i'w wneyd i'w dwyn oddiamgylch, a'u gohirio, neu ynte i'w rhwystro. Pan yn ymwneyd â dyn, mae yr Anfeidrol yn golygu cyfansoddiad ei feddwl, a'r ddeddf y mae efe yn byw dani, ac felly, yr oedd ei ragddywediadau, fel pob peth arall o'i eiddo, yn cael eu rhoddi i ddyn fel creadur rhydd a chyfrifol. Nid oes neb yn talu y fath warogaeth i ryddid dyn â'r Duw a'i gwnaeth; a'r rheswm am hyny yw, ei fod yn deall ei natur a'i safle yn well nag y gall neb arall. Am y rhagddywediadau am y dygwyddiadau mawrion hyny nad oedd gan ddyn ond ychydig i'w wneyd tuag at eu dwyn i ben neu eu llesteirio, y maent wedi cael eu cyflawni gyda llawer o fanylrwydd. Yr oedd esgynlawr y dylanwadau a'r gweithrediadau oedd ar waith yn eu dygiad o amgylch mor uchel fel na fedrai dyn ymyraeth ond ychydig â hwynt. Yr oedd dynion i ddysgu, ac i ddysgu llawer, oddiwrthynt, ond nid i gael eu dysgyblu ynddynt a thrwyddynt. Am ddosbarth arall o ragfynegiadau, y maent yn fwy o fewn cylch dylanwadau dynol, ac wedi eu hordeinio i fod yn foddion dysgyblaeth mewn modd arbenig i ddynion. Yn y rhai hyn y mae Duw yn gweithredu tuag at ddynion fel y mae yn gwneyd gyda golwg ar bob peth arall o fewn yr un cylch. Y mae yn eu rhoddi yn ammodol, ac yn eu cyflawni neu yn peidio yn ol y defnydd a wneir o honynt. Anfonodd ei brophwyd at Hezeciah, a dywedodd, "Trefna dy dŷ, canys marw a fyddi." Gwnaeth y brenin ddefnydd priodol o'r rhybudd; trôdd at Dduw mewn ymostyngiad a gweddi, tywalltodd ei galon mewn ymbiliau a dagrau ger ei fron. Bu y cyfnewidiad mawr a gymerodd le yn y brenin yn achos i'r rhagfynegiad gael ei roddi o'r neilldu am bymtheg mlynedd. Yr un modd yn achos y Ninefeaid. Bu pregeth Jonah yn foddion i'w dwyn i'r llwch, ac i adael eu ffyrdd drygionus; ac o herwydd hyny, nis gallai y Duw anfeidrol gyfiawn ymddwyn tuag at Ninefeh yn ei hymostyngiad a'i hedifeirwch fel y buasai yn gwneyd tuag ati pe yn parhâu yn ei hannuwioldeb. "Oni wna Barnydd yr holl ddaear farn?" Dichon y codir dadl yn y lle hwn, fod y rhagddywediad yn anghywir, ac felly yn annheilwng o Dduw. I hyn yr ydym yn ateb, nad oedd y rhagfynegiad yn anghywir yn ol sefyllfa pethau ar y pryd. Pe buasai Hezeciah yn aros o ran sefyllfa ei feddwl yn ddigyfnewid, buasai geiriau y prophwyd, o angenrheidrwydd, yn dyfod i ben; a'r un modd y gellir dyweyd am Ninefeh; ond yn y fan yr oedd cyfnewidiad yn cymeryd lle yn eu sefyllfa hwynt, yr oedd Duw, yn unol â threfn ei lywodraeth foesol, yn cyfnewid yn ei weinyddiadau tuag atynt. Yn y golygiad hwn, ac nis gallwn weled pa fodd y gellir darllen yr Ysgrythyrau yn ystyriol a deallgar heb ei goleddu, yr ydym yn canfod y byddai rhwystro, neu ohirio cyflawniad addewidion, yn gystal â bygythion, yn sefyll ar ymddygiadau y rhai y byddent wedi eu cyhoeddi iddynt. Fe allai y cyfyd un wrthddadl yn y lle hwn eto:—Os yn ammodol yr oedd y cyfryw ragfynegiadau i gael eu hystyried, paham na buasai yr Arglwydd yn dyweyd felly? Os yn ammodol, er enghraifft, yr oedd pregeth Jonah i gael ei chymeryd, paham na fuasai yr Arglwydd yn gorchymyn i'w was i bregethu, "Os na fydd trigolion Ninefeh wedi edifarhâu a dychwelyd cyn pen deugain niwrnod, bydd y ddinas yn cael

ei dymchwelyd." Ein hatebiad i hyn ydyw, fod yr Arglwydd nid yn unig yn ymwneyd â dyn fel dyn, fel bôd cyfrifol, a deiliad o'i lywodraeth foesol; ond ei fod hefyd yn ymddwyn tuag ato yn y byd hwn yn y modd mwyaf tebygol i fod yn effeithiol i'w lesoli. Ac y mae fod yr Arglwydd wedi cyhoeddi ei fygythion a'i addewidion felly yn brawf o'r fath gryfaf i ni mai felly yr oeddynt yn fwyaf cyfaddas i gael argraff dda ar feddyliau dynion.

Anfoddloni a digio yn ddirfawr a wnaeth Jonah wrth weled fod yr Arglwydd yn arbed y ddinas. Er fod gorchwyliaeth ddyeithr y môr wedi ei blygu ar y pryd mor bell ag i roddi ufudd-dod i Dduw, eto, yr ydym yn gweled fod gweddillion o'r hen deimlad eiddigus tuag at y cenedloedd yn aros yn ei galon. Ar ol gweled y modd yr oedd Ninefeh wedi ymostwng ger bron Duw, mae yn lled debyg i'r prophwyd feddwl ar unwaith ei bod drosodd gyda golwg ar gyflawniad o'i brophwydoliaeth. Aeth o'r neilldu, pa fodd bynag, i'r tu dwyrain i'r ddinas, i aros yr amser i fyny, ac adeiladodd fath o gaban bychan i aros ynddo. Annifyr ddigon, gallem dybied, oedd ei feddwl dros yr holl amser; ond pan ddaeth y dydd i fyny, ac heb un arwydd eto fod y farn ar ddisgyn, aeth ei anfoddlonrwydd o'r braidd yn annyoddefol. Ac eto, aros yno yr oedd, fel pe yn hoeliedig wrth y lle, yn methu rhoddi i fyny na fuasai y dinystr yn dyfod cyn hir, er fod Duw yn ei oedi am rai dyddiau. Tra yno yn angerddoldeb ei anniddigrwydd, gwnaeth Duw wyrth arall, er mwyn ei ddysgu yn helaethach ac yn fanylach am ei gymeriad a'i orchwyliaethau. Dichon mai nid i'w gysgodi rhag gwrês yr haul y darparodd Duw y cicaion. Yr amcan, yn ol yr hanes, ydoedd, "i'w waredu o'i ofid." Ar ol i'r cicaion wywo y dywedir ddarfod i wynt poeth y dwyrain gael ei ddarparu, ac i'r haul daro ar ben Jonah. Rhaid, gan hyny, mai y "gofid" yn y lle hwn oedd y gofid a sonir am dano yn yr adnod gyntaf a'r drydedd—y gofid a ysai ei galon wrth weled Ninefeh yn cael ei harbed. Pa fodd yr oedd y cicaion yn ei waredu o'r gofid hwn, nis gwyddom yn hollol. Yr oedd yn y llysieuyn dyddorol a godasai felly mor ebrwydd dros ei gaban fodd i dỳnu ei feddwl i ymddifyru ynddo, ac anghofio ei ofid; ac yr oedd yn cynnwys hefyd amlygiad adnewyddol o ofal ei Dduw am dano. Mae yn wir fod y *ricinus*, neu y *palma Christi* yn tyfu i faintiolaeth mawr mewn amser bỳr; ond nid oes hanes am dano yn tyfu i faint y cicaion hwn mewn amser mor fỳr ag yr awgrymir yma; ac nid oes un angenrheidrwydd am wneyd yr amgylchiad yn ddim llai na gwyrth. Mae y desgrifiad a roddir o hóno gan yr Arglwydd yn ein harwain i gredu iddo dyfu mewn noswaith:—"yr hwn oedd yn fab noswaith, ac yn fab noswaith y darfyddodd." Ni pharhäodd i roddi llawenydd i galon siomedig y prophwyd ond am un diwrnod. Erbyn bore drannoeth, yr oedd y cicaion wedi ei daro gan bryfyn oddiwrth yr Arglwydd, ac wedi gwywo; ac ar godiad yr haul, y mae yr Arglwydd—yr un Jehofah ag a daflasai ei wynt ar y môr i ddal y prophwyd yn ei anufudd-dod—yn darparu gwynt poeth y dwyrain, yr hwn, gyda phelydrau yr haul, a darawodd ar ben Jonah, fel y gwywodd, neu y llewygodd, yntau, ac y deisyfodd gael marw. Tybiodd Jonah, fe ddichon, fod y cicaion nid yn unig yn arwydd fod Duw yn gofalu am dano, ond ei fod yno i gyflawni y gair a lefarasai trwy y prophwyd. Y mae geiriau diweddaf yr Arglwydd wrth Jonah yn llawn addysg, ac yn dal y cysylltiad agosaf

â'i holl brophwydoliaeth. Yma ceir eglurhâd ar yr anfoddlonrwydd a gynhyrfai Jonah o'r dechre. "Onid arbedwn i?" medd Duw. Anfoddlonrwydd i fod yn un offeryn mewn cysylltiad âg arbediad Ninefeh a'i cynhyrfai i anufudd-dod ar y cyntaf, ac a'i codai i ffoi o wyddfod Duw; ac yn awr, y mae yn gweled yn narfyddiad y cicaion, ac yn y gwrês angerddol a darawai arno, fod pob gobaith am weled ei eiriau yn cael eu cyflawni wedi myned ymaith, mai nid gwiw ydoedd aros yno yn hŵy; ac wrth weled felly mai penderfynu arbed y ddinas yr oedd yr Arglwydd, y mae yn deisyfu cael rhoddi ei waith heibio a myned i fyd arall. Canfyddir yma hefyd eglurhâd cyflawn ar wers fawr y brophwydoliaeth, sef, y dueddfryd anfeidrol sydd yn y Duw mawr i arbed. Gosodir allan foroedd ei garedigrwydd—moroedd nad oes yn perthyn iddynt na glàn, na cheulan, na gwaelod, yn y modd mwyaf prydferth a tharawiadol, yn y geiriau, "Arbedaist ti y cicaion, yr hwn ni lafuriaist wrtho, ac ni feithrinaist: ac oni arbedwn i Ninefeh, y ddinas fawr, yr hon y mae ynddi fwy na deuddeng myrdd o ddynion na wyddant ragor rhwng eu llaw ddehau a'u llaw aswy, ac anifeiliaid lawer iawn?" Gyda'r gofyniad rhyfedd hwn, ag sydd yn dwyn i'r golwg anchwiliadwy oludoedd trugaredd Duw—y Duw sydd i fod yn Dduw nid i'r Iuddewon yn unig, ond i'r cenedloedd hefyd, y mae yr arwydd wedi ei berffeithio.

---

# EMYNYDDIAETH.

## IV.

SALMAU AC EMYNAU Y DIWYGIAD PROTESTANAIDD YN YR ALMAEN, SWEDEN, DENMARC, SWITZERLAND, FFRAINC A GENEVA, LLOEGR, YR ALBAN, AC AMERICA.

Rhoddodd y Diwygiad Protestanaidd fywyd newydd yn nghaniadaeth yr eglwys; a bu emynyddiaeth a salmyddiaeth y tymmor hwn yn gynnorthwy effeithiol i daenu egwyddorion y Diwygiad, ac yn foddion i galonogi pobl Dduw yn eu hymdrech o blaid ffydd yr efengyl, yn erbyn traws-lywodraeth, cyfeiliornadau, a llygredigaeth Eglwys Rhufain, fel y gellir ystyried hanes salmyddiaeth fel cyfran o hanes y Diwygiad ei hun. Mae yn wir mai y prif foddion i gynhyrfu a deffröi holl wledydd Crêd y pryd hyny oedd pregethiad yr efengyl yn ei phurdeb, cyhoeddi Iesu Grist yn Iachawdwr cyflawn ac unig Gyfryngwr rhwng Duw a dynion, a bod Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau; egluro ffordd y bywyd yn ngoleuni y gwirionedd Dwyfol, dal allan gyfiawnhâd trwy ffydd yn unig, maddeuant pechodau, derbyniad gyda Duw, a buddugoliaeth ar fyd, cnawd, a diafol, pechod,

angeu, ac uffern, trwy waed Crist a'r prynedigaeth sydd ynddo. O flaen y cyhoeddiad ffyddlawn a nerthol o'r athrawiaeth hon, ac Ysbryd Duw yn cydweithio, yr oedd holl gyfundraethau glwys-lywiaeth ddynol, eiriolaeth y saint, maddeuant llythyrau y Pab, penydiau, pererindodau, a'r cyffelyb, yn syrthio yn ddrylliau, ac yn cael eu gwasgaru fel niwl o flaen yr awelon, ac fel breuddwydion y nos yn llewyrch y goleuddydd. Martin Luther oedd y prif offeryn yn y deffröad mawr. Yr oedd wedi ei gyfodi a'i gymhwyso yn neillduol gan Dduw i'r gwaith. Trwy ei bregethau a'i ysgrifeniadau, ac yn enwedig ei gyfieithiad o'r Ysgrythyrau i'r iaith gyffredin, tywynodd y fath ffrwd o oleuni nefol ar y caddug o dywyllwch mynachaidd a choelgrefydd Rufeinig, nes ymlid adar y nos o'u llochesau, nid yn unig yn yr Almaen, ond ymdaenodd ei heffeithiau dedwydd i wledydd eraill Ewrop, er gwaethaf pob rhwystrau a gyfodwyd i'w erbyn. Luther hefyd oedd y prif offeryn i beri adfywiad mewn emynyddiaeth Gristionogol; ac yr oedd athrawiaethau y Diwygiad drwy hyny yn cael eu gwreiddio yn serchiadau y werin, a'u dylanwadau bendithiol yn cael mynegiad mewn caniadau o fawl a chlodforedd.

Yr oedd Luther yn gantor ac yn gerddor o'i ieuenctyd. Pan yn 14 oed, rhoddwyd ef dan addysg mynachod o urdd St. Francis yn Magdeburg; a chan nad oedd ei rïeni y pryd hwnw mewn moddion i'w gynnal, arferai fyned o ddrws i ddrws, gydag ysgoleigion ieuainc tlotach nag yntau, i gardota, er diwallu eu hangen, fel y gallent ddilyn eu hefrydiaeth. Un diwrnod, yn ngwyliau y Nadolig, fel yr oedd y bechgyn hyn yn crwydro trwy'r pentrefi, ac o dŷ i dŷ, dan gânu carolau am enedigaeth y Gwaredwr yn Bethlehem, safasant o flaen tŷ amaethwr y tu allan i'r pentref. Yr amaethwr, wrth eu clywed yn cânu, a ddaeth allan â bwyd iddynt, a galwodd arnynt â llais garw, fel y dychrynasant ac y rhedasant ymaith; ond pan ddeallasant mai eu gwahawdd ato yr oedd, troisant yn ôl, a derbyniasant o'i law yr ymborth a fwriadasid iddynt. Wedi ei symud o Magdeburg i Eisenach, nid oedd yn ddim gwell arno, ond gorfodid ef fel o'r blaen i fyned gyda'i gyd-fyfyrwyr dan gânu o ddrws i ddrws i hèl eu tamaid, a mynych y caent eu gwrthod gyda geiriau chwerwon. Un diwrnod, pan oedd efe wedi cael ei ommedd mewn tri o dai yn olynol, ac yn meddwl troi yn ôl yn newynog i'w lettŷ, safodd yn sŷn a phruddaidd o flaen tŷ dinesydd parchus, a chlywai y drws yn agor yn ddisymwth, a phwy oedd yno ond gwraig y tŷ, Ursula wrth ei henw, yr hon, fel y Sunamëes gynt, a'i gwahoddodd i mewn yn dirion, ac a ddiwallodd ei anghen. Yr oedd hi wedi sylwi ar y llanc yn cânu yn y cynnulliadau crefyddol, ac yr oedd pereidd-dra ei lais a difrifoldeb ei agwedd wedi effeithio arni i feddwl yn dda am dano. Hi a'i cyflwynodd a sylw ei phrïod, Conrad Cotta, yr hwn a hoffodd ei gyfeillach yn fawr, fel y bu iddo ymhen ychydig ddyddiau ei gymeryd ef i'w dŷ i fyw yn gwbl gydag ef. Bu hyn yn galondid iddo fyned rhagddo mewn ymdrech adnewyddol yn ei efrydiau. Yr oedd Duw wedi agor calon a thŷ teulu crefyddol, pan ydoedd mor gyfyng arno ef nas gwyddai pa beth i wneyd. Crëodd hyny yn ei enaid y fath ymddiried yn Nuw nas gallodd y profedigaethau llymaf byth ar ol hyny ei ysgwyd ymaith. Yr oedd efe yma yn dra chysurus arno, wedi ei ryddhâu oddiwrth anghen a gofalon. Tawelodd ei feddwl, siriolodd ei nodweddiad, a'i serchiadau a ddaethant yn fwy rhydd ac agored. Deffrôdd ei holl alluoedd dan bel-

ydrau tyner caredigrwydd, fel y daeth yn fwy gwresog yn ei weddïau, yn fwy sychedig am wybodaeth, a'i gynnydd yn ei efrydiau yn fwy cyflym ac amlwg. Ymhoffai mewn llênyddiaeth a gwyddoniaeth. Medrai hefyd chwareu chwibanogl a dwsmel (math o offer tànnau), ac arferai ddilyn'yr olaf â'i lais mwyn a dyrchafedig; ac yn y modd yma dangosai ei ddiolchgarwch i'r teulu, yn enwedig i'w letty-wraig, yr hon oedd yn dra hoff o gerddoriaeth. Yr oedd yntau ei hun yn coledd ei hoffder o'r gelfyddyd hyd henaint, a chyfansoddodd eiriau ac alawon rhai o'r emynau prydferthaf a fedd yr Almaen. Y mae amryw o honynt wedi eu cyfieithu i'r Saesoneg, a rhai i'r Gymraeg, a'r tônau hefyd yn adnabyddus. Nid anghofiodd Luther byth y caredigrwydd hwn. Ymhen blynyddoedd gwedi, pan y daeth un o feibion Conrad yn efrydydd i Wittemberg, ac ysgolaig tlawd Eisenach erbyn hyn yn brif ddysgawdwr ei oes, efe a'i derbyniodd gyda llawenydd dan ei gronglwyd ac at ei fwrdd. Ewyllysiai wneyd rhyw ad-daliad i'r mab am y tiriondeb a dderbyniasai efe odddiar law y rhïeni. Wrth gofio am y wraig rinweddol hono a'i porthasai ef pan oedd y byd yn ei wrthod, y traethodd efe y syniad godidog hwn,—"Nid oes dim pereiddiach ar y ddaear na chalon gwraig yn yr hon y mae duwioldeb yn cartrefu."

Ni fu ar Luther byth gywilydd o'r dyddiau y bu efe mewn eisieu yn cardota ei fara: ymhell o fod felly, edrychai yn ol gyda diolchgarwch ar dlodi ei ieuenctyd fel un o'r moddion a ddefnyddiodd Duw i'w gymhwyso i'r sefyllfa bwysig oedd yn ei aros. Cydymdeimlai yn ddwys â bechgyn tlodion mewn amgylchiadau cyffelyb. "Na ddirmygwch," meddai, "y bechgyn sydd yn myned dan gânu trwy yr heolydd, ac yn erfyn tamaid o fara er cariad Duw: bûm i fy hun yn gwneuthur yr un peth. Gwir i fy nhad, enyd yn ddiweddarach, fy nghynnal yn serchog a thirion iawn yn mhrif athrofa Erfurth; er hyny cardotyn tlawd a fûm i. Ond yn awr, trwy fy llafur gyda fy mhin, yr wyf wedi codi mor uchel fel na chyfnewidiwn fy rhan â'r Twrc mawreddog ei hunan. A mwy, ni chymerwn holl oludoedd y ddaear, pe eu pentyrid ar eu gilydd, yn gyfnewid am yr hyn yr wyf yn ei feddiannu. Er hyny ni fuaswn i yn y lle yr wyf oni buasai i mi fyned i'r ysgol, a dysgu ysgrifenu." Mae wrth adgofio ei ddechreuad bychan yn dangos gwir fawredd, ac yn ymhyfrydu i roddi y gogoniant yn gwbl i Dduw.

Er bod y Diwygiad ar y cyntaf yn ymwneyd â dyn fel crëadur moesol, eto yr oedd yn ymwneyd â'r holl ddyn. Llefarai wrth y deall, a gwnaeth lawer i ddwyn ymlaen lênyddiaeth: yr ydoedd hefyd yn llefaru wrth deimlad a darfelydd dyn, ac yn cynnorthwyo i feithrin y celfyddydau. Nid oedd yr eglwys mwyach i'w hystyried yn cael ei gwneyd i fyny o fynachod ac offeiriaid, ond cynnulleidfa y ffyddloniaid ydoedd. Yr oedd pawb i gymeryd rhan yn ei gwasanaeth cyhoedd; ac yr oedd dyganau yr offeiriaid i roddi lle i ganiadaeth y bobl. Felly, pan oedd Luther yn cyfieithu y Salmau, meddyliodd am eu cyfaddasu at ganiadaeth gynnulleidfäol. Bu hyny yn foddion i feithrin chwaeth at gerddoriaeth ymysg y genedl. "Yn nesaf at dduwinyddiaeth," meddai, "yr wyf yn rhoddi y lle blaenaf, a'r anrhydedd uchaf, i gerddoriaeth." "Dylai athraw ysgol fedru cânu," meddai dro arall, "onidê ni wnawn i gymaint âg edrych arno." Un diwrnod, fel yr oedd rhai o'i gyfeillion yn ei dŷ yn cânu hymnau tra hyfryd, llefodd gyda gwresogrwydd, "Os ydyw yr Ar-

glwydd Dduw wedi gwasgaru y fath ddoniau rhagorol ar y ddaear hon, nad yw ond congl dywell, pa beth a fydd yn y bywyd tragywyddol, lle bydd y cwbl yn berffeithrwydd!" Er dyddiau Luther mae y bobl yn cânu, a'r Bibl yn ysbrydoli eu caneuon;* ac y mae cerddoriaeth er amser y Diwygiad wedi cael meithriniad rhagorach nag a roddwyd iddi erioed o'r blaen.

Yr oedd prydyddiaeth hefyd yn cyfranogi yn helaeth yn yr un symudiad cyffredinol. Wrth foliannu Duw, nis gallai dynion foddloni yn unig ar gyfieithiadau o'r hen emynau. Yr oedd eneidiau Luther a'i gydlafurwyr, wedi eu codi trwy ffydd i'r syniadau mwyaf dyrchafedig, wedi eu cyffroi i frwdfrydedd gan yr ymosodiadau a'r peryglon oedd yn parhäus fygwth yr eglwys yn ei hiselder, ac wedi eu cynhyrfu gan awenyddiaeth yr Hen Destament, a chan ffydd y Newydd,—yn fuan yn tywallt allan eu teimladau mewn caniadau crefyddol, yn y rhai yr oedd prydyddiaeth a cherddoriaeth yn ymgyfuno, ac megys yn cymhlethu eu dullweddau mwyaf nefolaidd. Yn y modd yma, yn yr unfed ganrif ar bymtheg, adgyfodwyd y ganiadaeth hono a fu yn y ganrif gyntaf yn cysuro y merthyron yn eu hing a'u dyoddefiadau. Yn y fl. 1523, cysegrodd Luther hi i goffadwriaeth merthyron Brussels,—merthyron cyntaf y Diwygiad Protestanaidd; ac eraill o blant y Diwygiad a ddilynasant ei esiampl. Yr emynau hyn a gynnyddasant mewn rhifedi, ac a wasgarwyd yn gyflym ymysg y bobl, yr hyn a gynnorthwyodd yn nerthol i'w deffro o'u cysgadrwydd.

Ychydig amser cyn i Luther anturio i weinyddu Swper yr Arglwydd yn yr iaith gyffredin, bu yn ofalus i gyfansoddi ac argraffu llyfr bychan tra defnyddiol, yn cynnwys 38 o emynau Almaenaidd, a thônau priodol iddynt, i'r dyben o gyflwyno i feddyliau, a phlànu yn nghof y bobl, gryn dwysged o addysg grefyddol, mewn dull cryno a thra boddhäol.† Ei destynau oeddent—rhanau o'r Holwyddoreg, prif byneiau y Credo, gweddïau a diolchiadau. Yr oedd y llyfryn, mewn gwirionedd, yn grynodeb o athrawiaeth Gristionogol, wedi ei osod allan ar fesur Almaenaidd destlus a choeth, ac wedi ei drefnu mor dda, fel yr oedd y beroriaeth a chyweiriad y llais yn cydweddu â'r geiriau a'r syniadau, ac yn tueddu i godi teimladau cyfatebol yn meddyliau y cantorion. Ar y cyfrif hwn y galwyd yr awdwr yn wir Orphëus yr Almaen; ac er ei fawr ganmoliaeth

* Adroddir am Luther, ei fod un diwrnod yn eistedd yn brudd yn ei lyfrgell, pan y clywai gânu yn yr heol emyn nodedig o gyfansoddiad Speratus, pendefig o Swabia, yr hon a effeithiodd gymaint arno nes tywallt dagrau yn hidl. Tarawodd yn ei feddwl ar y pryd y gallai ddefnyddio emynau efengylaidd ar alawon poblogaidd a chymeradwy fod o gymhorth mawr i ddwyn ymlaen y Diwygiad. Mewn canlyniad i hyn, ymroddodd i gasglu a chyfansoddi emynau yn iaith ei wlad. Daeth awdwr yr emyn crybwylledig wedi hyny i fod yn un o'i gydlafurwyr.

† Dygwyddodd yr amgylchiad canlynol yn Heidelberg, pryd yr ennillwyd y frwydr dros y gwirionedd trwy ddylanwad emynyddiaeth, pan ydoedd yr etholydd Ffrederic, rhag ofn yr Ymherawdwr, yn oedi attal yr offeren. Yr oedd yr offeiriad yn sefyll wrth yr allor ddyrchafedig, a holl arwyddluniau gorwych defodaeth Rufeinig o'i amgylch, yn barod i ddechreu y gwasanaeth, pan y clywyd llais unigol yn yr iaith gyffredin yn dechreu cânu emyn o waith Speratus, mewn cywair uwch na'r iaith ddyeithr yn yr hon y llefarai yr offeiriad, a'r gynnulleidfa fawr yn ymuno gyda'r fath ffrwd o beroriaeth, nes dangos yn eglur i'r etholydd beth oedd dymuniad y bobl; ac heb oedi dim yn hŵy, dechreuwyd cymuno yn y ddwy elfen. Yn 1529, yr oedd offeiriad Rhufeinig yn pregethu yn Lubeck yn erbyn y ffydd ddiwygiedig, a chyda'i fod yn gorphen, darfu i ddau fachgenyn daraw allan emyn Luther, "Edrych, O Dduw, o'r nef yn awr," ac ymunodd yr holl gynnulleidfa yn unllais yn y gân. Gwnaed yr un peth yn fynych pan anturiai neb o'r offeiriaid ddifrïo a chablu yr athrawiaeth efengylaidd.

yr ydys yn ychwanegu, ddarfod iddo ddefnyddio ei wybodaeth a'i ddawn gâniadyddol i feithrin y nwydau mwyaf crefyddus a gwresog yn yr enaid. Yr oedd hyn yn beth newydd iawn i'r bobl, ac yn dirfawr ragori ar y defodau difywyd arferedig o'r blaen. Martin Luther oedd pencerdd y Diwygiad.

Yn ei raglith i'r gwaith bychan hwn, mae yn amddiffyn cerddoriaeth eglwysig fel dyledswydd, ar awdurdod Dafydd a'r apostol Paul; ar yr un pryd, y mae yn dwyn ar gof i ni, y dylem, wrth foliannu, fod â'n golwg ar Grist yn unig. Dywedai iddo ychwanegu tônau cyfaddas i'r emynau, er dangos nad yw y celfyddydau breiniol mewn un modd yn cael eu dilëu trwy bregethiad yr efengyl, ac yn anad dim, y dylai cerddoriaeth gael ei defnyddio er gogoniant Duw, er y gwyddai fod y syniad hwn yn wrthwyneb i dybiau disail rhai athrawon, y rhai ni fynent ganiatâu dim mewn crefydd ond a berthynai i'r meddwl yn unig.

Mae y dyfyniad canlynol allan o lythyr at un o'i ohebwyr, yn dangos ei fawr hoffder o gerddoriaeth:—"Tu hwnt i bob dadl y mae hadau llawer o rinweddau yn meddyliau y rhai y mae cerddoriaeth yn dylanwadu arnynt; y sawl nid ydynt felly, yr wyf yn eu hystyried fel boncyffion a chèryg. Gwyddom nad all cythreuliaid oddef peroriaeth. Ni phetrusaf ddywedyd fod cerddoriaeth yn nesaf at dduwinyddiaeth; oblegid, ar ol duwinyddiaeth, y mae yn cyfranu yr hyn yn amgen nad allai crefydd ei roddi, sef ansawdd meddwl tawel a dedwydd; prawf eglur fod Satan, awdwr helbulon a thrallodau, yn ffoi wrth sain cynghanedd, fel y mae yn dïanc rhag awgrymiadau crefydd. Wrth hyn yr ydym yn cael nad oedd y prophwydi yn ymarfer cymaint âg un gelfyddyd ag â cherddoriaeth: ni fyddent yn troi oddiwrth eu hefrydiau duwinyddol at gelfyddydau rhif a mesur, neu at sêryddiaeth, ond at gerddoriaeth, ac felly eu bod yn ystyried duwinyddiaeth a cherddoriaeth yn yr undeb agosaf â'u gilydd, fel y gosodent allan y gwirionedd mewn salmau ac odlau ysbrydol." Nid oedd Luther chwaith yn annheimladol o ddylanwad prydyddiaeth. Wrth ysgrifenu i ddiolch i Eobanus Hesse am gopi o'i gyfieithiad o'r Salmau ar fesur cerdd yn Lladin, mae yn dadgan ei hyfrydwch o weled gwaith oddiwrth ba un y gallai plant gael eu haddysgu ar yr un pryd mewn llênyddiaeth a duwioldeb; yna ychwanega,—"Yr wyf yn addef fy mod yn un o'r rhai hyny y dylanwadir arnynt ac eu difyrir yn fwy gan brydyddiaeth, na chan yr araeth fwyaf hyawdl, hyd yn nôd i Cicero neu Demosthenes. Os effeithir arnaf fel hyn gan bethau eraill, chwi a goeliwch y dylanwadir arnaf yn annhraethol fwy gan y Salmau. Yr wyf wedi eu hastudio yn ddyfal gyda mawr hyfrydwch o'm hieuenctyd, a, bendigedig fyddo Duw, nid heb gryn lawer o ffrwyth. Ni soniaf am fy noniau fel pe yn rhagori ar yr eiddo eraill, ond mi a ymffrostiaf yn hyn, na fyddai i mi, er holl orseddau a theyrnasoedd y byd, ollwng fy ngafael yn yr hyn a ennillais, dan fendith yr Ysbryd Sanctaidd, trwy fyfyrio ar y Salmau. Ond ni fynwn fod yn euog o'r fath ostyngeiddrwydd ffol ag i argelu doniau Duw a blànwyd ynof. Canys am danaf fy hun, y mae digon, a mwy na digon, i'm darostwng, a dysgu i mi nad wyf fi ddim; ond gallaf ymffrostio yn Nuw, a llawenychu a gorfoleddu yn ei weithredoedd. Yr wyf yn gwneuthur felly gyda golwg ar fy Sallwyr Almaenaidd, a gwnaf hyny yn fwy yn yr eiddoch chwi, ond gan roddi y gogoniant i Dduw, yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd."

Pan oedd Luther ar ei daith i'r Cynghrair Almaenaidd yn ninas Worms, i ymddangos yno o flaen yr Ymherawdwr a'r tywysogion, dywedir ei fod yn difyru ei hun â cherddoriaeth, i'r dyben o ysgafnhâu a sirioli ei feddwl ar yr adeg bwysig hono. Beiid ef gan ei elynion, a rhoddent hyn yn ei erbyn, fel pe buasai yr addoliant yr ymhyfrydai ynddo yn rhyw anferth ddrwg. Nis gallwn feddwl am fynyd y buasai Luther, oedd mor dduwiolfrydig, ac mor wresog mewn gweddïau, yn cymeryd difyrwch mewn dim anweddaidd nac anghyson â'i broffes grefyddol, a'i ddadganiad gwrol â pha un y terfynodd ei atebiad o flaen y Cynghor,—"Yma yr wyf yn sefyll, nis gallaf wneyd yn amgen. Cynorthwyed Duw fi! Amen." Pan oedd ei fywyd yn y fath ddirfawr berygl, ac achos mawr y Diwygiad yn debyg o gael ei lethu, haws genym gredu mai salmau a hymnau, a chaniadau crefyddol, oeddynt yn gwneyd i fyny yr ymarferiadau hyny; yn gyffelyb i'r hyn a gymerodd le flynyddoedd ar ol hyn, pan yn myned i gymanfa Augsburg, i galonogi ei gyfeillion, y cyfansoddodd, ac y cânodd efe â'i lais peraidd, yr emyn ragorol, a ddaeth wedi hyny i'r fath enwogrwydd:—"*Ein' feste Burg ist unser Gott,*"—"Ein Duw ni sy gadarn dŵr, &c." Ni ddarfu enaid erioed, oedd yn ymwybodol o'i wendid ei hun, ond yn edrych i fyny at Dduw, gan ddiystyru ofn, dywallt allan ei deimladau mewn acenion mwy godidog. Cânwyd yr emyn ar adeg y Gymanfa, nid yn unig yn Augsburg, ond yn holl eglwysi Sacsoni, ehediadau grymus yr hon oedd yn fynych yn bywiogi ac yn gwroli y meddyliau mwyaf llesg a digalon. (Ceir yr emyn, gyda chyfieithiad o hóni gan y Dr. Edwards o'r Bala, ynghyda'r dôn berthynol iddi, yn y *Llyfr Tônau Cynnulleidfäol*, gan y Parch. John Roberts, Llanberis, tu dal. 188 a 189.) Hon ydoedd rhyfel-gân ardderchog yr Eglwys Lutheraidd. Yr oedd Luther yn ddiammheu yn llefaru yn ei hymnau, fel yn ei ysgrifeniadau eraill, oddiar deimladau bywiog, ac argyhoeddiadau dyfnion ac anwrthwynebol ei galon ei hun; nid rhyfedd, gan hyny, fod eu dylanwad mor fawr. Dywedir iddo gânu y Salm, "O'r dyfnder y llefais arnat," ar ei adferiad o lesmair a ddaeth arno mewn canlyniad i danbeidrwydd ei frwydrau ysbrydol. Pan oedd ei gorff marw yn cael ei ddwyn trwy Halle, ar ei ffordd i'w orphwysfan ddiweddaf yn Wittenberg, ymgynnullodd ei gydwladwyr yn lluoedd i'r eglwys lle y gosodwyd yr arch, ac yn nghanol eu dagrau a'u hocheneidiau, cânasant yr emyn yn ei hymyl. Ysgrifenodd ei emyn Nadolig felus i'w blentyn bychan Hans. "Yr oedd calon y plentyn yn mynwes y prydydd." Rhoddodd i'w genedl gyfieithiad rhydd o'r *Te Deum*, ac amryw o emynau Ambros, yn eu hiaith eu hunain, gan anadlu ynddynt fywyd newydd. Cyfeiriasom o'r blaen at ei gyfieithiad o emyn angladdol Notker, mewn tri o bennillion, gan roddi iddi y fath newydd-der mewn tôn o hyder a gobaith sydd yn anadlu yn fwy grymus nag yn yr emyn gysefin. Wele yma, mewn alleiriad Cymreig, ryw ddrych anmherffaith o honi:—

EMYN ANGLADDOL.

Angeu yn nghanol bywyd gwyw
I'n hamgylchu sydd;
Pwy a'n gwared ac a'n clyw?
Pwy ei ras a rydd?
Dy hunan, Arglwydd, yw!

Am ein pechodau wnaethom ni,
Mae 'n gyfiawn dy ddigllonedd Di:
Sancteiddiaf Arglwydd Dduw!
Alluog Benaeth byw!
Drugarocaf sanctaidd Geidwad!
Dragywyddol Dduw, wyt dda!
Nâd i'n suddo byth i lawr,
Dan ddirboenau angeu mawr:
Iôr, wrthym trugarhâ.

Yn yr angeu, uffern sydd
Am ein llyncu oll;
Pwy rhag gwae yn Geidwad fydd,
Fel na b'om ar goll?
Dy hunan, Arglwydd, yw!
Ein holl bechodau maddeu 'n rhad,
Yn dy drugaredd, dirion Dad,
Sancteiddiaf Arglwydd Dduw!
Alluog Benaeth byw!
Drugarocaf sanctaidd Geidwad!
Dragywyddol Dduw, wyt dda!
Na âd i'n gorthrechu 'n lân,
Angeu du, nac uffern dân:
Iôr, wrthym trugarhâ.

Lawr i uffern, pechod ŷr
Dan anobaith du;
Rhwymau angeu, pwy a'u tŷr?
Pa ddiffynfa sy?
Ti, Arglwydd Grist, Ti yw!
Tywelltaist Di dy werthfawr waed,
Ein cymmod ynot Ti a gaed.
Sancteiddiaf Arglwydd Dduw!
Alluog Benaeth byw!
Drugarocaf sanctaidd Geidwad!
Dragywyddol Dduw, wyt dda!
Yn awr angeu, nâd i ni
Syrthio byth oddiwrthyt Ti:
Iôr, wrthym trugarhâ.

Testun neu enw un o'i hymnau yw, "Cân o fawl am y cymwynasau mawrion a ddangosodd Duw yn Nghrist i ni," neu mewn llyfr arall, "Emyn efengylaidd, tra dyddanus i bechadur." Mae yn dangos ynddi yn arbenig anfeidrol fawredd gras Duw, a gogoniant yr iachawdwriaeth.

Nid oes un wlad gyfoethocach o emynau na'r Almaen, ac y maent yn tra rhagori ar hymnau y canol-oesoedd yn amrywiaeth a helaethrwydd eu testynau, a sefyllfäoedd yr ysgrifenwyr. Nid yw caniadyddiaeth gysegredig mwy yn gyfyngedig i'r crefydd-dai, ond clywir ei llais yn y gweithdŷ, ar y maes, ac ar yr aelwyd gartref.* Mae yr emynau hyn yn cynnwys rhai cyfaddas i amgylchiadau teuluaidd a chymdeithasol, ac yn enwedig nifer lïosog yn gosod allan ymddiried y saint yn Nuw mewn cyfyngderau a thrallodau, fel eu craig, eu hamddiffynfa, a'u gwaredydd, fel yn salmau yr Hebrëaid. Mae un awdwr yn rhoddi rhestr o bedwar cant o gyfansoddwyr emynau Almaenaidd, gyda bywgraffiad bŷr am bob un o honynt, a detholiad o fwy na thair mil o'u hymnau. Ond nid yw

* Mae y Cardinal Thomas-à-Jesu, yn yr unfed ganrif ar bymtheg, yn ysgrifenu fel hyn:—"Y mae achos Luther yn cael ei ddwyn ymlaen i raddau nodedig, trwy fod y bobl o bob dosbarth yn cânu ei emynau, nid yn unig yn yr ysgolion a'r eglwysydd, ond hefyd yn yr annedd-dai a'r masnachdai, yn y marchnadoedd, yr heolydd, a'r maesydd."

hyn namyn cyfran fechan o'r trysor gwerthfawr a gynnyddodd mor ffrwythlawn mewn yspaid o dri chan' mlynedd, gan y dywedir fod tua phedwar ugain mil o hymnau yn yr Almaenaeg erbyn heddyw o gynnyrch athrylith awduron o bob graddau a chyflwr—gwŷr llên a gwŷr lleÿg, pendefigion a phendefigesau, crefftwyr a llafurwyr. Gellir dosbarthu eu hawduriaeth i dri chyfnod:—y Diwygiad Protestanaidd, yn yr unfed ganrif ar bymtheg; y deng mlynedd ar hugain rhyfel, yn yr ail ganrif ar bymtheg; a'r adfywiad crefyddol yn nyddiau Ffranc a Zinzendorff, yn y ddeunawfed ganrif.

Yn ben ar y dosbarth cyntaf y mae Martin Luther, am yr hwn fel cerddor a phrydydd y tueddwyd ni i ymhelaethu, oblegid ei enwogrwydd fel tad y Diwygiad. Yn cydoesi âg ef yr oedd Hans Sachs, crydd o Nurenberg, yr hwn y dywedir iddo gyfansoddi chwe' mil o ganiadau efengylaidd. Pan dorodd y Diwygiad allan, derbyniodd yn awyddus oleuni y gwirionedd, a chyflwynodd ei ddawn i'w daenu ymhlith y werin. Yr oedd ei ganiadau yn dra phoblogaidd; a byddai, fe allai, yn anhawdd penderfynu pa un a wnaeth fwyaf dros y Diwygiad, ai etholwr tywysogaidd Sacsoni, gweinyddwr yr Ymherodraeth, ynte y crydd o Nurenberg. Ond, bid a fyno, gweithiodd y naill a'r llall yn rhagorol. Y mae oddeutu ugain o emynwyr yn perthyn i'r cyfnod cyntaf, ac yn eu plith y mae enwau Speratus, pendefig o Swabia, y soniwyd am dano eisoes; Justus Jonas, cyfaill anwyl Luther; Decius, a fuasai yn gruddfan dan gaethiwed y clasordŷ, ac a ganodd am ryddid yn gystal a goleuni; ac eraill nas gellir yn awr fanylu arnynt.

Yn yr ail cyfnod, y mae Paul Gerhard yn flaenaf ymysg cyfansoddwyr emynau. Yr oedd yn byw mewn amser blin, gan yr ymrysonau mewnol gofidus rhwng y Lutheriaid a'r Calfiniaid, a'r deng mlynedd ar hugain rhyfel rhwng Gustavus Adolphus â'r Ymherawdwr, a'i ganlyniadau naturiol o newyn a haint. Yn y tymmor hwn o drueni digyffelyb, cyfansoddwyd nifer lïosog o emynau, yn y rhai yr oedd duwiolion yn dyrchafu eu meddyliau at Dduw mewn ffydd a gobaith, o ganol y difrod a'r anghyfannedd-dra. Y mae uwchlaw cant o emynwyr adnabyddus yr Almaen yn perthynu i'r ganrif hon.

O'r trydydd cyfnod, yn niwedd yr ail ganrif ar bymtheg, a dechre y ddeunawfed ganrif, yr oedd Spener, yn wyneb llawer o wrthwynebiad, yn llafurio i gynnal cyfarfodydd i ddarllen yr Ysgrythyrau a gweddïo. Cyfansoddodd gryn nifer o emynau i ddwyn ymlaen yr adfywiad crefyddol. Ar ei ol ef daeth Jacob Ffranc, gŵr llawn o ffydd, yr hwn, heb ddim adnoddau arianol o'i eiddo ei hun, a adeiladodd Dŷ yr amddifaid yn Halle, a fu yn ffynnonell o fendithion ysbrydol i laweroedd. Yn nesaf daeth Iarll Zinzendorff, pendefig ieuanc â'i galon yn llosgi o gariad at Grist, yr hwn a neillduodd ar ei etifeddiaeth gerllaw Dresden, nawddle (Herrnhut) i'r Protestaniaid erlidiedig o Bohemia a Moravia, yr hyn a gynnyrchodd gynauaf toreithiog o ddaioni, megys y cenadaethau i'r India Orllewinol a Greenland, ac adfywiad ysbryd cenadol ymhob man. Yr oedd emynau Ffranc a Zinzendorff yn dra bendithiol i feithrin bywyd ysbrydol a sancteiddrwydd buchedd. Un arall o'r un cyfnod oedd Gerhard Tersteegen, a dreuliodd oes o gymundeb tawel â Duw, oedd yn dylanwadu yn dda ar nifeiri lïosog o'i amgylch, a duwioldeb yr hwn oedd ffynnonell ei brydyddiaeth. Cyfieithiad o'i waith ef yw yr emyn

Saesoneg adnabyddus, "Thou hidden love of God." Cyfieithwyd llawer o'r emynau Almaenaidd hyn gan John a Charles Wesley, a chan eraill ar eu hol hwynt.

Heblaw y rhai uchod, gellid enwi ymhlith emynwyr yr Almaen, Louisa Henrietta, gwraig yr etholydd Frederick William, o Bradenberg, awdures emyn felus a ffyddiog ar yr adgyfodiad; Iarlles Ludæmilia Elizabeth, o Schwartzburg-Rudolstat; Maria, brenhines Hungari, Melancthon, cyfaill Luther; Joachim Neander, pregethwr Calfinaidd o Bremen; hefyd, Claudius, y cenadwr Morafiaidd; Leonhard Dober, yr hwn a gynnygiodd werthu ei hun yn gaethwas, fel y gallai bregethu i'r caethion yn yr India Orllewinol; Arndt, Klopstock, y ddau Krummacher, Lavater, yr ardalydd Albert o Bradenberg, Novalis, De la Motte Fouqué, oll yn enwog ar ystyriaethau eraill, yn gystal ag fel awduron emynau.

Cyrhaeddodd y Diwygiad Protestanaidd yn gynnar i Sweden; ymffurfiodd yno ar y cynllun Lutheraidd. Cyfieithwyd y Bibl i'r Swedaeg, a Llyfr Emynau oddiwrth y rhai Almaenaidd, ac yn raddol cyfododd yno emynwyr brodorol. Dywedir am y brenin Gustavus Adolphus, ei fod yn meddu ysbryd brenin, galluoedd arwr, a chalon Cristion. Arddangosodd hyn oll yn ei ryfelgyrch llwyddiannus i gynnorthwyo Protestaniaid yr Almaen yn eu hymdrech maith ac ofnadwy am ryddid cydwybod ac addoliad. Glàniodd ar dueddau Pomerania, gyda 30,000 o wŷr, Meh. 24ain, 1630, ac mewn cydweithrediad â'i gynghreiriaid Almaenaidd, aeth rhagddo i fuddugoliaethau olynol, nes terfynu ei oes mewn goruchafiaeth lwyr. Calonogid ef gan y rhai a'i croesawent fel eu gwaredwr; ond yr oedd arno eisieu mwy na hyny. Yr oedd ei galon yn edrych i fyny am gymhorth oddiuchod; a phwy a all ddywedyd pa mor rymus y cyfnerthwyd y galon hono, mewn atebiad i weddïau, a thrwy ddylanwad un emyn? Nid oedd efe yn llênor ei hun, ond yr oedd ei gapelwr yn hysbys o'i deimladau, ac yn alluog i'w gwisgo âg ymadroddion priodol, ac mewn prydyddiaeth fywiog. Galwyd yr emyn hono,—"Cân o ddyddanwch calonog, neu arwyddair y fyddin efengylaidd yn mrwydr Leipsic, Medi 7fed, 1531, 'Duw gyda ni.'" Mynych ei cenid gan y buddugwr gyda'i luoedd; a boreu ei frwydr olaf ar faes Lützen, Tach. 16eg, 1533, gorchymynodd gânu salm odidog Luther,—"Ein Duw ni sy gadarn Dŵr," ac yna ei emyn ei hun, gyda sain tabyrddau ac udgyrn yr holl fyddin. Gostyngodd ar ei liniau yn ol ei arfer cyn dechreu'r frwydr, ac wedi myned rhwng y rhengau a llefaru ychydig eiriau yn fŷr i galonogi ei wŷr, rhoddodd allan y gâd-floedd—"Duw gyda ni!" gyda pha un y gorchfygasai yn Leipsic. Felly y dechreuodd y diwrnod ar ba un y syrthiodd, yn mhoethder y frwydr, ac yn mreichiau buddugoliaeth, gyda thri gair ar ei wefusau, mor ardderchog a Christionogol â dim a ddaeth allan o enau dyn trancedig er dyddiau y merthyr cyntaf:—"Yr wyf yn sêlio â'm gwaed ryddid a chrefydd cenedl yr Almaen!"—"Fy Nuw! fy Nuw!"—a'r gair diweddaf a allwyd glywed, "O fy mrenhines druan!"

Mae yr emyn gysegredig hon i'w chael yn y Swedaeg a'r Almanaeg, ac y mae amryw gyfieithiadau o hóni i'r Saesoneg. Yr oedd gwir angen ar y fyddin a'r genedl amddifad am y fath eiriau dyddanus i'w cynnal dan y golled o'r fath ddyn a'r fath flaenor. Rhy brin yr oedd hollol

ddinystr y fyddin ymherodrol ar faes y frwydr yn ddigon o dâl am y fath golled. Ond ennillodd y dydd, a gwaredwyd yr Almaen Brotestanaidd, nid trwy ei byddinoedd a'i thywysogion ei hun, ond trwy wroldeb un dyn, wedi ei gyfodi gan Dduw i'r gwaith. Cafodd aml un o filwyr y groes ei sirioli a'i gyfnerthu trwy yr emyn hono. Ddarllenydd, a gaiff hi fod felly i ninnau?

EMYN GUSTAVUS ADOLPHUS.

*"Duw gyda ni."*

**Braidd bychan, paid âg ofni grym**
**Cynddaredd llid y gelyn llym,**
**I 'th erbyn sy 'n d'od allan:**
**Beth, os eich calon sy 'n llwfrhâu,**
**A'i ymffrost yntau yn cryfhâu?**
**Ni phery ond orig fechan.**

**Ymnerthwch oll dros achos Duw,**
**Cewch yn ei law eich cadw 'n fyw;**
**Byth, ymwrolwch ynddo:**
**Fe enfyn Gidëon ddewr o blaid**
**Ei air a'i bobl pan fo raid,**
**I'w gwared ac i'w llwyddo.**

**Mor wir â geiriau Duw ei hun,**
**Daear ac uffern yn gyttûn,**
**Ni lwyddant yn ein herbyn:**
**Gwarth a gwaradwydd fydd eu rhan;**
**"Duw gyda ni," a ninnau dan**
**Ei nodded, yw 'n hamddiffyn.**

**Amen, ein gweddi, Arglwydd, clyw;**
**Dynoetha 'th fraich, ollnerthol Lyw,**
**Gorchfyga drosom eto!**
**Am hyn dy foli mwy fydd braint**
**Merthyron ffyddlawn a'r holl saint:**
**Amen, boed felly byddo.**

Cyfoethogwyd emynyddiaeth Sweden yn fawr trwy lafur Spegel, archesgob Upsula, yr hwn a wnaeth lawer o ddaioni i'w wlad. Enwir Ffranzen, esgob Hernösand hefyd fel un o emynwyr Sweden. Bu farw yn 1818, yn 86 oed. Mae cyfrol o emynau cyfieithiedig o'r Swedaeg i'r Saesonaeg wedi ei chyhoeddi yn ddiweddar.

Daeth prydyddiaeth emynaidd i fwy o fri yn Denmarc nag yn Sweden, ac y mae, ysgatfydd, y nesaf i'r Almaen yn lliosogrwydd ei hemynau. Anystwyth, meddir, oedd y rhai hynaf; ond dangosodd yr Esgob Kingo (1670) allu a thanbeidrwydd anarferol mewn cyfansoddiadau o'r natur yma; ac mewn amseroedd diweddarach, cynnyrchodd Brorson a Grundtoig hymnau o deilyngdod uchel, y rhai sydd yn parhâu i ddal eu gafael yn serchiadau y bobl, a dïau y byddant eto o wasanaeth er adfywio crefydd ysbrydol yn eu plith.

Yr oedd emynau poblogaidd yn gwneuthur yr un gwasanaeth i'r Diwygiad yn Switzerland âg yn yr Almaen a Sweden. Yr oedd Ulrich Zuinglius yn hoff o gerddoriaeth fel Luther, ac yn alluog i gyfansoddi alawon ac emynau fel yntau. Pan oedd yn efrydydd ieuanc, medrai chwareu amrywiol offer cerdd; a bu yn awyddus i feithrin chwaeth

gerddorol ymysg ei gyd-efrydwyr yn y brif athrofa, er mwyn adloniant i'w meddyliau ar ol astudiaeth galed. Yn eu plith yr oedd ganddo un cyfaill nodedig, Leo Juda, yr hwn wedi hyny a fu yn gydlafurwr ffyddlawn iddo. Medrai yntau "chwareu dwsmel neu delyn," ac yr oedd hefyd yn gantor mwyn; a mynych y byddai y ddau gyfaill yn cydgânu nes y byddai ei ystafell yn adseinio gan eu

"Gwiw a diddan ganiadyddiaeth."

Parhäodd i ddiwyllio ei chwaeth gerddorol yn nghanol ei lafur pwysig yn achos y Diwygiad; ond byddai gelynion yr efengyl yn cymeryd mantais ar hyn, ac yn ei alw yn "ddwsmelydd efengylaidd a phibchwareuwr." Un tro pan oedd un o'i gydnabyddiaeth yn ei feïo am ei chwaeth hon, dywedodd wrtho, "Fy nghyfaill, ni wyddoch chwi pa beth yw cerddoriaeth. Gwir, mi ddysgais i chwareu y dwsmel a'r crwth, ac offerynau eraill, ac y maent o wasanaeth i mi i gadw y plant bach yn ddystaw; ond yr ydych chwi yn rhy sanctaidd i gerddoriaeth! Oni wyddoch chwi fod Dafydd yn chwareüydd medrus ar y delyn, a pha fodd drwy hyny y gyrai efe y drwg-ysbryd oddiwrth Saul? O! ped adwaenech chwi sain y delyn nefol, byddai i ddrwg-ysbryd uchelgais a chariad at gyfoeth sydd yn eich meddiannu ymadael oddiwrthych chwithau yn fuan yn y cyffelyb fodd." Dichon fod hyn yn wendid yn Zuinglius; ond sicr yw mai gydag ysbryd siriol a rhyddid efengylaidd yr oedd efe yn meithrin y gelfyddyd hon. Y mae crefydd bob amser wedi ei chysylltu â'r duwiolder mwyaf arddunol. Gosododd rai o'i ganiadau Cristionogol ar gerddoriaeth brïodol, ac nid oedd gywilyddus ganddo o bryd i bryd ddifyru rhai bychain ei ddïadell â'i offeryn cerdd. Mewn adeg o gryn bryder a thristwch yn achos yr eglwys a'r wladwriaeth, cyfansoddodd emyn i'r ystyr a ganlyn, yr hon y cânwyd llawer arni ar feusydd Switzerland, ymysg dinasyddion y dinasoedd cynghreiriol, ac hyd yn nôd yn mhalasau brenhinoedd.

GWEDDI AM NODDED DUW MEWN CYFYNGDER.

Arglwydd, cyfarwydda 'th gerbyd,
Wrth d' ewyllys ddoeth dy hun;
Heb dy gymhorth a'th gyfrwyddyd,
Ofer oll yw dyfais dyn:
Gwêl dy saint dan gystudd mawr,
Llid eu câs a'u mathra i lawr.

Fugail da, a geidw 'n henaid
Oddiwrth bechod, gwae, a gwŷn,
Rho dy lef i ddeffro 'th ddefaid
Oll o'u syrthni, ar ddihûn:
Ffrwyna, â'th alluog law,
Luoedd Satan, er eu braw.

Anfon ini dy dangnefedd,
Ymaith tro bob llid a brâd,
Ac adfywia ffydd a rhinwedd
Ymhob calon trwy ein gwlad;
Yna d' eglwys seinia gân
Moliant ei Gwaredwr glân.

Wrth ddilyn ein hymchwiliadau hyn, rhaid i ni eto droi i Ffrainc a Geneva. Nis gallwn adael heibio enw Calvin,—John Calvin erwin, anfarddonol, a digerddoriaeth, fel ei desgrifir gan rai, ond mewn gwir-

ionedd y mwyaf llafurus, dysgedig, doeth, a duwiol, o'r holl Ddiwygwyr. Yr ydoedd yn ddwy ar hugain oed y mwyaf dysgedig yn Ewrop; ac fel duwinydd ac esboniwr saif eto ymhlith y rhai blaenaf. Er nad oedd efe yn cyfansoddi emynau a thônau, yr oedd efe yn ei gallineb a'i graffder arferol yn gallu canfod ac yn barod i gefnogi y rhai oedd yn meddu athrylith a dawn at orchwylion felly, ac yn gwybod pa fodd i'w defnyddio i'r dybenion goreu. Yr oedd Clement Marot yn brydydd gwych o'r oes hono, yn feddiannol ar athrylith naturiol odidog, ac yn fardd y llŷs o dan Francis I. o Ffrainc. Mae ei gâniadau yn dangos mai ysgafn a phenrydd oedd efe, er rhagored ei alluoedd, yn ei ddyddiau boreuol beth bynag; eto fe ymddengys iddo ffieiddio y Babaeth, a throi i bleidio y Diwygiad, a gorfu arno ffoi rhag dïaledd y Pabyddion i Geneva. Dywedir mai y dysgedig Vatablus, proffeswr Hebraeg yn Paris, a'i hannogodd i droi y Salmau ar gân yn y Ffrancäeg, a thebygol ddarfod iddo ei gynorthwyo yn y gorchwyl. Cyfieithodd Marot 52 o'r Salmau, ar amrywiol fesurau, y rhai a argraffodd gyda chyflwyniad i'r brenin. Cafodd ei lyfr dderbyniad tra chroesawus, a phrin yr oedd yr argraffwyr yn gallu diwallu y galwad am dano. Yr oedd y Salmau yn dra chymmeradwy yn y llŷs ac yn y cylchoedd pendefigaidd, a dywedir y byddent yn eu cânu ar dônau eu dawns-ganiadau, pa mor anmhrïodol bynag ydoedd hyny. Dichon fod gormod o ysgafnder anweddaidd ymhlith y mawrion yn gysylltiedig â'r arferiad cyntaf o honynt. Cânai y tywysog Henri, yr hwn oedd hoff o hela, "Fel y brefa yr hŷdd am yr afonydd dyfroedd;" ei gariad-ferch a gânai, "O ddyfnder fy nghalon;" a gorhoffedd y frenhines oedd, "O Arglwydd, na cherydda fi;" a brenin Navarre a ganai, "Cyfod, Arglwydd, dïal fy nghweryl," gan ŵyrdroi yn gableddus i ysmaldod a gwagedd odlau dwyfol y Salmydd, oeddent yn gysegredig yn unig i Jehofah! Er hyny dichon fod yr adroddiad hwn wedi ei orliwio, gan mai gan elynion y Diwygiad ei rhoddwyd allan gyntaf.

Cymeradwyodd Calvin gyfieithiad Marot o'r Salmau; ac ar ei ddeisyfiad ef, ymgymerodd Beza, yr hwn oedd yntau yn brydydd, ac yn gyfaill i Marot, â'r gorchwyl o orphen y cyfieithiad. Cyhoeddwyd yr holl Salmau felly, gyda thônau prïodol i'w cânu, ar annogaeth Calvin, wedi eu cyfaddasu gan y cyfansoddwyr goreu a mwyaf cyfarwydd. Argraffwyd y llyfr yn Strasburg, yn 1546, a gwasgarwyd 10,000 o gopïau o hono o fewn ychydig amser. Cênid hwy yn awyddus yn nhai y werin, gan Babyddion yn gystal a Huguenotiaid; a thrwy ddylanwad Calvin, dygwyd hwy yn fuan i arferiad cyhoedd yn yr eglwysi Protestanaidd. Ond pan ddeallodd yr esgobion a'r offeiriaid Pabaidd hyny, yr oedd yn ormod o beth ganddynt; a rhoddasant waharddiad llwyr i'r Pabyddion gânu salmau a darllen y Bibl, gan yr ystyrient yr ymarferiadau hyn yn arwyddion diammwys o "Lutheriaeth." Yr oedd Beza, fel Marot, wedi cyfansoddi a chyhoeddi rhai cerddi gwamal a llygredig, pan oedd yn ieuanc, a chyn ei dröedigaeth; a bu y Pabyddion yn ddiwyd i wneyd defnydd o'r amgylchiad i ddûo ei gymeriad, a thrwy hyny ddwyn gwarth ar y Diwygiad. Er iddo ddadgan yn gyhoeddus ei edifeirwch o herwydd y cânia'dau beïus hyny, a gwneyd pob ymdrech a fedrai i'w dilëu, argraffwyd hwynt lawer o weithiau gan y Pabyddion, o wir falais i'w boeni a'i waradwyddo ef, yn hytrach nag am yr elw a ddeilliai oddiwrth eu gwerthiad. Cymaint oedd eu gelyniaeth, fel y cafodd y cerddor

enwog, Claude Goudimel, ei ferthyru yn greulawn yn Lyons, ar ddydd dû Bartholomew, 1572, am gyfansoddi a chyfaddasu tônau i salmau Marot a Beza, ac am encilio oddiwrth eglwys Rhufain at yr Huguenotiaid. Wedi ei faeddu yn gywilyddus ar hyd yr heolydd, tòrwyd ei ben, a bwriwyd ei gorff i'r afon Rhone. Mae y salmau hyny mewn arferiad eto yn eglwysi diwygiedig Ffrainc, ac amryw o'i dônau godidog yntau yn cael eu cânu, a rhai o honynt hefyd yn Lloegr a Chymru. ("Llyfr Tônau Cynnulleidfäol," rhif 1, 12, 38, 49, 158, &c.) Cofied y Cymry, wrth gânu yr alawon peraidd a theimladol hyn, ddarfod iddynt gostio ei fywyd i'w hawdwr, ac y dylem eu harfer yn ystyriol, gan werthfawrogi ein breintiau a'r tangnefedd yr ydym ni yn eu mwynhâu.

Nid oedd gan Eglwysi Diwygiedig Ffrainc a Geneva lênyddiaeth yn cyfateb i emynau yr Almaen Brotestanaidd. Nid oes gan un cyfundeb Calfinaidd manwl lyfr hymnau mor hen ag amser y Diwygiad, ar y Cyfandir, yn Lloegr, nac yn yr Alban. Nis gall mai eu hathrawiaeth a barodd hyn; y mae nifer mawr o emynau diweddar yr Almaen a Lloegr wedi eu hysgrifenu gan rai yn derbyn yr athrawiaethau a elwir yn Galfinaidd. Nid gwahaniaeth cenedlaethol chwaith, y fath sydd rhwng y Ffrancod a'r Albaniaid, yw yr achos, gan fod gan y naill genedl a'r llall gyfoeth mawr o felodau a chaniadau cenedlaethol. Tebygol mai yr achos yw y drefn eglwysig a ffynai yn gyffredin yn yr holl eglwysi sydd ar gynllun Geneva, yn ol pa un nid oedd dim i'w dderbyn heb sail ysgrythyrol amlwg iddo. Felly daeth y Sallwyr i fod yn unig lyfr hymnau yr Eglwysi Diwygiedig, hyd yn ddiweddar, mewn cyfieithiadau ar fesur cerdd, wedi eu cyfaddasu i'w gânu ar alawon syml a dwysddifrifol, gan gadw mor agos ag y byddai modd at wir eiriau y Salmydd ysbrydoledig ei hun. Ni chyfododd un emynydd yn eglwysi Protestanaidd Ffrainc a Geneva hyd yn ddiweddar iawn, pan y cyfansoddodd ac y cyhoeddodd y Parch. Cæsar Malan o Geneva hymnau cymeradwy, gyda nifer o dônau cyfaddas, at wasanaeth crefydd, yn bersonol a chyhoeddus.

Dilynwyd caniadyddiaeth gysegredig Ffrainc a Geneva gan y Diwygwyr yn Lloegr. Cyhoeddodd Miles Coverdale, un o gyfieithwyr cyntaf y Bibl i'r Saesoneg, lyfr bychan, yn 1539, yn cynnwys pymtheg o salmau, a chwech ar hugain o gâniadau ysbrydol, ar gynghanedd Seisonig, gyda thônau prïod o alawon Geneva. Ond y cyfieithiad cyflawn cyntaf o'r Salmau ar brydyddiaeth Seisonig, yw yr un sydd ar enw Sternhold a Hopkins, am ei ddechreu gan y blaenaf, a'i orphen gyda chynnorthwy eraill gan yr olaf. Yr oedd Thomas Sternhold yn dwyn cysylltiad â'r llŷs, dan Harri VIII., ac Edward VI., a pherchid ef yn fawr am ei athrylith a'i dduwioldeb. Cyfieithodd 37 o'r Salmau, y rhai a gyhoeddwyd yn gyntaf yn 1549, a bu yr awdwr farw, fel y tybir, ynghylch yr amser hwnw. John Hopkins oedd eglwyswr; cyfieithodd yntau 58, ac ystyrir ef rywfaint yn well prydydd na Sternhold. Y gweddill o'r Salmau, mwy na thrydedd ran o'r cyfan, a gyfieithwyd gan eraill. William Whittingham, duwinydd puronaidd, ac un o gyfieithwyr Bibl Geneva, a gyfieithodd gryn nifer; Thomas Norton, cyfieithydd "Llyfr Egwyddorion (*Institutes*) Calvin," a gyfansoddodd amryw o honynt; William Kethe, yr hwn oedd yn alltud gyda Knox yn Geneva yn 1555, a gyfieithodd Salm c., civ., cvii., ac amryw eraill. Argraffwyd hwy gyda Llyfr Gweddi Cyffredin Edward VI., a derbyniwyd hwy gyda chymeradwyaeth mawr

gan y bobl. Dygwyd hwy yn gyntaf i'r gwasanaeth yn Eglwys St. Antholin, yn Llundain, pan y cânwyd Salm yn y gwasanaeth plygeiniol, bump o'r gloch y bore, yn ol trefn Geneva, yr holl gynnulleidfa, yn wŷr, gwragedd, a bechgyn, yn cydgânu. Tebygol mai y bore hwnw y clywyd cânu cynnulleidfäol gyntaf erioed yn y wlad hon; ond aeth ar gynnydd cyflym, gan ymdaenu gyda'r Diwygiad, fel yr oedd yn ffrwyth o hóno. Dywed Esgob Jewel fod "cânu Salmau, a ddechreuwyd mewn un Eglwys yn Llundain, wedi myned ar lêd yn gyflym, nid yn unig yn y ddinas, ond yn y cymydogaethau o amgylch; ac y byddai weithiau gynifer â chwe' mil wrth groes St. Paul yn cânu gyda'u gilydd." A'r Esgob Burnet a ddywed, "Cênid Salmau a hymnau gan bawb a garent y Diwygiad; yr oedd yn arwydd wrth ba un y mesurid serch dynion tuag ato." Er hyny, yr oedd rhai uchel-eglwyswyr yn edrych yn wgus ar yr arferiad o'r Salmau cân, gan dybied fod y cyfieithiad wedi ei wneyd mewn ffordd o wrthwynebiad i'r arfer o ddygânu y Salmau rhyddieithol yn yr eglwysi cadeiriol. Eraill a gollfarnent y cyfieithiad fel gwaith y Puroniaid *(Puritans)*; ac er y dywedir fod y Salmau hyny "wedi eu gosod allan a'u *caniatâu* i'w cânu yn yr holl eglwysi," nad oeddent erioed wedi eu dwyn i mewn trwy awdurdod, ond yn unig trwy *oddefiad*. Eraill a'u dirmygent am eu bod mor ddiffygiol o ysbryd barddoniaeth; ond nid yw rhai o'r beirniaid hyny y rhai cymhwysaf i farnu, o herwydd eu rhagfarn at grefydd efengylaidd. Modd bynag, y mae amryw feirniaid duwiol a dysgedig yn rhoddi yn lled drwm ar yr Hen Gyfieithiad hybarch, yn unig o ran y diffyg chwaeth a ddangosir ynddo. "Yr oedd yr awen genedlaethol yn amser y Diwygiad yn buronaidd a duwiol, ond nid oedd ei duwioldeb yn cael ei ddilyn gan nerth ac ysbryd gwir farddoniaeth," medd J. Miller. "Pobl oeddent yr oedd eu duwioldeb yn well na'u prydyddiaeth, ac yr oeddynt wedi yfed yn helaethach o ddyfroedd yr Iorddonen nag o ffrydiau Helicon," ebai yr hen Thomas Fuller. "Gyda'r dybenion goreu, a'r chwaeth waethaf, darostyngasant ysbryd Salmyddiaeth Hebräeg â geirweddiad isel ac annestlus, gan gamgymeryd iaith isel am symledd, a throi i ddistadledd yr hyn oeddent yn ei gael yr arddunol," medd T. Campbell. "Hawlir i'r cyfieithiad hwn y teilyngdod o ymlyniad ffyddlawn wrth y gwreiddiol, ac ni raid ei wadu; ond y cyffelybrwydd sy rhwng y marw â'r byw ydyw," meddai James Montgomery. Wedi y cwbl, fe allai y dylid gwneyd eithriadau o blaid rhyw ranau o hóno; ond gan fod yr iaith Saesoneg wedi cyfnewid llawer mewn yspaid tri chan' mlynedd, ychydig o ddefnydd a wneir o hóno mwyach. Y mae llawer o hen argraffiadau cywrain o'r Sallwyr hwn, gyda thônau, llawer o ba rai sy mewn arferiad eto, ac yn dyfod o hyd yn fwy cymeradwy.

Y cyfieithiad o'r Salmau ar gân arferedig gan eglwysi Henaduriaethol yr Alban, sydd waith un Francis Roos, brodor o Gernyw, aelod o'r senedd, ac wedi hyny o'r cynghor dan y Werin-lywodraeth. Cyflwynwyd y cyfieithiad hwn i sylw Cymanfa Westminster gan Dŷ y Cyffredin, a chafodd ei argraffu yn 1645 (oddeutu pedair blynedd ar ol y cyhoeddiad cyntaf o hóno) trwy awdurdod dau Dŷ y Senedd, fel yn deilwng o dderbyniad cyffredinol. Cafodd ei ddiwygio gan y Gymanfa hono yn gyntaf, ac wedi hyny trwy ddirfawr lafur a gofal, gan Gymanfa Gyffredinol Eglwys yr Alban, a'i drwyddedu i arferiad cyffredinol yn 1650. Bu

raid i hen gyfieithiad Sternhold a Hopkins roddi lle iddo o hyny allan yn y wlad hono. Fe allai mai hwn yw y mwyaf llythyrenol o'r holl gyfieithiadau ar fesur cerdd yn Saesoneg; buom cyn hyn yn ei gymharu â'r Salmau darllen yn y Bibl Cymraeg, a braidd na thybiasem y gallasai gael ei wneyd oddiwrth y cyfieithiad Cymraeg, gan mor agos y mae y ddau yn cyfateb i'w gilydd, oddieithr mewn ambell frawddeg weithiau. Rhaid bod y llafur yn fawr a phoenus i'w ddwyn i'w sefyllfa bresennol, er yr ymddengys y cyfansoddiad yn fynych yn anystwyth, a'r iaith wedi ei dirdynu yn dost; eto gellir dywedyd, o'r hyn lleiaf, mai Salmau Dafydd ydynt, ac nid myfyrdodau diweddar arnynt. Y mae dau can' mlynedd o hanesiaeth eglwysig eu gwlad yn eu cysylltu âg oes y gorthrymderau, yr erlidiau, carcharau, a dienyddlëoedd eu merthyron, yn peri fod rhyw gysegredigaeth a pharch anghyffredin yn mynwesau pobl yr Alban at yr hen gyfieithiad hwn. Er hyny yr oedd llawer yn teimlo nad ydoedd yn ddigonol i ddiwallu anghen yr eglwysi; ac i gyfarfod â hyn, wedi blynyddoedd o lafur ac ymdrech, cymeradwywyd ac awdurdodwyd gan y Gymanfa, yn 1781, y cyfieithiadau a'r alleiriadau o ranau o'r Ysgrythyrau, a rhai hymnau, sydd yn gysylltiedig â'r Sallwyr Albanaidd. Mae yn eu plith amryw o hymnau Watts a Doddridge, ond wedi eu cyfnewid yn fawr, er eu cymhwyso i'r amcan oedd mewn golwg gan y detholwyr, sef eu gwneyd yn alleiriadau mwy manwl o'r Ysgrythyrau yr oeddent yn seiliedig arnynt. Mae y cyfnewidiadau hyny yn fynych yn wir welliant, ond weithiau, dybygem, heb fod yn llawn cystal â'r cysefin, fel arferol mewn cyfnewidiadau o'r fath. Ond er awdurdodi yr alleiriadau hyn gan y Gymanfa, yr oedd rhai gweinidogion a chynnulleidfäoedd yn petruso eu defnyddio, ac yn glŷnu wrth yr arferiad o'r Salmau yn unig, hyd yn ddiweddar, pan y mae rhai o'r Eglwysi Henaduriaethol yn ymddangos yn fwy rhydd, ac yn defnyddio amrywiaeth o hymnau cymeradwy fel y gwneir mewn eglwysi eraill.

Daw y Cyfieithiad Newydd *(New Version)* o'r Salmau gan Tate a Brady yn nesaf dan ein sylw. Cyhoeddwyd hwn yn 1696; ond er ei fod yn rhagori mewn ystwythder ar yr Hen *(Old Version)*, ac wedi ei awdurdodi dan sêl freninol William III., a chymeradwyaeth Esgob Llundain, ni chafodd dderbyniad mor gyffredinol ag y gallesid dysgwyl. Mae wedi cael ei argraffu yn fynych gyda'r Llyfr Gweddi Cyffredin, yr un modd a'r llall, fel y gallai y cynnulleidfäoedd gymeryd eu dewis. Yr oedd Nahum Tate yn fardd y llŷs, dan William III., a'r frenhines Ann, a'i gydlafurwr, Nicholas Brady, D.D., (Gwyddel o genedl) yn eglwyswr, a chaplan teuluaidd i'r brenin. Cyfrifid hwy yn eu dydd yn brydyddion lled dda; ond ni wyddys pa ran a gymerodd y naill na'r llall yn y gwaith. Mae eu cyfieithiad o'r Salmau xxiv., c., a cxxxix,, yn engraffau pur lwyddiannus; ond y mae Dr. Watts, er ei fod yn cydnabod iddo fenthycio amryw linellau o'r olaf, yn gwrthod rhai brawddegau fel yn swnio yn rhy farddonol, ac uwch deall y werin, megys:—"*infernal plains, morning's wings, western main, sable wings of night, shapeless embryo, maze of life,*" *&c.*, gan ddefnyddio geiriau mwy cyffredin yn eu lle. Mae James Montgomery yn ei raglith i'r *Christian Psalmist* braidd yn llym arnynt ar ystyriaethau eraill; ond er nad ydynt yn sefyll yn uchel ymysg y pryddion Seisonig, mae rhai o'r Salmau hyn yn parhâu i ddal eu tir, ac y mae eu henwau hwythau yn deilwng o gael eu cadw mewn coffadwriaeth.

Y tri uchod, ac un y Dr. John Patrick, a ddefnyddid yn bur gyffredin gan yr Ymneillduwyr, oeddent y cyfieithiadau mwyaf adnabyddus o'r Salmau cân yn Saesoneg hyd amser Dr. Watts (1719); ond rhaid i ni adael heibio ei aralleiriad ef hyd gyflëusdra arall. Mae Holland yn ei *Psalmists of Britain* yn rhoddi rhestr o fwy na 150 o awdwyr a droisant y cyfan neu ranau o Lyfr y Salmau ar brydyddiaeth Saesoneg, ynghyda nodiadau bywgraffiadol am danynt, ac enghreifftiau o'u cynnyrchion, ymhlith y rhai y mae Merrick, Goode, Wrangham, a Lyte, yn meddu cryn deilyngdod.

Y mae emynyddiaeth Saesonig erbyn hyn yn dra chyfoethog o'r cynnyrchion goreu; y maent wedi llïosogi yn fawr er amser Dr. Watts. Cyn ei ddyddiau ef, nid oedd nifer yr hymnau da yn yr iaith ond ychydig, er bod Herbert, Baxter, Wither, Esgob Ken, ac eraill, wedi cyfansoddi rhai emynau sydd mewn bri eto. Rhoddodd Watts fywyd newydd mewn emynyddiaeth, a derbyniodd adgyfnerthiad mwy fyth trwy awenyddiaeth ffrwythlâwn John a Charles Wesley, Newton a Cowper, Doddridge, Toplady, Cennick, Hart, Olivers, W. Williams, ac eraill, o'r ganrif ddiweddaf; a Syr Robert Grant, Kirke White, Esgob Heber, Charlotte Elliot, C. F. Lyte, James Montgomery, Thomas Kelly, Horatius Bonar, Hebele, a llïaws o rai eraill, o'r ganrif hon, am y rhai nis gallwn yn awr ond crybwyll eu henwau y fŷr. Fe allai y cawn achlysuron eto yn ein ffordd i gyfeirio yn fwy penodol at amryw o honynt.

---

## Y DYCHWELIAD O BABYLON.

Ust! nefol orfoledd trwy awyr Caldea
Ymchwydda yn dònau o fawl i'r Jehofah:
Ein rhyddid! Hosanah! y Fraich estynedig!
Caersalem! O diolch! Ein gwlad! Bendigedig!
Y wawr ogoneddus ymhola mewn syndod,
"O b'le mae 'r dyeithrol lais yna yn dyfod?"
Ond saetha ei llygad ar gaethglud Judea,
Yn gadael cadwynau a thrais Babylonia:
Gwrid cariad borphora ei gruddiau dihalog,
A myntai 'r dychweliad gofleidia yn serchog.
O! Fabel! brenhines gyfoethog y dwyrain,
　Estyni 'th deyrnwïalen hyd eithaf y byd:
Cenedloedd a gânant i ti dy arwyrain,
　Eisteddi yn foethus ac uchel dy fryd,

Yn goron gogoniant ar bob godidogrwydd,
Yn syndod y ddaear mewn nerth a chywreinrwydd.
Ei muriau sy'n gwatwor beiddgarwch pob gelyn,
A'i thŷrau mewn oesol gymundeb â'r nen;
Y môr a'i hamgylcha wna 'i bôst yn ddiderfyn,
Brawycha teyrnasoedd pan ysgwyd ei phen.
Trwy 'i chanol ymlifa Euphrates fawreddog,
A naddbont i'w chroesi o gelfwaith godidog:
A dacw 'i brenhindŷ â'i wŷch addurniadau,
Yn aur a maen mynor, a gemau di ri';
A'r gerddi crogedig yn brydferth orielau,
Ar farmor golofnau, chwanegant ei fri.
Celfyddyd am drechu llaw anian mewn llunio,
Ei mynydd a'i gwigoedd mewn urddas di ail;
Mawl anthem angelion y bore 'n ymchwyddo,
A'r mân-wlith yn gemu pleth goron y dail.
O'n blaen, dyna deml fawr Bèl yn dyrchafu,
Ei llathrawg binaglau i gyfarch y dydd;
A delw o aur ar ei nen yn tywynu,
A'r ddinas yn edrych i fyny mewn ffydd;
Ei phrês byrth ysplenydd, allorau ei moliant,
A'i heang gynteddau yn orwych i gyd;
A Bel awdurdodol o'i mewn yn ogoniant,
Yn brif dduw Caldea,—Rhyfeddod y byd.

O ganporth y ddinas ymdòra taranau,
Y dirfawr brês-ddorau agorir yn llawn:
A'i llydain heolydd, mewn uniawn linellau,
Yn croesi eu gilydd yn brydferth a gawn.
Ei llŷnoedd, a'i llŵyni, a'i dolydd cyfoethog,
Yn crymu i'r awel a chwery 'n ei hynt;
Celfyddyd ac anian mewn undeb godidog;
Dyfera 'i gogoniant dros wefus y gwynt.

Fel mynydd o risial ymgoda 'n fawreddus,
Dan ffrwd o oleuni yr haul yn ei nerth;
A dyffryn mawr Sinar â gwên dangnefeddus,
Yn fyd o ehangder o'i hamgylch yn ferth.
Mae 'n gweled ei delw 'n y dyfroedd tryloewon,
Yn chwerthin ar degwch ei harddwch ei hun,
Gan ddywedyd, "Eisteddaf, a'm plant fel angelion,
Ni 'm gwelir yn weddw, na gwelw fy llûn."

Cynhyrfa 'r dref aur fel môr-ferw ymchwyddol,
A'i chrechwen esgyna i glustiau y nef;
Ai dyma breswylfa dedwyddwch tragwyddol?
A gauwyd trueni tu allan i'r dref?

Etyb dwys riddfanau 'r caethion,
Trwst cadwynau trymion trais;
Llaw creulondeb bletha 'i ffrangell,
Llif eu dagrau fodda 'u llais;

Niwl cyfyngder dôa 'u henaid,
Llwydrew gofid wisga 'u gwêdd;
Blinder ydyw einioes iddynt,
Ni ddymuna 'u calon hêdd.

Cydeisteddant wrth yr afon
Yn eu hingoedd dwfn yn fud;
Salem dêg, Morïah sanctaidd,
Duw eu tadau 'n llon'd eu bryd:
Plyga 'r helyg âg ochenaid
Dan eu crog delynau hwy,
Bŷs yr awel rêd y tànnau,
Acen hiraeth seiniant mwy.

Gwaedda 'r Babyloniaid ffroenfalch,
Gyda gwên o lid a gwawd,
"Cênwch in' gâniadau Sïon,"
Yna 'n rhwbio tànt â'u bawd:
Sanctaidd zêl yr Iuddew dàniai,
Welw rudd yn fflam o wrid;
Dywed mellt ei lygad treiddgar,
"Na, mae Duw yn berchen llid."

Cronfa teimlad ymarllwysa 'n
Afon danllyd dros ei fin;
Llif hyawdledd ysbrydoliaeth,
Twrf ymdòriad enaid blin.

Pa fodd y cawn gerdd yr Arglwydd, mewn
Estronol wlad. Os byth anghofiaf di,
Jerusalem, anghofied hefyd fy
Neheulaw gânu. Gwywed nerth fy mraich:
A'm tafod ffero yn fy ngenau mwy,
Os mi ni chofiaf di, Jerusalem;
Ac oni chodaf di, goruwch fy holl
Lawenydd penaf. Cofia, Arglwydd Iôr,
Blant Edom falch yn nydd Jerusalem.
Y rhai dd'wedant, "Noethwch, noethwch hi,
Hyd at ei sylfaen." O! ferch Babel, ti
A lwyr anrheithir. Gwŷn ei fyd yr hwn
A dalo i tithau, fel y gwnaethost ti
I ninnau. Gwŷn ei fyd, a gymero dy
Rai bach, i'w taraw wrth y meini.

Cysgodau 'r hwyr ymdaenent
Yn esmwyth dros y dref,
I leddfu ing eu poenau
Fel brys genadon nef;
Ymwthiwn yn lladradaidd
Tu fewn i'r annedd hon,
I wrando chwedlau 'r aelwyd,
Cyfrinach ddofn y fron.

Eisteddai 'r tad oedranus
  A'i law o dan ei ben;
A'i ael yn ddu gan adfyd,
  A'i farf yn hirllaes, wèn.
Mae prudd-der wedi bwyta,
  Rhosruddiau tlws y fam;
Mewn swyn edrychai'r meibion,
  A hawdd yw d'weyd paham.

Dysgwyliant fêl ddyferion
  Gwefusau 'u mam a'u tad;
Nerth bywyd fedd y geiriau,
  Fy Nuw, fy Nuw; fy ngwlad.
I sanctaidd wlad Judea,
  Er gormes, gwae a chur,
Eheda eu hysbrydoedd
  I yfed mwyniant pur.

"Cofiaf byth am Jeremïah,"
  Medd y tad, "a'i ddwyfol ddawn,
Ar y bryn gerllaw Bethania
  Yn pregethu 'n rymus iawn;
Ymddysgleiriai megys angel,
  Chwyddai 'i lais fel rhuad môr;
Ti O! ddaear, ddaear, ddaear,
  Gwrando eiriau 'r Arglwydd Iôr.

"Ond er yr holl rybuddion
  Gwargaled oeddym ni;
Gwisgasom am eilunod
  Ogoniant Dwyfol fri.
Am hyn yn ngwlad y delwau
  A'u gloddest fawl dibaid,
Y dïal Duw ein camwedd
  A'r cyfryw dâl oedd raid."

"Fy nhad," medd un o'r bechgyn,
  A'r deigryn ar ei rudd,
"Pa fodd y gwnaethoch felly
  Dan wênau Duw bob dydd?
A lŷsg ei lîd hyd uffern?
  Ai nid oes gras yn Nuw?"
"Oes, oes, fy mhlentyn anwyl,
  Anfeidrol rasol, yw."

"Amlygodd ei gariad yn Babylon ynfyd
  I'w sanctaidd addolwyr," ateba y fam.
"Disgynodd i ganol y ffwrn dân ddychrynllyd,
  I dŷnu ffyrnigrwydd difäol y fflam.
Diangai y fflamau o'r ffwrn yn frawychus,
  Gan losgi yn lludw watwarwyr ein Duw;
Clodforai y llanciau mewn hwyl dangnefeddus,
  A'r brenin ddolefai, Y mawl i'r Duw byw.

"Gwŷn ei fyd, fy mhlant, na welsech
Un o ŵyliau Salem dêg;
Gŵyliau Babel, ffiaidd ydynt,
Melldith yw eu mawl, a rhêg;
Treiddiai 'r Dwyfol trwy 'n defodau,
Coffa bai, maddeuant rhad;
Allor, tân, ac aberth iawnol,
Duw yn Frenin ac yn Dad.

"Ond, tywalltodd ar ei Sïon
Lid ei ddigter megys tân;
Lleda 'i dwylaw heb ddyddanydd,
Trôdd yn och ei dawns a'i chân:
Wyla 'r pyrth, a'r ffyrdd alarant;
Tywallt dagrau mae y mur,
Neb ni chais yr ŵyl arbenig;
Pwy iachâ ei briw a'i chur?

"Henuriaid merch Sïon, yn ddystaw eisteddent,
A llwch ar eu penau, edrychent i lawr;
Llewygai plant sugno, a'u henaid dywalltent
I fynwes eu mamau,—ei dystryw oedd fawr.
O Dduw, sef Duw Israel, a diolch, mi gredaf,
Mai hâd etholedig yw Israel i ti;
Gwêl pwy ddarostyngaist, i'r gelyn creulonaf,
Dan draed yn yr heol mae coron ein bri."

Ei theimlad drylliedig yn awr a'i gorchfyga,
Rhydd amnaid i'w phrïod ac yntau lefara.

"Ah! y Deml gysegredig,
Dan belydriad Dwyfol wawr;
Tegwch bro, llawenydd daear,
Cartre'r Presennoldeb Mawr.
Pob dymunol feini gwerthfawr,
Pyrth o risial, aur heb ri',
Ynddi oedd fel lliwiau 'r enfys,
Gèm perffeithrwydd ydoedd hi.

"Dydd y Cymmod! O! 'r mawrhydi,
A'r difrifwch wisgai 'i wêdd,
Dwfn ddifrifwch tragwyddoldeb,
Ddaliai bawb mor fud â'r bedd;
Ai yr archoffeiriad drosom,
Gyda gwaed i wyddfod Duw;
Ynddo ef y byddem feirw,
Ynddo ef y byddem byw.

"Taenellai y gwaed ar yr aur drugareddfa,
Lle 'r cwmwl gogoniant ofnadwy dywyna;
O rhwng y cerubiaid, yr Arglwydd gyhoeddai
Ollyngdod i Israel, mewn iawn y cymmodai.

Ond, iawn a maddeuant cysgodol oedd yno,
I'n dwyn at y sylwedd yn mherson y Siloh—
Y gwir Archoffeiriad, gwir iawn, a gwir fywyd,
Yr hwn, trwy yr Ysbryd tragwyddol ryw enyd,
Offryma ei hunan yn aberth anfeidrol;
Rhydd ben ar aberthu, gwna gymmod sylweddol.
Ond gwae i ni bechu, mae 'r sanctaidd ddinasoedd
Yn anrhaith dan soriant cryf Arglwydd y lluoedd.
Yn ninas y Brenin Mawr mwy ni phreswyliwn,
Yn nhŷ ei sancteiddrwydd byth, byth, ni addolwn.
O na chawn eneinio eu llwch gyda 'm dagrau,
Cusanu eu meini â swyn fy serchiadau.
Ond ofer yw siarad, anobaith a welaf
Yn tremio 'n fy wyneb, o bob ——"

"Na, fy mhrïod hoff, ymbwylla,
Cofia drugareddau 'r Iôr;
Cofia 'i lŵ er cynt i'n tadau,
Cofia 'r fraich a barthai 'r môr;
Cilagorwyd dôr yr arfaeth,
Hêdd feddyliau Duw ar daen,
Trwy ffurfafen prophwydoliaeth,
Fel y wawr, sy'n dêg o'n blaen.

"Clywaf sŵn yr iachawdwriaeth
Yn nghyfammod Duw i ni;
'Merch fy mhobl, dychwel, dychwel;'
Dyma falm i'm henaid i,
Haws i wraig anghofio 'i phlentyn
Nag i Dduw anghofio 'i hâd;
Ar ei ddwylaw 'n argraffedig,
Mae ein henwau mewn coffhâd.

"Prawf y cerydd ein perthynas,
Cerydd tad, tynerwch yw.
Deigryn pur ein hedifeirwch,
Wna 'i geryddol fraich yn wyw:
Duw y dïal, ymddysgleiria,
Dïal am ei deml fydd;
Treiddia llais trwy 'r holl ryferthwy,
'Mynaf Israel eto 'n rhydd.'

"O! fy mhrïod, ymddiriedwn,
Cyd arferwn weddi 'r ffydd;
Rhua 'i berfedd mewn tosturi,
A phrysura 'r dedwydd ddydd.
Os yw 'm tynged i a thithau
Yma i syrthio 'n nwylaw brâd,
Gwêl ein plant ardduniant Dwyfol
Bryniau 'n cysegredig wlad."

"O! fendigedig ffydd ein mam,
Dïau y dïal Duw ein cam,"

Dolefa 'r plant mewn mawl a chân,
Ennynfa 'u henaid dŷr yn dân.

Cydblyga y teulu o flaen y Mawrhydi,
I sêlio 'r ymddyddan â moliant a gweddi;
Y tad fel offeiriad, ei ddwylaw gyfoda,
Yn achos holl Israel, ei weddi offryma.
Disgyna ei ddagrau, byw lif ei frwd deimlad,
Ar hyd ei farf wenllaes, fel olew 'r eneiniad.

"O Dduw y nefoedd, dyrchwn atat ti
Ein dwylaw a'n calonau: erglyw ni,
Anufudd fuom, gwnaethom gamwedd tost,
Erlidiaist ni â soriant yn ein bôst;
Y cof am anrhaith Sïon, angeu yw;
Ein pechod ni a ddŷg y farn, O! Dduw.
Gorchuddiaist ti dy hun â chwmwl du,
Nas gall'sai 'n gweddi trwodd esgyn fry.
Pa hyd, fy Nuw, y cosbi ni 'n dy lid?
Gâd wel'd pelydrau 'r wawr yn tòri 'n wrid:
Dadguddia dy ogoniant, gwisg dy nerth,
A dŵg y carcharorion hyn heb werth.

"Ti, Arglwydd, a barhëi yr un o hyd,
Heneiddio fel dilledyn mae y byd:
Fel gwisg y plygi 'r nefoedd, ond, yr un
Wyt ti. Ni phalla dy flynyddoedd ddim.
O cofia dy gyfammod, Arglwydd Iôr,
Dy etifeddiaeth sydd yn warth, a rhêg;
Gofyna ein gelynion, 'P' le y mae
Duw Israel?' Ateb hwynt, ein Craig, a'n Tŵr:
O gwêl ein cam: marchoga 'r nef yn awr,
A thyr'd o fangre dy sancteiddrwydd pur,
Ac â'th ddigofaint, gwthia hwynt o'n blaen.
O cofia dy gyfammod, gadarn Iôr,
A'th addewidion gwerthfawr. O! pa beth
A ddaw o'th brif addewid, sylwedd pob
Addewid arall: dy Eneiniog di?
O! dychwel ein caethiwed, tŷn ein gwarth,
Corona ni âg urddas megys cynt,
Fel gwypo 'r holl genedloedd mai tydi
Wyt Dduw: Duw mawr, ofnadwy, ceidwad pob
Cyfammod. Tafl, o'th ras, ein beïau oll
Tu ôl i'th gefn. Er mwyn dy enw mawr,
O dychwel, dychwel ni i'n gwlad, O Dduw."

Ymgiliwn mewn dystawrwydd
Rhag tòri ar eu hêdd,
Er mor ddymunol ydyw
Mwynhâu y nefol wledd.
Ah! dacw 'r brenin ffroenfalch
Yn rhodio yn y nen,

A'i uchel dywysogion
  Yn plygu iddo 'u pen.

O uchaf nen ei balas
  Y gwêl olygfa sydd
Yn chwyddo 'i feddwl uchel,
  Ymleda megys dydd;
Corfforiad gormes ydyw,
  Lliw gwae addurna 'i wawr;
Melltena 'i nwyd satanol,
  Ymdòra 'i ymffrost mawr.

"Onid hon ydyw Babylon fawr a adeiliais
I mi yn frenhindŷ yn nerth fy uchelgais?
Hi deifl fy ngogoniant trwy 'r byd fel goleuni,
A phlyga 'r holl ddaear o flaen fy mawrhydi.
Mi ddringaf i'r nefoedd, a gwnaf fy ngorseddfa
Uwch sêr Duw yn gadarn, ei sail nid ysgoga.
Mi ddringaf yn uwch na 'r cymylau, a thyngaf
Y byddaf yn debyg mewn bri i'r Goruchaf."—
"Na, aeth y frenhiniaeth oddiwrthyt,—O frenin!"
Medd crochlef o'r nefoedd fel tymhestl erwin,—
"A gyrir di ymaith yn llwyr o fysg dynion
I fyw at fwystfilod y maes megys eidion.
Mawrhydi 'r anifail a fydd dy ogoniant,
A'r ffôs dy frenhindŷ, a glaswellt dy borthiant.
Mae uffern o tanodd, am hyn, yn cynhyrfu,
Ac ar dy ddyfodiad i'th wyneb yn gwgu;
Cyfoda y meirw, sef llu y brenhinoedd,
A'r holl dywysogion o'u cuddorseddfäoedd,
I dd'weyd, "A wanhâwyd tydi megys ninnau,
A ddaethost ti 'n debyg i ni, er dy foethau?"
Disgynwyd dy falchder i'r bedd gyda soriant,
O danat mae pryfed, a phryfed a'th dôant,
Pa fodd, mab y wawrddydd, y syrthiaist o'r nefoedd?
Pa fodd y dyfethwyd un ddrylliai 'r cenedloedd?
Y rhai a ânt heibio yn sŷn a edrychant,
Estynant eu bysedd, a miniog lefarant;
"Ai dyma y gŵr a gynhyrfodd deyrnasoedd?
Ai hwn wnaeth i'r ddaear ddirgrynu â'i nerthoedd?
Ai hwn a osododd y byd yn anialwch?
Heb ollwng carcharor yn rhydd mewn tynerwch?"
  A dacw Belsasar mewn ymffrost a balchder,
A'i fil tywysogion mewn rhysedd a gwychder,
Mewn gwisgoedd brenhinol, ar orsedd amliwiog,
Dan goron o èmau, eistedda 'n fawreddog:
Mae 'n trochi ei dafod yn nhanllyd hyawdledd
Tywysog y fagddu, a dyma ei sylwedd,—

"Fy nhywysogion enwog,—Wele fi
Eich bywyd a'ch anrhydedd ger eich bron.
Pa frenin fel Belsasar? P'le mae 'r wlad

Gystedlir â Chaldea fawr? Fy ngorsedd i
A saif uwchlaw holl orseddfeinciau 'r byd.
Un gair i mi sy 'n ddeddf i'r gwledydd oll.
Fe deimla prif frenhinoedd byd yn falch
Cael bwrw eu coronau wrth fy nhraed.
Cyfrifant lyfu llwch fy nhraed yn fraint.
Cyrhaedda fy ngogoniant hyd y nef;
Mae 'r haul, y lloer, a'r sêr yn gwel'd fy mri.
Prydferthwch y teyrnasoedd yw ein tref,
Gogoniant godidogrwydd daear yw.
Pa le y mae Caersalem 'Dinas Duw!'
A 'Dinas dêg y Brenin Mawr!' Pa le
Yn awr y mae ei hymffrost uchel hi?
Yn dom a llwch! Ein gwynt dinystriol ni
A'i hysodd hi yn fflam. Yr 'Uchel Iôr!'
A'r 'Hollalluog Dduw!' ai sylwedd hyn?
Na, geiriau gwâg, diystyr ydynt hwy.
Ei Deml a'i ogoniant Ef a lwyr
Anrheithiwyd. Prawf o hyn yw 'r llestri aur
Sydd yma yn addurno byrddau Bel.
Pe 'n Hollalluog Dduw, ni chawsai neb
Yspeilio 'i wlad a thŷ ei foliant ef.
Fe dd'wêd y caethion hyn, y galwai hwynt
Yn etholedig hâd, a'r 'Brenin Mawr'
Y galwai ef ei hun! Pa le y mae
Ei rwysg, a'i nerth, a'i hen gyfammod ef?
Ei ddeddf, a'i gwmwl du, ei dân a'i fawl,
Ei fawredd, a'i hòniadau heb eu hail?
Diflanent oll, fel mŵg o flaen y gwynt.
Beth yw wrth Bel? Dim, dim, a llai na dim.

"A roddai Bel i elyn, dybiech chwi,
Ei fawl, a'i holl ogoniant mawr, a'i wlad,
Yn yspail rhyfel?" "Na wnai, Lywydd mawr."
"Mi dyngaf finnau 'n hyf, byth, byth ni wnai.
Estynai ei adenydd dros ein tir
Fel wybren annhreiddiadwy. Haws yw dal
Y gwynt, neu droi yr haul o'i yrfa 'n ôl,
Na dwyn y caethion hyn o'm dwylaw i.
Os yw eu Duw yn bod, yn enw Bel .
Mi roddaf hèr i'r Anweledig hwn!
Mi fynaf wel'd a oes awdurdod uwch
Yn bod na 'r eiddof fi." Newidia 'i wêdd,
Dirgryna, tawdd ei galon megys cŵyr
O'i fewn; mae 'n syrthio i lawr. "Y brenin mawr,"
Ddyrchafa 'n waedd gyffröus o enau pawb.
Mae 'n adfeddiannu ei hun: estyna'i law,
Gan dd'weyd "O gwelwch draw!" Mae 'r dorf yn troi,
A gwêl ryw law yn ysgrifenu ar
Y pared, mewn llythrenau tân. Mae braw

Ac arswyd megys mellt yn saethu trwy
Eu henaid hwynt. Mae pawb mewn cyffro gwyllt:
Y brenin eilw 'n groch y doethion a'r
Dewiniaid i ddëongli 'r ystyr. Och! Bŷs Duw
Yw hyn, atebant hwy. A dacw gerf
Lun Bel yn syrthio: crëa daran gref.
Ymsigla'r llawr, a gwaedd wallgofus ddyrch
Yr Arglwyddesau: rhwyga galon graig.
Ofnadwy yw y cynhwrf: dychrynfëydd
Marwolaeth ymfyddinant ger eu bron.
O frenin balch! fflam uffern sydd yn awr
Yn cynneu yn dy fynwes euog di.
Fe daflwyd càreg argyhoeddiad i
Dy galon, nes y mae fel myrdd o seirph,
Yn süo yn dy wyneb. Soddant eu
Colynau marwol yn dy enaid byth,
A'u gwenwyn drwy dy hanfod fythol draidd.

Ar edyn awelon o fryniau Judea,
Llais dwfn Ysbrydoliaeth i'm clustiau lefara.
A'r un Ysbrydoliaeth ateba yn Babel,
Trwy weledigaethau y prophwyd Ezeciel.
"Daeth dydd mawr yr Arglwydd, â digter yn greulon;
Ac arfau 'i lidiowgrwydd i ddifa 'i elynion.
Gwae Babylon fostfawr, prydferthwch teyrnasoedd,
Dy ddifrod brysura, tywylla y nefoedd.
Mae 'r lleuad yn duo, a'r haul ni oleua,
Cyflawnaist, do, fesur d' anwiredd i'r eitha'.
Cyfiawnder sy 'n rhodio 'n y gwynt a'i ryferthwy,
A thwng i'w ddeheulaw y tery 'n ofnadwy.
Ei gleddyf trylöew chwareua 'n y nefoedd,
Cynhyrfa sylfaeni y byd i'w ddyfnderoedd.
Yr Arglwydd sy 'n cyfrif y lluoedd i'r rhyfel,
Gwna 'i falchder wyleiddio, gostynga yr uchel.
"Dialaf," medd Duw, "yr holl gam á Judea;
Ail roddaf fy wyneb, a'm mawl yn Morïah.
Mi ddygaf fy eglwys i'w gwlad mewn gogonedd,
Dan wenau 'r Jehofah y trîg mewn gorfoledd,
Mi gofia 'nghyfammod âg Israel trwy 'r cyfan,
Cyffrôdd fy nhosturi wrth glywed ei ruddfan.
Os paid fy nghyfammod â'r nef-ordeiniadau,
Os gellir diddymu 'r defodol dymmorau,
Hâd Israel a beidia â bod yn dragywydd
I mi 'n etifeddiaeth: ac ni bydd i Dafydd
Fy ngwas fab i eistedd yn fri i'w deyrngadair,
A'm henw fy hunan a wisgir âg anair.
Myfi yw yr Arglwydd, crëawdwr pob llwyddiant,
Pob melldith a drygfyd, fy ngair a wrandawant;
Yn llunio goleuni, yn crëu y tywyllwch,
Yn rhoddi gorchymyn i ryfel a heddwch.

Dadleuaf i'th erbyn â chleddyf a difrod,
A meddwaf di hefyd â gwin llîd a wermod."

Gerllaw mae 'r fyddin fawr: mae sŵn ei rhoch
Fel rhuad dyfroedd lawer. Clywaf lais
Eu blaenor, Cyrus, yn eu hanerch hwynt.
"Fy nghadfridogion enwog! Filwyr dewr!
Amgylchwregysed pawb eu lwynau 'n gryf,
A phenderfyniad anmhlygadwy i
Ddwyn allan farn i fuddugoliaeth lwyr.
Cyflawnwn gamp filwrol bena 'r byd.
Mae tynged Babel wedi 'i sêlio 'n awr.
Ei balchder a'i gogoniant roddaf fi
O dan fy nhraed. Na roddwch fri ar aur.
Ennyned syched tanllyd yn mhob un
Am waed y gelyn. Awn, yn angerdd ein
Gwroldeb, fel llifeiriant cryf i mewn,
A mynwn fri anfarwol. Dyma 'r awr."

Mae tinciad arfau, ffroeniad meirch, a sain
Yr udgyrn yn dyrchafu. Fflachia mellt
Digofaint, mae pob llygad fel ar dân.

Ar hyn mae Duw yn rhoi ei lef
Fel taran-ruad yn y nef:—

"Eneiniog yr Arglwydd, ergydia dy saethau;
Y pyrth prês a ddrylliaf, agoraf y dorau;
Chwi nefoedd, defnynwch yn awr oddiuchod;
Wybrenau, tywelltwch gyfiawnder anorfod;
Agored y ddaear, cyd-dardd iachawdwriaeth
A dysglaer gyfiawnder drwy 'r holl oruchwyliaeth.
Myfi 'r HOLLALLUOG a grëais y cyfan,
A gwae ymrysono â Lluniwr holl anian."

Ni cheisiaf ddarlunio 'r dïaledd echryslawn,
Fy natur sy'n gwywo, wyf wan, ac arswydlawn.

Dyma ffenestr palas prydferth
Wedi 'i hagor yma 'n llawn:
Pwyntia tua 'r Deml sanctaidd;
O, olygfa swynol iawn!
Wele brophwyd llawn o urddas,
A difrifwch yn ei wêdd,
Ar ei liniau yn addoli,
Mewn mwynhâd o Ddwyfol hêdd.

Tŷn y nefoedd i'w ystafell,
Teimla bresennoldeb Duw:
Cuddia 'i wyneb yn ei fantell,
Mae ei eiriau 'n farwor byw.
Cymer Duw ei ysbryd uniawn
I'w gyfrinach sanctaidd ef,

Cawn o enau 'r prophwyd anwyl
  Ryw ddadguddiad mawr o'r nef.

Awn i fysg y gaethglud eto,
  Cydymdyru mae y llu,
Ofn a gobaith ymchwedleuant
  Am y dïal mawr a fu.

Dyma brophwyd Duw yn dyfod,
  Ië, Daniel ydyw ef:
Gwêl y gaethglud yn ei wyneb,
  Ymlewyrchiad pur y nef.

Rhedant ato gyda mynwes
  Lawn o bryder, "Beth sy 'n bod,
A oes gwawr o'r orsedd Ddwyfol,
  Ai tywyllwch mwy sy 'n d'od?"

Llefara y prophwyd, "Fy mrodyr, deallais,
Wrth lyfrau rhifedi 'r blynyddoedd, a gwelais
I'r Arglwydd fynegu i'w was Jeremïah
Y rhoddai ar Salem o anghyfannedd-dra
Yn gyflawn ddeng mlynedd a thriugain; ac yna
Y tröais fy wyneb at Dduw y dydd hwnw
Mewn gweddi ac ympryd, sachlïan a lludw;
Gweddïais, cyffesais, a dywedais, 'Attolwg,
O Arglwydd, Dduw mawr ac ofnadwy, bydd amlwg.
Ti geidwad cyfammod, gweinyddwr trugaredd
I bawb ar a'th garant, a rodiant mewn rhinwedd.
Pechasom a gwnaethom bob cam yn dy erbyn,
A gwrthryfelasom, trwy gilio yn gyndyn
Oddiwrth dy orch'mynion, a mathru dy ddeddfau,
A thŷnu dy soriant yn farn am ein penau.
Ond gwrando 'r awr hon, O! ein Duw mawr, trugarog,
Ar weddi dy was, a'i erfyniau trwmlwythog.
Llewyrcha dy wyneb ar Sïon, O Arglwydd!
Dy gysegr anrheithiol—llewyrcha yn ebrwydd,
A gostwng dy glust, O fy Nuw, clyw ein cŵynion,
Ac agor dy lygaid, gwêl anrhaith dy weision.
A'r ddinas y gelwir dy enw di arni,
Nid hunangyfiawnder, fy Nuw, yw ein gweddi;
Tywalltwn ein calon ar bwys dy diriondeb,
Dy ras a'th amynedd, dy gariad a'th burdeb.
Clyw, Arglwydd, ac arbed, O Arglwydd, ystyria,
Yn Dduw iachawdwriaeth yn awr ymddysgleiria."
A mi yn llefaru fy ngweddi yn druan,
Daeth Gabriel i'm cyfarch, gan 'hedeg yn fuan,
A d'wedodd, "O Daniel, gwrandäwyd dy eiriau,
Aeth gair trwy y nefoedd yn nechreu 'th weddïau;
A deuais i'w draethu i ti, ŵr dymunol,
A pharaf it' ddeall dirgelwch ysbrydol."

Rhêd y geiriau 'n fywyd trwyddynt,
Gobaith sy 'n goleuo eu gwêdd;
Wele swyddog yn marchogaeth,—
"Beth!" dystawrwydd fel y bedd.
At y prophwyd mae 'n carlamu,
Dyry lythyr yn ei law:
Egyr Daniel ef yn bwyllog,
Dwfn och'neidia 'r llu gan fraw.

"Bendigedig," medd y prophwyd,
"Fyddo Arglwydd Dduw y nen,
Dyma holl fendithion rhyddid
Yn ymdywallt am ein pen.
Byw fo Cyrus, ein gwaredwr,
Duw fo'i nawdd, a'i dyner Dad.
Dyma eiriau brenin Persia,
Mewn ysgrifen trwy ei wlad:—

'Fel hyn,' medd Cyrus, brenin Persia fawr,
'Fe roddes Arglwydd Dduw y nef i mi
Deyrnasoedd daear oll; maent yn fy llaw.
Gorch'mynodd fi i adeiladu ei dŷ
Yn Salem fawr, yr hon yn Judah sydd.
Pwy sydd o honoch chwi, o'i bobl ef?
Ei Dduw fo gydag ef: i fyny äed,
Ac adeiladed dŷ i'r Arglwydd Dduw,
Duw Israel—dyma 'r Duw—yr hwn y sydd
Yn Jerusalem; a phwy bynag a
Adäwyd mewn un man lle mae efe 'n
Ymdeithio, cynnorthwyed gwŷr ei wlad
Ef gydag arian, golud, ac âg aur,
Ac anifeiliaid âg 'wyllysgar rodd,
Ac offrwm tŷ eich Duw, yr hwn y sydd
Yn Salem dêg.'"

Gwefreiddia y newydd holl galon y gaethglud,
Llawenydd a phryder amliwia 'u gwynebpryd;
Rhy dda yw 'r cyhoeddiad, mae 'n ormod i'w gredu,
Ammheuant, edrychant, gan droi a rhyfeddu.
Mewn brys gofyna 'r naill i'r llall, Pa beth,
Ai sylwedd hyn, ai ynte breuddwyd yw?
Mae gwendid yn fy lŵynau, fel pe bawn
Mewn pêrlewygon. Rhith, ai ffaith, beth yw?
Try nifer at Ezeciel, "Prophwyd Duw,"
Dywedant, "Gwir ai gau, beth meddi di?
A ydym oll dan law yr Ysbryd mewn
Rhyw weledigaeth?" "Na, fy mrodyr, gwir
Bob gair. Cyflawniad i'r llythyren yw
Y peth o weledigaeth ddofn
Yr esgyrn sychion. Llais yr Arglwydd Dduw
Lefarodd uwch ein pen—'O anadl tyr'd
Oddiwrth y pedwar gwynt, anadla ar

Y lladdedigion hyn fel byddont byw :'—
A dyma ni o'i flaen yn llu mawr iawn,
Cyfododd ni o'n beddau, dŵg nyni
I'n tir ein hunain, fel y gwypom oll
Mai 'r Arglwydd wnaeth i ni y mawr beth hwn."
O'r chwerthin! cânu! a'r gorfoledd mawr
Sy'n llenwi 'r awyr. Am y cyntaf maent
I roddi tafod i'w telynau mud.
O seiniau anwyl! Sŵyn ysbrydol sydd
Yn hen alawon Sïon. Rhêd trwy ddur
Galonau 'r Babyloniaid. Cânu maent,
A chânu mewn nefolaidd hwyl, fel pe 'n
Ad-dalu 'r cyfnod maith y bu eu hoff
Delynau 'n wylo ar yr helyg îr,
Dadganant fawl eu Duw ar dànau swyn
Nes llenwi Babel fawr a'r wlad â llif
O ysbrydoliaeth cerddi 'r Arglwydd Iôr.
Ymwyra 'r helyg tua 'r afon gan
Chwennychu llwyr ymguddio ynddi hi.
Cywilydd wyneb deimlant am i'r fath
Gerdd-offer bendigedig fod mor hir
Yn crogi ar eu cangau hwynt yn fud.
Cydwylant, gan dynghedu 'r dagrau 'i fod
Yn dystion byth yn llŷs cyfiawnder pur
Yn erbyn traws orthrymwyr Israel Duw.
Dylifa anifeiliaid, arian, aur,
Goludoedd gwerthfawr, offrwm tŷ eu Duw.
Pob ewyllysgar rodd—dylifant oll
I mewn yn llanw mawr. Ac wele fwy,
Dŵg Cyrus allan lestri teml Duw—
Y llestri aur ac arian yspail tŷ
Yr Arglwydd, roddwyd gynt i'r duwiau gau,
Y rhai y nos o'r blaen addurnent wledd
Belsassar, gloddest melldigedig Bel.
Ond dygir hwy yn awr yn llwyth ar lwyth
I'w cyrchu 'n ol i le 'r Gogoniant mawr;
Trysorydd Cyrus rifa hwynt i law
Sebassar, penaeth Judah. O fel maent
Yn chwennych ymlanhâu oddiwrth ystaen
Halogrwydd tŷ yr eilun.
Nefol ddydd!
Mae gwersyll Duw ar gychwyn tua 'n gwlad,
Marchoga swyddog ar ei gyflym farch
Trwy borth y ddinas. Llwnc y ddaear ar
Ei daith trwy wastad-diroedd Sinar draw,
A 'n syth i'r anial mawr, a bloeddia nes
Cynhyrfu 'r holl ddiffaethwch,—

"Parotöwch ffordd yr Arglwydd, unionwch ei lwybrau,
Gostyngwch fynyddoedd, cyfodwch y pantiau;

Y cam gwnewch yn uniawn, a'r garw 'n wastadedd,
A gwnewch y diffaethwch yn brif-ffordd i'w fawredd;
Dychwela 'n caethiwed, ei hâd a fendithir,
Gogoniant yr Arglwydd i bawb a ddadguddir."
Mae nerth ac awdurdod y Dwyfol Fawrhydi
Yn saethu fel trydan trwy 'r fath genadwri;
Preswylwyr yr anial a'u harfau a redant,
A'u holl ymadferthoedd i'r gwaith yr ymroddant.
Yn awr, dyna 'r gaethglud ar gychwyn o Babel
Mewn trefn a phrydferthwch yn llaw Sorobabel,
Gerllaw archoffeiriad ei weddi offryma,
Cyflwyna y llwythau i nawdd y Jehofa.
Dyrchafa sain udgyrn, ysgoga 'r gwersylloedd,
Dychlama pob calon, a neidia y lluoedd;
A thery 'r cantorion eu hanthem glodforus,
A dyma yw ystyr eu cydgân fawreddus:—

"O Arglwydd, Crëawdwr y byd a'i arddunìant,
  Nid oes yn bodoli un Duw ond tydi;
Ni roddi i arall dy danbaid ogoniant,
  I ddelwau cerfiedig ni roddi dy fri.
Y Bôd gogoneddus mewn bythol sancteiddrwydd,
Ofnadwy mewn moliant, Pwy 'n debyg i'r Arglwydd?

"Efe a faluriodd gadwynau 'n gorthrymder,
  Marchoga y Cerub, ehed yn y fflam:
Y cleddyf daufiniog a drochodd cyfiawnder
  Yn nghwmwl y felldith i ddïal ein cam.
Yn nerth ei gadernid i'n gwlad y dychwelwn,
A thŷ ei sancteiddrwydd a ail adeiladwn."

Mae 'r olaf tu allan i gaerau y ddinas,
  Edrychwyr sŷnedig a lanwant y wlad;
Mae 'r dref heb breswylwyr, ymdeimlant âg urddas
  Y teulu y credant mai Duw yw eu Tad.

Ddiderfyn orymdaith! mae 'n colli o'r golwg
Tu draw i'r terfyngylch, mewn bröydd anamlwg.
Gynhyrfus olygfa! mae 'n llawn o arddunìant,
Ar feirch, ar gerbydau, ar fulod y teithiant,
Ar fuain gamelod; ac ar feirchelorau
Mae rhai yn ymorwedd, mewn gwendid a phoenau:
Ond teimlant y Breichiau tragwyddol yn gryfder
O enau cyfyngdra i'w dwyn i ehangder.
Cyffröa 'r amgylchiad y nefoedd oruchel,—
Yn genad ar edyn o dân y daeth Gabriel:
Gorchuddia cerubiaid, seraphiaid, ac engyl,
Eu dysglaer wynebau â'u hedyn, yn ymyl
Y Dwyfol Fawrhydi, a melus chwareuant
Fawlgerddi Paradwys ar dànau 'r gogoniant.
Arllwysant fyw ddylif o nefol hyawdledd,
A'u mynwes yn chwyddo gan Ddwyfol dangnefedd.

A threiddia 'r cyffro mawr trwy uffern ddofn;
Tarana 'r adsain yn y creigiau llôsg.
Cnoi 'i dafod gwelir Satan yn ei warth a'i siom.
Archswyddog ei filwriaeth, gormes hyf,
Archollwyd: troed ei elyn mathrodd ef.
Cynddaredd, llid, a phob satanol nwyd
Yn fflamio yn llygaid yr ellyllon sydd.
Wylofain, cablu, a chrechwenu maent,
Nes ffurfio 'r fath anghydsain grôch, nad all
Y ddynol glust ei ddal.

Ymwthia y gaethglud ymlaen i'r diffaethwch,
Gwersyllant yn nghanol y gorwyllt anialwch:
Fel prydferth ddyffrynoedd eu pebyll estynant;
Fel gerddi wrth afon, neu gedrwydd, edrychant.
Dyweda 'r cenedloedd, wrth wel'd eu harwyddion,—
"Yr Arglwydd a wnaeth i'r rhai hyn bethau mawrion."
"Yn wir, pethau mawrion i ni wnaeth yr Arglwydd"
Atebant mewn cydgân, i dòri 'r dystawrwydd;
"Am hyny y llanwyd ein tafod â chânu,
A'n genau â chwerthin, ein Duw sy 'n teyrnasu.
Dychwela 'n caethiwed fel llifiad afonydd
Y Dehau: a'n rhyddid flodeua 'n ysplenydd."

Ah! dring efengyles, i draethu i Sïon
Ddynesiad yr Arglwydd a'i hawddgar anwylion;
Mor hardd ei cherddediad hyd lethrau 'r mynyddoedd,
A'i gwddf dan addurnol gadwynau y nefoedd!

Y wlad a'i hefengyl gyfoda yn fyw,
Prif acen ei byrdwn yw, "Wele eich Duw."

Ar ol hir ymdeithio yn yr anial blinderus,
Mae heddyw i'r gaethglud yn adeg bryderus;
Dysgwyliant bob mynyd wel'd prydferth ororau
Eu gwlad. "Bendigedig! O, dacw 'i mynyddau!"
Mae 'r gwersyll yn sefyll, a threfnir cyflëusdra
I bawb gael llawn olwg: tŷr bloedd, "Haleliwia!
O! wlad gysegredig! gwlad anwyl ein tadau!"
A chlywir seinateb ar dafod y creigiau.
Y fûn gystuddiedig a gŵyd ar ei heistedd,
A'i gwyneb llwyd, gwelw, 'n pelydru tangnefedd.
Yn neidio fel hyrddod mae 'r hen a'r methiantus,
Adgofion eu mebyd i'w henaid sydd felus.
"Jerusalem sanctaidd! O Sïon anwylaf!
I fynydd yr Arglwydd esgynwn yn gyntaf."

Cyfoda y gwersyll fel coedwig symudol,
A dawns, a chaniadau, llawenydd tragwyddol,
Esgynant fel cwmwl i fynydd y Duwdod;
Mae 'r wlad yn ymgasglu i wel'd y rhyfeddod.
Cyfodant yr allor, offrymant yr aberth,
A'r mŵg yn golofnau ymddyrcha yn brydferth,

Mawl weddi a moliant, sain cân a gorfoledd
O amgylch yr allor am farn a thrugaredd.

Dywedant, "O Arglwydd Dduw mawr hollalluog,
  Dy arswyd ddychryna genedloedd y byd;
Dy rasol dynerwch i ni, Dad trugarog,
  Mae 'n sŷnu y nefoedd ac uffern i gyd:
Fel Ti mae 'th gyfammod yn anghyfnewidiol,
O'i wyneb pelydra ieuenctyd tragwyddol.

"O diolch! am weled llwch adfail dy Sïon,
  Eneiniwn ei meini â'n dagrau yn lli';
Y fraich ddŷg ein tadau, waredodd y meibion,
  Mae 'n holl amgylchiadau yn amlwg i Ti.

"Y Duw ŷrodd allan lif mawr ei ddylanwad
I gynnal unoliaeth cyflawnder y crëad,
Sy 'n llenwi dirgeloedd dyfnderau pob gronyn
A rhyfedd gyfrinach ei ysbryd diderfyn.

"Dod nerth i ni eto i ail-adeiladu
  Dy Sïon, prydferthwch dy foliant Di yw;
Fel gwypo 'r holl ddaear mai Ti sy 'n teyrnasu,
  Cyfiawnder yw trigfa d' orseddfainc, O Dduw."
Eu gallu sydd egwan i draethu ei ogoniant,
  Y môr a'i gyflawnder sy 'n rhuo mewn nerth,
Cyfodi ei ddwylaw mae 'r grymus lifeiriant,
  A bloeddia 'r mynyddoedd ei foliant yn ferth.

Trwy 'r wlad ymwasgarant i'w hen gartrefleoedd,
Sefydlant eu hunain mewn prydferth anneddoedd;
Ac eilwaith dychwelant y dydd appwyntiedig,
Sylfaenant y Deml âg enaid brwdfrydig;
Llawenydd a galar yn gymysg floeddiadau,
Fel môr yn ymchwyddo yn dònau ar dònau.

O wlad fendigedig! preswylfan Jehofah,
  Dy heddwch fel afon ymlifa yn hardd;
Dy grasdir yn ffrydiau grisialog a dardda,
  A'th ëang ddiffaethwch fel rhosyn a chwardd.
Y Deml orphenwyd, prif èm Dy ogoniant,
Caersalem â'i chaerau mewn cyflawn ardduniant.

Dïalodd yr Arglwydd ei etholedigion,
A 'sgubau mawr dystryw ysguba 'i gasëion.
Y "dref aur" a dröwyd yn anghyfannedd-dra;
Ammheuaeth ei hunan mewn gwarth gywilyddia.
Frawychus arwyddlun! gwaith llaw barnedigaeth
Yn codi colgolofn ar fanc ysbrydoliaeth;
Saif yma 'n ddiysgog yn rhybudd tragwyddol
Am dynged ofnadwy y balch a'r annuwiol;
Ac ynddi y cerfiwyd yn ddwfn mewn eglurder,
Gadernid, ffyddlondeb, sancteiddrwydd, cyfiawnder.

A dyna yn Juda gofgolofn ardderchog,
Trugaredd a'i naddodd o feini tryliwiog;
Mae baner wèn cariad yn chwifio o'i choppa,
A'i chysgod ar dònau y dyfroedd chwarëua.
Saif yna 'n dragywydd i draethu 'r daioni
O fod mewn cyfammod â'r Dwyfol Fawrhydi.
Mae bythol gerfiadau yn britho ei gwyneb,
Doethineb a chariad, trugareddwyne
Yn iâch i ti, bellach, O Israel gyfoethog!
Wyt ddrych i arddangos i mi yr Eneiniog;
A'r uwch waredigaeth trwy haeddiant ei Berson,
Ail gréa 'r ddynoliaeth i'w gwisgo â choron.
Cyfiawnder tragwyddol sy 'n nghadw 'n y nefoedd;
Gwna 'r tlawd a'r anghenus yn fythol frenhinoedd.
A gwelaf yn Babel gwymp Anghrist ei hunan:
Ei syrthiad ofnadwy sy 'n rhuo fel taran.
Er maint y gogoniant sydd yma 'n weladwy,
Mae eto ogoniant yn Nuw mwy ofnadwy!

---

# GWAREIDDIAD YN EWROP.

## II.

MEWN natur y mae pob marwolaeth yn enedigaeth newydd. Pan y mae y ddeilen yn syrthio, a'r llysieuyn yn gwywo, y maent trwy lygru yn rhoddi yn ôl i'r ddaear a'r awyr yr elfenau hyny a fenthyciasant yn ystod eu bywyd. Yn y gwanwyn dyfodol y mae yr elfenau hyn yn ffurfio dail a llysiau eraill. Y mae rhywbeth tebyg i hyn i'w weled yn hanes y byd. Canlynir cyfnod o ddifaterwch a marweidd-dra mawr gan gyfnod o weithgarwch ac yni anarferol. Yn ystod y cyfnod sydd wedi bod dan sylw o'r blaen, yr oedd cymdeithas wedi bod ar y cyfan yn llygru—yn ymddadgyfansoddi. Erbyn yr unfed ganrif ar bymtheg yr oedd wedi dyfod yn wanwyn ar Ewrop. Yr oedd y bywyd oedd wedi ymadael o gymdeithas er ys canrifoedd, wedi dychwelyd, ac yn nerthol weithio, yn dechreu ymddangos mewn ffurfiau uwch ar wareiddiad nag erioed o'r blaen. Yr oedd hen gredöau meirwon yn gorfod rhoddi lle i argyhoeddiadau byw. Yn y ganrif hon bu gwirionedd a chyfeiliornad, goleuni a thywyllwch, yn ymladd brwydr gydag egni a difrifwch na welwyd mo eu bath o'r blaen. Fe gamgymerodd Erasmus ysbryd ei oes yn fawr pan y cynnygiodd ddiwygio Eglwys Rhufain yn *raddol*. Nid cyfnod i ddiwygio pethau yn raddol oedd y cyfnod hwnw. Yr oedd yn amser pryd ag yr oedd gwirionedd a chyfeiliornad gledd yn nghledd,

ac yn ergydio at fywydau eu gilydd. Ni fu dynion cymedrol, call yn eu cenedlaeth, dynion gofalus am eu cysuron eu hunain, fel Erasmus, erioed yn alluog i ddwyn diwygiadau pwysig oddiamgylch. Bu Grattan am lawer o flynyddoedd yn crefu yn daer am ryw gyfran o iawnderau i'r Iwerddon, a chafodd grefu yn ofer; hawliodd O'Connell y cyfan, ac fe gafodd gyfran dda. Cyfnod o gyffro a therfysg oedd yr unfed a'r eilfed ganrif ar bymtheg, amser pryd ag yr oedd pawb a phob peth ar eu goreu. Yr oedd cymylau duon bygythiol wedi bod yn ymgasglu yn yr awyrgylch er ys cryn amser, ac ambell i awel ddystaw, eto llawn o ystyr, yn ymsymud yn raddol: arwyddion sicr fod tymhestl yn dyfod, ac o'r diwedd fe ddaeth. Yn nghanol ystorm o fellt, a tharanau, a chorwynt, fe syrthiodd hen sefydliadau, ac fe gafodd hen opiniynau traddodiadol eu hysgubo ymaith.

I wasanaethu amcan ein hysgrif, gallwn ranu hanes Ewrop yn dri chyfnod. Y cyfnod cyntaf, o gwymp yr ymherodraeth Rufeinig hyd tua dechre yr unfed ganrif ar bymtheg, pryd ag yr oedd cymdeithas yn dryblith annhrefnus. Yr oedd digon o ryw fath o fywyd yn y cyfnod hwn, ond bywyd heb gael rhoddi cyfeiriad iddo ydoedd. Os symudai gwlad ymlaen mewn oes ryw gymaint, ni fyddai ond damwain iddi gymeryd y cyfeiriad hwnw. Erbyn diwedd y cyfnod hwn yr oedd yn eglur fod rhyw ysbryd yn ymsymud ar wyneb yr annhrefn. Yr ail gyfnod, o tua dechre yr unfed ganrif ar bymtheg hyd ddiwedd yr eilfed ganrif ar bymtheg, pryd ag yr oedd cymdeithas mewn math o *transition state*—yn newid gwêdd a dull. Yn y cyfnod hwn yr oedd yr hen bethau yn myned hebio, a phob peth yn cael ei wneyd o'r newydd. Cydnabyddwyd egwyddorion pwysig, ac er nad oedd y byd eto yn eu deall, ond yn anmherffaith, yr oeddynt wedi dechreu dyfod i weithrediad. Y trydydd cyfnod, o ddiwedd yr eilfed ganrif ar bymtheg i'r amser presennol—cyfnod y dadblygu. Wedi i egwyddor gael ei chydnabod, nid ydyw yn cael ei dwyn allan yn ei hŷd a'i llêd am lawer o amser. Ni fydd y byd yn barod i'w derbyn yn ei holl gynnwys, ond fel y mae goleuni a gwybodaeth ychwanegol yn ei gymhwyso yn raddol i dderbyn dadblygiadau newyddion o hôni. Gwaith graddol ydyw hwn, ond sicr. Y mae y byd yn sicr o gael yr hyn y mae yn deilwng o hóno, ac yn barod i'w dderbyn. Ymhob gwlad ceir dynion o flaen eu hoes; ond mae yn rhaid cael cyfnewidiad yn y farn gyhoeddus cyn y bydd yn ddoeth nac yn ddïogel gwneyd cyfnewidiad yn y deddfau. Gwaith ein hoes ni, ac oesau eto i ddyfod, ydyw dadblygu i'w cyflawn faintioli yr egwyddorion a osodwyd i lawr yn y cyfnod pwysig o tua dechre yr unfed ganrif ar bymtheg hyd ddiwedd yr eilfed ganrif ar bymtheg. Gobeithio y ceidw y darllenydd mewn cof y golygiad hwn at y cyfnod sydd i fod yn destun y sylwadau sydd yn canlyn.

Ymhlith llawer o ddygwyddiadau pwysig a gymerasant le yn y ddwy ganrif hon, y mae codiad a chynnydd trefedigaethau perthynol i'r gwahanol wledydd yn deilwng o sylw. Yn nechre y cyfnod hwn yr oedd masnach y dwyrain yn nwylaw y Portuguese, ac yr oeddynt fel cenedl yn dechreu teimlo oddiwrth effeithiau niweidiol moethau. Yr oedd diwydrwydd a gwroldeb yn darfod yn gyflym o'u mysg, a phan ddinystriwyd eu byddin yn Affrica, syrthiasant braidd yn ddiymdrech dan iau Spaen. Er mwyn rhoddi dyrnod effeithiol i fasnach y Dutch, pa

rai oedd wedi gwrthryfela yn ei erbyn, gwaharddodd Philip, brenin Spaen, iddynt ddyfod i borthladd Lisbon i brynu nwyddau y Dwyrain. Yr oedd hyn yn ergyd trwm i'w masnach, ond y mae diwydrwydd a dyfalbarhâd yn gallu troi rhwystrau yn fanteision. Penderfynasant fyned eu hunain i'r dwyrain i'w hymofyn, ac na ddibynent o hyny allan ar y Portuguese am danynt. Anfonwyd dynion cymhwys i edrych beth oedd eu rhagolygon, ac ar ol cael adroddiad ffafriol gan y rhai hyny, ffurfiwyd *East India Company*. Hwyliodd Admiral Warwick, yr hwn a ystyria y Dutch fel tad eu masnach a'u dylanwad yn y dwyrain, a bu yn llwyddiannus i osod eu masnach ar sylfaen gadarn. Fel yr awgrymwyd o'r blaen, yr oedd Portugal yr adeg hon dan lywodraeth Spaen, ac nid oedd Philip yn gofalu dim am les y wlad hono. Nid oedd y Portugese eu hunain chwaith yn gofalu cymaint am gyfanrwydd eu meddiannau wedi i'w gwlad golli ei hannibyniaeth. Cymerodd y Dutch fantais ar hyn, ac ymosodasant ar eu sefydliadau, ac wedi rhyfel blin a dinystriol, llwyddasant i'w gwthio o'u meddiannau, ac i ddyfod yn gryfach ac yn fwy dylanwadol yn y dwyrain na'r un genedl arall. Hyd yn hyn yr oedd yr ymdrechfa wedi bod rhwng y Portugese â'r Dutch, ond yn fuan daeth y Saeson ymlaen, ac y mae y dyfalbarhâd, yr egni, a'r gwroldeb, sydd yn eu nodweddu fel cenedl, wedi eu dangos yn eu perffeithrwydd yn y rhan hon o'r byd. Ffurfiwyd yr *East India Company* Seisonig yn y flwyddyn 1600, ac yn y flwyddyn ganlynol hwyliodd James Lancaster gyda phump o longau i'r India, a chafodd dderbyniad croesawgar gan rai o'r tywysogion brodorol. Am yspaid maith o amser, yr oedd gan y Saeson anfanteision dirfawr i ymdrechu yn eu herbyn; oblegid yr oedd y cenedloedd eraill a enwasom wedi cael y blaen arnynt, ac yn taflu pob rhwystr a allent ar eu ffordd; ac er mor bwysig i Loegr ydoedd iddynt lwyddo yn yr anturiaeth hon, eto, o herwydd gwladlywyddiaeth gul a dall James I., ni dderbyniasant nemawr gefnogaeth na dim cymhorth. Ond er yr holl anfanteision hyn yr oedd eu sefydliadau, er yn weiniaid, eto â golwg lwyddiannus arnynt. Cynnyrchodd y llwyddiant hwn ddychryn nid bychan ymhlith y Dutch, a phenderfynasant arfer pob moddion yn ddirgel ac agored i'w gyru ymaith fel yr oeddynt wedi gwneyd o'r blaen â'r Portugese. Yn eu cyfyngder yr oeddynt yn troi yn fynych i edrych am gymhorth oddicartref, ond cawsant edrych yn ofer am dymmor hir, oblegid nid oedd James I., na Charles I., yn ddigon goleuedig i weled y manteision masnachol cysylltiedig â'u llwyddiant, nac yn meddu digon o wroldeb i estyn cymhorth iddynt rhag tynu gŵg Holland am eu penau. Gwelodd llygad craff Cromwell yr angenrheidrwydd o'u hamddiffyn, ond bu farw cyn gallu gwneyd dim effeithiol; ac nid oedd Charles II. yn gofalu dim am lês y deyrnas. O'r dechreuad bychan ac anaddawol hwn trwy gyfnodau o adfyd ac anhawsderau dirfawr y cynnyddodd meddiannau y Saeson yn y dwyrain i'w maintioli aruthrol presennol, trwy yni a dyfalbarhâd nad oes genym hanes am eu bath ymhlith un genedl arall, hen na diweddar. Yn y cyfnod hwn yr oedd y Saeson yn fwy llwyddiannus yn Ngogledd America a'r West Indies. Yn un o flynyddoedd olaf y bymthegfed ganrif, darganfyddodd Cabot, morwr yn ngwasanaeth Harri VII., Newfoundland, a hwyliodd gyda glànau'r America o Gulf of St. Laurence hyd Cape of Florida. Ni chymerwyd un fantais ar y darganfyddiadau

a wnaeth y dyn anturiaethus hwn hyd tua chanol teyrnasiad Elizabeth, pryd y gwnaed ymgais egnïol gan Loegr i niweidio Spaen yn ei threfedigaethau. Yn 1606, ffurfiwyd dau gwmni ymfudol, y *London Company*, a'r *Plymouth Company*. Dewisodd y London Company y rhan hono o'r wlad a elwir yn awr Virginia, a dewisodd y Plymouth Company New England. Anfonodd y cwmni cyntaf a enwasom Christopher Newport, gyda chant a deg o ymfudwyr, ac offerynau amaethyddol, a phob math o arfau. Nid oes angen dyweyd fod y drefedigaeth hon wedi troi allan yn llwyddiannus iawn. Yn ystod teyrnasiad James I., yr oedd amryw o'r Puritaniaid wedi symud drosodd i Holland er mwyn cael rhyddid crefyddol; ond nid oeddynt yn esmwyth yno, a dechreuasant edrych tua'r gorllewin. Gofynasant am ran o'r tir a roddwyd i'r Plymouth Company, yr hyn a ganiatäwyd iddynt yn rhwydd. Yn 1620, hwyliodd cant ac ugain o honynt mewn llong o'r enw *May Flower* tua'r America, er mwyn cael rhyddid i addoli Duw fel yr oeddynt yn cael eu cyfarwyddo gan eu cydwybodau. Dilynwyd hwy yn fuan gan rai cyffelyb eu syniadau o'r wlad hon, a bu Puritaniaid Lloegr am flynyddoedd yn cario eu crefydd a'u syniadau rhyddfrydig i New England. Yn amser Cromwell, cymerwyd ynys ëang a thoreithiog Jamaica oddiar y Spaeniaid. Er mwyn rhoddi pob mantais i Brydain oddiwrth ei meddiannau tramôr, gwnaed deddf yn 1651, yr hon a elwid *Navigation Act*, ymha un y gwaherddid i longau tramor ddyfod i borthladdoedd y trefedigaethau Prydeinig, oddieithr o dan amgylchiadau neillduol. Tua chanol yr unfed ganrif ar bymtheg, agorwyd masnach ennillfawr â Rwssia, trwy fod ffordd o amgylch y *North Cape* wedi ei darganfod i'r wlad hono, ac erbyn hyn yr oedd nwyddau Prydeinig mewn galwad uchel yn mhorthladdoedd Môr y Canoldir a'r Baltic. Yn y cyfnod hwn nid oedd masnach na meddiannau tramor Ffrainc ond dibwys. Yr oedd trefedigaeth Canada eto yn ei mabandod,—nid oedd ganddi yr un sefydliad yn yr East Indies, ac nid oedd Martinique a Guadaloupe ond eiddil a dibwys. Yr oedd Spaen yn parhâu i dderbyn symiau anferth o fŵngloddiau Mexico a Peru; ond y mae pob math o gyfoeth ond a ddaw trwy weithgarwch a diwydrwydd yn niweidiol i genedloedd yn gystal âg i bersonau unigol. Nid oes genym hanes am un genedl wedi dyfod yn gyfoethog yn sydyn ac o ddamwain megys, nad ydyw wedi hyny wedi myned yn dlawd yn raddol. Tra yr oedd Portugal a Spaen yn suddo dan eu cyfoeth i ddiogi a thrueni, yr oedd Lloegr a Holland, mewn llawer mwy o anfanteision, yn ymddyrchafu mewn cyfoeth a gwybodaeth trwy eu hymröad a'u diwydrwydd. Ni raid ond enwi y dynion oedd yn byw ar yr un pryd yn yr unfed ganrif ar bymtheg, i ddangos fod yn anmhosibl i'r ganrif hon fyned heibio yn dawel a heddychol. Yn Lloegr yr oedd Harri VIII., yn Ffrainc yr oedd Francis I., yn Germany yr oedd Charles V., yn Twrci yr oedd Solyman *the Magnificent*, ac yn Rhufain yr oedd Leo. X. Heblaw y penaduriaid hyn, yr oedd amryw o wŷr eraill, dynion ag yr oedd yn anmhosibl iddynt fyned trwy y byd heb adael eu hargraff arno, yn byw yn yr un oes, megys Luther, Erasmus, Hutten, ac amryw eraill. Fel y mae yn naturiol dysgwyl wrth sylwi ar enwau y dynion oedd yn byw ynddi, rhai yn alluog, rhai yn onest, rhai yn uchelgeisiol ac aflonydd, y mae y ganrif hon ar ei hŷd yn llawn bywyd a chyffro. Ond yn nghanol y dygwyddiadau pwysig

a gymerasant le yn y cyfnod hwn, y mae un ag sydd yn llawer pwysicach na'r cyfan ynghyd, sef y *Diwygiad Protestanaidd*. Yn y Diwygiad hwn daeth elfen newydd mewn gwareiddiad i weithrediad, elfen ag sydd wedi newid hanes Ewrop yn hollol.

Pan ddaeth Leo V. i'r orsedd, cafodd cyllidau yr Eglwys mewn sefyllfa isel iawn; a chan nad oedd yntau yn meddu dawn na thuedd i gynnilo, yr oedd yn rhaid chwilio am ryw gynllun i wneyd y diffygion i fyny. Tuag at gyraedd yr amcan hwn, rhoddodd hawl i amryw i werthu "maddeuant-lythyrau." Yn ol athrawiaeth Eglwys Rhufain, y mae holl weithredoedd da y saint, pa rai sydd dros ben yr hyn sydd angenrheidiol i'w cyfiawnhâu, ynghyda haeddiant anfeidrol yr Arglwydd Iesu Grist, yn cael eu gosod gyda'u gilydd i wneyd un trysor mawr, ac y mae yr agoriadau at y trysor hwn wedi eu hymddiried i St. Pedr, ynghyda'i olynwyr y Pabau, pa rai a allant agor at y cynnwys gwerthfawr, a throsglwyddo y gyfran angenrheidiol i unrhyw un am unrhyw swm penodol o arian, a bydd hyny yn ddigon i gael maddeuant iddo o'i holl bechodau, neu i gael gollyngdod i unrhyw un o'r purdan. Ar yr athrawiaeth hon yr oedd maddeuant-lythyrau yn seiliedig. Rhoddodd Leo hawl i werthu y maddeuant-lythyrau hyn yn Germany, ynghyda rhan o'r elw oddiwrth eu gwerthiant i Albert, archesgob Magdeburg, yr hwn a ddefnyddiodd Tetzel, mynach Dominicaidd, fel ei oruchwyliwr. Wele gyfieithiad o'r ffurf a werthai Tetzel:—"Bydded i'n Harglwydd Iesu Grist gymeryd trugaredd arnoch, a rhoddi gollyngdod i chwi trwy rinwedd ei ddyoddefiadau sanctaidd. Ac yr ydwyf fi trwy ei awdurdod, ac awdurdod ei apostolion bendigedig, Pedr a Paul, a'r sancteiddiaf Bab, wedi ei roddi a'i drosglwyddo i mi yn y parthau hyn, yn rhoddi gollyngdod i chwi yn gyntaf oddiwrth holl geryddon eglwysig ymha fodd bynag y tŷnwyd hwy, ac yna oddiwrth bob pechod, trosedd, a rhysedd, pa mor fawr bynag y gallant fod, hyd yn nôd y pechodau hyny a gedwir i'w profi gan yr esgobaeth sanctaidd; ac mor bell ag y mae agoriadau yr Eglwys sanctaidd yn cyraedd, yr ydwyf yn troi heibio bob cosbedigaeth a ellwch ei haeddu yn y purdan o'u herwydd, ac yr ydwyf yn eich adferu i fwyniant o holl ordinhadau yr Eglwys, i undeb y ffyddloniaid, ac i'r purdeb a'r diniweidrwydd hwnw oeddych yn ei feddu yn eich bedydd, fel pan y byddwch farw, y bydd pyrth cosbedigaeth yn cael eu cau, a phyrth paradwys yn cael eu hagoryd; ac os na byddwch farw yn awr, bydd y gras hwn yn aros mewn grym pan y byddwch ar fin trengu. Yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan." Wrth gymhell y maddeuant-lythyrau hyn, arferai Tetzel yr ymadroddion canlynol a'r cyffelyb: "Os pryna unrhyw un y maddeuantlythyrau hyn, bydd ei enaid yn ddïogel am byth. Y mae eu rhinwedd mor fawr fel y mae y pechodau mwyaf rhyfygus yn cael eu maddeu yn y fan i'w perchenog. Am ddeuddeg ceiniog gellwch dŷnu enaid eich tad o'r purdan. Os nad oes genych ond un gôt, dylech ei dyosg yn y fan a'i gwerthu er mwyn prynu y fath drysor."

Yr oedd Ewrop wedi bod mewn caethiwed a thywyllwch, ac mewn amryfusedd cadarn yn credu y fath gelwyddau dybryd am ganrifoedd; ond yr oedd yr amser wedi dyfod i'w rhyddhâu; a phan ddaeth yr awr fe ddaeth y dyn. Pan ddaeth Tetzel i gymydogaeth Wittemberg i werthu maddeuant-lythyrau, gwrthwynebwyd ef gan MARTIN LUTHER. Yr

oedd Luther yn meddu pob peth sydd yn angenrheidiol i wneyd diwygiwr mawr. Cariad at y gwirionedd a gwroldeb i'w gyhoeddi beth bynag fyddai y canlyniadau, oeddynt yr elfenau amlycaf yn ei gymeriad. Pe buasai yn byw yn yr oes hon, buasai yn cael ei ystyried gan lawer o bobl barchus yn ddyn rhyfedd, yn ddyn rhyfygus ac aflonydd iawn. Paham na fuasai y dyn fyw yn dawel, yn barchus, ac yn llonydd fel ei gymydogion? Mae yr ateb ar wyneb hanes Luther. Yr oedd yn gosod y gwirionedd o flaen pawb a phob peth. Ond er mor angerddol yr oedd yn teimlo, dangosodd lawer o arafwch yn ei ymosodiadau ar y Babaeth; oblegid yn raddol y cyrhaeddodd sicrwydd yn ei feddwl ei hun. Ni alwyd ar neb er dyddiau yr apostolion i wneyd y fath waith, ac ni elwir ar neb eto hyd ddiwedd amser. Yr ydym yn cael hanes yn y Bibl am ddynion yn cael eu codi i wneyd gwaith mawr; ond yr oedd rhyw arwyddion sicr yn cael eu rhoddi iddynt mai ewyllys Duw oedd iddynt ei gyflawni. Ond dyma ddyn wedi ei ddwyn i fyny yn Babydd zelog, wedi arfer erioed ag edrych ar Eglwys Rhufain gyda'r parch dyfnaf, yn dechreu ammheu crefydd ag yr oedd yr holl fyd gwareiddiedig yn ei derbyn, —crefydd ag oedd yn proffesu anffaeledigrwydd, a holl allu a dysgeidigaeth Ewrop y tu cefn iddi. Teimlai ei hun wedi llithro braidd yn ddiarwybod i gefnfor tymhestlog ammheuaeth, heb hŷdred na llêdred; yr holl hen *landmarks* wedi diflanu, ac yntau ei hunan yn nghanol peryglon ac ammheuon ofnadwy. Trwy ystormydd a thònau y cyrhaeddodd yr hafan ddymunol o sicrwydd yn y diwedd. Mynych y gofynai yn ddifrifol iddo ei hun, "Ai tybed mai myfi fy hunan sydd yn iawn, a phawb arall yn cyfeiliorni? Beth os ydwyf wedi y cyfan yn methu!" Wedi cael sicrwydd yn ei feddwl ei hun, nid oedd peryglon na gelynion allanol ond dibwys yn ei olwg. Y mae pawb yn gwybod am ei atebiad i ryw rai oedd yn ceisio ei berswadio i beidio myned i Gymanfa Worms. Dro arall pan oedd ei gyfeillion yn erfyn yn daer arno beidio myned trwy diriogaeth rhyw Dduc George, yr hwn oedd elyn creulawn iddo, atebodd Luther, "Duc George, yn wir! Y mae y diafol yn llawer mwy na Duc George, ac nid oes arnaf fi ofn y diafol. Myned trwy ei diriogaeth! âf —mi âf drwodd pe bae yn gwlawio duciaid o'i fath ef am naw niwrnod." Mewn undeb â gwroldeb beiddgar, cydwybodolrwydd dwfn, a zêl danllyd, yr oedd ynddo y tynerwch a'r caredigrwydd mwyaf. Yr oedd yn llawn mor hynod am ei hawddgarwch a'i dynerwch ymysg ei gyfeillion âg am ei wroldeb a'i lymder ymhlith ei elynion.

Dyma y dyn a feiddiodd ymosod ar Eglwys Rhufain. Yr oedd y pleidiau yn bur anghyfartal. Ar y naill law, dyma y Babaeth â gallu tymmorol diderfyn yn ei llaw, yn hòni fod agoriadau teyrnas nefoedd yn ei meddiant, dychrynfëydd tymmorol a thragywyddol at ei galwad, a'i gŵg neu ei gwên yn cael ei ystyried yn ddigonol, nid yn unig i effeithio ar sefyllfa dyn yn y byd hwn, ond i wneyd ei dragywyddoldeb, un ai yn dywyllwch eithaf, neu yn wŷnfyd a thangnefedd. Ar y law arall, dyma Martin Luther, a'r Bibl yn ei law, yn appelio at y gydwybod.

Yr oedd y byd wedi ei barotôi i dderbyn y Diwygiad. Er nad oedd Ewrop yn barod i dderbyn y gwirionedd trwy Waldus yn y ddeuddegfed ganrif, na thrwy Wickliffe yn y drydedd ganrif ar ddeg, a Huss yn y bymthegfed ganrif, eto ni fu eu hymosodiadau ar y Babaeth yn ofer, oblegid yr oeddynt wedi parotôi y ffordd i Luther. Hefyd, bu y rhwyg

mawr yn y bedwaredd ganrif ar ddeg a dechre y bymthegfed ganrif, pryd ag yr oedd dau neu dri o Babau ar yr un pryd yn ysgymuno ac yn melldithio eu gilydd, yn foddion i leihâu parch y bobl at olynydd St. Pedr. Bu gwaith cynghorau Constance a Basil yn diswyddo ac yn ethol Pabau yn foddion i agor llygad y byd, ac i ddangos iddo fod awdurdod uwch na'r eiddo y Pab yn bod. Nid oedd yr archoll a roddwyd ar y pryd hwn i awdurdod y Pab wedi ymiachâu pan ddaeth Alexander VI., ac ar ei ôl Julius II., i gadair St. Pedr, llygredigaeth a chreulonderau pa rai a barasai ffieidd-dod a chynhwrf trwy holl wledydd Crêd. Yr oedd credu yn anffaeledigrwydd y dynion hyn braidd yn ormod i hygoeledd yr amser hwnw. Nid oedd llygredigaeth yn gyfyngedig i'r Pabau, ond yr oedd wedi ymdaenu trwy yr holl Eglwys. Fel hyn y dywed Bellarmine, yr hwn oedd Babydd zelog:—"Am rai blynyddoedd cyn i'r heresiau Lutheraidd a Chalfinaidd gael eu cyhoeddi, nid oedd dim llymder yn y llysoedd eglwysig, dim dysgyblaeth gyda golwg ar foesau, dim gwybodaeth mewn llênyddiaeth gysegredig, dim parch at bethau Dwyfol—nid oedd braidd ddim crefydd yn aros." A'r hyn oedd yn gwneyd pethau yn waeth oedd y gallai offeiriad gael maddeuant o'r pechodau mwyaf erchyll am swm bychan o arian. Gallai esgob neu abad euog o lofruddiaeth gael maddeuant am 12p. 10s. Ond nid oedd yn ddigon gan yr Eglwys Babaidd fwynhâu ei llygredigaeth yn llonydd, yr oedd wedi myned i yspeilio y gwahanol wledydd yn annhrugarog. Yn Germany, yr oedd oddeutu hanner yr holl eiddo wedi myned i feddiant yr Eglwys. Yr oedd rhagorfreintiau lliosog a phwysig hefyd yn perthyn i'r offeiriaid. Nid oedd gwŷr eglwysig yn ddarostyngedig i'r gallu gwladol. Ganddynt hwy yr oedd yr awdurdod i brofi oddeutu hanner yr achosion a ddygid o flaen llysoedd gwladol, megys ewyllysiau, prïodasau, &c. Erbyn cymeryd i ystyriaeth fod dosbarth neillduol mewn gwlad yn byw ar ei brasder, yn annibynol ar ei chyfreithiau, ac wedi trawsfeddiannu awdurdod uchel, a'r rhai hyny (yn Germany) yn dramorwyr, mae yn naturiol credu fod y wlad yn anesmwyth o dan y fath orthrwm annaturiol. Yr oedd brenhinoedd ac ymherawdwyr wedi bod yn ymdrechu yn ofer ysgwyd ymaith iau gaethiwus Rhufain. Gan fod Frederic, etholwr Saxony, yn ŵr call, ac yn teimlo yn fawr o herwydd y gorthrwm hwn, nid oedd yn ddrwg ganddo weled dadl ac anghydfod rhwng gwŷr eglwysig â'u gilydd, gan ei fod yn gweled fod hyn yn debycach o fod yn foddion i'w symud ymaith na dim arall. Yr oedd efe mor awyddus â Luther i ryddhâu Germany odditan orthrwm Rhufain. Gallesid meddwl y buasai ymosodiadau grymus Luther, dan nodded y fath un â Frederic, yn peri i Leo ymddwyn yn ochelgar, ac ar yr un pryd yn benderfynol; ond yn lle hyny, bu annoethineb y Pab yn gymaint mantais i Luther â dim. Pe buasai wedi gwrandaw ar ei gŵynion, ac wedi ceryddu Tetzel a'i gymdeithion, buasai hyny, mae yn debyg, yn boddloni Luther y pryd hwnw; neu pe buasai ar y dechre wedi ei esgymuno, buasai hyny yn ei lethu cyn iddo agor ei lygad ei hunan yn iawn, na goleuo rhai eraill. Bu yr annybendod hwn yn fantais i Luther ddyfod yn gryf, a bu y llymder a arferwyd wedi hyny yn foddion i'w yru ymhellach, ac i ddwyn eraill i weled ysbryd y Babaeth yn ei lliw ei hun. Ond er fod llygredigaeth a gorthrwm Eglwys Rhufain wedi parotôi Ewrop i dderbyn y Diwygiad, eto ni chymerodd yr un genedl neillduol ef dan ei nodded,

ac felly ni wnaed ef yn rhywbeth llëol neu genedlaethol. Bu am dymmor yn ddiamddiffyn, ond yr oedd o gymaint â hyny yn fwy annibynol. Cafodd gymeryd ei ffurf ei hunan heb i neb ymyraeth âg ef. Yr oedd ei ysbryd mor ëang â'r natur ddynol, a'i wyneb ar yr holl fyd, ac felly yn ymdaenu dros wahanol wledydd. Derbyniwyd ef dros hanner Germany, Prussia, Livonia, a theyrnasoedd Denmark, Sweden, a Norway, fel y mae yn cael ei osod allan yn Nghyffes Augsburg; yn Lloegr, Switzerland, Scotland, a Holland, derbyniwyd "daliadau Geneva." Collodd Ffrainc y cyflëusdra i ddyfod mor gref fel ag i allu rhoddi deddf i alluedd eraill y Cyfandir, yr hyn, wedi hyny, y mae wedi ymdrechu mor egnïol i'w gyraedd. Crëadur gwamal, arwynebol, oedd yn teyrnasu yno y pryd hwn, heb ddeall manteision ei wlad. Yr oedd Ffrainc yn addfed i dderbyn y Diwygiad, a buasai yn hawdd i Francis ddyfod yn ben ar holl Brotestaniaid Ewrop, eu huno yn ei ryfeloedd â'r ymherodraeth Germanaidd, a gwneyd i Ffrainc yn barhäol yr hyn a wnaeth Buonaparte iddi am dymmor byr trwy ei athrylith filwrol.

Y mae canlyniadau y Diwygiad Protestanaidd yn lliosog a phwysig, ond gellir eu holrhain i gyd i un ffaith, sef fod y Diwygiad hwn wedi bod yn foddion i *ryddhâu* Ewrop oddiwrth gaethiwed gwladol a chrefyddol. Diwygio dynion ac nid deddfau oedd gwaith Luther. Bu y Diwygiad hwn yn foddion i newid deddfau ac arferion llawer o wledydd trwy ei fod yn cynnwys gallu i gyfnewid y bobl. Cynnyrchodd y rhyddid hwn ymchwiliad mewn gwyddor a chelfyddyd, rhyddid mewn crefydd a gwleidyddiaeth, ac anturiaeth a diwydrwydd mewn masnach. Y mae y cenedloedd a'i gwrthodasant wedi suddo yn îs er hyny, a'r cenedloedd a'i derbyniasant wedi llwyddo ymhob modd. Nid ydyw ond ofer dysgwyl am lwyddiant cenedlaethol ond yn unol â'i hegwyddorion. Hyd yn nôd y gwledydd sydd eto yn parhâu yn Babaidd, y maent yn llwyddiannus i'r graddau y mae syniadau Protestanaidd wedi ennill tir ynddynt. Mewn gwirionedd, yr oedd Luther i benderfynu, nid yn unig a oeddem i gael crefydd a allai gyfnewid y galon ac achub yr enaid, ond hefyd, a oeddem i gael *railways*, *electric telegraph*, agerlongau, bywyd masnachol, a lliaws o bethau eraill ag sydd yn tueddu i wneyd gwlad yn ddedwydd a chyfoethog.

Yr ydym o'r blaen wedi cyfeirio at ryfeloedd Francis I. âg ymherawdwr Germany. Yn y cyfnod hwn hefyd yr oedd Twrci wedi cyraedd ei chyflawn nerth, ac yn bygwth holl Ewrop. Bu yr ymdrechiadau gwaedlyd hyn yn foddion, nid yn unig i ddwyn y gwahanol genedloedd yn gydnabyddus âg arferion a dyfeisiau eu gilydd, ond hefyd i wneyd rhyfel yn ymdrechfa bwyllog, yn cael ei dwyn ymlaen ar egwyddorion dealladwy, ac nid yn ymgyrchoedd gwylltion fel rhyfeloedd y groes, neu anturiaethau Edward III., neu Harri V. O hyny hyd yn awr, y mae gwroldeb yn cael edrych arno yn ffrwyth ystyriaeth ac nid nwyd, yr hyn sydd yn gwneyd gwahaniaeth rhwng gwroldeb dyn a gwroldeb yr anifail a'r bwystfil. Yr oedd y gwahanol deyrnasoedd mor gyfartal mewn gwareiddiad yn y cyfnod hwn, fel nad oedd y naill yn alluog i ennill mantais bwysig ar y llall yn y rhyfeloedd gwaedlyd a gymerasant le. Pan y mae anghyfartaledd rhwng y pleidiau mewn rhyfel, mewn gwroldeb, a gwybodaeth, y mae gorchfygiadau cyflym yn cymeryd lle. Yr oedd Alexander Fawr, a Tamerlane, yn arwain dynion gwahanol iawn i'w

gelynion. Er na fu yr un o'r teyrnasoedd yn alluog i estyn nemawr ar ei therfynau, eto cymerodd cyfnewidiadau pwysig le yn amgylchiadau mewnol amryw o honynt.

Bu Spaen am yspaid maith o amser yn meddu cyfansoddiad cryfach a mwy rhyddfrydig na'r un wlad arall yn Ewrop; ond yn y cyfnod hwn fe'i dinystriwyd. Yn Castile llwyddodd Charles V. i ddyrchafu yr awdurdod frenhinol ar adfeilion rhyddid ei ddeiliaid, ac er ei fod wedi caniatâu i'r enw Cortes (eu senedd) aros, nid oedd ei haelodau ond gweision ufudd y brenin, ac nid cynnrychiolwyr y bobl. Ymosododd Philip ei fab gyda'r un llwyddiant ar ryddid Arragon. Wedi hyn yr oedd y brenin yn llywodraethu yn Spaen yn unbenaethol.

Tra yr oedd y dygwyddiadau hyn yn cymeryd lle yn Spaen, yr oedd Ffrainc yn dyfod ymlaen yn raddol. Cymerwyd Calais oddiar y Saeson, yr hyn a fu yn foddion i wneyd yn anmhosibl i Loegr ymosod arni mwyach. Yr oedd wedi dyfod yn deyrnas gryno, heb fod gan un gallu tramor un meddiant o'i mewn. Erbyn hyn yr oedd holl adnoddau y wlad at alwad y brenin; oblegid yr oedd yr arglwyddi a'r tywysogion wedi eu darostwng, ac nid oedd y bobl wedi derbyn un fantais oddiwrth hyny. Yr oedd Ffrainc yn dyfod y deyrnas gryfaf ar y Cyfandir, ond bu cynhyrfiadau mewnol yn rhwystr iddi am dymmor gymeryd ei lle fel y cyfryw.

Yn ystod y cyfnod dan sylw, cynnyddodd Lloegr mewn cyfoeth a rhyddid yn fwy na'r un wlad arall. Bu gwladlywyddiaeth Harri VII., er ei bod yn greulawn a gorthrymus, ar y cyfan yn llesol i'r wlad. Er mwyn rhoddi dyrnod effeithiol i'r bendefigaeth, yr oedd Harri VII. wedi rhoddi hawl i'r boneddigion i werthu eu hetifeddiaethau, ac yr oedd ei fab yn hynod gefnogol i hyn. Cymerwyd meddiant hefyd ar diroedd Eglwys Rhufain, a gwerthwyd hwy. Dygwyd swm mawr o eiddo i gylchrediad oedd o'r blaen yn gorwedd yn llonydd. Rhoddodd hyn fywyd newydd mewn masnach. Daeth y ffordd yn agored i gyfoeth ac awdurdod i ddynion o bob sefyllfa. Bu gwaith Harri yn ysgwyd ymaith iau y Pab yn foddion i arbed symiau mawrion o arian i'r wlad; oblegid yr oedd trethi, pererindodau, a gofynion diddiwedd yr Eglwys, yn ei thlodi yn fawr. Dywedir fod sefyllfa gweithiwr da yn fuan ar ol hyn, cystal mewn amryw bethau â sefyllfa Iarll yn amser Harri II. Mor fuan ag y dechreuodd y bobl gynnyddu mewn gwybodaeth a chyfoeth, dechreuodd eu dylanwad gynnyddu hefyd. Daeth eu cynnrychiolwyr yn y Senedd i gael edrych arnynt yn elfen bwysig yn y llywodraeth. Yn y fan hon gallwn sylwi mai yn amser Harri VIII. y cynnrychiolwyd Cymru gyntaf yn Senedd Lloegr. Er nad oedd Harri a'i olynwyr yn bwriadu i Dŷ y Cyffredin gael ond ychydig awdurdod, eto yr ydym yn ei gael mewn yspaid bỳr o amser wedi cyraedd dylanwad mawr, yn dwyn un o frenhinoedd Lloegr i brawf, ac yn tòri ei ben am feiddio ymosod ar ei hawliau. Ni ddylid gwneyd y crybwylliad bỳraf am gynnydd rhyddid yn Lloegr heb ddwyn enw Oliver Cromwell i mewn. Wrth gyfeirio at yr hyn a wnaeth Cromwell o blaid rhyddid Prydain yn neillduol, ac Ewrop yn gyffredinol, dywed Merle D'Aubigné, "Yr oedd yn ymladd y frwydr fawr yn erbyn Pabaeth a brenhinoedd y canoloesoedd, y frwydr fwyaf sydd gan hanesiaeth i'w desgrifio er sefydliad Cristionogaeth ac ymdrechfa y Diwygiad. Canlyniad y frwydr hon oedd rhyddhâd yr oes bresennol,

ac oesau eto i ddyfod. Heb Cromwell, a siarad yn ddynol, buasai rhyddid wedi ei golli, nid yn unig i Loegr, ond i Ewrop. Os oes un dyn yn yr oesoedd a aethant heibio wedi cyfranu mwy na neb arall, mwy na phawb eraill, at ryfeddodau yr oes bresennol, y dyn hwnw ydyw Oliver Cromwell. Nid ydyw mawredd presennol Lloegr ond sylweddiad o'i gynllun ef."

Yn ystod y cyfnod hwn, cymerodd cyfnewidiad pwysig le yn sefyllfa, ac hefyd yn ysbryd, llŷs Rhufain. Cyn yr unfed ganrif ar bymtheg, yr oedd y Pabau yn hòni awdurdod ddiderfyn. Hwynt-hwy oedd yn blaenori braidd ymhob symudiad pwysig, ac yn rhoddi cyfeiriad i amgylchiadau Ewrop yn gyffredinol. Rhoddodd y Diwygiad ddyrnod effeithiol i'w dylanwad. O hyny hyd yn awr y maent wedi llywodraethu trwy gyfrwysdra yn hytrach nag awdurdod. Yr oeddynt yn ymwybodol fod dosbarth llïosog o grefyddwyr ymhob gwlad yn gwylio eu symudiadau yn fanwl, ac yn cymeryd mantais ar eu holl ffaeleddau. Bu hyn yn foddion i wneyd eu gwladlywiaeth yn fwy cymedrol, a'u moesau yn burach.

Yr oedd Rwssia eto yn gorwedd mewn tywyllwch barbaraidd, heb un drafodaeth rhyngddi â galluoedd eraill Ewrop.

Tra yr oedd Charles V. yn teyrnasu, daeth Sweden yn annibynol; ac mor gyflym ydoedd ei chynnydd fel yr ydym yn ei chael cyn diwedd y cyfnod hwn yn un o'r llywodraethau cryfaf yn Ewrop, ac yn brif amddiffynydd Protestaniaeth. Dylai calon bob Protestant cywir deimlo yn gynhes at Sweden am amddiffyn canlynwyr Luther gyda'r fath wroldeb a phenderfyniad nes gorfodi y gelyn creulawn i ymostwng.

Yn ystod y cyfnod dan sylw, yr ydym yn gweled am y tro cyntaf yn hanes y byd hawliau rhesymol y bobl yn dechreu cael eu cydnabod. Ymhob gwlad orthrymus, dyn ydyw y crëadur mwyaf diwerth a dibarch o'i mewn, os na bydd yn berchen cyfoeth. Wrth edrych yn ol dros hanes gwahanol lywodraethau, ni a welwn y dosbarthiadau isaf mewn caethiwed. Yn ymherodraethau yr hen fyd, yr oedd yr hen athrawiaeth "fod y llïaws wedi eu crëu er mwyn un" yn ei chyflawn nerth. Yn ngweriniaethau anwadal Groeg, yr ydym yn cael y bobl mewn awdurdod, ond yr oedd eu lle eto heb ei benderfynu. Yn lle bod yn elfen yn y llywodraeth, yr oeddynt yn bobpeth ynddi, ac felly, o angenrheidrwydd yn gorthrymu eu gilydd; ac nid ydyw "gorthrwm y mwyafrif" nemawr well na gorthrwm un. Yn lle bod yn llywodraethau rhyddion, yn parchu hawliau yr holl ddeiliaid, yr oeddynt yn myned yn *ochlocracy*, yn llywodraeth y *mob*. Tuag at sicrhâu gwir ryddid, y mae yn llawn mor angenrheidiol cael rhyw ddïogelwch rhag anwadalwch y mwyafrif â rhag gormes un. Am Rufain, pan yn weriniaeth, y mae ei hanes yn hanes ymdrechiadau un dosbarth i gadw y dosbarth arall i lawr; ac yn y diwedd, fe esgorodd yr ymrafaelion hyn ar lywodraeth unbenaethol. Am ganrifoedd ar ol cwymp yr ymherodraeth Rufeinig, yr oedd y bobl ymhob gwlad yn cael eu sathru dan draed. Edrychid arnynt, ac ymddygid tuag atynt, yn hollol fel tuag at yr anifeiliaid a ddyfethir. Ar un law, yr ydym yn cael pendefigaeth gref a gorthrymus, ac ar y law arall, boblogaeth wasaidd a gorthrymedig. Wedi hir ymgyndynu, cydnabyddwyd egwyddor bwysig, pa un a ddylai fod yn egwyddor sylfaenol pob llywodraeth, sef *fod hawliau yn perthyn i ddyn fel dyn, yn annibynol ar ei*

*sefyllfa*. Daeth y byd i ddeall fod gan y tlawd yn ei fwthyn hawliau mor wirioneddol â'r pendefig yn ei gastell. Gellir yn hawdd olrhain y cyfnewidiad hwn i ddylanwad y Diwygiad. Y mae yr efengyl, fel yr oedd yn cael ei phregethu gan y Diwygwyr, â'i hwyneb ar yr holl fyd. Nid ydyw yn adnabod neb yn ol y cnawd. Yr oedd pob dyn ymhob man yn cael ei gyfarch fel creadur cyfrifol ac anfarwol. Tueddai hyn yn fawr i osod urddas ar ddyn pa beth bynag fyddai ei amgylchiadau. O'r egwyddor bwysig hon y cyfododd pob mesur rhydd a chyfiawn, a holl ragorfreintiau y bobl, mewn blynyddoedd dyfodol; ac fe ddeil i'w dadblygu eto am lawer o amser cyn y bydd yn ei hŷd a'i llêd yn dyfod i'r golwg yn nghyfreithiau hyd yn nôd y wlad hon.

Un o effeithiau cyntaf y cyfnewiniad hwn oedd rhyddid crefyddol. Yr oedd yr Eglwys er ys canrifoedd yn credu fod ganddi hawl i ddefnyddio y gallu gwladol i ddinystrio cyfeiliornad. Pan esgynodd Cristionogaeth i orsedd Rhufain, yr oedd ei phroffeswyr yn tybio ei bod yn ddyledswydd arnynt orfodi y paganiaid i adael eu heilunod a derbyn y wir grefydd. Wedi llwyddo i wneyd hyn tuag at roddi terfyn ar y dadleuon diddiwedd oedd yn blino y gwledydd, ac er mwyn boddio ei uchelgais ei hun, yr oedd esgob Rhufain yn hòni anffaeledigrwydd; ac, wrth gwrs, yr oedd yn bechod mawr gwahaniaethu dim mewn barn oddiwrth y fath un. Am gryn amser, ar ol i'r Diwygiad dòri allan, nid oedd Protestaniaid, mwy na Phabyddion, yn barod i ganiatâu nemawr o ryddid cydwybod. Credai Luther, Knox, a Calvin, fod ganddynt hawl i ddinystrio cyfeiliornadau trwy gymhorth y llywodraeth wladol. Gorfodwyd Eglwys Rhufain i beidio erlid Lutheriaid a Chalfiniaid yn lled fuan, mae'n ddigon gwir; ond ni chydnabyddwyd yr egwyddor *fod gan bob dyn hawl i ddewis ei grefydd ei hun*, hyd tua diwedd yr eilfed ganrif ar bymtheg. Gwnaed hyn yn gyntaf yn Holland, ac yn fuan wedi hyny yn Lloegr. Cynnwysa yr egwyddor hon lawer mwy na goddefiad—y mae yn cynnwys cydraddoldeb crefyddol. Os nad ydyw yn dêg gorfodi dyn i dderbyn crefydd neillduol, y mae yn bur amlwg nad ydyw yn dêg ei drethu at gynnal y grefydd hono. Rhêd y farn gyhoeddus yn y dyddiau hyn yn gref yn erbyn pob math o waddoliadau oddiwrth y llywodraeth wladol at gynnal crefydd. Yr ydym yn credu fod tai, a thiroedd, ac arian, wedi eu gadael mewn ewyllysiau hefyd, wedi bod bob amser yn niweidiol. Y mae cyfranu at gynnal crefydd yn ffrwyth cariad at Dduw, ac yn hanfodol angenrheidiol tuag at feithrin iechyd a bywyd ysbrydol mewn plaid o grefyddwyr.

Gyda golwg ar foesau ac arferion y cyfnod hwn, er fod mwy o dynerwch ac o weddusrwydd ynddynt, yr oeddynt yn llygredig, yn enwedig yn Ffrainc. Nid oes dim ond crefydd yn gallu cyfnewid y galon, a thrwy hyny ddiwygio'r fuchedd; ond y mae gwareiddiad yn rhwystro i lygredigaeth dòri allan yn ei ffurfiau mwyaf gwrthun a barbaraidd. Mewn rhai gwledydd, ac yn enwedig yn y wlad hon, yr oedd athrawiaethau y Diwygiad yn ffynnonell o burdeb yn tarddu dros wyneb cymdeithas, ac yn ei ffrwythloni, fel yr oedd rhinweddau a moesau pur yn tyfu ac yn blodeuo ymhlith dosbarth helaeth o'r bobl. Cafodd llŷs llygredig Charles II. effaith niweidiol ar y wlad. Daeth meddwdod a gloddest, a phob math o arferion llygredig, yn fwy cyffredin. Dyma'r llŷs a niweidiodd fwyaf ar foesau y wlad hon erioed. Symudwyd lawer ymlaen gyda

y pethau hyny sydd yn perthyn i gysuron bywyd. Yn nechreu y cyfnod hwn, yr oedd y boneddigion yn byw mewn tai mawrion, anghysurus, heb nemawr o ddodrefn ynddynt, ac yn debycach i garcharau nag i balasau. Pan fyddai pendefig yn symud o Lundain i'w balas yn y wlad, byddai yn cario ei ddodrefn, ac yn fynych ei ffenestri, gydag ef. Gosodid brwyn ar lawr, ac wedi i'r rhai hyny fyned yn aflan, teflid haen arall arnynt, nes byddai yr arogl braidd yn annyoddefol. Cyn pen hir, dechreuwyd amcanu, wrth adeiladu tai, i'w gwneyd yn gysurus ac yn addurnol. Ymdaenodd *stage coaches* dros amryw wledydd, a dechreuwyd talu rhyw gymaint o sylw i'r ffyrdd, a thrwy hyny daeth teithio yn fwy cysurus a chyflym. Yr oedd y byd yn dechreu bywhâu, a mwy o gynniwair ynddo o flwyddyn i flwyddyn.

Mewn llênyddiaeth a gwyddiant, y mae y cyfnod hwn yn tra rhagori ar bob cyfnod arall o'i flaen ac ar ei ol. Dyma y pryd y gwnaeth y beirdd, y gwyddonwyr, a'r duwinyddion mwyaf a fu erioed yn Ewrop, eu hymddangosiad. Yr amser hwn yr oedd amryw bethau yn tueddu i ddwyn allan holl nerth y meddwl dynol, megys y sylw a delid i lênyddiaeth glasurol, darganfyddiad y gelfyddyd o argraffu, derbyniad athroniaeth Plato yn lle yr eiddo Aristotle, a'r rhyddid a gynnyrchwyd gan y Diwygiad Protestanaidd. Hynodir cynnyrchion y cyfnod hwn gan nerth, gwreiddioldeb, a sylweddolrwydd, yn hytrach na chan goethder a phrïodoldeb y naill ran o'r gwaith ar gyfer rhan arall. Pe cymharem lênyddiaeth yr amserau hyny â llênyddiaeth ein hoes ni ein hunain, caem yr un gwahaniaeth rhyngddynt ag sydd rhwng y castell cadarn, gyda'i furiau trwchus ond afluniaidd, a'r palasdŷ ysgafn a destlus, ond egwan, mewn cymhariaeth. Yn y ddeunawfed ganrif—"*the withered, second-hand eighteenth century*"—edrychid yn isel ar gynnyrchion y cyfnod dan sylw; ond y mae chwaeth gywirach yr oes hon yn gosod y pris dyladwy arnynt. Gyda golwg ar y gweithoedd a gyhoeddwyd yn y wlad hon, dywed un beirniad galluog:—"There never was anything like the sixty or seventy years that elapsed from the middle of Elizabeth's reign to the period of the Restoration. In point of real force and originality of genius, neither the age of Pericles, nor the age of Augustus, nor the times of Leo X., nor of Louis XIV., can come at all into comparison; for in that short period, we shall find the names of almost all the very great men that this nation has ever produced, the names of Shakespere, and Bacon, and Spenser, and Sydney, and Hooker, and Taylor, and Barrow, and Raleigh, and Napier, and Hobbes, and many others; men, all of them, not merely of great talents and accomplishments, but of vast compass and reach of understanding, and of minds truly creative and original; not perfecting art by the delicacy of their taste, or digesting knowledge by the justness of their reasonings, but making vast and substantial additions to the materials upon which taste and reason must hereafter be employed, and enlarging to an incredible and unparalleled extent, both the stores and the resources of the human faculties." Yn fuan ar ol diwedd y cyfnod y mae yr ysgrifenydd hwn yn cyfeirio ato, cyhoeddodd Milton y *Paradise Lost*, yr arwrgerdd ardderchocaf mewn unrhyw iaith.

Yn Ffrainc fe ymddangosodd Rabelais, Corneille, Pascal, Moliere,

Racine, Boileau, La Fontaine, ac amryw eraill o'r sêr dysgleiriaf yn llênyddiaeth y wlad hono. Yn Spaen cyhoeddodd Cervantes y ffug-chwedl adnabyddus "Don Quixote." Cyfansoddodd Camoëns "Virgil Portugal" y "Lusiaid," y cyfansoddiad a ystyrir y mwyaf athrylithgar yn iaith y wlad hono. Cânodd Tasso, bardd Italaidd, ei gân anfarwol ar Waredigaeth Jerusalem gan filwyr y groes. Cyn ymddangosiad amryw o'r gwŷr enwog hyn, yr oedd Dafydd ap Gwilym wedi bod yn Nghymru yn "nyddu odlog waith" i'r eneth lygad-ddu oedd wedi myned â'i galon. Yr oedd athronwyr y cyfnod hwn mor enwog a'r llênorion. Rhoddodd Bacon gyfeiriad cywir i ymchwiliad drwy ddangos yr angenrheidrwydd am athroniaeth ymbrofiadol; ac er na wnaeth efe ddarganfyddiadau pwysig mewn un wyddor neillduol, dangosodd yr iawn ffordd i astudio yr holl wyddorau.

Adgyfododd Copernicus gyfundrefn Pythagoras, sef fod yr haul yn y canol, a'r ddaear a'r planedau yn troi o'i amgylch, a bod symudiadau ymddangosiadol y cyrff nefol yn cael eu hachosi gan symudiad gwirioneddol y ddaear. Ni chyfarfyddodd yr athrawiaeth hon âg ond ychydig o dderbynwyr am amser maith. Tua diwedd yr unfed ganrif ar bymtheg, derbyniodd Galileo gyfundrefn Copernicus, a phrofodd yn eglur ei chywirdeb, ond erlidiwyd ef yn dôst gan Eglwys Rhufain am ei syniadau hereticaidd, a gorfodwyd ef ar ei liniau i alw ei eiriau yn ôl. Darganfyddodd Kepler y deddfau sydd yn llywodraethu symudiadau y planedau. Adeiladu yr oedd efe ar y ffeithiau a ddarganfyddwyd gan Tycho Brahe, i'r hwn yr oedd y byd yn ddyledus am restr gywirach o'r sêr sefydlog. Darganfyddodd Newton ddeddf gyffredinol attyniad. Y mae gwasanaeth y dyn hynod hwn i wyddoniaeth mor fawr fel y dywedodd Pope

"Nature and nature's law lay hid in night;
God said, Let Newton be, and all was light."

Yn y flwyddyn 1619 darganfyddodd Dr. William Harvey gylchrediad y gwaed, yr hyn a fu yn foddion i newid holl gyfundrefn meddygiaeth. O'r blaen tybid fod y gwaed trwy y corff yn llonydd, ond dangosodd ef ei fod yn cychwyn o ochr chwith y galon, yn rhedeg trwy y cyfansoddiad, ac yn dychwelyd trwy yr ochr ddê.

Ehangwyd gwybodaeth ddaearyddol Ewrop yn y cyfnod hwn yn fawr. Yn 1520 hwyliodd Ferdinand Magellan trwy gulfor Magellan am y tro cyntaf i'r Môr Tawelog, a darganfyddodd ynysoedd Ladrones a Manillas. Gwnaeth mordeithiau Cabot, Sir Francis Drake, a Walter Raleigh, y wlad hon yn gydnabyddus â rhanau pellenig o'r ddaear, ac â chynnyrchion y gwledydd hyny. Yn nheyrnasiad Harri VIII. dygwyd *currants* o Zante, ynys yn Môr y Canoldir; *hops*, moron, ac amryw lysiau o Holland. Yn amser Elizabeth, dygwyd cloron gan Sir Francis Drake o Santa Fé yn ngogledd America; eirin gwlanog *(peaches)* o Persia; a tybaco gan Sir Walter Raleigh o ynys Tabago yn West Indies.

Fel y gallesid dysgwyl oddiwrth sefyllfa uchel llênyddiaeth a gwyddoniaeth, y mae y ddwy ganrif dan sylw mor hynod am y darganfyddiadau a'r dyfeisiau a wnaed ynddynt â dim. Yn yr unfed ganrif ar bymtheg, dyfeisiwyd dyfrbibellau plwm yn lle coed, gwau hosanau, bwledi plwm, potelau, nodwyddau, *starch*, melinau papyr, a gwahan-nodau. Dechreuwyd tyfu cywarch a llîn, a gwneyd cyllyll yn Mhrydain, a dygwyd cer-

bydau drosodd i'r wlad hon o Ffrainc. Yn yr eilfed ganrif ar bymtheg, dyfeisiwyd y gwrês-fesurydd, hîn-fynegydd, llumanau ar y môr, bidogau, a newyddiaduron. Cyhoeddwyd y newyddiadur cyntaf gan Roger L'Estrange, dan yr enw "Public Intelligencer," yn 1663, ac yn y flwyddyn ganlynol cychwynwyd "The London Gazette." Dechreuwyd trwyddedu tafarndai ac anfon llythyrau gyda'r post. Dygwyd y gwŷdd *(loom)* i'r wlad hon o Holland gan Syr Thomas Loom, a'r gelfyddyd o liwio gan Anthony Brewer o'r un wlad.

Yn lled bell ar yr eilfed ganrif ar bymtheg, cymerodd amgylchiad le yn Ffrainc a gariodd ddylanwad mawr nid yn unig ar fasnach a chelfyddyd yn y wlad hono, ond mewn llawer o wledydd eraill, sef fföedigaeth y Protestaniaid o'r wlad. Yr oedd Protestaniaid Ffrainc wedi bod yn meddu graddau o ryddid er ys cryn amser, ac yr oedd golwg lwyddiannus a chysurus arnynt fel dosbarth. Hwynt-hwy oedd y dosbarth mwyaf heddychol a diwyd yn y wlad, ac nid gormod yw dyweyd fod masnach y deyrnas yn eu dwylaw. Yn 1685 cymerwyd eu rhyddid crefyddol oddiarnynt. Yr oedd yn rhaid iddynt un ai gadael eu gwlad neu adael eu crefydd; a dewisodd llawer o honynt y blaenaf. Cyfrifa Weiss, yn ei *History of the French Protestant Refugees*, fod o ddau gant a hanner i dri chan' mil o honynt wedi llwyddo i adael y wlad yn y pymtheg mlynedd olaf o'r eilfed ganrif ar bymtheg, er holl ymdrech y llywodraeth i'w rhwystro. A chofier mai y dosbarth hwnw oeddynt ag sydd yn gwneyd i fyny nerth gwlad, sef ei gweithwyr diwyd a'i masnachwyr bywiog. Ffoisant ymhob cyfeiriad, i Holland, Switzerland, Lloegr, a Germany. Bu hyn yn golled ddirfawr i Ffrainc, ond yn fantais fawr i'r gwledydd a'u derbyniasant, yn enwedig i Prwssia. Yr oedd y wlad hon ymhell yn ôl mewn gwareiddiad a gwybodaeth yn y cyfnod hwn; ac yr oedd cael nifer mawr o ddeiliaid goleuedig, milwyr, gwyddonwyr, gweithwyr diwyd a gonest, a masnachwyr bywiog, yn fendith annhraethol i'r wlad. Ymsefydlodd oddeutu pedwar ugain mil o honynt yn Mhrydain mewn deng mlynedd o amser. Yr oeddynt yn Brotestaniaid ffyddlawn, a gwnaethant wasanaeth mawr i'r wlad trwy bleidio William III. yn y rhyfel rhyngddo â James II.

Y mae y crëadur croendeneu a blinderus hwnw a eilw golygwyr "gofod," yn ysgyrnygu arnom er ys cryn amser, ac yn awr y mae yn dyweyd yn bendant fod ei amynedd ar ben; ond gan nad ydym yn bwriadu dyfod ar ei ofyn am beth amser ar ol y tro hwn, ni a wnawn un sylw eto. Wrth edrych yn ol i'r amseroedd a aethant heibio a'u cymharu â'r amser presennol, yr ydym yn gorfod credu fod gwroniaid wedi darfod o'r byd. Y mae personau unigol yn myned yn llai yn barhäus mewn cymhariaeth i'r oes y maent yn byw ynddi. Yn y cyfnod sydd wedi bod dan sylw, cawn ddynion mwy o lawer na'u hoes. Yr oedd un Luther yn Germany, un Knox yn Scotland, ac un Cromwell yn Lloegr, fel pe buasai zêl a gwreidd-dra y gwledydd hyn wedi eu cyd-gasglu iddynt. Erbyn hyn y mae pethau wedi newid. Fel y mae y mynyddoedd yn uwch nag arwynebedd cyffredin y ddaear, felly ni a gawn ddynion uwch na'u hoes; ond y mae y ddaear yn llawer mwy na'r mynydd uchaf, ac y mae yr oes hon yn llawer mwy na'r dyn mwyaf ynddi. Y mae y mynydd, i gario y gymhariaeth ymlaen, yn codi oddiar wyneb y ddaear ac yn gorphwys arni; nid yw ef ei hun ond bychan mewn cym-

ariaeth, felly y mae y dynion mawr yn bresennol yn sefyll ar ysgwyddau yr oes y maent yn byw ynddi. Y mae y gwirioneddau wedi eu deall i fesur, yr opiniynau wedi eu derbyn i raddau; nid oes ganddynt hwy ond esbonio yn eglurach yr hyn sydd yn aros yn aneglur, a gweithio allan yr hyn sydd yn aros heb ei gyflawn ddadblygu.

---

# GARGANTUA, NEU GWRGANT.*

## TRAETHAWD AR CHWEDLONIAETH GELTAIDD.

GAN M. H. GAIDOZ, PARIS.

*Wedi ei godi o'r "Revue Archéologique"* *am Medi,* 1868.

Fe attaliwyd y gwareiddiad Galaidd yn ei ddadblygiad trwy oresgyniaeth y Rhufeiniaid; ac ni adawodd ein henafiaid i ni yr un cofadail o'u llênyddiaeth, ac ychydig iawn o'u celfau. Mae y dyryswch yn fawr, gan hyny, pan geisir gwybod rhywbeth am eu crefydd. Nid oes dim cerfwaith i ddangos arwyddion o hóni, na barddoniaeth i adrodd ei ffugchwedlau. Cyfyngir ni i ychydig o enwau yn wasgaredig ymhlith yr hen awduron, neu wedi eu cadw mewn ychydig o arysgrifau eiddunedol, os nad allwn dŷnu o'r ffynnonell o draddodiadau poblogaidd sydd eto yn ffrydio. Ar ol i'r duwiau Galaidd gael eu gŷru o'u temlau, chwiliasant am nodded yn y wlad: maent hwy yno eto.

Rhaid i ni addef fod yn anhawdd cael gafael arnynt; maent, yn y cyffredin, wedi colli y mawredd barddonol hwnw a'r cerddediad arglwyddaidd a nodweddent dduwiau cyntefig y cŷff-genedl Indo-Ewropëaidd. Wedi eu cau mewn tywyllwch, darfu y bobl weithiau eu gwneyd hwy yn seintiau y baradwys gristionogol; weithiau newidiasant hwy i fod yn westwŷr anweledig yr aelwyd, yn grwydriaid nosol, a drychiolaethau dychymygol. Yr oedd rhai o honynt, mwy hardd a dysglaer nag eraill, er eu bod wedi eu halltudio gan grefydd newydd, wedi meddiannu calon a serchiadau y bobl, y rhai, gan brïodoli i'w dylanwad daionus eu meusydd cnydfawr, a chyflawnder llaeth eu gwartheg, a gredent yn awyddus mai angelion syrthiedig oeddynt.

Y mae gan y bobl eu ffordd neillduol eu hunain i ddeall crefydd. Ymddarostynga y duwiau i fod o fewn cyraedd. Prïodola dynion iddynt eu syniadau a'u nwydau eu hunain, a chorfforant ynddynt eu breuddwydion, a'u dychymygion. Pan na fydd uniongrededd llym yn symud gwrth

* *Hanes Gorchestion rhyfeddol Gargantua a Pantagruel,* sydd ramant Ffrengig gwawdus, o'r 16eg ganrif, yn yr hon yr ymosoda Rabelais, o dan orchudd chwedl boblogaidd, ac, weithiau, isel, ar ddrwg arferion cymdeithas yn ei amser ef, ac yn neillduol yn yr Eglwys Babaidd. Gwaith ydyw a berthyna i'r un dosbarth â *Gulliver's Travels* Swift; ac nid yn anmhrïodol y cyferbynir y ddau awdwr, Rabelais a Swift

ddrych addoliad allan o'u cyraedd, ymafaelent ynddo i'w ailffurfio. Chwanegir mil o nodweddau newyddion at y prïodoleddau dwyfol, y rhai a guddiant y cymeriad cynnhwynol. Yn y crefyddau y gwyddom ni amdanynt, trwy eu ffurfaddoliad, trwy gelfyddyd, trwy farddoniaeth, a chwedlau poblogaidd, y mae pob un o'r elfenau hyn yn llywodraethu y naill y llall, ac yr ydym yn dyfod o hŷd i nodweddau gwasgaredig y duw. Gyda'r grefydd Galaidd mae yn berffaith wahanol. Mae ei hochr farddonol, a'i hochr offeiriadol, wedi diflanu; ei hochr boblogaidd yn unig sydd yn aros. Hyny yw, nid ydym ni yn ei gwybod ond yn unig yn ei ffurf werinaidd, ac nid ydym yn ei chanfod ond ar draws dychymyg *plentynaidd* y bobl. Rhaid i ni beidio anghofio fod y chwedloniaeth yma sydd yn aros yn y coed a'r meusydd, er yr amser cyntefig, wedi myned o dan fil o gyfnewidiadau yn nychymyg y bobl, ac wedi cael ei himpio ar grefydd newydd, o rywogaeth berffaith wahanol. Un nodwedd chwedloniaethol syml wedi ei gadw mewn traddodiad, ac wedi ei daenu dros y wlad, yw y cwbl sydd yn aros i ni, yn fynych, i ail grëu rhyw ddynsawd o'r Olympus Galaidd.

Ond cyn i ni ail grëu duw Galaidd o'r nodweddion sydd wedi eu cadw i ni yn chwedl Gargantua, gadewch i ni ddangos, trwy enghraifft, o dduw sydd adnabyddus i ni bron ymhob gwêdd o'i ddadblygiad, pa faint o wahanol dduwiau a allant fod yn guddiedig yn yr un cysgodlun. Beth na ddarganfyddwn yn chwedl Hercules? Yn y dechreuad "gogoniant yr awyr" ydyw, yr haul yn ogoneddus ac yn orchfygwr, yn dinystrio crëadigaethau erchyll y corsydd, y duw puraidd a chymwynasgar. Ond, yn raddol, anghofiwyd drychfeddwl gwreiddiol y chwedl, aeth enw a gorchestion Hercules yn destun i grebwyll y werin eu trefnu a'u dadblygu yn ol eu hewyllys eu hunain. Yn nwylaw y philosophyddion daeth i fôd hyd yn nôd yn feddylddrych o rinwedd a doethineb. Hanesiaeth Hercules Prodicos sydd genym mewn golwg. Ai fel hyn, ynte, yr oedd y Groegiaid yn ei ddeall? Nagê, mewn un modd. Y mae Hercules iddynt hwy yn bersonoliad o nerth corfforol. Pan yn blentyn, yr oedd ei nerth mor aruthrol fel y darfu iddo ladd gyda'i chwibanogl Linos, ei ddysgawdwr mewn peroriaeth, o herwydd ei fod wedi blino arno. Wedi iddo fyned yn ddyn, y cydymaith garw, ond llawen, ydyw, yn bwyta ac yn yfed cymaint; Hercules y bwytäwr cîg yw; Ηραχλῆς βουφάγος Hercules yr hwn y mae y bobl yn ei adnabod ac yn ei garu, a'r chwarëudŷ yn ei chwareu. Mae ei ffurf wedi ei sefydlu yn y fath fodd fel nad ydyw Euripides, yn ei dreisgan i'r *Alceste*, ddim yn meiddio ei newid. Mewn gair, y cawr glwth ydyw a ganfyddwn yn nhraddodiadau pob gwlad, bron, yn yr hwn y mae y bobl yn personoli cylla gorawyddus a therfynedig fel y cwbl sydd ddynol. Pe buasai y chwedl Herculëaidd wedi dyfod i lawr atom yn unig o dan ffurf y chwedl boblogaidd hono, a allasem, o hóni, ail ffurfio yr hanesiaeth? Gydag ychydig o graffineb, a llawer o ewyllys da, nid wyf yn meddwl y byddai hyny yn anmhosibl. Bwriadaf, o leiaf, gynnyg prawf o'r natur hono ar ffuglith cyffelyb i'r eiddo Hercules—ar ffuglith o "ddyddordeb mawr," sef yr eiddo Gargantua. Ymdrechaf ddarganfod oddiwrthi hi "Yr athrawiaeth ddyrys, yr hon a ddadguddia i ni sacramentau goruchel, a dirgeledigaethau rhyfeddol," fel y dywed Rabelais ffraeth yn rhywle.

A ydyw Gargantua yn grëadigaeth o'r eiddo Rabelais, neu, ynte, a ydyw ein digrifwr Homeraidd wedi benthyca enw y cawr hwnw oddiwrth

chwedl foreuach, yr un fath ag y mae Gœthe yn ei *Faust* anfarwol wedi trawsffurfio swynwr anhysbys y chwedloneg boblogaidd? Hyd eithaf fy ngwybodaeth, Eloi Johanneau yw y cyntaf i gydnabod yn Ngargantua Rabelais weddillion chwedloneg oedd wedi ei hanghofio. Cymharai ef i Hercules Pamphagos, y Groegiad. Yn fwy diweddar (1829), dywed beirniad cywrain, M. Philarète Chasles, "Yr oedd yn Touraine Argantua, person dinôd a dychymygol, i'r hwn y perthyna chwedl anghoeth. Benthyciodd Rabelais oddiar y bobl y gwron ffugiol hwnw. Cyttuna y dysgedig Jacques Grimm, a M. Bourquelot, mai traddodiad yw y gellir ei olrhain i'r cyfnod Celtaidd. Mewn gwirionedd, pa mor lwyddiannus bynag fu rhamant Rabelais, ni fedrwn weled ynddo wreiddyn yr amrywiol enwau o'r rhai y mae Gargantua yn ffurfio rhan. Gwnaeth M. Bourquelot restr o honynt gyda gofal mawr. Ni wnawn ddim gwell na'u gosod yn y fan yma:—

"Mae poblogrwydd Gargantua yn fawr, yn neillduol yn y wlad, ar aelwydydd y llànau a'r pentrefi. Ymhob man drwy Ffrainc, ymhlith y werin, adroddir hanesion anhygoel am ei orchestion, ei nerth, a gwyrthiau ei awydd am fwyd. Dywedir eto yn Beauce, *Bwyta fel Gargantua*. Saif ei enw ynglŷn wrth amryw gofadeilau, yn neillduol wrth y rhai a elwir yn *gofadeilau Celtaidd* neu *Dderwyddol*.* Yn nghadwen fynyddau y Sassenage (Isère), cyfyd craig, copa yr hon sydd gyfansoddedig o dri uchelfan, ar ffurf dannedd ci: gelwir hwy *Dents de Gargantua* (dannedd Gargantua), neu *Roche prou-pena* (craig y boen arteithiol). Gelwir mynyddau y Jumeaux, yn nghymydogaeth Châtillon-sur-Seine, *Bottes de Gargantua* (botasau Gargantua). Yn Verdes (Loir-et-Cher), gwelir *Soupière de Gargantua* (dysgl botes Gargantua). Ceudwll mawr ydyw, wedi ei wneuthur, mae yn amlwg, gan law ddynol, ac yn ei ymyl cafwyd *carn* (tumulus), a chèryg wedi eu codi i fyny, y rhai a rydd iddo ymddangosiad Derwyddol. Ar yr un tir, ceir càreg hir, chwe' troedfedd o amgylchedd, ar osgo yn y canol, yr hon y dywedir gan bobl y wlad mai *Lunettes de Gargantua* (golwgwydr Gargantua) ydynt. Gadawodd y cawr gofadeilau o'i gampau mewn amrywiol fanau, *coeten* yn Tripleville (Loir-et-Cher); *coeten* yn Saint-Sigismond (Loiret): *coetenau* yn Changé, yn agos i Maintenon, (Eure-et-Loir). Twr o bawlfeini a meini hirion yw y rhai olaf hyn, o ba rai, un yn unig sydd eto yn sefyll. Yn ol traddodiad, difyrai Gargantua ei hun drwy daflu cèryg at nôd yn ol dull coetenau. Y maen, yr hwn sydd wedi cadw ei sefyllfa unionsyth, oedd y nôd, a'r creigiau gwasgaredig oddiamgylch yw y coetenau a daflai y cawr at y nôd. Dangosir yn Néaufles (Eure) *pierre à affiler de Gargantua* (maen hogi Gargantua).—Ar gopa bryn yn agos i'r château de Tancarville (Seine-Inférieure), mae craig o farm tua dau can' troedfedd uwchlaw y Seine, yn debyg i dô mawr osgöawl ar fin ymwahanu a syrthio yn bendramwnwgl i'r afon. Adwaenir hi o dan yr enw *Pierre Gante* (càreg Gante), ac hefyd *Chaise* ou *Fauteuil de Gargantua* (cadair, neu gadair freichiau Gargantua). Yn ol traddodiad, arferai Gargantua eistedd yn y fan yma pan olchai ei draed yn y Seine, ac yno gwnai y crochlefau mwyaf byddarol a adseinient hyd y cymylau, gwynt y môr yn eu chwythu, ac yn eu crynhoi oddiamgylch y graig. Y mae yn agos i Pèronne (Somme) feini hirion ag y dywedir mai *Pierre fiche de Gargantua* (càreg sefydlog Gargantua) ydynt: yn Membralle (Loir-et-Cher), *Pierre de Gargantua* (càreg Gargantua), ac yn Vic-sur-Aisne, *Pierre de Gargantua*. Yn agos i fynachlog Saint-Seine (Côte-d'Or), mae ffarm a elwir *Ferme de Gargant* (ffarm Gwrgant). Gelwir y gladdfa yn nghymydogaeth Rambouillet (Seine-et-Oise), lle y darganfyddwyd gweddillion priddweithfa Rufeinig, a beddau merovingaidd, *les Gargants* (y Gargants).

"Cysylltir amrywiol adgofion am deithiau a chrwydriadau y cawr. Priodolir iddo ef ffurfiad y mynydd ar yr hwn yr adeiladwyd tref Laon. Cludai, un diwrnod, bridd mewn basged, ond yn teimlo ei hun yn rhy drwm-lwythog, taflodd ran o'i faich i'r gwastadedd, yr hwn a gyfnewidiwyd yn fynydd. Yn agos i Chalautre-la-Grande (Seine-et-Marne) mae gwarchglawdd naturiol, yn yr hwn y cafwyd esgyrn dynol, arfau hefyd, ac offerynau. Haerir i hwn gael ei ffurfio gan lwch oddiar esgidiau Gargantua

* Er yr amser yr ysgrifenodd M. Bourguelot y geiriau yma, mae y farn wedi cael ei mabwysiadu yn gyffredinol fod y cofadeilau *megalithic* yma o flaen amser y Celtiaid.

yr hwn a rwbiodd ymaith unwaith pan yn y lle yma. Mynycha y diafol eto fynydd Chalautre-la-Grande, yn agos i ba le saif cofadeilau Derwyddol Liours. Yn Dormout yn agos i Vernon, gelwir dwy *domen* yno yn *Hotte de Gargantua* (basged Gargantua). Ar wastadedd Hurepoix, rhwng Dourdan, (Etampes et Arpajon), cyfyd craig fawr unigol, a elwir *Gravier de Gargantua* (graian Gargantua). Dywed darllenwyr tesni y wlad hono, mai graian oedd yn esgid Gargantua oedd, yr hwn a boenai ei draed, ag iddo ef ei dŷnu a'i daflu i'r cae. Yn agos i Portmort (Eure) ar lànau y Seine, dangosir càreg wedi ei dyrchafu i fyny, yr hon sydd yn dwyn yr enw *Caillou de Gargantua* (caregan Gargantua).—Mae hefyd gromlech yn agos i dref Toury (Loiret), ar y ffordd fawr rhwng Paris ac Orléans, ag iddo ddechreuad rhywbeth yn debyg i'r *graian*. Wrth fyned heibio tŷnai y cawr gàreg fechan oedd wedi myned i'w esgid, a'r garegan fechan ydyw y gàreg anferth a elwir *Pierre de Gargantua*.

"Ymddengys mai â Beauce, Berry, a Franche-Comté, yr ymwelai Gargantua fwyaf neillduol. Un diwrnod yr oedd yn teithio yn Beauce, ac yn dwyn ar ei gefn faich o goed. Gan ei fod ar fin newynu, gofynai i hen wraig a gyfarfyddai, yr hon oedd yn arwain gŷr o ychain, i roddi iddo beth i'w fwyta. Dywedodd y wreigan wrtho am ddiwallu ei hun o'r gŷr; bwytäodd yntau y gŷr yn gyflawn. Fel cydnabyddiaeth, gadawodd i'r hen wraig ddigon o goed tân i ymdwymno drwy y gauaf.—Dywed trigolion Franche-Comté i Gargantua, wrth ddisychedu ei hun yn afonydd Doubs a Drouenne, eu hysbyddu. Priodolir bodolaeth y *Pierre qui vire* (y gàreg sydd yn troi, neu faen chwyf) yn agos i Poligny, i Gargantua.—Yn ol traddodiad ar led yn ngwlad y Grisons, gwelwyd Gargantua yn Ilanz, ar ffurf y Colossus yn Rhodes, yn sefyll ar ddwy graig ac yn plygu i lawr i yfed ar un tŷniad yr afon a redai yn y gwaelod.—Ceir ef yn yr un ystum yn agos i Beaugency, a hònir ei fod unwaith wedi gosod un troed ar y *Pierre tournante* (càreg dro), a'r llall ar *Pierre d'Ourcière*, y rhai sydd tua naw milldir ar wahân.—Dywedir hefyd i Gargantua wrth ddisychedu ei hun ar làn y môr, lyncu, mewn camgymeriad, long fawr oedd dan ei llawn hwyliau. Cynnwysid hon yn rhwydd yn ei gylla ëang; ond ni fedrai y cawr dreulio coed llong. Danfonodd am y meddyg, a dywedodd wrtho ei fod, pan yn yfed, wedi llyncu hedyn bychan, a bod hwnw yn ei flino yn fawr. Wedi arfer pob meddyginiaeth ond heb lwyddo i esmwythau y boen, mabwysiadodd y cynllun o fyned ei hun i mewn i gylla y cawr i weled yr achos o'r boen a ddyoddefai, ac yno canfyddai y llong. Wedi ei dryllio a thaflu ymaith y darnau, gwellhâodd o'i afiechyd.

"Yn ol hanesion llëol, mae *tombeau de Gargantua* (bedd Gargantua) yn agos i ogof Miremount (Dordogne), rhwng Sarlat a Périgueux. Càreg fawr ydyw, yr hon y tybia y trigolion sydd yn cuddio gweddillion y cawr. Mae hefyd *Tombo del geant* (bedd y cawr) yn Saint-Cirq, yn agos i Caussade (Tarn-et-Garonne). Ymddengys fod y dolmen sydd yn dwyn yr enw yma o faintioli anferthol; mae wedi cael ei ddryllio a'i geibio, ac esgyrn dynol wedi eu darganfod o dan y darnau."

At y rhestr yma chwanegwn *Palet de Gargantua* (coeten Gargantua), y crybwylla Dirprwyaeth Parthsyllol Gâl am dano yn ei *Dictionnaire Archéologique de la Gaule (époque celtique)*, o dan y gair "ALLYES, cantref yn Bonneval, cwmwd Châteaudun (Eure-et-Loir). Tua dau can' llath i'r dê, o'r tai cyntaf yn y pentref, ar làn aswy yr afon Loiret, yn y lle a elwir *Plaine d' Ambré* (Gwastadedd Gwefr), mae darn o gromlech. Adwaenir hi wrth yr enw *Pierre-Coupe*, neu *Palet de Gargantua* (Càreg, neu Goeten Gargantua), ac y mae ar ffurf bwrdd mawr wedi ei suddo i'r ddaear ar yr ochr ogleddol, a'i godi uwchlaw y ddaear tua thri chan' llath; ar yr ochr ddê cynnelir ef gan golofn dan ei ganol. Hŷd y bwrdd ydyw pum' llath, llêd, tair llath a hanner, a'i drwch yn llathen. Dywedir nad agorwyd y dolmen yma erioed." Sylwa M. A. Joanne hefyd ar dolmen (cromlech) a elwir *Tombeau de Gargantua* (Bedd Gargantua), ar diriogaeth Corlay (Côtes-du-Nord).

Mae chwedl werinol arall am Gargantua, os ydym i gredu yr adroddiad a roddodd M. Thomas de Saint-Mars, yn *Mémoires de l' Académie celtique* (Cyf. 5, tu dalenau 392—5), yn nechreuad y ganrif bresennol.

"Adwaenir Gargantua yn dda yn hen ddugiaeth Retz, trwy yr hon y teithiodd er ys llawer dydd. Cawr anferthol ydoedd, cyfuwch â choed mwyaf y goedwig. Daeth y cawr yma o bellder maith; teithia bob amser. Nid yw yn niweidiol ddrwg os caiff ddigon o fwyd i ddiwallu ei gylla anferth. Cluda yn ei logellau yr holl ddynion sydd angenrheidiol i'w wasanaeth. Canlyna *drôle** (digrifwr) ef, yn dwyn ar ei gefn y blawd a'r gwin y bwriada fwyta ar y pryd nesaf. Pan ddaw at le a ymddengys yn gyflëus i sefydlu ei gegin, erys yno: ymryddhâ y *drôle* ei hun o'i faich, a phrysura gyda ei gymdeithion i adeiladu pobtŷ digon mawr i grasu cant o dorthau, bob un yn pwyso 18 pwys. Cymer y gorchwyl yma, i'r fan bellaf, rhyw ddeng mynyd i'w gyflawni. Wyr neb pa fodd y dygir y coed i dwymno y pobtŷ, ond llosgir llawer o goed cyfain yn llwyr.

"Tra y mae y gweithrediadau yma yn myned ymlaen, â y dynion allan o logellau y cawr, bob un at ei orchwyl, a chymerir un hanner awr o leiaf, i hulio y bwrdd. Bydd y bwrdd yma, maintioli yr hwn ni roddir i ni, yn cael ei lwytho yn gyffredin gan ŷch wedi ei rostio, lloi, defaid, a moch wedi eu dal yn y gymydogaeth. Esgyna un o ddynion Gargantua ar y bwrdd, a chyflawna swydd tòrwr bwyd gyda bwyall. Y lleill drwy ysgolion wedi eu gosod ar y bwrdd, a'u cynnal ar ysgwyddau ei uchelder, a ddygant i fewn i'w safn anferth, gyda ffyrch, y cîg a'r bara. Awdurdodir y *drôle* i dywallt i wddf y cawr y gwin angenrheidiol i yru y bwyd i wared.

"Y llestr o ba un yr yfa yw y baril ei hun. Yfa yn gyffredin ddwsin o'r rhai hyn ar un pryd. Un diwrnod llithrodd un o'r barilau o law y trulliad ac aeth gyda'r gwin i gylla Gargantua, a tharäwyd ef âg ergyd o'r *colic*. Crochlefai mor ddychrynllyd nes peri i holl breswylwyr yr ardal ddïanc, ac ni feiddiasant byth ddychwelyd yn ôl: hyn yw yr achos fod y wlad lle cymerodd yr amgylchiad yma le (rhwng Rennes a Nantes) yn awr ddim amgen na gwlad ddidrigolion ac heb driniaeth.

"Cysga Gargantua ar ol ciniawa am ddeg ar hugain neu ddeugain awr, ei *drôle* yn ei wylio. Cymer y gweddill fantais o'r amser i symud ymaith y briwfwyd gweddill, a chwilio am ymborth erbyn y pryd nesaf, o'r hwn, cyn cychwyn ar eu taith, mae yn rhaid i'r *drôle* gymeryd gofal.

"Priodola pentrefwyr y wlad hono ffurfiad *Mount Gargant* (Mynydd Gargant), yr hwn sydd yn sefyll ychydig ffordd o Nantes, i Gargantua. Saif un arall yn agos i Rouen, o'r un enw, ac, mae yn debyg, o'r un dechreuad.

"Adroddir hefyd modd y diffoddodd y tân mawr oedd yn llosgi castell cyfaill iddo, un o'r tylwyth têg, yr hwn a roddwyd ar dân gan ryw swynwr drwg."

Nid ydyw gwaith llênyddol yn treiddio yn ddigon dwfn i ddychymyg y werin fel âg i gysylltu enwau eu gwroniaid â'u cofadeilau henafol, a thrawsfeddiannu lle yr hen enwau. Yn yr enwau Gargantaidd yma sydd ar lawr o'n cofadeiladau *megalithic*, nis gwelwn ddim ond pwysigrwydd a chyffredinolrwydd y ffugchwedl annealledig hon.

"Ond," meddai M. Baudry, dyn dysgedig yr hwn y mae yn ddrwg genyf ei gael yn groes i mi mewn barn, "a gawn ni enw Gargantua wedi ei ysgrifenu yn rhywle cyn yr unfed ganrif ar bymtheg? Gelwir y *chaise de Gargantua* (cadair Gargantua) a ddangosir yn nghymydogaeth Rouen, y *cathedra gygantis* (cadair y cawr) yn mreintleni y drydedd ganrif ar ddeg." Nid ydyw y dystawrwydd yna yn profi dim, o herwydd buasai y meddylddrych o ysgrifenu i lawr enw o ryw chwedl boblogaidd yn peri i ysgrifenydd yn y canoloesau wênu yn wawdus, fel y buasai pentrefwyr hanner ddysgedig ein gwlad ni yn yr oes yma.

Os, ar y Cyfandir, y methwn gael un hanes ysgrifenedig am Gargantua o flaen yr unfed ganrif ar bymtheg, mae yn adnabyddus yn Mhrydain Fawr yn y ddeuddegfed ganrif. Gwyddom ar dystiolaeth yr henafiaid nad oedd Prydain Fawr yn gwahaniaethu fawr oddiwrth Gâl. Yr oedd ganddi yr un bobl a'r un iaith. Nid ymddengys fod dim ond rhyw un

* *Troll* y chwedloniaeth Germanaidd, mae yn debyg, adgofion o ba un sydd wedi eu cydgymysgu â'r eiddo ein Gargantua Celtaidd ni.

gwahaniaeth, yr oedd Celtiaid y Cyfandir wedi cyraedd rhyw radd o wareiddiad, tra yr oedd y Celtiaid Prydeinig eto wedi suddo mewn barbareidd-dra dwfn. Ni fedraf beidio adnabod y duw Celtaidd, yr hwn ar y Cyfandir yw y cawr Gargantua, yn y "Gurguntius, filius nobilis illius Beleni,"* yr hòna Giraldus Cambrensis (ysgrifenydd yn y ddeuddegfed ganrif) ei fod wedi teyrnasu ar Brydain Fawr amser maith cyn dyfodiad Julius Cæsar. Difyra haneswyr Prydeinig eraill ni gyda'r Gurguntius yma. Sieffre o Fynwy, ysgrifenydd Cymreig yn y ddeuddegfed ganrif, yn ei *Historia regum Britanniæ*, a gyflwyna ddwy bennod i siarad am ei fab a'i olynydd *Gurgiunt Brabtruc*. Mae y *Brut Tysylio*, hanesiaeth henafol yn yr iaith Gymraeg, yn siarad am dano dan yr enw *Gurgant Varfdruch*. Yn mhresennoldeb y ffurf yma, nid ydym yn petruso golygu y *Brabtruc*, a rydd San-Marte, yn ei argraffiad o Sieffre, yn ddarlleniad cyfeiliornus, ac yr ydym yn teimlo fod genym fwy o awdurdod i ddarllen *Barbtruc*, o herwydd fod Ponticus Virunnius, yr hwn a gyhoeddodd ddyfyniad o Sieffre ac o Gildas, yn ysgrifenu *Gurgiunt Barb truch*. Mae y *v* a'r *b* yma yn gyfystyr, a chyfetyb y gwahanol ffurfiau yn berffaith. Yn ei gyfieithiad Saesoneg o'r *Brut Tysylio*, yn 1811, rhydd Peter Roberts *Varf druch* yn *Grimbeard*: San-Marte, yn defnyddio y cyfieithiad yma a ddywed *Grimmbart*. Golyga hyn *Gurgant* neu *Gurguint â'r farf ddychrynllyd*. Dylai y "farf ddychrynllyd" yma a brïodola y chwedl i Gurgant, gael ei hystyried fel arwydd o nerth, a chanfyddwn brïodoledd gyffelyb yn chwedl Gargantua.

Crybwylla mwy nag un hanes henafol Prydain Fawr, am Gurguntius, a chyfodwyd mwy nag un ddadl yn ei gylch rhwng Prydain Fawr a'r Iwerddon. Sicrhâ hanesion Prydain Fawr (*Brut Tysylio*, *Historia* Sieffre o Fynwy, &c.), i Partholon, penaeth dychymygol (*mythic chief*) y gwladychiad cyntaf yn yr Iwerddon, dderbyn yr Iwerddon, eto yn ddibreswylwyr, fel anrheg oddiwrth Gurguntius, brenin Prydain Fawr. Casglant oddiwrth hyn y perthynai yr Iwerddon i Brydain Fawr yn yr hen amser. Ni dderbynia yr ysgrifenwyr Gwyddelig yr ymresymiad yma, ac er mwyn dinystrio ei nerth, dangosant nad oedd Partholon a Gurguntius yn cydoesi. Ni fu y dadleuon yma, a ymddangosant i ni yn wirionffol, yn ddifudd, yn gymaint ag mewn gweithred Seneddol, a basiwyd yn Dublin yn 1569, yn erbyn Shane O'Neil, y sylfaenant ar y chwedl yma (lle y cymysgasant enw Gurguntius a Gurmondus) hawliau y frenhines Elizabeth i orsedd yr Iwerddon!

Mae adgofion o Gurguntius wedi eu cadw mewn amryw o drefydd Prydain Fawr, yn Norwich er enghraifft. Pan, ar yr 16eg o Awst, 1578, yr ymwelodd y frenhines Elizabeth â Norwich, aeth gorymdaith allan o'r dref i'w chyfarfod, a chynnrychiolwyd yno Gurgant, brenin ffugiol Prydain Fawr.† Fel hyn hefyd, ar ddydd penodedig, pobl Douai a ar-

* *Giraldi Cambrensis Topographia Hiberniæ*. † Yn ol Nath. Drake (*Shakespeare and his Times*), arferid cânu carol yn Norwich, yn yr hon y mae y pennill canlynol:—

Nel hath left her wool at home,
The Flanderkin hath stayed his loom;
No beame doth swinge nor wheel go round
Upon Gurguntum's walled ground;

a sylwa Drake, "Gurguntum (sic) was a fabulous king of Britain, who is supposed to have built Norwich Castle. In the procession which went out of Norwich to meet the queen (*Elizabeth*) on the 16th of August, 1578, was 'one whiche represented king GURGUNT,

weinient oddiamgylch eu cawr *Gayant*, a phobl Paris, gynt, a arweinient oddiamgylch ryw ddarlun mawr a alwent y *Suisse de la rue aux Oues* (Swiss heol y Gwyddau).

Os nad dychymyg Rabelais ydyw chwedl Gargantua, dylid ei chael yn rhywle arall heblaw gan yr ysgrifenydd yma. A adroddwyd ef yn y croniclau poblogaidd cyn amser Rabelais? Yn anffodus, er mor gyffredin ydyw llyfrau poblogaidd, ac er cymaint sydd yn cael eu gwasgar ar hyd y wlad, maent yn diflanu yn fuan. Nid oes odid i lyfrwerthwr teithiol nad yw yn eu cludo yn ei gôd, ac nad yw yn eu gwerthu o bentref i bentref. Ond y mae y llyfrau yma, pa rai sydd wedi eu hargraffu yn druenus, yn fuan yn diflanu rhwng dwylaw y darllenwyr ymchwilgar a'r anwybodus. Wyr llyfrgelloedd cyhoeddus ddim am danynt, ac anobeithia llyfr-gasglwyr o herwydd eu prinder. Pa beth sydd yn aros i ni o'r *Croniclau Gargantuaidd* yma, o ba rai, ebe Rabelais, "y gwerthwyd mwy gan yr argraffydd mewn dau fis nag a brynwyd o Fiblau mewn naw mlynedd?" Rhyw ddau neu dri o gopïau yn unig y gwyddys am danynt. Ni ddylid cymeryd prinder y Croniclau yma cyn amser Gargantua Rabelais yn ddadl yn erbyn henafiaeth ein chwedl.

Nid oes neb wedi sylwi digon, yn ol fy meddwl i, ar y ffaith mai y llyfr cyntaf a gyhoeddodd Rabelais oedd y "Pantagruel," yr hwn yw yr ail yn ein hargraffiadau diweddar. Wedi hyny, a llwyddiant yn ei galonogi, cyhoeddodd y llyfr cyntaf, yn cynnwys "Bywyd rhyfeddol iawn Gargantua Fawr." Mi a wn yn dda fod Croniclau 1532 a 1533 weithiau yn cael eu prïodoli i Rabelais, ond ni fedraf ganfod yn y casgliadau yma nac ysbryd nac iaith Rabelais. Sylwn, ymhellach, fod hanes Gargantua yna yn berffaith wahanol i'r hyn a rydd Rabelais. Ymddengys i mi yn fwy naturiol i feddwl fod Rabelais, wrth weled y bri oedd yn cyfarfod yr hanesion yma o gewri, wedi cael ei gynhyrfu i roddi un o'r chwedlau yma fel ystram i ddarfelydd ysplenydd ei ddychymyg ffraethlym. Ni ddewisodd Gargantua, o herwydd fod chwedl Gargantua yn barod yn y wlad, ac, er cymaint allai fod ei deilyngdod, buasai bywgraffiad newydd o'r cawr yn myned ar goll yn y lliaws casgliadau Gargantuaidd. Cymerodd Rabelais yn arwr Pantagruel, mab i Gargantua, am hanes yr hwn ni ddywed y chwedl braidd ddim. Ni chyfarfyddai ei ddychymyg yno â'r un chwedl adnabyddus, ac yr oedd gan y llyfr y bwriadai ei ysgrifenu obaith i lwyddo fel olynydd i'r Croniclau Gargantuaidd yma oedd wedi cyfarfod â chymaint o lwyddiant. Gwyddom y derbyniad ffafriol a gafodd "Pantagruel" Dr. Alcofribas Nasier. Ond gwridai Rabelais wrth weled ei "Pantagruel" coeth yn parhâu yn Gargantua ddiflas.

sometime king of Englande whiche buylded the Castle of Norwich, called 'Blanche Flowre, and layde the foundation of the citie. He was mounted upon a brave courser, and was thus furnished: his body armed, his bases of white and greene silke; on his head a black velvet hat, with a plume of white feathers. There attended upon him, henchmen in white and greene: one of them did beare his helmet, the seconde his target, the thirde his staffe.'" *Nicholl's Progresses*, vol. II.

Yr wyf yn cymeryd yma o'r eglurhâd rhagorol sydd yn dilyn y cyfieithiad Germanaidd o Rabelais, gan Regis-Leipzig, 1839.

Am y cyfeiriadau at Gargantua yn y lênyddiaeth Saesoneg ddiweddar, rhaid, yn ddiammheu, eu prïodoli i Rabelais, er enghraifft, yr hyn a geir yn *As you like it* Shakespeare. "Deuwch â genau Gargantua i mi yn gyntaf." Ac hefyd yn *Guy Mannering* Sir Walter Scott:—

"Where is Gurguntio? What has become of him?
Gurguntio 's dead, because he could not swim."

Caniatäodd yr enwogrwydd a ddilynodd mor fuan y Dr. Alcofribas Nasier iddo gymeryd drachefn y testun poblogaidd, a tharo arno ei ddelw a'i argraffiadau ei hun, *propriæ communia*. Yna ysgrifenodd y Gargantua yma, o dan yr enw Dr. Alcofribas Nasier, y "llyfr arglwyddaidd" hwnw, enwogrwydd yr hwn, yn fuan iawn, a daflodd i'r cysgod y Gargantua poblogaidd. Cauodd Rabelais i fyny lanw llifeiriol y traddodiad, ond darparodd, ar yr un pryd, arteithiau i'r chwedlofyddion dyfodol.

Yn y Croniclau Gargantuaidd am 1532 a 1533, nid yn unig mae y chwedl yn wahanol i'r eiddo Rabelais, ond hefyd nid ydyw Gargantua wedi ei ddadgysylltu yn glir oddiwrth yr hen chwedleuon. Ymddengys yno fel gwas i Arthur, brenin Prydain Fawr. Cyfarfyddwn yn yr un hanes Myrddyn, a Morgan, un o'r tylwyth têg, Oger, Gallimassue, ac Oberon; ac o dan ysgrifbin yr ysgrifenydd poblogaidd, dyrysir a chydgymysgir hanesion y gwroniaid dychymygol yma. Gelwir tad Gargantua yma, yr un modd ag yn Rabelais, Grandgousier (gwddf mawr), ond gelwir ei fam Gallemele; gelwir hi yn Gargamelle (gwddf) yn Rabelais.

Ond y mae dyfyniad mwy pendant yn dangos Gargantua i ni o flaen gwaith Rabelais. Charles Bourdigné, yn cyhoeddi yn 1526 (wyth mlynedd o flaen y Croniclau Gargantuaidd cyntaf adnabyddus) ei chwedl am *Maistre Pierre Faifeu*, a ddywed yn ei *Faled i'r darllenwyr*,—

> Na wrandëwch ychwaneg ar ganeuon *Pathelin*,
> Ar lawenydd mawr *Jehan de Meun*,
> Nac ar gastiau cyfrwys *Villon*,
> Canys mewn gwirionedd ni wnaethant ddim gwerth son am dano.
> Mae *Robert le Dyable* wedi darfod am dano,
> *Bacchus* sy'n cysgu ac yn chwyrnu ar ei waddod.
> Gadewch lonydd i *Caillette* y cellweirus,
> I bedwar mab *Aymon* mewn gwisgoedd gleision,
> *Gargantua*, yr hwn sydd ganddo wallt o blastr,
> A gwrandëwch ar weithrediadau *Dr. Pierre Faifeu*.

Felly, yn 1526, yr oedd hanes Gargantua yn adnabyddus ac yn boblogaidd. Beth yw y "gwallt o blastr" yma? Meddylia M. Gaston Paris, yr hwn yr wyf yn ddyledus iddo am wybodaeth o'r adran yma, mai cyfeiriad ydyw, fe allai, at ryw arwyddfwrdd *(signboard)* enwog o'r amser hwnw; yr un modd, yn ddiammheu, yr ymadrodd "gwisgoedd gleision" a brïodolir i bedwar mab Aymon. Nid oes neb, càn belled ag yr wyf fi yn gwybod, wedi canfod Gargantua yn y cymeriad yma o arwyddfwrdd; ond nid ydyw, serch hyny, yn llai posibl, gan ei fod yn sicr am bedwar mab Aymon. Esbonid y term "gwallt-plastr," fe allai, trwy y lliw a roddir i'w wallt ar ryw arwyddfwrdd. Gyda golwg ar ei wallt, yr hwn ni buasai yn cael ei enwi oni bae ei fod yn ddigon ehelaeth i fod yn hynod, ymddengys i ni ei fod yn cyfateb i'r "barbe horrible" (barf ddychrynllyd) Gurgant. Ystyrir y gwallt bob amser fel arwydd o nerth (gwelwn hyn yn hanes Samson), ac o achos fod Gargantua, neu Gurgant, yn cael ei ddychymygu â'r prïodoledd yma, mae yn cael ei osod allan fel un "à poil" (gwalltog). Yr wyf yn arfer yr ymadrodd sathredig yma yn fwriadol, o herwydd ei fod yn nodi y cyfrwng trwy yr hwn yr arwyddocëir nerth gan y bobl.

Dychwelwn at y Croniclau Gargantuaidd.

Gwahanol i'r chwedl a gynnwysa Croniclau 1532 a 1533, a hefyd i ddychymyg Rabelais, ydyw, "*Bywyd y tra enwog Gargantuas* (felly) *y cawr*

*mwyaf dychrynllyd a ymddangosodd erioed ar y ddaear,*" o ba un y cyhoeddwyd nifer mawr o gopïau yn Troyes yn y ganrif ddiweddaf, ac yn nechre hon. Mae yr hanes yma, yr hwn a gyhoeddwyd mewn arddull ddiweddar, yn isel iawn, ac yn cael ei gyfyngu i adroddiad o orchestion nerth corfforol a glythineb y cawr. Mae y teithi a gyfarfyddwn yno yn perthyn yn gyffredinol i bron bob hanesion cewri. Lladda ei athrawon fel y lladdodd Hercules Linos. Llyncodd un o'r mammaethod, yn ol dull rhai o gewri y chwedleuon Germanaidd, os wyf yn cofio yn iawn. Briarée yw ei dad, a Gargantine ei fam. Dangoswn, ymhellach ymlaen, nad ydyw y gair Ffrancaidd *gourgandine* yn gwahaniaethu dim ond mewn tafodiaeth oddiwrth yr enw yma.

Gadewch i ni yn awr chwilio i fewn i'r gwahanol draddodiadau yr ydym wedi eu henwi. Mae yn angenrheidiol i ni roddi o'r neilldu Grandgousier, Galemelle, Gargamelle, Briarée, a Gargantine. Pan gollir meddwl ffugchwedl, pan nad oes gan y bobl mwyach ymwybyddiaeth o'r darwel *(phenomenon)* naturiol a arddangosir drwyddi, pan gyflawnir y cyfnewidiad anthropomorphaidd (crediniaeth fod i'r Duwdod ffurf ddynol), mae y meddwl gwerinaidd yn gweled yr angenrheidrwydd o gysylltu y duw gyda duwiau eraill, i chwilio am deulu iddo, neu cysylltant ef â duwiau eisoes yn bodoli, neu ffurfiant deulu newydd iddo. Yn y dull yma, mewn mwy nag un o'u traddodiadau poblogaidd, rhoddant fam i'r diafol, er fod mam y diafol yn anhysbys i dduwinyddiaeth Gristionogol. I ryw angen o'r fath yma yr wyf yn prïodoli crëadigaeth Grandgousier a Gargamelle, ystyr pa enwau sydd berffaith amlwg: Gargantine, bychanigyn menywaidd, wedi ei ffurfio ar y gwreiddyn *Gargant.* Am yr enw *Gallemelle,* nis gallaf ei esbonio.

Mae yr enw Gargantua yn aros eto. Ni a roddwn heibio yr eglurhâd a rydd Rabelais—"Mor fawr ydwyt!" (ychwaneger "yn dy wddf"); ac hefyd yr hyn a rydd awdwr anhysbys Croniclau 1533,—"Yna (Gallemelle) a'i henwodd ef Gargantua (yr hwn sydd air Groeg), yr hyn oedd cystal a dywedyd, Mae genyt fab da. Yna dywedodd y fam yr hoffai fod ganddo y fath enw, ac yr oedd y tad yn cydweled." Mae y Croniclau a gyhoeddwyd yn Troyes, yn nechre y ganrif bresennol, wedi cadw i ni ffurf o'r enw yma, yr hwn yr wyf yn ei ystyried yn fwy henafol, *Gargantuas.*

Ymddengys i mi fod Gargantua yn dyfod mewn gwirionedd o'r ffurf *Gargantuas-atis,* fel y mae Nantua (yn Ain) yn dyfod o ffurf *Nantuas-atis,* a Cruas (yn Ardèche) o *Crudatus.* Yn ol fy marn i, mae Gargantua wedi ei ffurfio gyda'r attawd *uas-atis* ar y gwreiddyn *Gargant,* cyfraniad cynnrychol *(present participle)* o *gàrg,* ffurf gadarn, wedi ei ffurfio trwy ddyblu y gwreiddyn GAR, "llyncu, gwancio." O'r un gwreiddyn cyfraniadol, ond gydag attawd arall, ffurfir yr enw *Gurguntius,* ac y mae *Brut Tysylio* wedi cadw y ffurf wreiddiol trwy wanychu yr *a* gyntaf yn *u* *Gurgant.*

Rhaid fod dyblu y gwreiddyn GAR yma yn hen iawn, o herwydd cawn ef yn y ffurf Sanscrit *ni-galgal,* "gwancio," yn y ffurfiau Groeg *βι-βρώσκω, γοργύρ-η, γαργαρ-ίζω.* Yr un gwreiddyn sydd yn rhoddi yn Sanscrit *gargara,* "llynclyn," yn Ngroeg *γέργερο-ς, γαργαρ-έων,* yn Lladin, *gurgula, gurgulio,* yn ddiweddarach *curculio,* yr hen Germanäeg, *querechela,* o ba un daw y Germanäeg diweddar *Gurgel.* Ceir y gwreiddyn dwbl o dan ffurf talfỳrog *garg,* yn y Lladin *gurges, gurgitis,* yn yr hen Norse *Kverk,*

ac yn yr hen Germanäeg *querc-a*, o'r hyn y tardd (a'i grybwyll wrth fyned heibio) ein gair Ffrancaidd ni *carcan*. O'r gwreiddyn yma yr wyf yn d'od â'r gair Yspaenaidd, a Languedocaidd *garganta*, "gwddf," yn llythyrenol, "y llyncwr," ac hefyd yr hen Saesoneg *gargate*, a'r Breton *gargaden*, y rhai sydd gyfystyr. Mae yn amlwg nad yw *Gourgandine* ddim ond gwahaniaeth tafodieithol i *Gargantine*, enw mam Gargantua yn Nghroniclau Troyes. Gan fod *ine* yn attawd o leihâd, golyga *Gargantine* o *Gourgandine* yn eirdarddol *(etymologically)* "y fwytawraig fechan." Ceir y gwrywaidd cyfatebol i *Gourgandine*, yn y taleithiol, *Gargandin*, "adyn drwg," yr hwn a rydd M. le Comte Juabert yn ei *Glossaire du Centre de la France* (2il ar.). Chwanegwn y geiriau taleithiol, *Gargantuan*, "dyn neu anifail gwancus;" *gargaou*, "ceg, breuant," a'r Yspaenaidd, "*garganton*, "y glŵth." Yr wyf yn prïodoli i'r un gwreiddyn y geiriau Ffrancaidd, *gargote* (bwydfa), a *gargouille* (pistyll); yr olaf, yr hwn a olyga, fel y gwyddom, rhywbeth trwy yr hwn y rhed dwfr, yw, yn ddiammheu, y bychanig o air yn golygu "*gorge*" (llwnc), a'r gair yma, yr hwn sydd yn awr wedi ei golli, sydd yn dyfod yn wreiddiol o *garg*, yr hwn a arwydda, yn bur agos, yr un peth a "llyncwr."

Fel hyn yr wyf yn egluro y gwreiddyn *Gargant*, yr hwn sydd wedi ei gadw i ni yn yr enw Gargantua, fel yn golygu "Y Gwanciwr." Mae y sylw yma yn gydffurfiol â deddfau seinyddiaeth Geltaidd, o herwydd gwyddom fod y cynlythyren *(intial)* G yn cael ei chadw yn yr Indo-Ewropëaidd fel ag yn y Gâlaidd. Er enghraifft, *garanos* (garan), yr hwn sydd yn dyfod o'r gwreiddyn *gar* (llefain), o'r lle y daw yr enwau Groeg a Germanäeg am *garan*, Groeg *γερανος*, Anglo-Saxon, *cran* (Saesoneg diweddar, *crane)*, a'r hen Germanäeg, *cran-uh*. Am yr attawd, *ant*, neu yn fwy cywir, *nt*, yr oedd yn gyffredin yn y Gâlaidd, ac yr oedd yn wreiddiol, mae yn debyg, fel ag yn y Lladin, y sill flaenaf o'r cyfraniad cynnrychol *(participle present)*.

Mae Gargantua, ynte, yn gyfenw wedi ei chwanegu at enw rhyw dduw, cyfenw os ysgarir ef oddiwrth ei sylweddair, a fydd dduw ar ei ben ei hun. Mae y gwreiddyn yma, *gar*, wedi cynnysgaeddu y chwedlofyddiaeth Hindŵaidd âg enw y duw a ystyrient fel yn personoli y goleuni, y duw Garuda, gorchfygwr y seirph Nagas.

Mae yr enw Gargantua, "Y Gwanciwr," yn cydweddu yn dda â'r drychfeddwl o gawr. Yr oedd gan gewri Germany, er ys talm, enw yn gyfystyr. Yn wir, i ddynodi cewri, cyfarfyddwn yn y Norse *iötumn*, yr Anglo-Saxon *eoten* (o ba un daw yr hen Saesoneg *etin*, yr hen Ysgotaidd *ettyn)*, yr hen Saxon *etan*. Daw yr enw yma, yr un o dan ei wahanol ffurfiau, o'r gwreiddyn *ad* "bwyta" (yn Gothic, *itan)*, ac a olyga *manducus*, *πολυφάγος* (y bwytäwr mawr). Mae yr enw yma erbyn heddyw wedi cilio o'r iaith, ac ni ddefnyddir ef ond fel enw daearyddol, Jutland, "Gwlad y Cewri," yr hon a gadwodd yr enw a roddasai ar fodau ffugiol, gyda'r rhai y poblogasai dychymyg yr Ellmynwyr y wlad. Yr un modd yr hen Norse *thurs*, "cawr," yn dynodi "y sychedig."

Mae genym eto y gorchwyl o chwilio am ddechreuad y ffuglith Gargantua, penderfynu amser ei ddechreuad, a'r cyfnewidiadau yr aeth drwyddynt. Mae y pwnc yn fwy dyrys o herwydd nad oes genym cyn y ddeuddegfed ganrif yr un ysgrif yn crybwyll am Gargantua, na'r un cerfysgrif yn cynnwys yr enw.

Ymddengys i mi mai duw Galaidd ydyw Gargantua, wedi ei drawsffurfio yn gawr, canys braidd y gallwn gredu iddo gael ei ddechreuad yn y canoloesoedd. Nid yw y ffuglith yma yn myned i fewn i hanesiaeth fel y chwedleuon yn y rhai y lleinw Charlemagne le hen dduwiau Ellmynig. Nid ydyw ychwaith, yn y traddodiadau Cristionogol: bodola o'r tu allan iddynt, heb yr un pwynt o gyffyrddiad. Gellir prïodoli i'r canoloesau grëad rhyw bersonau ffugiol Cristionogol, megys St. Christopher, neu St. Veronica; hefyd, chwedleuon, megys Purdan St. Padrig, neu y rhai hyny sydd mewn llawer lle wedi eu cysylltu âg enw y Fair Forwyn; gallwn ystyried y rhai hyn i gyd fel wedi eu crëu yn y canoloesau. Ond yn Gargantua mae genym gysgodlun cyn amser Crist. Ymddengys i mi, pan fydd cenedl o bobl yn myned yn Gristionogion, nad allai eu dychymyg grëu cysgodlun heb fod ynddo ddim cysylltiad â Christionogaeth o'r un tu. Yr hyn a ddadleu hefyd o blaid henafiaeth traddodiad Gargantua yw ei gyffredinolrwydd. Cyfarfyddir âg ef mewn gwahanol fanau o Ffrainc, ceir ef hefyd yn Mhrydain Fawr. Nid chwedl lëol ydyw, ond un a berthyna i genedl gyfan. Cawn ei enw yn Mhrydain Fawr yn gysylltiedig âg enw sydd yn amlwg yn dduw Celtaidd, "Gurguntius, filius nobilis illius *Belleni.*" Pa fodd y gallwn fethu adnabod yn y brenin ffugiol yma ar Brydain Fawr, yr hwn, yn ol haneswyr diddichell, a deyrnasodd amryw ganrifoedd cyn Crist, Apollo Bélènus y Gâliaid, addoliad i'r hwn oedd mor gyffredin? Hyn yw barn M. Sant-Marte, ac yr ydym yn hollol gyttuno â hi.

Ond pwy dduw oedd Gargantua, neu, a siarad yn fwy cywir, wrth ba dduw y cysylltwyd yr enw Gargantua, yr hwn, fel yr ydym wedi gweled, a olyga "Y Gwanciwr?" Yma, yr ydym yn addef, ni fedrwn gynnyg dim ond tybiaeth.

Y prif ddrychfeddwl yn y cysgodlun Gargantua, yw nerth: rhêd ei wahanol brïodoleddau oddiwrth hwn. Y duw yr hwn yn benaf a arddangosai nerth, oedd Hercules. Ystyriwn Gargantua yn ddadblygiad o'r Hercules Gâlaidd. Profa llawer o gerfysgrifau fod Hercules yn cael ei anrhydeddu ymysg y Gâliaid. Nid ydym yn eu hadnabod, mae yn wir, ond o dan yr enw Lladinaidd *Hercules.* Ond, fe allai, gan fod y geiriau Celtaidd a Lladinaidd bron yn unseiniol, yr oedd dyryswch rhyngddynt, fel ag yr oedd dyryswch yn Rhufain rhwng yr henafol Hercules Italaidd, a'r Hercules Groegaidd. Os disodlodd yr enw Lladinaidd Hercules, yr enw Gâlaidd yn Gâl, y mae llawer o gyfenwau Celtaidd (gan mwyaf eto heb eu hegluro) yn canlyn yr enw yma yn y cerfysgrifau dïofrydol (*votive inscriptions*), a dangosant yn eglur iawn mai duw cenedlaethol Gâl a arwyddocëid. Y gorchestion a brïodola rhai ysgrifenwyr Groegaidd i'r Hercules Groegaidd neu Tyraidd yn Gâl, yr eglurhâd chwedlofyddol o'r Crau,* o'i *campi lapidei,*† ydynt, fe allai, chwedleuon Gâlaidd wedi eu cymhwyso at chwedleuon eu gwlad eu hunain—gan wladychwyr Marseilles. Gyda golwg ar Hercules Gâlaidd ffugiol

* Enw a roddir yn awr ar wastadedd mawr yn agos i'r Rhône, rhwng Arles a'r môr. Yn ol traddodiadau Pheneciaidd wedi eu cadw gan ysgrifenwyr Groegaidd, pan ddaeth Hercules i Gâl, ymosodwyd arno, yn agos i gêg y Rhône, gan *Albion* a *Ligur,* meibion Neptune. Yr oedd ar fin ildio, pan ddanfonodd Jupiter gawod o gèryg o'r nefoedd. Casglodd Hercules hwy ynghyd, a chyda eu cymhorth, llwyddodd i ỳru ymaith ei elynion.

† Ar deithiau ffugiol a gorchestion yr Hercules Tyraidd yn Gâl, gwêl Amédée Thierry, *Histoire des Gaulois,* Llyfr I.

Lucien, yr Hercules Ogmios, nid oes a fyno hwnw yn y fan yma. Cyttuna rhai personau cymhwys, i gredu fod Lucien wedi camgymeryd, a'i fod, yn lle Hercules, wedi cymeryd Mercher, yn ddiammheu rhyw Mercher yn cyfateb i Ἑρμῆς λόγιος y Groegiaid.

Ond o ba le y derbyniodd Hercules y cyfenw "Gwanciwr?" Mae yn debyg mai oddiwrth yr aberthau dynol a offrymid iddo. Yr oedd aberthau dynol yn bethau cyffredin ymysg y Gâliaid: mae llawer o dystiolaethau yn profi hyny.* Yn y cyffredin, llosgent eu haberthau. Gallent felly ddywedyd i'r duw eu *hysu*, ac os derbyniai un duw fwy nag arall o warogaeth drwy aberthau dynol wedi eu hoffrymu yn y dull yma, rhoddid yn naturiol, y cyfenw dychrynllyd *Gwanciwr*, i'r Moloch Celtaidd yma. Dŵg hyn ar gof i ni yr aberth hwnw yr adrodda Cæsar am dano yn y bennod lle y dywed bod y Gâliaid yn ymroddgar i arferion a chredöau crefyddol (Natio est omnis Gallorum admodum dedita religionibus), chwanega, "Immani magnitudine simulacra habent, quorum contexta viminibus membra vivis hominibus complent: quibus succensis circumventi flamma exanimantur homines.† Yn anffortunus, ni ddywed Cæsar wrthym na'r amser o'r flwyddyn na'r duw i'r hwn yr offrymid yr aberth yma. Yr wyf o'r un farn a M. Liebrecht, mai gweddillion yr aberthau barbaraidd hyn o eiddo ein henafiaid yw yr arferiad yn Paris o losgi llun dyn yr hwn a alwent yn y canoloesau; *Suisse de la rue aux Oues* (Swiss heol y Gwyddau), am yr hwn y rhydd ysgrifenydd o'r ganrif ddiweddaf hanes dyddorol, "Yn nghanol yr heol yma (heol y Gwyddau) ac ar gongl heol Salle-au-Comte, mae cerflun o'r Forwyn sanctaidd, yr hon a elwir, yn anmhrïodol, *Notre-Dame de la Carole*. Nid oes yr un o'n hanesyddwyr nad ydyw wedi crybwyll am ymosodiad sarhäus a wnawd ar y cerflun yma gan filwr ar y 3ydd o Gorphenaf 1418. Dywedir i'r adyn yma, mewn anobaith o herwydd colli arian wrth y chwareufwrdd, daro y cerflun â chyllell, ac i waed redeg allan o hóno; i'r dyn anffodus gael ei ddwyn o flaen canghellydd Marle, a'i brofi a'i ddedfrydu i farwolaeth. Mae yr holl amgylchiadau yma yn cael eu harddangos ar ddarlun i'w weled yn Sant-Martin des Champs, yn nghapel y Forwyn sanctaidd, tu ol i'r côr. Dywed rhai i'r cerflun gael ei ddwyn i Sant-Martin-des-Champs a'i barchu yno o dan yr enw *Notre-Dame de la Carole*, o herwydd i'r amgylchiad yma gymeryd lle, meddent, yn nheyrnasiad Charles VI.; dywed eraill mai yr un ydyw ag a welir yn yr heol hono yn awr. Nid oes genyf brofion i attegu y ffaith yma, nac ychwaith i'w hammheu. Ond yr wyf yn addef fod yr amrywiol adroddiadau ac amgylchiadau yn ymddangos i mi yn rheswm digon golygus yn erbyn eu mabwysiadu ar sail traddodiad pur ammhëus. Ond, pa un bynag ai gwir ai anwir yr hanes, casgla torf fawr o bobl i heol y *Gwyddau* ar y 3ydd o Gorphenaf bob blwyddyn. Byddant, ar y dydd crybwylledig, yn y fan yma, yn saethu tân gwyllt ac yn llosgi llun dyn wedi ei wisgo fel Swiss. Mae y genedl yma wedi gwrthdystio yn erbyn yr arferiad, yr hwn sydd wedi bod yn niweidiol iddynt, ac yr oedd ganddynt fwy o achos cwyno am nad oedd ar y pryd ddim o'u pobl yn Ffrainc. Darfu i ddoethineb a gofal yr heddynadon, y rhai sydd yn gwylio dros iawn drefn a

* Mae M. Diefenbach wedi eu henwi ar y tu dalen 183 o'i *Origines Europææ*—Awdurdod y Rhufeiniaid a roddodd derfyn ar aberthau dynol yn Gâl. † Gwna Strabo yr un haeriad, Llyfr IV.

dïogelwch y cyhoedd, roddi terfyn ar gwynion y Swiss, a thrwy hyny rwystro y tânau mawr y gallasai y tân gwyllt eu hachosi mewn lle mor gyfyng. Dymunol iawn hefyd fyddai iddynt rwystro yr arferiad sydd eto* yn bodoli o arwain drwy heolydd Paris ddarlun o faintioli cawraidd, yr hwn nad yw dda i ddim ond i ddychrynu plant a gwragedd; ond nid ydyw profion gofidus yn gwneyd iddynt deimlo y canlyniadau dinystriol a allent ddygwydd.

Gellir gweled yn yr awdwr hwnw Jaillot, fod dychymyg y bobl wedi chwilio am wreiddyn yr ŵyl yma mewn ffaith hanesyddol. Ond dengys y camamseriadau y cyfeiria Jaillot atynt fod yr egluriadau yma wedi dyfod, yn fwy diweddar, i undeb âg arferiad henafol, dechreuad yr hwn sydd wedi myned yn hollol anghof. Ond nis gall y trawsffurfiad yma ein boddloni ni fel hyn, ac y mae yn amlwg iawn fod genym yma weddillion defod grefyddol oedd yn bodoli cyn Crist.

Sylwer ar ddyddiad yr ŵyl, 3ydd o Gorphenaf, hyny yw, ychydig yspaid oddiwrth Alban Hefin. Yr oedd hwnw yn amser, ymhlith yr hen Indo-Ewropëaid, pan y rhoddent addoliad neillduol i'r haul. Yr oedd gan y gŵyliau Alban Hefin yma gymaint o ddylanwad ar y werin, fel ag yn y seithfed ganrif y dywedodd St. Eloi wrth y bobl, "Nullus in *festivitate sancti Johannis*, vel quibuslibet sanctorum solemnitatibus *solstitia* aut vallationes, vel saltationes, aut casaulas aut cantica diabolica exerceat." Gyda golwg ar addoliad uniongyrchol i'r haul, nid oes dim ammheuaeth nad ydyw wedi gadael peth o'i olion, yn gymaint ag i'r un esgob ddyweyd yn yr un traethawd,—"Nullus dominos solemaut lunam vocet, neque per eos juret."

Yn y *Swiss heol y Gwyddau*, yr hwn a losgent gyda chymaint o rwysg, y mae genym gymhar i goelcerth Sant Ioan. Dywedir, yn wir, ei fod yn arferiad mewn llawer o leoedd i fwrw cewyll i goelcerth Sant Ioan, yn cynnwys anifeiliaid, megys cathod, cŵn, bleiddiaid, a llwynogod; *contexta viminibus membra*, fel y dywed Cæsar. Gan ein bod yn gwybod drwy dystiolaethau henafol fod offrymu ebyrth dynol yn beth cyffredin ymhlith y Gâliaid, mae genym awdurdod i feddwl fod yr anifeiliaid yn nhân Sant Ioan, mewn amser mwy gwareiddiedig, yn cymeryd lle y creaduriad dynol. Byddai yr aberth y cyfeiria Cæsar ato, ond heb roddi yr amser, yn cael ei wneuthur ar Alban Hefin, a'r duw, i'r hŵn y rhoddent yr enw *Gwanciwr*, oedd yr un oedd yn cael ei addoli ar Alban Hefin, hyny yw, duw heulaidd *(solar god)*.

* Dyma dystiolaeth yn 1778: "Y mae eto rai trefi yn y deyrnas lle y mae y Maer a'r Sirydd yn rhoddi mewn cawell ddau ddwsin neu dri o gathod, ac yn eu llosgi yn y coelcerth ar ddydd gŵyl St. Ioan." Yr oedd yr un arferiad barbaraidd, am ddechreuad yr hwn yr wyf yn anhysbys, yn bodoli yn Paris, ond diddymwyd ef yn nheyrnasiad Louis XIV.

Yr ydym yn darllen yn un o'r llyfrynau melldigedig *(Le banquet d'Arête*, gan Louis d'Orléans), a gyhoeddwyd yn amser y League, "fod y gwŷr eglwysig a gynnorthwyasant yn argyhoeddiad ffugiol Harry IV., yn haeddu cael eu rhwymo fel ffagodau, a'u traed i uchder coeden St. Ioan; y dylai y tywysog gael ei roddi yn y cawell lle y rhoddent y cathod; y byddai yr aberth yn foddlawn gan y nefoedd ac yn llawenydd gan y ddaear." Saint-Foix, hanesyddwr drwy orchymyn y brenin. Gweithiau cyflawn, Cyf. V. Sicrhëir ni gan *l'Histoire de Metz*, a gyhoeddwyd gan y Benedictines, eu bod hwy yn llosgi cathod ar ŵyl St. Ioan yn Metz; ac ymdrechodd rhyw rai ddechreu yr arferiad ar ŵyl St. Clements, gorchfygwr dychymygol y Ddraig.

Fe allai fod Gargantua, fel hyn, yn y dechre, yn bersonoliad o'r haul. Mae y pellder yn fawr rhwng y bôd gogoneddus sydd yn bywhâu natur, â'r cawr sydd yn bwyta ac yn yfed llawer; ond y mae ffuglith Hercules wedi dangos i ni fod y trawsffurfiad yma yn bosibl.

Dywedwn wrth derfynu:—

1af, Bod Gagantua yn *ddiammheuol* yn gysgodlun blaenorol i Rabelais, a bod y ffuglith yma yn Geltaidd, o herwydd ceir ef ar hŷd a lêd Ffrainc, ac yn Mhrydain Fawr, ond nid yn un lle arall.

2il, Bod Gargantua, yn *debygol*, yn ddadblygiad poblogaidd o Hercules Galaidd.

3ydd, Bod Gargantua, *fe allai*, yn ffuglith heulog (*solar myth*).

---

# TREM AR WLEIDYDDIAETH 1868.

Flwyddyn yn ôl yr oedd y rhagolwg ar wleidyddiaeth y dyfodol yn addaw i ni senedd-dymmor llonydd yn 1868, a pharhâd digyffro i awdurdod y Toryaid hyd wanwyn neu hâf 1869. Nid hyd ar ol y cyntaf o Ionawr, 1869, yr oedd yr etholwyr newydd i ddyfod i feddiant ymarferol o'u breintiau; yn y cyfamser, yr oeddym i "orphwys a bod yn ddiolchgar" o dan Arglwydd Derby a Mr. Disraeli, hyd nes y llefarai "Demos," ac yna—"saethu dros Niagara," ac wedi hyny?

Mor wahanol i'r rhagolwg ydyw y cyflawniad. Yn lle y "tawelwch mawr," dyma 1868 wedi bod y flwyddyn fwyaf cynhyrfus mewn gwleidyddiaeth er 1846, os nad er 1832; wedi gweled ymneilldu ad Arglwydd Derby o'i swydd, dechreu a diwedd gweinyddiaeth Mr. Disraeli; dyma appêl wedi cael ei wneyd at yr awdurdod olaf ac uchaf yn y wladwriaeth, dan amgylchiadau o gynhwrf anghyffredin; dyma yr ateb wedi ei roddi gyda phwyslais penderfynol; y mae Mr. Disraeli wedi ei hyrddio o swydd; y mae Mr. Gladstone a John Bright yn brif gynghorwyr ei Mawrhydi, a thynged yr Eglwys Sefydledig yn yr Iwerddon wedi ei benderfynu.

Wrth edrych yn ôl at adeg cydgyfarfyddiad y Senedd yn mis Chwefror, rhaid cydnabod fod sefyllfa pleidiau y cyfryw ag y gallasai Mr. Disraeli, o bosibl, lywio ei yrfa drwy y tymmor heb redeg ei lestr ar y graig. Yr oedd cyflwr yr Iwerddon, y mae'n wir, yn gorwedd yn bwysig ar feddwl y wlad; yr oedd y Ffeniaid, wrth gario y rhyfel i Loegr, trwy eu beiddgarwch yn Manchester, a'u hysgelerder yn Clerkenwell, wedi dychrynu mwy arnom na phe buasent wedi meddiannu hanner dwsin o siroedd yn yr Iwerddon; ac yr oedd Mr. Bright, mewn amryw areithiau grymus yn ystod y gauaf, gan wybod y byddai digon yn crochlefain am ddialedd hebddo ef, wedi dyrchafu ei lais fel "pregethwr cyfiawnder" o blaid yr Iwerddon. "Other remedies," ydoedd baich ei genadwri, "having failed to cure the ills of Ireland, let us try the sovereign remedy of justice." Ond er fod hyawdledd argyhoeddiadol Mr. Bright fel hyn yn gweithio ar deimlad addfed y wlad, a bod Arglwydd Stanley wedi cydnabod yn Bristol mai cyflwr yr Iwerddon ydoedd pwnc y dydd, y mae yn dra ammhëus nad allasai Mr. Disraeli, pe buasai wedi rhagweled

y canlyniadau, osgoi am y flwyddyn hon wneuthur unrhyw gynnygiad mewn cysylltiad â sefydliadau crefyddol y chwaer ynys. Gallasai roddi rhesymau golygus am ohirio pwnc mor fawr hyd Senedd newydd 1869; ac er, o bosibl, y buasai Mr. Gladstone yn gwrthwynebu hyny, y mae yn dra ammheus a allesid uno y blaid ryddfrydig yn ddigon llwyr i basio pleidlais o ddiffyg ymddiried yn y Weinyddiaeth ar y tir yma. Eithr llwybr arall a gymerwyd gan y Prif Weinidog. Drwy enau Iarll Mayo yn siarad ar gynnygiad Mr. Maguire, awgrymwyd fod parodrwydd o du y Weinyddiaeth i ganiatâu cydraddoldeb crefyddol yn yr Iwerddon drwy "lefelu i fyny," ond nid trwy dynu i lawr. Yn awr, rhag gwneyd cam â chymeriad Mr. Disraeli am graffder, rhaid i ni gydnabod fod ganddo le da i ddysgwyl oddiwrth lawer o'r Rhyddfrydwyr dderbyniad mwy croesawgar i'r cynllun hwn nag a gafodd. Yr oedd Syr Robert Peel wedi cario gwaddoliad Maynooth, yn 1845, gyda chymeradwyaeth calonog y Whigiaid. Yr oedd y rhan fwyaf o arweinwyr y blaid wedi proffesu lawer gwaith eu parodrwydd i waddoli Pabyddiaeth yn yr Iwerddon. Cynnygiodd Iarll Grey hyny yn 1867. Ac nid ydoedd ond prin fis wedi myned heibio er pan oedd Iarll Russell, arweinydd tybiedig y blaid Ryddfrydig, wedi cyhoeddi pamphled o blaid rhoddi i'r Pabyddion eu cyfran cyfartal o waddoliadau Eglwysig y chwaer ynys. Mr. Gladstone hefyd, yr hwn oedd wedi siarad o flaen Arglwydd Mayo ar gynnygiad Mr. Maguire, tra yn dangos yr angenrheidrwydd am sefydlu cydraddoldeb crefyddol, a fu yn ochelgar ddigon rhag dyweyd nac awgrymu drwy ba lwybr y dymunai gyraedd y cydraddoldeb hwn. I Mr. Bright, yn ei araeth rymus ar yr un achlysur, ond yn siarad ar ol y dadganiad o *bolicy* y Weinyddiaeth, yr ydym yn ddyledus am roddi pwysau ei ddylanwad mawr i roddi yr iawn gyfeiriad i'r blaid Ryddfrydig ar bwnc pwysig gwaddoliad crefydd yn yr Iwerddon. Dywedodd ef, fel Mr. Gladstone, fod yn rhaid sefydlu cydraddoldeb yno, ond ychwanegodd at hyny, mai cydraddoldeb ar sail yr egwyddor wirfoddol ydoedd yn rhaid iddo fod. Nid heb ystyriaeth yr ydym yn dyweyd, nad oedd genym ond ychydig iawn o ymddiried yn arweinwyr y Whigiaid—Iarll Russell, Iarll Clarendon, Iarll Granville, na Mr. Gladstone, o ran hyny, gyda hwy, na buasent yn pleidio y cynnygiad o "lefelu i fyny,"—mewn gair, na buasent yn cynnyg gwaddoli Pabyddiaeth yn yr Iwerddon pe gwelsent eu mantais drwy hyny i ddadymchwel gweinyddiaeth Mr. Disraeli, ac i ennill cymeradwyaeth y wlad. Yr ydym yn hollol sicr na buasai cynnygiad felly yn derbyn cefnogaeth etholwyr unrhyw ran o Brydain Fawr, gan nad pa blaid a fuasai yn ei ddwyn ymlaen; er hyny, yr ydym yn argyhoeddedig mai nid i egwyddorion na chydwybodolrwydd Arglwydd Russell a Mr. Gladstone yr ydym yn ddyledus am i'r blaid Ryddfrydig gael ei chadw rhag y camgymeriad anferthol ac andwyol o ymddangos yn bleidiol i gydwaddoliad Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth. Ymddengys i ni fod rhyw hoffder greddfol yn yr hen Whigiaid at sefydliadau gwladol o grefydd. Y mae y Toryaid, ar y cyfan, yn bleidiol i'r cysylltiad, am y credant, yn gydwybodol, mae yn ddiammheu, fod y cysylltiad yn fanteisiol i grefydd; a'r olwg yma, dybygem, ar yr achos, sydd yn meddu mwyaf o ddylanwad ar feddwl Mr. Gladstone; ond am y Whigiaid, y maent yn zelog o blaid y cysylltiad am y tybiant ei fod braidd yn anhebgorol i iawn lywyddiaeth y wlad, fod y gallu crefyddol yn y pen draw yn llaw y llywodraethwr gwladol. Edrychant ar grefyddau,—boent wir boent au,—fel peiriannau hwylus i lywodraethu teyrnasoedd drwyddynt, ac ystyriant mai perygl-us i'r eithaf ydyw i'r awdurdodau gwladôl beidio cadw y peiriannwyr dan gyflog iddynt. Nid oes eisieu dyweyd dim i brofi mai dyna ydyw syniadau y nifer fwyaf o'r arweinwyr Whigaidd o amser Fox hyd yn awr; ac yr ydym yn meddwl, pe buasai ein gofod yn caniatâu, y gallasem ddangos nad oes dim yn holl areithiau Mr. Gladstone ar y pwnc yn Nhŷ y Cyffredin, neu yn Lancashire, i brofi na fuasai yntau yn foddlawn ddigon i godi yr Eglwys Babyddol yn yr Iwerddon i safle Eglwys Sefydledig, pe buasai y Pabyddion yno yn awyddus am hyny, a thebygolrwydd y buasai y Senedd yn cymeradwyo y fath beth.

I'r gwrthwyneb yr ydym yn dal fod y rhan fwyaf o'r rhesymau ag y mae Mr. Gladstone wedi teithio braidd allan o'i ffordd i'w rhoddi o blaid yr Eglwys Sefydledig yn Lloegr, ie, ac yn Nghymru, yn rhesymau digonol dros gysylltu Pabyddiaeth â'r Llywodraeth yn yr Iwerddon. Gwnaeth Mr. Gladstone a'r Rhyddfrydwyr ddefnydd mawr yn yr etholiadau o'r awgrymiad a roddwyd gan y Toryaid o'u parodrwydd i "lefelu i fyny," i ddangos rhagrith Mr. Disraeli yn appelio at y wlad gyda'r floedd "Dim Pabyddiaeth," ac yr ydoedd yn eithaf têg iddynt wneyd hyny dan yr amgylchiadau; ond yr ydym yn gorfod cyfaddef mai nid i Mr. Gladstone a'r Whigiaid, mwy nag i Mr. Disraeli a'r Weinyddiaeth Doryaidd, y mae i ni ddiolch am gael ein cadw rhag yr amryfusedd gwleidyddol a'r anfadrwydd moesol o sefydlu yr Eglwys Babyddol ochr yn ochr â'r un Brotestanaidd yn yr Iwerddon. Cadwodd mynegiad amserol Mr. Bright y blaid Ryddfrydig rhag hyd yn nôd yr ymddangosiad o gydolygu â'r awgrymiad a daflwyd allan gan y Weinyddiaeth, a buan y gwelodd Mr. Disraeli, a gwleidyddwyr o bob plaid, fod cynnygiad o'r fath yn hollol annerbyniol gan y wlad, ac yn sicr o ddwyn ei bleidwyr i waradwydd. Pe buasai Mr. Gladstone ac Arglwydd Russell wedi dygwydd dangos graddau o barodrwydd i roddi derbyniad i awgrym Arglwydd Mayo, fe ddichon y buasai eu hathraw wedi gallu "addysgu" nifer digonol o'r Toryaid i fedru, gyda'r cynnorthwy a gawsai o'r ochr arall i'r Tŷ, ddwyn y peth i ffurf rheithysgrif; ond y mae yn sicr y buasai y fath beth yn derbyn gwrthwynebiad mwyaf penderfynol Mr. Bright, a chyfran liosog o'r blaid ryddfrydig, ac y buasai yn codi tymhestl yn y wlad a fuasai yn rhoddi pen bythol ar y cynnygiad, ac yn dinystrio cymeriad gwleidyddol Mr. Gladstone.

Nid ydym yn gwneyd y sylwadau hyn gydag amcan mewn un modd i dŷnu dim oddiwrth yr anrhydedd a haedda Mr. Gladstone am y llwybr a gymerodd. Bydded iddo gael yr anrhydedd y mae yn ei haeddu, ond nid mwy. Wrth ffurfio barn am gymeriad ein gwleidyddwyr, rhaid i ni gymeryd golwg nid yn unig ar eu gweithredoedd, ond hefyd ar yr egwyddorion oddiar ba rai y maent yn gweithredu. Y mae Mr. Gladstone yn bleidiol i gydraddoldeb crefyddol ar yr egwyddor wirfoddol yn yr Iwerddon, ac yr ydym yn falch o'i gael yn gadlywydd yn y frwydr fawr a ymleddir i ennill hyny. Credwn ei fod yn pleidio hyn fel mesur gwir angenrheidiol; y mae yn ddiammheu ei fod yn credu yn gydwybodol fod buddiannau uchaf y deyrnas yn galw am, a chyfiawnder yn cymeradwyo, hyn; eto, ar ol cydnabod hyn oll, yr ydym yn rhwym o ddywedyd fod golygiadau Mr. Gladstone ar sefydliadau eglwysig yn gyfryw nad oes genym yr ymddiried lleiaf ynddo ar gwestiynau o'r fath. Y maent yn ein golwg ni yn eithaf anghyson â'u gilydd—yn fwy felly na'i syniadau yn 1839, pan gyhoeddodd lyfr ar y pwnc; ac fel yr ydym wedi dyweyd, o ran dim gwrthwynebiad fyddai rhwng hyny â'i egwyddorion ef, ni buasem yn synu, pe buasai llais y wlad yn ei gefnogi, gweled Mr. Gladstone yn rhoddi gwaddol i Babyddiaeth ymhob plwyf yn yr Iwerddon, ac yn gosod Cardinal Cullen i eistedd yn Nhŷ yr Arglwyddi ochr yn ochr âg Archesgob Caergaint. Nid ydym yn meddwl fel hyn am dano am ein bod yn gosod pwys ar y chwedleuon maleisus a adroddir am ei dueddiadau at Babyddiaeth, ond am nad allwn weled na fuasai peth fel hyn yn hollol gyson â'i gredo ac â'i ymddygiadau fel gwleidyddwr. Tra yn credu fel hyn, yr ydym yn cofio—ac y mae hyny yn wastad yn tŷnu y chwerwder allan o n hanghymeradwyaeth o olygiadau Mr. Gladstone—mai dan ddylanwadau Toryaidd ac Uchel-Eglwysig y magwyd ef. Pan ystyriwn hyny, y mae y cynnydd y mae wedi ei wneyd yn rhyfeddol, ac yn peri ei fod yn deilwng o bob parch, am fod ganddo feddwl agored i'r gwirionedd, yr hwn sydd yn rhyddhâu, ac am y cywirdeb y mae wedi amlygu lawer gwaith wrth wneyd, mewn amryw o amgylchiadau, aberth mawr er mwyn cydwybod dda. Y mae ef ei hun, mewn geiriau nas gellir yn hawdd eu hanghofio, wedi taflu ei hun ar hynawsedd a chydymdeimlad y blaid Ryddfrydig, ac wedi cydnabod fod gan ddynion fel Arglwydd Russell a Mr. Bright hawl i warogaeth na byddai yn deg iddo ef ddysgwyl ei gael: "Y mae yn wir," meddai yn un o'i areithiau mwyaf hy-

awdl, "y mae yn wir, ac yr wyf yn gofidio o'r herwydd, fy mod i wedi fy magu o dan gysgod enw mawr Canning. * * * Y mae fy nghysylltiad i â'r blaid ryddfrydig ar bob ystyriaeth yn wrthgyferbyniol i'r eiddo Arglwydd Russell. Yr wyf yn gwybod yn rhy dda ein perthynas â'n gilydd. Nid oes genyf yr un o'r hawliau sydd ganddo ef. Daethum i i'ch plith yn grwydryn oddiwrth y rhai yr oeddwn wedi bod yn eu cymdeithas, wedi cael fy ngyru oddiwrthynt gan araf, ond anwrthwynebol, nerth argyhoeddiad. Daethum i'ch mysg, ag arfer iaith y gyfraith, *in pauperis formâ.* Nid oedd genyf ddim i'w gynnyg i chwi ond gwasanaeth ffyddlawn ac anrhydeddus. Derbyniasoch fi gyda charedigrwydd, tynerwch, haelfrydigrwydd, ac hyd yn nôd, gallaf ddyweyd, gyda gradd o ymddiried; a hyn ydyw y berthynas rhyngom ni â'n gilydd—nad ellwch chwi byth fod yn ddyledwyr i mi, ond fod yn rhaid i mi fod byth yn eich dyled i chwi." Wrth weled fod Mr. Gladstone yn siarad ac yn teimlo fel yna, ac yn gwbl argyhoeddedig, fel yr ydym, y gwelir ef yn fuan wedi cyraedd golygiadau mwy cywir am sefydliadau eglwysig, y mae yn anmhosibl i ni lai na'i barchu, er nas gallwn, ar hyn o bryd, deimlo yn gwbl yr un ymddiried ynddo ag a deimlwn mewn dynion sydd wedi bod er ys blynyddau yn dadleu o blaid yr egwyddorion mawr ag y mae ef erbyn hyn, mewn rhan, yn cydnabod eu grym.

Am Mr. Bright yr ydym yn synied yn dra gwahanol. Gyda chymeriad gwleidyddol mwy cyson na Mr. Gladstone, a chydag argyhoeddiadau llawn mor gryfion, ac yn ein tyb ni, areithyddiaeth mwy ardderchog, y mae Mr. Bright, er ys blynyddau, wedi dangos ei fod yn teimlo mwy yn achos yr Iwerddon, ac wedi ennill ymddiried y Gwyddelod i raddau helaethach nag un gwleidyddwr Seisonig sydd yn fyw. Efe a barotôdd y wlad i ystyried y cwestiwn Gwyddelig; efe, mewn cyfwng pwysig, a roddodd gyfeiriad i wleidyddiaeth y Rhyddfrydwyr; ac efe, yn bendifaddeu, ydyw y gwleidyddwr sydd yn fwyaf teilwng o ymddiried a chefnogaeth y Cymry, a phawb sydd yn edrych ar bwnc yr Eglwys Wyddelig o safle Anghydffurfwyr Protestanaidd. Y mae Mr. Gladstone mor gydwybodol yn ei amcanion âg yntau, ac y mae mor benderfynol bellach ag ydyw Mr. Bright i ddadwaddoli yr Eglwys yn yr Iwerddon. Y mae presennoldeb Mr. Bright yn y Weinyddiaeth hefyd, a'r ffaith fod ei gydweithrediad ef yn hanfodol i gadw y Rhyddfrydwyr mewn awdurdod yn ddigon o reswm dros i'w edmygwyr yn y wlad fod yn zelog o blaid Llywodraeth Mr. Gladstone. Y cwbl a ddymunem ni fyddai gweled mwy o sylw yn cael ei wneyd o wasanaeth Mr. Bright i egwyddorion rhyddfrydig, a mwy o warogaeth yn cael ei dalu i'w gydwybodolrwydd, i'w gysondeb, ac i ehangder ei olygiadau, nag a wnaed yn ystod yr etholiadau diweddar, pryd y gallesid meddwl mai Mr. Gladstone oedd pobpeth, a Mr. Bright yn ddim.

Ond i ddychwelyd at amgylchiadau y Gwanwyn. Wedi i Mr. Disraeli wneuthur sefyllfa yr Eglwys Wyddelig yn bwnc i'w benderfynu gan Senedd 1868, dangosodd Mr. Gladstone rai o gymhwysderau dysgleiriaf arweinydd plaid wleidyddol, yn y cyflymder gyda pha un y gwnaeth ei feddwl i fyny i weithredu, ac yn nghywirdeb y golygiad a gymerodd o ansawdd teimlad ei ganlynwyr yn y Tŷ, a Rhyddfrydwyr yn y wlad yn gyffredinol. Nid oes eisieu i ni yma olrhain hanes y dadleuon a'r ymraniadau yn Nhŷ y Cyffredin ar y penderfyniadau a gynnygiwyd gan Mr. Gladstone, ac ar y *Suspensory Bill.* Rhoddwyd gwroldeb a medrusrwydd Mr. Gladstone i'r prawf yn yr amgylchiadau hyn. Gwelodd yn fuan ei fod wedi cyffwrdd â mater oedd yn cyffroi gwrthwynebiad angerddol rhai o'r dosbarthiadau mwyaf eu dylanwad, ac wedi agor y dôrau i nwydau mileinig i dywallt eu cynddaredd ar ei ben; daeth yr esgobion a gwŷr eglwysig eraill yn llu mawr iawn i Neuadd St. James i'w felldigo, ac yn eu plith yr oedd amryw o rai oeddynt yn arferol o gydweithredu â'r Rhyddfrydwyr; a gwelwyd dynion fel Arglwydd Overstone, y Duc o Portland, a'r Iarll Grey, a dybid yn gyfeillion, yn ysgwyd eu penau yn wgus ar y symudiad newydd yn y gwersyll Rhyddfrydig. Ond wedi cael "arweinwyr i arwain," a "chanlynwyr i ganlyn," ymlaen yr aeth y symudiad

drwy bob rhwystr nes i'r *Suspensory Bill* gyraedd y dynged a ddysgwylid iddo yn Nhŷ yr Arglwyddi. Ychydig iawn o bwys oedd yn hyny, yn gymaint a bod bodolaeth yr Eglwys Wyddelig erbyn hyn yn fater ag yr oeddid wedi penderfynu cymeryd barn y wlad arno mewn etholiad cyffredinol.

Y mae llawer wedi cael ei ddyweyd am waith Mr. Disraeli yn dal ei swydd am fisoedd wedi iddo, dro ar ol tro, gael ei hun yn y lleiafrif yn Nhŷ y Cyffredin, a chyhuddiadau pwysig wedi eu dwyn yn ei erbyn o ymddwyn yn anghyfansoddiadol. Er fod y cwbl drosodd erbyn hyn, y mae iawn ddealltwriaeth am gysylltiad y Weinyddiaeth â Thŷ y Cyffredin o gymaint pwys yn ein ffurflywodraeth ni, fel y mae yn werth i ni am foment wrth adolygu gwleidyddiaeth y flwyddyn, ystyried pa faint o goel sydd i'r achwynion hyn. Pan gafodd Mr. Disraeli fod ei Weinyddiaeth mewn lleiafrif o bump a thriugain, cymerodd ei daith at y Frenhines, a dywedodd ei fod dan yr amgylchiadau yn ei chynghori i ddadgorffori y Senedd, ac appelio at yr etholwyr. Hyd yna, nid oes neb, dybygid, a ammheua fod gan y Prif Weinidog hawl yn ol y cyfansoddiad i ymddwyn fel y gwnaeth; ac nid ellir gwadu, ond ymdrechu cymeryd golwg ddiduedd ar y sefyllfa, nad doeth ar y cyfan ydoedd oedi y dadgorfforiad hyd nes y gellid gwneyd yr appêl ar delerau y Rheithysgrifau Diwygiadol. Nid drwg bychan ydoedd fod Tŷ y Cyffredin am o dri i bedwar mis dan arweiniad Prif Weinidog nad ydoedd y Tŷ yn ymddiried ynddo, ond drwg gwaeth, fel y cyfaddefa pawb ar ol profiad y tri mis diweddaf fuasai cael dau etholiad cyffredinol o fewn deuddeng mis i'w gilydd. Yr oedd yn eithaf têg i Mr. Disraeli sylwi nad ydoedd y cyfeiriad lleiaf wedi bod yn etholiad 1865 at achos yr Eglwys Wyddelig; a chan ei fod ef a'i gymmrodorion yn y Weinyddiaeth, drwy ryw ysbrydoliaeth, wedi cyraedd "argyhoeddiad gorddwfn" y byddai i'r mwyafrif o'r etholwyr roddi eu llais yn erbyn cynnygiad Mr. Gladstone, yr ydoedd yn hollol agored iddo, yn ol ysbryd y cyfansoddiad, i roddi y cynghor a wnaeth i'w Mawrhydi.

At y rhesymau digonol hyn, ychwanegodd Mr. Disraeli reswm arall nad ellir mewn un modd ei ystyried yn un a gydnabyddir yn gyfansoddiadol, sef fod gan bob Prif Weinidog hawl i appelio at y wlad yn erbyn dedfryd anghymeradwyol Tŷ wedi ei ethol yn ystod llywodraeth Prif Weinidog o blaid arall. Y mae yr ystyriaeth leiaf o'r athrawiaeth yma yn ddigon i'n hargyhoeddi o'i gwrthuni, ac y mae yn dda fod cynnifer o leisiau dylanwadol wedi eu codi yn brydlawn mewn gwrthdystiad yn ei herbyn. Beth feddylid o Mr. Gladstone pe byddai iddo, o herwydd rhyw anghydwelediad, ddadgorffori y Tŷ presennol am y rheswm ei fod wedi ei ethol o dan weinyddiaeth Mr. Disraeli?

Ond heblaw dywedyd ei fod wedi annog y Frenhines i ddadgorffori y Senedd, rhoes Mr. Disraeli ar ddeall ei fod wedi cynnyg ymddiswyddiad y Weinyddiaeth iddi, os byddai hyny yn fwy dewisol ganddi, ond ei bod hi wedi amlygu ei dymuniad ar fod i'r llwybr cyntaf gael ei gymeryd. Y mae yn anhawdd penderfynu beth ydoedd gwir amcan Mr. Disraeli yn gosod y wêdd yma ar yr ymdrafodaeth rhyngddo â'i Mawrhydi; fe ddichon mai rhoddi tipyn o le yr ydoedd i'r elfen ymffrostgar sydd yn lled amlwg yn ei gymeriad; ac, os felly, cafodd gerydd parod a chymhwys yn y ffrewylliad llym a roddwyd iddo gan Mr. Bright ar y pryd. Ond pa beth bynag ydoedd ei amcan, nis gallwn weled ei fod yn agored i'r cyhuddiad a roddwyd yn ei erbyn o ymddwyn yn anghyfansoddiadol yn ei waith yn gosod dau lwybr o flaen y Frenhines, a thaflu arni hi y cyfrifoldeb o farnu pa un o'r ddau i'w gymeryd. Ei fai ydoedd sôn cymaint am y ddau gynnygiad yn y Tŷ, a gwneyd defnydd o'r peth mewn ffordd oedd yn peri i'r sylwedydd arwynebol feddwl fod y Goron yn dangos ffafriaeth bersonol i'r Toryaid. Nid ydoedd y peth ynddo ei hun ond yr hyn y mae pob Prif Weinidog yn ei wneyd pan yn cynghori y Goron i ddadgorffori y Senedd, pa un a sonia neu beidio am ei barodrwydd i roddi ei swydd i fyny, os na fernir yn dda dderbyn ei gynghor. Y mae y ffaith o ymgynghoriad â'r Goron ynddi ei hun yn rhagdybied hawl a chymhwysder yn y Goron i wrthod neu i dderbyn y cynghor. Pan aeth Mr. Disraeli at y Fren-

hines, gan ddyweyd, "Yr ydym yn eich cynghori i ddadgorffori y Tŷ, a gadael i ni aros yn ein swyddau; ond os nad ydych yn gweled yn dda wneyd hyny, yr ydym ni yn barod i ymneillduo," gallasai ei Mawrhydi yn briodol ateb, "Y mae y rhan olaf o'ch araeth yn gwbl afreidiol, oblegid gwn yn dda mai allan o'ch swyddau y *rhaid* i chwi fyned os dewis a wnaf wrthod eich cynghor." Y mae y fath beth wedi bod mor ddiweddar a theyrnasiad William IV., a bod y brenin yn galw ar y Weinyddiaeth i roddi eu swyddau i fyny, ac y mae hyny yn berffaith gyfansoddiadol. Yn yr hyn a wnaeth yn y gwanwyn, gweithredodd y Frenhines, fel y mae hob amser wedi arfer gwneyd, trwy dderbyn, ac nid gwrthod, cynghor ei Phrif Weinidog. Pe buasai Mr. Disraeli wedi myned ati a dyweyd ei fod yn ei chynghori i anfon am Mr. Gladstone, ond os na ddewisai hi wneyd hyny, yr arhosai efe mewn swydd, ac yr appeliai at y wlad, y mae yn ddiammheu mai anfon am Mr. Gladstone y buasai. Gwnaeth Prif Weinidog y Toryaid gais arall mwy beiddgar i dòri ar draws y terfynau sydd wedi eu gosod ar awdurdod gweinidogion y Goron. Yn gynnil yn Nhŷ y Cyffredin, ond yn gwbl ddiammwys yn Nhŷ yr Arglwyddi, rhoddwyd ar ddeall fod y Frenhines nid yn unig wedi cydsynio â chais Mr. Disraeli i ddadgorffori y Senedd mewn canlyniad i'r bleidlais ar yr Eglwys Wyddelig, ond ei bod wedi rhoddi trwydded gyffredinol i'w Phrif Weinidog i ddefnyddio awdurdod y Goron pryd bynag y gwelai yn dda. Cododd hyn ystorm mor fawr, fel y bu raid i Mr. Disraeli dŷnu yn ol goreu y gallai y bygythiad anghyfansoddiadol hwn. Eto, er iddo gael ei dŷnu yn ol, y mae hanes y Senedd-dymmor yn ddigon o brawf ei fod wedi cael effaith ar y Tŷ, ac mai nid heb achos y dywedai Mr. Bright yr wythnos ddiweddaf yn Birmingham, fod y Weinyddiaeth Doryaidd wedi ei goddef i ddihoeni drwy Senedd-dymmor 1868 drwy fygwth "a dying parliament with an appeal to a dead constituency."

Cyn pen hir wedi i Mr. Disraeli, drwy yr ystrywiau hyn, wneyd a allai i greu argraff fod hyd yn nôd y teulu brenhinol yn dueddol i'w olygiadau, a chynhyrfu hyd y medrai y zêl wrth-Babyddol yn y wlad, daeth y diwedd; ac yr ydym yn symud ymlaen at yr Etholiad Cyffredinol. Pe na buasai achos mor bwysig â bodolaeth yr Eglwys Sefydledig wedi dyfod yn bwnc i'w benderfynu yn yr Etholiad Cyffredinol, buasai er hyny yn amgylchiad hynod yn hanesiaeth y deyrnas. Bu rhywbeth tebyg i *Household Suffrage* ganrifoedd lawer yn ôl, ond yr oedd hyny pan oedd Tŷ y Cyffredin, o'i gymharu â gallu y Barwniaid a'r Goron, yn "*humble Commons*" mewn gwirionedd. Ond dyma'r tro cyntaf erioed i'r genedl, heb wahaniaeth dosbarthiadau, gael ei galw i ethol Tŷ sydd, mewn effaith, yn llywodraethu yr ymherodraeth Brydeinig; ac y mae hyny yn ein harwain i roddi i'r etholiad, yn ei amgylchiadau ai ganlyniadau, sylw ac ystyriaeth yn hollol annibynol ar y cwestiwn, pa un ai Mr. Gladstone ai Mr. Disraeli a gafodd y mwyafrif ynddo.

Daroganwyd llawer y byddai i helaethiad yr etholfraint agor y llifddorau lêd y pen i ddylanwad y bobl, y rhai a wnaent fŷr waith ar bob peth gwerthfawr yn y cyfansoddiad, ac a ddygent oddiamgylch yn fuan chwyldröad cymdeithasol. Am nad ydyw hyn wedi dygwydd eisoes, ac am nad oes rhyw lawer o arwyddion fod y mwyafrif o bobl y wlad â'u bryd ar ei handwyo, y mae rhai o'r newyddiaduron yn ysgrifenu fel pe na byddai Rheithysgrif Ddiwygiadol 1867 i effeithio nemawr ddim ar wneuthuriad deddfau a gweinyddiad llywodraeth y wlad. Gwelir fod Mr. Lowe, y penaf o'r daroganwyr, wedi ei godi mewn canlyniad i'r etholiad cyntaf dan y drefn newydd i un o swyddi uchaf y wladwriaeth; fod Tŷ y Cyffredin yn gynnwysedig o'r un dosbarth o ddynion yn gymhwys ag o'r blaen; na chlywyd dim sôn yn ystod yr Etholiad am sefydlu gwerinlywodraeth, am ranu eiddo y cyfoethogion ymhlith y tlodion, nac am yr un o'r pethau ofnadwy eraill y dysgid ni i'w dysgwyl; ac o herwydd hyny dywedir wrthym fod corff yr etholwyr newyddion yn gymhwys o'r un syniadau â'r dosbarth canol, yn nwylaw y rhai yr oedd yr awdurdod cyn hyn. Tra nad ydym, ar y naill law, bid sicr, yn dysgwyl cyflawniad o'r ofnau dychymygol a fygythid gan y Toryaid yn y blynyddoedd pan y gwrthwyneb-

ent Ddiwygiad Seneddol, nid ydym, ar y law arall, yn meddwl fod yr etholiad diweddaf yn fesuriad têg ar faint y dylanwad y mae y Rheithysgrif Ddiwygiadol yn debyg o gael ar ddeddfwriaeth.

Rhoddodd y Tŷ a etholwyd yn 1865 fwyafrif o driugain a phump yn erbyn yr Eglwys yn yr Iwerddon, a'r cwbl y mae yr etholiad, gyda'r etholwyr newyddion, wedi ei wneyd ydyw ychwanegu rhyw hanner cant at y mwyafrif hwnw, a rhoi siars ar yr aelodau rhyddfrydig i fod yn fwy ffyddlawn i'w harweinwyr yn y dyfodol, fel ag i gadw y blaid rhag colli ei dylanwad cyfreithlawn drwy ymraniadau. Y mae Bwrdeisdrefi a Siroedd Cymru, Bwrdeisdrefi a Siroedd Ysgotland, Bwrdeisdrefi a Siroedd yr Iwerddon, a Bwrdeisdrefi Lloegr, wedi rhoddi mwyafrif o blaid Mr. Gladstone. Siroedd Lloegr ydyw yr unig ddosran o'r gynnrychiolaeth sydd wedi rhoddi eu llais o blaid parhâd yr Eglwys Wyddelig. Ac un bleidlais yn unig a ennillwyd yn yr hen eisteddleoedd Sirol yn Lloegr. Yn yr eisteddleoedd newydd yn y Siroedd y mae yr ennillion Toryaidd eraill i gyd. Nid oes dim sail chwaith i fôst y Toryaid fod y trefydd mawr wedi rhoddi eu llais o'u plaid hwy, oblegid yr ydym yn cael fod cynnrychiolwyr trefydd Lloegr yn cael eu rhanu fel y canlyn:—

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Trefydd | uwchlaw | 100,000 | o bobl | 45 | Rhyddfrydwyr. | 9 | Toryaid. |
| " | " | 25,000 | " | 67 | " | 25 | " |
| " | " | 10,000 | " | 63 | " | 21 | " |
| " | islaw | 10,000 | " | 28 | " | 35 | " |

oddiwrth yr hyn y gwelir mai y trefydd lleiaf sydd yn fwyaf pleidiol i'r Toryaid.

Nid ydym yn meddwl y gallasai yr etholwyr newyddion wneyd dim yn well yn yr etholiad diweddaf na'r hyn a wnaethant, sef cryfhâu breichiau Mr. Gladstone i gyflawni y dasc fawr y mae wedi ymgymeryd â hi tuag at yr Iwerddon. Gwnaethant yn dda roddi pob peth arall o'r naill du er mwyn sicrhâu yr amcan yma. Ond fel y dywedasom eisoes, teimlir dylanwad yr etholwyr newyddion mewn modd mwy arbenig ar adeg ddyfodol. Yr oedd y dosbarth newydd o'r etholwyr, i gryn raddau, mor rhanedig eu golygiadau am yr Eglwys Wyddelig â'r dosbarth uwchlaw iddynt, neu ynte yr oeddynt mor ddifater yn ei chylch, fel y rhoddent eu pleidleisiau i bersonau yn hytrach nag i egwyddorion. Cyn bo hir, byddwn wyneb yn wyneb â materion o'r dyddordeb mwyaf uniongyrchol i'r dosbarthiadau gweithiol, ac ar y rhai y mae braidd yn anmhosibl meddwl na fydd mwyafrif anferthol o'r etholwyr newyddion yn cydweled. Mewn amgylchiadau felly, bydd nerth eu rhifedi yn anwrthwynebol, ac nid oes genym ond gobeithio y byddant yn ddigon goleuedig eu deall ac uniawn eu barn i beri na bydd achos i wladgarwyr warafun iddynt eu dylanwad. Yn nghyflwr presennol y werin yn Lloegr, yr ydym, y mae'n rhaid i ni addef, yn ofni nad ellir dysgwyl yr ystyriaeth oleubwyll hono i gwestiynau cyhoeddus a raid gael cyn y bydd helaethiad yr etholfraint yn fendith ddigymysg i'r wlad. Gyda lledaniad addysg yr ydym yn dysgwyl gwelliant; a darparu ysgolion i'r holl wlad ydyw, debygem, un o'r pethau cyntaf a ddylai y Senedd wneyd. Yn Nghymru ac Ysgotland y mae pethau yn bur wahanol, canys er nad ydyw addysg—os wrth addysg y deallwn y gallu i fedru siarad a darllen Saesoneg—gymaint ymlaen yn Nghymru âg ydyw yn Lloegr, yr ydym yn dal fod y werin Gymreig wedi ei dysgu a'i dysgyblu yn llawer gwell na'r werin Seisonig, i bob pwrpas cysylltiedig â chyflawniad dyledswyddau dinaswyr a deiliaid. Y mae hyn yn ein harwain yn naturiol at bwnc llawn o ddyddordeb—yr etholiadau diweddar yn Nghymru; ond gan nas gall y TRAETHODYDD, mwy na phethau eraill, ddal mwy na'i lon'd, yr ydym yn gorfod ymattal, gan obeithio y cawn egwyl i ddychwelyd at y 'rhan yma o'r testun.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## DAFYDD DAFIS, COWARCH.

DIAMMHEU y bydd llawer un o'n darllenwyr yn barod i ofyn,— "Dafydd Dafis, Cowarch! pwy yn y byd oedd hwnw? Pa beth ydoedd? Pa bryd yr oedd yn byw? Beth a wnaeth yn haeddu cael sôn am dano yn fwy na llawer Dafydd Dafis arall? A pha le y mae Cowarch? Dê neu Ogledd y Dywysogaeth? Ymha Sîr? Tref, pentref, cwmwd, tŷ, neu pa beth ydyw?" Ond os bydd llawer dan angenrheidrwydd i wneyd ymofyniadau o'r fath yna, bydd yr enw i lawer eraill yn hysbys ddigon, a'r olwg arno yn adgyfodiad i lïaws o hen adgofion y bydd yn ymgeledd i'r ysbryd eu cael. Ië, "coffa *da* am dano." I foddio rhywfaint ar gywreingarwch y sawl sydd mor anffortunus a bod yn ddyeithr iddo, dywedwn gymaint a hyn wrth gychwyn: gweinidog nid anhynod, yn ardal Dinas Mawddwy, Meirionydd, perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd, oedd Dafydd Dafis. Ganwyd ef yn 1794. Bu farw yn 1861, yn 67 mlwydd oed.

A ydyw y darllenydd yn hoff o henafiaethau? Tra yn cyfeirio tua Chowarch, i ddilyn ychydig ar hanes ein hen gyfaill yno ac mewn manau eraill, beth pe cymerem hamdden i edrych ychydig o'n hamgylch ar y dyffryn y gorwedda y manau hyny gerllaw iddo—dyffryn Dyfi? Nid yw y dyffryn yn fawr mewn hŷd na llêd, ond y mae yn bur brydferth, a'i hanes yn bur ddyddorol. Y mae oddeutu Dinas Mawddwy fynyddau a bryniau y mae yn eithaf hawdd gweled i gryn bellder o'u penau. Tybier ein bod yn cymeryd ein safle "yn yr ysbryd" ar gopa un o honynt. Dyna y dyffryn yn rhedeg i gyfeiriad dê-orllewinol, a'r Dyfi, "a'i dyfroedd gloewon fel y grisial," yn ymddolenu trwyddo. Prophwydodd y diweddar hynod Barch. Azarïah Shadrach, mewn cân a gyfansoddodd yn y flwyddyn 1836, am enwogrwydd rhyfeddol i'r afon hon rywbryd yn y dyfodol. Wele ychydig o'r pennillion:—

Y mae Dyfi yn rhagori
Braidd ar holl afonydd Cymru;
Bydd yr afon hon yn hynod
Mewn rhyw oesoedd maith i ddyfod.

Fe ddaw llongau dirifedi
Cyn b'o hir i afon Dyfi;
Rhai o India, rhai o China,
A rhifedi mawr o Rwssia.

Y mae yn mynyddau Meirion
Lawer o drysorau mawrion,
Ac fe'u cludir lawr i Dyfi
Yn dunelli dirifedi.

Mae 'r mynyddau sy 'n dra anial,
'Nawr uwchlaw i bentref Pennal,
Yn llawn trysor maes o'r golwg;
Cyn bo hir fe ddaw i'r golwg.

Fe fydd trefydd ac eglwysi
Cyn b'o hir ar lànau Dyfi,
A hwy fyddant yn fwy hynod
Na hen drefydd Cantref-gwaelod.

Gwneir pont ha'rn dros afon Dyfi,
A bydd miloedd yn ei thramwy;
Wrth dd'od lawr o Gader Idris,
I'r dref hardd fydd ar Foelynys.

Fe fydd Dyfi yn rhagori
Ymhell ar holl borthladdoedd Cymru;
Bydd ei masnach yn rhyfeddod
Yn yr oesoedd maith i ddyfod.

Ond rhaid ymattal. Hynyna, a llawer yn rhagor, a addawai yr hênwr parchedig hwnw i'r dyffryn ger ein bron. Gobeithia y trigolion, yn ddïau, ei fod yn dyweyd y gwir. Y mae llawer, o ran hyny, o'r pethau a ragddywedai, eisoes wedi eu cwblhâu.

Ychydig o'r golwg, mewn trofa yn ochr ddwyreiniol y dyffryn, a thua deg milldir oddiwrthym, y mae lle o gryn hynodrwydd hanesyddol, sef Machynlleth—*Maglona* y Rhufeiniaid. Bu Owen Glyndŵr yn cynnal ei lŷs am ychydig yma unwaith. Yma, yn 1402, y gwysiodd ef holl bendefigion Cymru i'w gyfarfod, pryd y cydnabyddwyd ac y coronwyd ef yn Dywysog Cymru, a hyny, meddir, yn mhresennoldeb a thrwy gadarnhâd cynnrychiolwyr o lysoedd Ffrainc a Spaen. Dair milldir neu bedair yn nes yma, yn ochr orllewinol y dyffryn, ar y law ddê i ni o'r man y tybiwn ein bod yn sefyll yn bresennol, dacw Fathafarn, hen gartref Dafydd Llwyd ap Llywelyn ap Gruffydd, bardd a dewin hynod, medd hanesion, a flodeuai o gylch 1480. Bu Iarll Richmond —Harri VII. wedi hyny—yn llettŷa noson yn Mathafarn, pan ar ei daith gyda'i gefnogwyr o Aberdaugleddyf i'r Amwythig, i'r ymrysonfa gyda Richard III. am orsedd Brydain. Dywedir hefyd ddarfod i Harri ofyn barn y dewin am ei ffawd, a bod Dafydd mewn petrusder pa ateb i'w roddi, nes ei gyfarwyddo a'i galonogi gan ei wraig. "Dywed yn ëofn wrtho," meddai, "yr ennilla efe yr orsedd; ac os prawf hyny yn wirionedd, bydd dy gymeriad wedi ei sefydlu; ac os amgen, ni raid i ti ofni y dychwel efe y ffordd yma i'th feïo am fod yn gau-brophwyd." Cymerodd y bardd gynghor ei wraig; ac adroddir ddarfod i'r "sicrhâd prophwydoliaethol" am ei lwyddiant, roddi mawr foddhâd i'r Iarll pryderus wrth gychwyn i'w daith ar dòriad y wawr drannoeth. Tua dwy filldir yn nês yma, ar ochr ddwyreiniol y dyffryn, y mae pentref bychan prydferth y Cemmaes; a chyferbyn, yr ochr arall, y mae Dol-y-fonddu, hen gartref y diweddar Barch. William Jones, un o'r un ar ddeg cyntaf a ordeiniwyd i gyflawn waith y weinidogaeth gyda'r Methodistiaid yn Ngogledd Cymru. Bu farw yn 1837, "yn hen ac yn gyflawn o ddyddiau." Yn nês yma, yr un ochr i'r dyffryn, y mae pentref Aberangell. A gerllaw i ni, ar yr aswy, y mae

treflan henafol Mallwyd, cartref y diweddar enwog Dr. Davies, yr hwn a fu yn beriglor y plwyf o'r flwyddyn 1604 hyd 1644. Gŵr ydoedd efe o Lanferas, Sir Ddinbych, o ran genedigaeth. Yr oedd yn un o brif ddynion ei oes mewn dysg a gallu. Y mae ei Eiriadur Lladin a Chymraeg, a Chymraeg a Lladin—*Antiquæ Linguæ Britanicæ Dictionarium Duplex*, yn brawf nodedig o hyny. Dywedir mai efe a gyfieithodd y "Namyn un deugain Erthyglau Crefydd" i'r Gymraeg. Cyfieithodd i'r un iaith hefyd y llyfr a elwir *Christian Resolution*, gwaith gŵr o'r enw Parsons. Ac yn y rhagymadrodd i'r Gramadeg Lladin o'r iaith Gymraeg a gyhoeddwyd ganddo yn 1621, sicrhëir i ni ganddo ef ei hun, fod ganddo ran yn y ddau gyfieithiad a wnaed gan y Doctoriaid Morgan a Parry o'r Bibl i'r Gymraeg. "Ystyrid ef," medd Wood, "yn hyddysg yn hanes a henafiaethau ei genedl ei hun, yn dra chydnabyddus â'r ieithoedd Groeg a Hebräeg, yn feirniad manwl, yn ddyn llafurus, ac yn hysbys o awdwyr hynod ac anghyffredin." Ymddengys gyda hyny, fod ysbryd Puritanaidd cryf iawn ynddo; oblegid wedi i'r Archesgob ffôl ac ofergoelus, Laud, orchymyn fod i'r allor, neu fwrdd y cymun, ymhob eglwys blwyfol gael ei gyfleu ymhen dwyreiniol yr adeilad, yn ol rheolau yr Eglwys Babaidd, dangosodd y Dr. Davies ei ddiystyrwch penderfynol o'r gorchymyn trwy beri i'r bwrdd cymun yn ei Eglwys ef gael ei symud o'r pen dwyreiniol i ganol corff yr adeilad. Mae amryw bethau yn cadw ei enw mewn côf caredig gan drigolion yr ardal hon hyd heddyw. Rhoddodd i dlodion plwyf Mallwyd, tra y rhêd dwfr, ardreth maes o'r enw, "Dolddyfi," oddiwrth yr hwn, er i'r Dyfi, flynyddoedd yn ôl, ddangos "mewn gweithred a gwirionedd" mai ei dôl hi ydyw, y ceir amryw bunnoedd yn flynyddol i'w rhanu yn elusenau. Adeiladodd ar ei draul ei hun hefyd y bont faen a elwir "Pontycleifion," lle y gwelir mewn dau fan yn y palmant lythyrenau dechreuol ei enw, I. D., mewn cèryg gwŷnion, yn aros hyd yn awr. Ei oedran pan y bu farw oedd 74. Claddwyd ef yn nghangell Eglwys Mallwyd. Ar ei gàreg fedd cerfiwyd y beddargraff canlynol yn Lladin, ond y mae wedi treulio allan er ys llawer o flynyddoedd:—"John Davies, Dysgawdwr Duwinyddiaeth Gysegredig, Periglor Eglwys blwyfol Mallwyd, a fu farw y 15ed dydd o Fai, ac a gladdwyd y 19eg, A.D., 1644." Y mae yn anhawdd i unrhyw un sydd â chanddo ryw fesur o barch i ddysgeidiaeth neu grefydd, ddyfod i gymydogaeth y fangre dawel hon, heb deimlo gradd o ddyddordeb ynddi.

Ond y mae yn rhywyr i ni symud ein camrau bellach tua Chowarch, yr hyn, os cawn rwydd-deb, a wnawn yn ddioed. Y mae hanesion am Maelgwyn Gwynedd, Tydecho Sant, a Llywarch Hen, ac am Wylliaid Cochion Mawddwy,* ynglŷn â'r ardaloedd hyn; ond rhaid gadael y cyfan yn bresennol. Ar ein ffordd, ychydig ymlaen, y mae tref ddiaddurn Dinas Mawddwy. "This Mawddwy," meddai y teithydd Pennant, yn 1773, "notwithstanding it is dignified with the name of *Dinas*, or city, consists of but one street, straight and broad, *with houses—ill according with its title.*" "Ac megys yr oedd yn y dechre y mae yr awr hon," oddieithr ychydig dai, a'r tri chapel sydd ynddi. Y mae y capelau, chware têg i'r dinaswyr, yn

* Gweler y TRAETHODYDD am Ebrill, 1868, tu dalenau 143 a 245. Gelwid hwynt yn Wylliaid, mae yn debyg, o herwydd eu dull gwyllt o fyw; neu o herwydd y cyflawnent eu hysgelerderau beiddgar yn nhywyllwch y nos.

adeiladau heirdd a golygus iawn; capelau yr Annibynwyr a'r Wesleyaid yn hollol newyddion, a'r eiddo y Methodistiaid Calfinaidd yn awr yn cael ei ailadeiladu yn rhagorol o hardd. Ymddengys hefyd fod dyfodol tra llewyrchus yn aros y Dinas, mewn llawer cysylltiad, heb fod ymhell. Dywedir fod y gweithfeydd llechau yn y gymydogaeth yn addaw yn dda. Ac y mae y boneddwr anrhydeddus, Syr Edmund Buckley, un o'r aelodau Seneddol dros *Newcastle-under-Lyne*, yn cartrefu ran o'i amser yn Plâs y Dinas gerllaw. Trwy ymröad y boneddwr haelfrydig hwn, y mae rheilffordd wedi ei gwneyd o'r Cemmaes i'r Dinas er ys tro, ac amryw welliadau eraill, ac nid yw yn debyg o flino na diffygio nes crëu yr oll o'r lle o'r newydd. Llwyddiant iddo. Y mae yn anhawdd i'r gwron-addolwr beidio galw i gôf yma eto, mai yn y lle hwn y treuliodd y Parch. William Hughes, un o weinidogion mwyaf llafurus a llwyddiannus yr Annibynwyr yn yr oes ddiweddaf, y rhan fwyaf o'i fywyd defnyddiol. Un a "drôdd lawer i gyfiawnder" ydoedd efe; ac nid ar fŷr y paid yr enw "Hughes o'r Dinas" â bod yn enw cysegredig yn nghyfrif trigolion yr ardal hon a'r ardaloedd cymydogaethol. Bu ef farw yn 1821, yn yr 76ain flwydd o'i oedran. Ymlaen ymhellach eto, gan ddilyn y ffordd sydd yn arwain trwy Lanymawddwy, tros Fwlch y Groes, i'r Bala, ymhen tua milldir wedi gadael y Dinas, yr ydym yn cael ychydig dai a elwir yn bentref Abercowarch; ac oddiar hyny, dyna ddyffryn cul, dwfn, ac ysgythrog, yn dyfod i'r golwg ar ein haswy. Dywed y trigolion nad ydyw yn hynod am ddim oddieithr am ei ystormydd. Y mae yn ddïarebol am y rhai hyny. Wedi troi iddo, dacw ffermdŷ bychan tua hanner milltir oddiwrthym, a elwir y Berth, neu Tŷ'nyberth. Y mae yma ffermdai eraill mwy a harddach, o bosibl, yn yr ychydig ddyffryn o'n blaen; ond am reswm da, *hwn*, a hwn yn *unig*, sydd yn myned â'n sylw ni yn bresennol. O'r diwedd, ddarllenydd, yr ydym wedi dyfod i gwm Cowarch. Dyma y fangre ein dysgwyd o'n mebyd i gysylltu ei enw âg enw yr anwyl Ddafydd Dafis. Yn y ffermdŷ dinôd acw y cartrefai, o foreu hyd o leiaf ddechreu prydnawn ei oes. Yno yr oedd yn byw pan yn cyfarfod ac yn myned trwy y rhan fwyaf o'r prif amgylchiadau y cyfarfu â hwynt. Symudodd ei gartref unwaith ac eilwaith, ond "Dafydd Dafis o Gowarch" oedd ef pa le bynag y cartrefai.

Ganwyd Dafydd Dafis, fel y nodwyd yn barod, yn y flwyddyn 1794, mewn ffermdŷ bychan o'r enw Nant-hir, ar y ffordd rhwng Aberangell ac Aberllyfeni. Yr oedd ei dad a'i fam yn grefyddol; ei dad yn aelod o eglwys y Parch. W. Hughes, yn y Dinas, a'i fam yn aelod o eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn Abercowarch. Ymddengys hefyd oddiwrth yr hyn a adroddir am danynt, mai nid "rhith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi," oedd ganddynt. Cafodd yntau felly fanteision da o'i febyd. Pan yr oedd efe tua thair oed, symudodd ei rïeni o'r Nant hir i'r Tŷ mawr, Cwmglanmynach; ac oddiyno drachefn, ymhen blwyddyn a hanner neu ddwy flynedd, i Tŷ'nyberth, Cowarch. O hyn allan, yn chwanegol at fanteision cartref, yr oedd yn gyflëus i gyrhaedd pob moddion crefyddol. Ond nid ymddengys ddarfod i'r naill na'r llall gael nemawr argraff dda ar feddwl Dafydd ieuanc. Ar yr Annibynwyr, meddir, y gwrandawai fwyaf yn mlynyddoedd ei ieuenctyd, ond "gwrandawr yn unig" ydoedd. Ni chyhuddwyd mohono erioed,

mae'n wir, o iaith anweddus, nac o unrhyw ymarweddiad aflan; eto, yr oedd yn hynod am ei ysbryd chwarëus a dirieidus.

Hysbys y dengys y dyn
O ba radd y b'o 'i wreiddyn.

Yr oedd yr yni neillduol a'i nodweddai yntau fel crefyddwr mewn blynyddau dilynol yn dyfod i'r golwg ynddo y pryd hwnw fel chwarëuwr. Pan yn llanc lled ieuanc, cafodd ychydig fisoedd o fanteision addysg. Yn rhywle rhwng y blynyddoedd 1806 a 1812, bu y diweddar hybarch Lewis Williams, Llanfachreth, fel un o athrawon yr "Ysgolion Rhad Cylchynol," dan arolygiaeth Mr. Charles o'r Bala, yn cadw ysgol am dri mis yn Abercowarch, a'r tri mis dilynol yn Mallwyd. Bu Dafydd Dafis gydag ef am ryw dymmor, nis gwyddom yn sicr pa hŷd; ond dysgodd ysgrifenu Cymraeg yn lled dda, ac y mae yn hynod y gwelläi fwyfwy yn hyny hyd ddiwedd ei oes. Dyna yr oll o'r addysg ddyddiol a gafodd. Byddai efe yn cyfeirio beunydd at ei amddifadrwydd o fanteision, ac yn dyweyd, "y gwyddai efe am werth dysgeidiaeth, fel y gwyddai y dyn troednoeth ar rew ac eira am werth pâr o esgidiau." Gresyn na chawsai gyflëusderau rhagorach. Clywsom siarad ar hyn gan rai o olygiadau gwahanol,—gan rai a dybient ei fod yn well fel yr oedd; fel ag y dywedir am ambell i berl ei fod yn well heb ei gaboli, felly ei fod yntau yn well yn ei erwinder cynhenid na phe cawsai ei gaboli mewn ysgolion ac athrofäu. Nis gall hyny fod. Nid oes neb na byddai yn well o gael addysg ond yr hwn nas gall gyraedd perffeithrwydd mwy, a'r diobaith, nas gellir dyrchafu dim arno. Y mae ystyriaeth, gyda rhyw fesur o fanylwch, o'i gymeriad ef, yn rhwym o ddwyn argyhoeddiad fod ganddo ef athrylith a gymerasai gaboliad. Meddylier am y wybodaeth helaeth oedd ganddo, er gwaethaf pob anhawsderau. Meddai wybodaeth gyffredinol dra eang, ac yr ydoedd yn nodedig am graffder ei sylw. Sylwai ar bob peth, a sugnai addysg oddiwrth yr hyn y sylwai arno. Côf genym fod y diweddar Mr. Humphreys, o'r Dyffryn, yn ymofyn â ni unwaith am frawd y dygwyddasid crybwyll ei enw yn ei glywedigaeth. Am nas meddem well atebiad, dywedasom ei fod fel y dywedid am ambell un, yn "man of general *information.*" "Ië, ïe," meddai Mr. H., "nid yw hyny fawr o beth; a ydyw ef yn man of general *observation?*" Yr oedd Dafydd Dafis, o leiaf, yn un o "*general observation.*" Yr oedd efe "â'i lygad yn ei ben." A mwy na hyny, yn ei sylwadau, ei areithiau, a'i bregethau, yr oedd athrylith bur yn gwreichioni i'r golwg yn feunyddiol. Os nad oedd ei athrylith yn un o'r rhai mwyaf, yr oedd yn bell o fod yn gyffredin. Dywedwn eto, gresyn na chawsai fanteision rhagorach. Diammheu, pe cawsai amaethiad boreuol prïodol, y cyrhaeddasai enwogrwydd nid bychan ymysg ei gydgenedl.

Ond i ddychwelyd. Parhäodd i ddilyn "llwybrau gwagedd" hyd tuag un ar hugain oed. Y pryd hwnw, ymwelwyd âg ef gan glefyd trwm, nes ei ddarostwng, yn ei gyfrif ei hun, ac yn nghyfrif ei gymydogion, i byrth y bedd. Yn ei gystudd "daeth ato ei hun," a bu yn gyfyng iawn arno. Ar ei adferiad, rhoddodd ei hun yn ddioed "i'r Arglwydd, ac i'w bobl, yn ol ei ewyllys ef." Ymunodd âg eglwys fechan y Methodistiaid yn Abercowarch. Ac fel ag yr oedd o'r blaen yn hynod

am ei wagedd, daeth o hyny allan yn hynod am ei ddifrifwch, ei zêl, a'i ymroddiad crefyddol. Yr oedd ei gynnydd mewn gras a gweithgarwch yn ngwaith yr Arglwydd yn gyfryw, fel ymhen tua dwy flynedd, pan oedd tua thair ar hugain oed, y dewiswyd ef ganddynt i fod yn flaenor yn eu plith. Gwasanaethodd y swydd hono gyda'r fath ffyddlondeb, nes "ennill iddo ei hun radd dda, a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu." Dywedir, gan mor angerddol ei zêl, mai y "pechod parod i'w amgylchu" wrth olchi traed y saint y pryd hwnw oedd, defnyddio dwfr *berwedig*—bod yn hytrach yn rhy lym. Dysgyblai yn arswydus o ddi-dderbyn-wyneb. "Beti, Beti," meddai mewn un cyfarfod eglwysig, wrth gyfarch cymydoges ieuanc iddo, yr hon y byddai rhyw air annymunol yn cyraedd clustiau yr eglwys yn barhäus am dani, "yr wyt ti, wel' di, fel y falwoden, yn gadael rhyw lysnafedd ar dy ol pa le bynag yr elost ti."

Tua yr amser yma, neu ychydig yn ddiweddarach, ymwelwyd âg ardaloedd Dinas Mawddwy âg adfywiad mawr ar yr achos crefyddol. Fel y gallesid dysgwyl, cyfranogodd ein hen gyfaill yn helaeth o'r ysbryd. Nid oedd neb mwy drylliog ei deimladau, mwy tanbaid ei dymherau, na mwy croch ei orfoledd, yn y frawdoliaeth oll nag efe. Ac fel y mae y gwanwyn yn dadblygu adnoddau cûdd natur, felly y bu adfywiadau crefyddol lawer gwaith yn effeithiol i ddadblygu a chryfhâu cymhwysderau a doniau defnyddiol llawer o grefyddwyr ieuainc. Bu y cyffröad hwnw yn foddion i ddwyn y doniau oedd ynddo yntau yn fwy i'r golwg, ac i addfedu yn fwy yr hyn oedd yn y golwg o'r blaen. Mewn canlyniad, yn argyhoeddedig o'i gymhwysderau, tueddwyd ei frodyr i'w gymhell i ymgymeryd â sefyllfa mwy cyhoeddus—i fod yn bregethwr. Ond nid oedd y cam hwnw yn un ag yr oedd efe wedi meddwl am ei gymeryd. Yr oedd yn llawn awydd gwneyd daioni, ond petrusai yn fawr a oedd efe i feddwl am bregethu neu beidio. Ac yn wir, gyda llaw, yr oedd y petrusder yna, fel gyda llawer eraill o weinidogion diammheuol gymhwys y testament newydd, yn ormes arno trwy ei oes. Pregethai, fel y clywsom adrodd un o ddywediadau Jones, o Edeyrn, nid am ei fod yn sicr o'i anfoniad, ond "*rhag ofn* ei fod wedi ei anfon." Modd bynag, wedi llawer o gymhell o du ei gyfeillion, a llawer, yn ddïau, o ystyriaeth a gweddi o'i du ef ei hun, cydsyniodd i wneyd y cynnygiad. Ond, mor bell ag y mae a fŷno yr amgylchiadau o leiaf â'r tro, cynnygiad rhyfeddol o ffwdanus a fu. Yn nghapel Camlan, gerllaw Mallwyd, y trefnwyd i'r oedfa fod. Nos Sabbath ydoedd. Yr oedd yr oedfa wedi ei chyhoeddi y Sabbath blaenorol. Daeth cynnulleidfa lïosog ynghyd i glywed y pregethwr newydd. Daeth yntau, a dau neu dri o gyfeillion gydag ef, yno yn brydlawn ac ewyllysgar, dybygasid. Ond, dirfawr gyffro! erbyn i'r amser i ddechreu yr oedfa ddyfod, nid oedd Dafydd ar gael. Beth a wneid bellach? Wrth ymholi, cafwyd hysbysrwydd gan ryw un ddarfod iddo ei weled yn cyfeirio yn frysiog iawn tua'r ffriddoedd gerllaw. Mae hyn yn ddigon chwithig hefyd. Ymaith â hwynt i ymofyn am dano; ac yn ffodus daethant o hyd iddo, heb i'r ysbryd a'i meddiannai ei gipio, fel Phylip, i Azotus. Wedi ei gael i'r capel, mawr fu yr ymdrech wedi hyny i'w gael i'r pulpud. Ni fŷnai fyned yno ar gyfrif yn y byd. O'r diwedd llwyddwyd yn hyny hefyd, a phregethodd oddiar Ddammeg y Swper Mawr, ond heb ei nodi allan yn ffurfiol fel ei destun. Gwnaed ef yn bregethwr

felly. Nis gwyddom a fu yno genadau o'r Cyfarfod Misol yn ymddyddan âg ef ar y pryd neu beidio. Nis gwyddom chwaith pa un ai tywyll ai goleu oedd ei oedfa gyntaf, er i ni glywed mai côb lwyd oedd ganddo am dano, a bod twll yn un penelin. Cofier nad oedd eto wedi prïodi. Modd bynag, wedi dodi ei law ar yr aradr, pa faint bynag a betrusodd, daliodd ei afael ynddi nes cael ei gŵys, heb na bwlch nac anwastadrwydd, o'r diwedd yn glir i'r dalar. Ei oedran pan y dechreuodd bregethu oedd tua phump ar hugain, sef yn y flwyddyn 1819.

Pan yn wyth ar hugain oed, prïododd ferch i'r llafurus a'r ffyddlawn Job Miles, yr hwn y cyfeirir mor barchus ato yn Methodistiaeth Cymru, Cyf. ii. tu dal. 386. Am ei wraig, gan ei bod yn "aros hyd yn hyn," mae yn anmhrïodol ymhelaethu, mwy na dyweyd iddi brofi iddo ef yn ymgeledd dyner a chymhwys. Yn y flwyddyn 1845, symudodd o Ty'nyberth i le mwy, sef y Palasau, ger Llanymowddwy. Yn Nghymdeithasfa Machynlleth, Mehefin, 1848, ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth. Ymhen ychydig flynyddoedd wedi hyny, gadawodd y Palasau, ac aeth i fyw at ferch iddo i Nantyronog, yn yr un gymydogaeth; ac oddiyno, drachefn, wedi blwyddyn neu ddwy, i Benygraig, gerllaw Mallwyd, lle yr arosodd hyd ei farwolaeth. Trwy ddiwydrwydd ac ymroddiad i wneyd y goreu o bethau "y bywyd sydd yr awr hon," yn gystal "a'r hwn a fydd," cyrhaeddodd sefyllfa eithaf clyd fel ffermwr cyffredin. Os gwaredwyd ef rhag cyfoeth, gwaredwyd ef rhag tlodi hefyd. Mae yr oll o'i blant ag sydd wedi goroesi eu tad, sef tair merch, yn byw yn eu hardal enedigol. Bu iddo ddwy o ferched eraill, pa rai a fuont feirw yn ieuainc.

Yr ydym bellach wedi gweithio ein ffordd yn frysiog trwy y prif bethau yn amgylchiadau bywyd gwrthddrych ein sylwadau. Cawn bellach gadw ein golwg yn benaf arno ef ei hun, yn ei neillduolion fel dyn ac fel cymeriad cyhoeddus. Carasem wneyd yr hyn a wnaethom hyd yma yn llawer perffeithiach, ond nis gallasem. Y mae ein defnyddiau yn rhy brin. Y mae ei gyfoedion, o leiaf y rhai galluog i roddi i ni unrhyw gynnorthwy sylweddol, oll, fel yntau, yn eu beddau. Ac nid ysgrifenodd efe linell erioed o'i hanes ei hun. Dïau y buasai yn un o'r pethau diflasaf ganddo droi ei law at beth felly. Yn wir, nid ymddengys yr ysgrifenai nemawr ddim, oddieithr y cofnodiadau a wnai yn ei Ddyddiadur o'i ymrwymiadau gweinidogaethol, ac o *gyfnewidiadau y tywydd.* Gwnai y naill a'r llall o'r pethau yna yn fanwl. Ac yn gymysg â'r cofnodiadau hyny, ceir yn awr ac yn y man sylwadau a rhaniadau o bregethau; rhai o honynt o bosibl yn eiddo iddo ef ei hun; ond gàn mwyaf, yn ddïau, wedi eu cymeryd wrth wrando ar eraill. Y mae lleferydd amryw o honynt yn eu cyhuddo fel eiddo rhyw feddwl hôffach o fanylion a *system* na'r eiddo ef: a thua'r "2il" neu y "3ydd" yn aml y dechreuir cofnodi, wedi i'r mater a drinid gan ei frawd, dybygid, ddechre gwresogi ei ysbryd ef, ac ennill ei gydymdeimlad a'i sylw ato. Dyma nifer o'i hen Ddyddiaduron o'n blaen. Y mae yn ddifyr iawn edrych dros ranau o honynt. Dywedir wrthym ynddynt pa bryd y byddai yn rhewi ac yn meirioli, yn gwlawio ac yn sychu. Fel yr ydym yn dyfod i'r tu dalenau am fisoedd yr hâf, cofféir i ni ei bod yn "gawodydd bach mwll," yn "gynhes od," yn "dêg i gario y gwenith," yn "niwl Lloiger," pa fath niwl bynag yw hwnw. Canfyddwn oddiwrth Ddyddiadur arall fod cynauaf y flwyddyn hono yn ddrwg; a hysbysir am ddyddiau olynol ei bod yn "sobor"—"sobor

iawn"—"sobor od"—"sobrach sobrach"—"pydru yn gyflym." Yn nghanol y nodiadau yna, hwyrach y ceir nôd clust defaid rhyw gymydog, neu gynllun o gwpwl neu dŷ, neu o *grane* i fod uwch ben y tân mewn cegin, neu gynghor meddygol i ddyn neu anifail. Ac at y cwbl chwanegir sylw tarawiadol, tebyg i'r un canlynol, ar fater pur wahanol:—"Anghrediniaeth yw y pechod mwya'—mwya' pold" *(bold)*. Cyffelyb i hynyna yw yr oll a adawodd Dafydd Dafis ar ei ol mewn ysgrifen i fod yn ddefnydd cofiant iddo. Nid rhyfedd, ynte, os buom yn brin mewn rhoddi manylion y tri ugain mlynedd, a mwy, y cymerasom gipdrem arnynt. Sut y gwneir priddfeini heb na chlai na gwellt?

Yn awr, i symud ymlaen, pa ddosbarthiad a allwn wneyd ar hynodion gwrthddrych ein sylwadau? Yr oedd yn nghymeriad Dafydd Dafis rai llinellau "fel y rhedai y rhai a'u darllenai;" yr oedd y mwyaf brysiog yn rhwym o'u canfod. Un o'r pethau cyntaf a darawai y sylw ynddo, hwyrach, oedd ei ddirodresrwydd. Nid oedd raid ond gwybod ychydig am dano i ganfod hyn. Yr oedd yn ddirodres yn ei wisg, yn ei eiriau, ac ymhob peth ag yr oedd a wnelai âg ef. Yn nesaf at hyny yr oedd ei dduwioldeb amlwg a diammheuol. Nid oedd ei grefydd ef yn gyfryw ag y gellid ei hammheu. Yn ddioed wedi ei argyhoeddiad daeth y cyfnewidiad mor amlwg ynddo nes bod y rhai anmharotaf o'i hen gymdeithion i wneyd hyny, yn gorfod cydnabod ei dduwioldeb ef. Yn nesaf at hyny, drachefn, y safai ei ddifrifoldeb dwys. Achosid hyny yn benaf, yn ddïau, gan "y gras Duw oedd arno ef," er nad hyny oedd y cyfan. Yn wir, yr oedd amryw ffynnonellau i'w ddifrifwch ef. Yr oedd yr argyhoeddiad dwys a gafodd yn nechreuad ei grefydd, yn rhwym o effeithio i'r cyfeiriad hwnw. Yr oedd ynddo ef hefyd lawer o ŷni yn naturiol. Pa beth bynag a wnai, efe a'i gwnai â'i holl egni. A'i holl egni y llafuriai ei dyddyn pan y byddai gyda hyny. A'i holl egni y dilynai lwybrau gwagedd cyn cael ei ddwyn o honynt. Ac â'i holl egni yr oedd ef yn byw yn dduwiol wedi iddo gael ei ddwyn i newid ei lwybrau. Yr oedd yn annaturiol iddo ef beidio bod â'i holl galon gyda yr hyn y dygid ef ato. Yn chwanegol at hyny, yr oedd annuwioldeb ei gyfoedion a'i gymydogion ar adeg ei gychwyniad ef gyda chrefydd yn rhwym naill ai o ddiffodd ei zêl, neu ei hennyn yn angerddol. Dywedir fod llïaws ardalwyr y Dinas, Llanymawddwy, a Mallwyd, yn enwedig yr ieuenctyd, hanner can' mlynedd yn ol, yn ddïarebol am eu hafreoleidd-dra. Erbyn rhoddi y cwbl o'r amgylchiadau at eu gilydd ynte—gras lawer wedi meddiannu llawer o ŷni naturiol, ei feddiannu felly trwy argyhoeddiad rhyfeddol o ddwys, a hyny yn nghanol gwawd a gwatwar annuwiolion, gallesid dysgwyl iddo fod yn ddyn difrifol. Ac un felly ydoedd. "Efe oedd ganwyll," nid yn unig yn goleuo, ond "yn *llosgi* ac yn goleuo." Yr oedd ei zêl yn erbyn pob pechod, yn enwedig yn erbyn pechodau mwyaf pen-uchel ei oes, yn "dân anniffoddadwy." Cofir llawer o'i sylwadau miniog a didderbyn wyneb yn erbyn balchder, meddwdod, ac aflendid, tra y bydd yr oes bresennol yn fyw. Llawer gwaith y teimlwyd ei eiriau cartrefol a diaddurn yn disgyn fel plwm toddedig ar y cynnulleidfäoedd a'i gwrandawent. "Mae y fam yn dyweyd wrth y plentyn weithiau," meddai, ar un tro yr adroddir am dano, a gwylltineb y gwylltaf yn gorfod delwi ger ei fron, "Pe bawn i yn dy ymyl di, ti gaet fod yn llonydd. Wyddost ti beth, ddyn annuwiol!

y mae Duw ymhob man. A gallai ef pan y mŷno ymaflyd yn eithafoedd y ddaear ac ysgwyd yr annuwiol allan o hôni. Pan yr wyt ti yn sportio gyda'th bechodau, y mae y Duw anfeidrol yn dy ymyl di; a gallai ar yr adeg hono, pe dewisai, roi hoit i ti at gythreuliaid mewn amrantiad!" Cannoedd o weithiau y cyfeiriodd at "wlaw brâs" a "Waterloo fawr" digofaint. Arweiniodd ei ŷni difrifol ef yn achlysurol, fe ddichon, i wneyd sylwadau y buasai yn well iddo ymattal oddiwrthynt, megys y cyfeiriadau a wnaeth lawer gwaith at drefniadau gwallt a gwisgoedd ieuenctyd y cynnulleidfäoedd a wrandawent arno. Ond Dafydd Dafis oedd ef; nid oedd o un dyben digio wrtho. Gwyddai pawb a'i hadwaenent ei fod yn amcanu yn dda. Ni wedir nad oedd ei ddifrifoldeb yn ddifrifoldeb byrbwyll; ond nid hyny yw y bai mwyaf peryglus i swyddog eglwysig. Ceir rhai mor ofalus rhag gwneyd drwg fel nas gwnânt nemawr ddaioni tra byddant byw yn y byd. Nodwedd amlwg iawn ynddo ef hefyd oedd gwresogrwydd ei deimladau a'i serchiadau crefyddol. Adroddir ei fod tua'r amser y dechreuodd bregethu, i'w gael weithiau wedi ei orchfygu mor lwyr gan ei deimladau nes syrthio ar y ddaear fel marw. Parhäodd yn îraidd trwy ei oes, hyd yn nôd ar adegau gauafaidd ar grefydd. Gallu dal pob math o hinsawdd sydd yn profi nerth y corff. Mae llawer un yn hoenus yr hâf, ond yn methu dal niwl ac oerni y gauaf. Ac fe welwyd llawer un, ysywaeth, yn llawn zêl ar ddechre ei grefydd, ac ar adeg diwygiad, ond wedi i'r cyffro fyned heibio, eu "mwynder yn ymado fel cwmwl y bore." Ond daliodd ef ei ffordd. A phan ymwelwyd â ni fel gwlad â'r diwygiad diweddaf, ddeg ac un mlynedd ar ddeg yn ol —blynyddoedd terfyn ei oes ef—cyfranogodd gymaint o'r adfywiad hwnw â neb. Nid anghofia y sawl a gafodd y fraint o'i glywed y pryd hwnw, tra y byddont byw, mor wresog oedd ei ysbryd, ac mor anarferol rymus ei weddïau a'i sylwadau. Ni byddai y dosbarth yma o'n sylwadau yn gyflawn, chwaith, heb nodi ei ysbryd an-sectaraidd. Yr oedd efe

Yn bur i'r bôn i'w blaid;

ond er hyny, teimlai yn hollol rydd, lle bynag y byddai saint, i ymgymysgu â hwynt. Iddo ef nid oedd "nac Iuddew na Groegwr, na chaeth na rhydd," mewn ystyr enwadol, ond golygai "yr eglwys fawr oll yn un yn Nghrist Iesu."

Ond heblaw y pethau yna, yr oedd yn nghymeriad ein diweddar gyfaill rai llinellau nad oeddynt mor hawdd i'w canfod, eithr o gymaint a hyny yn fwy dyddorol i chwilio i mewn iddynt. Un o'r llinellau hyny oedd serchogrwydd ei dymher. Gallesid meddwl oddidraw mai dyn anghyfeillgar ydoedd. Ond nid felly yr oedd. Yn nghanol yr holl lymder, a'r cyfeiriadau a ymylent weithiau ar haerllugrwydd, nid oedd llawer o rai tynerach eu teimladau nag ef ar y ddaear. Dwysder ei argyhoeddiad ef ei hun o ddrygedd y bai a gondemniai oedd yr achos o'r gerwinder. "Y cyfiawn yn curo yn garedig" ydoedd ef; ac os gwnai doriadau weithiau ar y pen, â'i "olew penaf" y gwnai hyny. Yr oedd yn fwy craff a manwl ei sylw hefyd nag y tybid ar yr olwg gyntaf ei fod. Cyfeiriasom at hyn eisoes. Fel y dywedai wrthym pan ar ymweliad âg ef un o'i ddyddiau olaf, "mewn cornel naill du i'r byd" y treuliodd efe ei oes; ond yr oedd ef yn gweled y byd, serch hyny. Yr oedd, yn ei ffordd ei hun, yn "*man of general observation.*" Hwyrach nas goddefir i ni ddyweyd y

profir hyny gan y dyfyniadau a wnaethom o'i nodiadau yn ei Ddyddiadur, er fod y bluen yn dangos càn gystal âg unpeth pa ffordd y mae y gwynt yn chwythu. Profir hyny, modd bynag, gan y wybodaeth gyffredinol helaeth a fedai, yn enwedig ynglŷn â helyntion y byd crefyddol. Llawer gwaith y bu ei gyfeillion, wrth ystyried ei anfanteision, yn sŷnu at helaethrwydd ei wybodaeth. Rhaid ei fod yn meddu ar feddwl cyflym a chraff cyn y gallasai gyraedd y fath ddeall dan y fath amgylchiadau. Ennynid ei frwdfrydedd yn y fan wrth son am symudiadau yr amseroedd. A medrai ddefnyddio yr hyn a welai ac a glywai i bwrpas da, y rhan fynychaf, yn ei gylchoedd cyhoeddus, er, weithiau, y byddai yn ddigon chwithig. Cymerer a ganlyn, yn awr, yn enghraifft o'r olaf. Noson neu ddwy wedi derbyn y newydd am frwydr yr Alma, yr oedd cyfarfod dirwestol yn cael ei gynnal yn y Dinas. Adroddid yn y newyddiadur fod y fyddin Brydeinig wedi gwneyd pont ysgraffau dros ryw afon ar ei ffordd i'r frwydr. Yn ei araeth gwaeddai yntau yn ferw byw, "Ac yntau, Satan, yn cael ei wneyd yn bontbren i ni fyned drostò at y gelyn!" Pontbren, a chymhariaeth digon anhapus yn sicr. Ond eithriad oedd hynyma. Medrai ef yn gyffredin ddefnyddio ffrwyth ei sylw yn llawer amgenach. Heblaw hyny, yr oedd ynddo gyfuniad mwy cyfartal nag a welid ar unwaith o ostyngeiddrwydd didwyll ar un law, ac o annibyniaeth, os nad o falchder, yn ystyr iachus a dirodres y gair, ar y law arall. Yr oedd efe yn ddidwyll ostyngedig. Wrth ddyweyd hyn, nid ydym yn cyfeirio at ei ddull yn gwisgo am dano. Yn unol â'r chwedl Roegaidd, y mae balchder llawer un yn dyfod i'r golwg trwy y tyllau sydd yn ei ddillad. Cyfarfyddir â'r ysbryd hwn yn yr aflêr, yr esgeulus, a'r carpiog, yn hollol mor aml ag yn y trefnus a'r syber. Yn ein byw y gwelwn ni ryw lawer o ddrwg i'n pobl ieuainc brydferthu eu hunain mewn gwisgoedd, o ran y gwisgoedd eu hunain. Y mae y Crëawdwr yn gwisgo ac yn addurno y ddaear yn brydferth iawn bob hâf. Y mae Efe yn peri i'r lili dyfu yn y fath fodd nad oedd hyd yn nôd Solomon, pan wedi ei wisgo yn ei holl ogoniant, yn deilwng o'i gymharu â hi. A phwy sydd yn "rhoddi adenydd hyfryd i'r peunod?" Gwisged ein meibion a'n merched ieuainc ynte flodau ac addurniadau, os dewisant, ac os byddant yn gallu talu am danynt, ac yn enwedig os byddant yn gallu cadw eu meddyliau uwchlaw eu gwisgoedd. Gwyddom ein bod yn hyn yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth syniadau ein hen gyfaill ar ostyngeiddrwydd. Yr oedd gwisg ddysyml yn beth pwysig iawn yn ei gyfrif ef. Ond yr oedd efe yn ostyngedig yn ei ystyr ef a'n hystyr ninnau i'r gair. Yr oedd yn hawdd iawn ei foddio â'r lle a roddid iddo ymhob cysylltiad. Nid oedd raid gofalu pa le a roddid iddo "yn y wêdd." Nid ydym yn credu iddo genfigenu wrth neb erioed am ei fod yn cael mwy o sylw ac anrhydedd nag ef. Gofidid ef yn hytrach am ei fod yn cael cymaint o sylw. Eto, yr oedd yn llawn annibyniaeth yn ystyr iachus a dirodres y gair. Oddiar hyn, dybygem, y codai un peth sydd yn awr yn hytrach yn chwarëus i'w grybwyll, ond y sylwid arno gyda manylwch mawr ganddo ef, sef ei ofal—ei *or*-ofal, na fyddai "yn nyled neb o ddim" arianol. Os dygwyddai iddo gael rhyw ddilledyn newydd heb fod ganddo arian ar y pryd i'w rhoddi yn ei le, ni wisgai mo hóno nes y byddai wedi talu am dano. Dywedir hefyd, trwy ei fod wedi gorfod benthyca rhywfaint o arian i gael y chwanegiad angenrheidiol at y stoc i fyned i'r Palasau, y mŷnai beidio myned i bregethu nes talu yr

arian i fyny. "'Dydi o ddim yn ffit," meddai, "i mi fyn'd o gwmpas i bregethu, a minnau heb dalu am y defaid." Cafwyd prawf neillduol unwaith o hyn yn Nolgellau. Yr oedd ei wisg, fel y gwyddys, yn lled lwydaidd yn aml. Wrth ei weled felly, darfu i nifer o wragedd caredig yn y dref hono benderfynu ei anrhegu â phâr o ddillad, gan eu bod yn naturiol yn casglu ei bod yn gyfyng ar ei amgylchiadau. Ymddyddanodd un o honynt âg ef yn ochelgar, gan awgrymu eu bwriad. Dyma gyfle da am *suit* o frethyn du onidê? a buasai ambell un yn cymeryd tôn fegeraidd yn y fan er mwyn bod yn sicr o honynt. Ond nid un a wnai hyny oedd Dafydd Dafis. Yr oedd efe yn rhy onest, dirodres, ac annibynol i beth felly. "Yr ydych chwi yn meddwl," atebai, "wrth fod fy ngwisg i yn o wael, fy mod i yn lled dlawd, hwyrach. Nid fy nhlodi i yw yr achos fod fy nillad i yn sâl, welwch chwi; rhyw ffordd sydd genyf fi ydyw peth fel hyn, dim arall." Yr oedd yr un ysbryd yn dyfod i'r golwg ynddo yn feunyddiol. Teimlai a gofidiai o herwydd oedfa afrwydd càn gynted a neb. Un nos Sabbath, pan nad oedd yr awel wedi bod yn hollol o'i du, dywedai yn bruddglwyfus, "Yr oedd y bregeth heno fel coes chwip, yn myned yn feinach feinach o hyd wrth fyned ymlaen." Ambell waith hefyd, gwnai i bawb deimlo nas mŷnai ei ddirmygu. Adroddir ei fod unwaith mewn Cyfarfod Misol yn Machynlleth yn pregethu yn yr un oedfa a'r diweddar Barch. Cadwaladr Owen. Yr oedd presennoldeb ei frawd dyeithrach a mwy poblogaidd yn brofedigaeth iddo, gan y gwyddai mai wrth "yr ymadroddwr penaf" yr oedd y gynnulleidfa yn dysgwyl mwyaf. "Nis gwn i," meddai, "pa beth i'w wneyd. Yr oeddwn i yn anfoddlawn i bregethu yrwan. Beth a ŵyr crëadur dwl, mynyddig, fel myfi pa fodd i ymddwyn mewn lle fel hyn, a pha beth i'w ddyweyd wrth y fath gynnulleidfa!" Pan yn dyweyd y gair yna dygwyddodd weled rhywun yn troi i edrych ar y *clock*. "Ië, ïe," meddai, "mi'ch gwelaf chwi yn sylwi ar hwna. Nid oeddwn i yn bwriadu dyweyd na wyddwn i ar wyneb y *clock;* er dŷled ydwyf, gwn innau pa faint yw hi ar y gloch."

Gyda golwg arno yn uniongyrchol fel pregethwr a meddyliwr, nis gallwn wneyd yn well na dyfynu geiriau ei gydlafurwr a'i gyfaill mynwesol am lawer o flynyddoedd, sef y Parch. E. Williams, gweinidog yr Annibynwyr yn Dinas Mawddwy. Yn ei bregeth angladdol iddo, yr hon a ymddangosodd yn y *Drysorfa* am 1862, tu dal. 124, dywed Mr. W. fel y canlyn:—

"Yr hyn a ddywedai, yr oedd yn rhaid iddo ei ddyweyd o gyffröad ei feddwl ar y pryd. Afreidiol dyweyd nad oedd yn ysgrifenu ei bregethau. Nid oedd un drefn resymiadol na phregethwrol yn ei bregethau. Nid oedd wedi ymboeni uwchben rheolau Claude, na Simeon, na Sturtevant, na neb arall. Ei reol oedd rheol yr heliwr—dilyn pa le bynag y byddai *scent* helwriaeth yn ei gymhell. * * * * Yr oedd ei ddoniau fel siaradwr a meddyliwr yn hynod o neillduol ac effeithiol, pan fyddai ei ysbryd wedi gwresogi yn iawn. Am rai dynion gellir dyweyd mai yn oer y siaradant oreu. Pan wedi twymno y maent yn berwi drosodd, ac yn dyfetha buddioldeb yr hyn a fyddant yn ei ddyweyd, ac yn myned yn boenus i'w gwrando. Fel arall yn hollol yr oedd ein brawd Dafydd Dafis. Pan yn oer ei ysbryd, yr oedd yn gloff ac afrwydd, ac fel mewn cyfyng gynghor pa un ai myned ymlaen ai tewi a wnai, a bron yn boenus. Eithr wedi ei wresogi gan deimladau crefyddol, yr ydoedd yn hynod iawn. Ni chlywsom erioed gan neb y fath ffrydlif o hyawdledd byrfyfyr effeithiol ag a glywsom ganddo ef ar rai adegau yn yr adfywiad diweddaf. Yr ydych yn eich meddwl yn galw i gôf, mi wn, rai o'r troion y cyfeiriaf

**atynt. Ymdröai ynghanol y cyflawnder mwyaf amrywiol o sylwadau tarawgar, gwreiddiol, naturiol, ac i bwrpas. Lluchiai berlau têg fel cèryg, ac nid oedd dyhysbyddu yn ymddangos arnynt. Yr oedd y meddwl fel yn gweled ymhob cyfeiriad, a'r tafod fel yn reddfol yn cipio pob meddwl i fyny, ac yn ei roi allan gyda'r hwylusdod a'r cywirdeb mwyaf. Dywedai y peth a fŷnai, ac fel y mŷnai, a phawb yn hoeliedig wrth ei wefusau, yn chwerthin ac yn crïo bob yn ail. Buom yn teimlo pe buasai ambell i H. R. yn cael y drychfeddyliau a gawsom ganddo ar rai o'r adegau hyn, i gael eu caboli a'u gosod fel perlau mewn gwaith aur, neu eu hamgylchu â gwaith arian cerfiedig, y buasai yn peri i'r byd sŷnu at eu tegwch. Ond taflai efe hwynt ymaith oddiwrtho yn afradlawn, fel un yn anymwybodol o'u gwerth, ac yn meddu gorlawnder o honynt. Yr oedd yn ddyn plaen, mynyddig, o athrylith hynod; eithr yr oedd yn rhaid ei glywed, a'i glywed lawer gwaith, a'i glywed yn ei hwyliau, er ffurfio meddylddrych prïodol am dano."**

Dyna ddarlun Mr. Williams o hóno. Diangenrhaid yw chwanegu ato, ond yn unig nodi fod yn perthyn yn ddiammheuol i'w feddwl ef îs-lif *(under-current)* cryf o watwareg, yr hwn a ruthrai ar adegau yn ddisymmwth i'r wyneb, a hyny gyda'r fath rym nes cipio pob peth o'i flaen. Byddai rhai o'i sylwadau, yn enwedig yn ei areithiau dirwestol, yn ddiarbed drahäus. Wedi crybwyll hynyna nid oes modd, dybygem, gwneyd y darlun yn berffeithiach, oddieithr trwy alw sylw at ychydig enghreifftiau. Fel enghraifft o'r rhan gyntaf o'r dyfyniad uchod, gellid crybwyll ei sylwadau wrth gychwyn claddedigaeth hen gymydog crefyddol iddo. Yr ydoedd mewn teimladau drylliog iawn ar y pryd, ac yn son am ei hen frawd, gan ei alw yn "hen ddysgybl." "Peth mawr," meddai, "yw bod yn hen ddysgybl. Gwell gen' i fod yn hen ddysgybl na bod yn hen *ferchant.* Gwell gen' i fod yn hen ddysgybl na bod yn hen frenin. Gwell gen' i fod yn hen ddysgybl *na bod yn hen borthmon!"* Gwareder ni! a ydyw awdurdodau y *climaxes* yn sylwi? Gellid coffa amryw enghreifftiau cyffelyb, o bosibl, ond cofier mai Dafydd Dafis yn ei garpiau oedd yna. Yr oedd i ddawn ein hen gyfaill ei adegau dedwydd. Yr ydym yn llawen iawn fod genym wrth law enghreifftiau o'r hyawdledd y cyfeiriwyd ato, a "luchiai berlau têg fel cèryg." Y mae genym nodiadau—bŷrion ac anmherffaith, mae yn wir, ond gwerthfawr ddiammheuol—o ddwy neu dair o'i bregethau, y rhai a grynhoisom o adroddiadau a llythyrau gwahanol gyfeillion.

Er mwyn cael pob mantais, tybier ein bod yn ei wrando. Bore oerllyd yn mis Rhagfyr, 1859, ydyw, a diwrnod olaf Cyfarfod Misol y Methodistiaid Calfinaidd yn Llanfair Caereinion. Mae Dafydd Dafis i bregethu am 10 o'r gloch. Edrycher arno yn dyfod i fyny y fynedfa o'r heol tua'r capel. Nid oes neb yn cydgerdded âg ef. Mae golwg anghyfeillgar i raddau arno. Nis gall neb gasglu oddiwrth ei ymddangosiad ei fod yn bregethwr. Mae ei gôb uchaf a'i lodrau, dybygem, o frethyn cartref, ac nid yw yr olaf mor laes ag y gallai fod. O dan ei fraich mae umbrela cotton yn dechreu heneiddio. Nid oes ganddo ffunen wèn am ei wddf, ac ni bu ganddo un erioed. Het *beaver* sydd ganddo, a hono yn hytrach y tu ol i'w ben. Daw i mewn. Mae yn esgyn i'r pulpud. Yn fuan mae y gwasanaeth dechreuol drosodd. Cyfyd yntau i fyny. Dyna fe! tybiwn y gwelwn ef y mynyd hwn. Nid oes dim yn oraddawol yn ei wynebpryd. Bychan yw o ran maint, ac anhynod o ran ffurf. Mae y gwallt wedi teneuo yn fawr ar du blaen y pen erbyn hyn, ond y mae hyny sydd yna yn cael ei drethu i'w eithaf i guddio y talcen. Llwydlas tywyll yw lliw y llygad. Edrycha arnoch, nid yn siriol, nac yn sarug, nac yn sobr, ond fel un na waeth

ganddo ddim am danoch. Tafla ei lygaid arnoch yn ddibris a gwasgaredig, ac fel yn aflonydd ei feddwl. Ymeifl yn y Llyfr Hymnau, ond dyry ef o'r neilldu, a rhydd bennill allan oddiar ei gôf. Mae ei lais yn rhyw fath o gryglyd ac ansoniarus, ond nid annymunol. Y testun yw, Esaïah lii. 13,—"Wele, fy ngwas a lwydda; efe a godir, a ddyrchefir, ac a fydd uchel iawn." Wedi ychydig ragymadrodd, addawa sylwi ar dri pheth—I. Y gwas. II. Ei lwyddiant. III. Graddau y llwyddiant hwnw—"bydd uchel iawn." O, oedfa fendigedig! Cofia ugeiniau am dani.

"Y mae rhywbeth yn isel," meddai, "yn y syniad o was. Ac y mae mawredd ac uchder blaenorol yn anghymwyso dyn i fod yn was. 'Lle mae Mr. hwn a hwn yrwan?'—'Mae o'n was yn y fan a'r fan.' '*Dear me*, beth ydyw y mater?'—'Wel, felly y mae hi 'n bod—y byd anwadal yma yn codi i fyny ac yn taflu i lawr.' 'Wel, yn siŵr, mae o'n gyfnewidiad mawr iddo fo; tybed y gwneiff o?'—'O gwneiff, mi '*ranta;* mae o wedi dal y cynauaf yn *right* dda; 'does bosib' na wneiff o bellach tra mae y trymwaith wedi pasio.' Wyddoch chwi beth, bobol! mae yr 'Hwn ag efe yn ogyfuwch â Duw, ac yn ffurf Duw,' wedi ymgymeryd âg 'agwedd gwas'—yr un oedd wedi ei feithrin bob amser ger bron y Tad, wedi dyfod yn was y Tad, i 'waredu llwythau Jacob, ac i fod yn iachawdwriaeth hyd eithaf y ddaear!' Rhyfedd, rhyfedd, y fath gyfnewidiad! Tybed y gwneiff o? Gwneiff, O gwneiff; mae y caledwaith eisus wedi myn'd trwyddo; mae y chwysu a'r gwaedu, y dyoddef a'r marw, wedi pasio—y trymwaith wedi ei orphen. Fe wna bob peth y mae eisieu iddo ei wneyd eto oddiar ei eistedd.

"Mae y gwas yma i lwyddo. Mae wedi llwyddo ymhob peth y bu a fyno â fo hyd yma. A gadael heibio ei waith ynglŷn â'r greädigaeth yma, edrychwch arno pan oedd yma ar y ddaear. Pan aeth i droi y dwfr yn win, llwyddodd; pan aeth i dawelu y storom, llwyddodd; ac edrychwch yn enwedig ar ei lwyddiant fel doctor. Tarawodd wrth ddyn yn ngwlad y Gadareniaid â lleng o gythreuliaid ynddo. Wn i yn y byd faint ydy' hyny, ond mae o yn llawer iawn. Ryfeddwn i ddim os oedd ei berthynasau yn dyweyd wrtho fo, 'Pe caet ti wared rhai o honyn' nhw, ti laciet beth.' Ond daeth y Meddyg mawr heibio, ac fe'u hysgubodd nhw o hono fo bob un mewn mynyd i'r môch ac i'r môr. Tarawodd dro arall, mewn rhyw synagog, wrth ddyn â chanddo law wedi gwywo. 'Estyn allan dy law,' medde'r Iesu; 'a hi a wnaed yn iach fel y llall.' '*Fel y llall*,' chwi sylwch. Gellid meddwl mai rhywbeth dros ben ydyw dyweyd ei bod hi wedi ei gwneyd yn 'iach fel y llall.' Pam na fuase 'n ddigon dyweyd, 'A hi a wnaed yn iach?' Ond erbyn sylwi, dyna sydd yn rhyfeddod, nid iddo ei gwneyd hi yn iach rywsut, ond iddo ei gwneyd hi yn iach *fel y llall.* Pan y mae doctoriaid y byd yma yn myn'd i drîn aelod wedi myn'd yn ddrwg iawn, y pwnc ydy' ei wneyd o yn rhywbeth gwell na bod heb yr un. Ac er iddyn' nhw wneyd eu gorchwyl yn o dda, mae yno lawer o ôl yr hen glwy'. Dyna'r dyn wedi tòri ei goes, a rhywun yn gofyn i'r doctor, 'Ydech chwi'n meddwl na raid ei thòri hi i ffwrdd?' 'O na, mi gwna' i hi yn rhywbeth gwell na choes bren.' Dyna ryw ddoctor arall yn gwel'd yr aelod wedi hanner fendio. 'Pwy fu yn ei thrwsio hi?' medde' fo; 'pe buaswn i yn ei chael hi dan fy ngofal, mi f'aswn i yn ei gwneyd hi dipyn yn well na hyn.' Sut y mae Iesu Grist yn gwneyd? 'Dyna hi

i ti, mae hi'n fraich dda wrth fel yr oedd hi—yn well o leia' na bod heb yr un.' Nagê, nid fel yna—'a hi a wnaed yn iach *fel y llall.*' 'Doedd yno ddim o ôl y gwywdra nac arall yn aros. Mae Iesu Grist yn gwneyd ei waith mor berffaith fel na cheiff dyn ddim ar ei ôl o: 'yn iach fel y llall.' Tarawodd wrth lawer o rai cloffion yma a thraw, a'u coesau fel hen ffustiau diwerth o'u deutu; ond y mae y Meddyg yma yn rhoi coesau iawn iddyn' nhw; a ffwrdd â fo wedi'n heb gym'ryd dim am ei boen.

"Mae y gwas i lwyddo eto yn ei amcanion ysbrydol, ac i fyn'd yn 'uchel iawn.' Mae y Pâb yn byw yn rhywle ar y Cyfandir yna. Daw y gàreg a welodd Daniel wedi ei thòri, 'nid trwy waith dwylaw'—y gwas a'i pia hi—ryw ddiwrnod heibio iddo f'ynte', ac fe'i tarawa fo a'i fagle i fyny. Mae hi yn treiglo 'rwan fel caseg eira tuag ato fo. Ac yn wir, mae yr hen grëadur mewn picil eisus; mae 'i *lease* o bron ar ben, ac ni cheiff o gymaint â llêd ewin byth ati hi. Mae y gwas yma i gario ei amcanion 'hyd derfynau eitha'r ddaear.' Bûm i yn meddwl 'stalwm mai hyd Sir Fôn oedd hyny, tan ddywedodd rhywun wrtha' i fod y 'Merica ymhellach ymlaen ffordd hono. Bellach dyma genadwri i'r bobol sydd dros y môr yna yn cadw sŵn. Mae y gwas i lwyddo. Lle yr ydech chwi, (gan edrych oddeutu y pulpud), y bobol yma sy'n medru ieithoedd? Ysgrifenwch atyn' nhw i ddyweyd mai fel hyn y mai hi i fod. Mi 'nawn i 'tawn i yn medru. Neu os dewiswch chwi 'n well, ysgrifenwch yr ail Salm atyn' nhw: 'Paham y terfysga y cenedloedd, ac y myfyria y bobloedd beth ofer?' 'Waeth iddyn' nhw beidio. Frenhinoedd! byddwch synwyrol; farnwyr y ddaear! edrychwch atoch eich hunain. Mae y gwas i fyn'd yn ei flaen. Ac a wyddoch chwi? os na wrandawan' nhw ar yr ail Salm, daw y nawfed Salm ar ol y cant—Salm y melldithion, ryw ddiwrnod yn chwap ar eu cefne' nhw."

Rhoddwn yn nesaf raniadau un o'i bregethau. Y testun ydoedd, "A wyt ti yn credu yn Mab Duw?"

"I. A wyt ti yn *credu* yn Mab Duw? II. A wyt ti yn credu yn *Mab Duw?* III. A wyt *ti* yn credu yn Mab Duw? IV. A *wyt* ti *yn* credu yn Mab Duw?—Credwch chwi neu beidiwch; byddai dda gen' i i chwi wneyd; ond 'dydi o ddim o gymaint gwahaniaeth i mi, byddaf fi yn myn'd dros y Bwlch yna 'fory adre' oddiwrthoch."

Mewn pregeth arall ar Rhuf. xiii. 14, "Eithr gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist," dywedai, "Nid gwisgo ei gyfiawnder i'ch cysgodi a feddylir yma, ond gwisgo ei gymeriad i harddu eich buchedd. Y mae gen' i air i'w ddyweyd wrth y rhai sydd yn proffesu gwisgo Crist. 1. Cofiwch mai gwisg lân ydyw y wisg yna, a bod Iesu Grist yn dysgwyl i chwithau ei chadw yn lân. Fe ofalodd Iesu Grist am gadw ei wisg yn lân, er bod yn yr un temtasiynau â ninnau—mor lân nes bod ei elynion yn gorfod tystio nad oedd blotyn arni hi. 'Nid wyf fi yn cael dim bai ar y dyn hwn.' Cadwch chwithau hi felly. Cadwch ymhell oddiwrth y manau y mae dynion yn arfer d'wyno eu gwisgoedd ynddyn' nhw. Mae y dyn sydd yn gwisgo am dano yr Arglwydd Iesu Grist i gadw draw o'r dafarn, o dŷ'r butain, ac o bob man o'r fath. 'Ymgedwch oddiwrth bob rhith drygioni.' Pe na byddai ond y rhith ni byddai llawer o berygl. Y mae plant pan yn gwneyd drwg, yn ffoi ac yn llechu wrth weled cysgod dyn yn nesu. Sut felly? Wel, y mae nhw 'n gwybod ar ol gweled y cysgod fod yn rhaid fod yno ryw ddyn yn agos.

Bobol ifeinc! gochelwch bob *rhith* drygioni. Pa le bynag y byddo y rhith o hóno, y mae yn siŵr fod y drygioni ei hunan yn rhywle yn ymyl. Cadwch eich gwisg yn lân.—2. Cofiwch nad yw cymeriad Crist i'w ddarnio mwy na'i gyfiawnder; rhaid cymeryd y wisg yn gyfan. Y mae hi fel pais Crist, yn un pisyn, 'wedi ei gwau o'r cŵr uchaf trwyddi oll.' Mae y dyn a'r dyn yn eitha' geirwir, ond mae o yn ddyn croes ac anhawdd iawn ei drîn. Wel, y mae o heb wisgo am dano yr Arglwydd Iesu Grist ynte. Dyna ddyn arall: y mae rhywbeth hapus iawn yn ei deimlad o, a rhywbeth tebyg i naws ddymunol bob amser ar ei ysbryd; ond y mae o yn llai na dyn wedi'n pan eir i gysylltiad â fo. Y mae hwna eto yn amddifad o hóni hi. Nid rhyw bisyn yma a thraw sydd i'w wisgo o gymeriad yr Arglwydd Iesu, ond y wisg i gyd.—3. Tuag at gael yr Arglwydd Iesu am danoch, cofiwch fod yn rhaid i chwi ei gael o ynoch 'yn obaith y gogoniant.'—4. Y mae y wisg yma y fath fel na cheiff neb byth ei gwell hi, hyd yn nôd yn y nefoedd."

Ac mewn rhagymadrodd i bregeth ar Ioan i. 16, "Ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a gras am ras," cawn sylwadau o'i eiddo a ddengys y medrai ef feirniadu yn lled lwyddiannus, pan y dewisai— "Y mae yr efengylwr yn yr adnodau cyntaf o'r bennod hon," meddai, "yn dangos perthynas Mab Duw â gwaith y grëadigaeth, ac yn enwedig â'r byd hwn. Dywed, yn gyntaf oll, fod y Mab ei hun yn bod erioed. 'Yn y dechreuad yr oedd y Gair.' Wedi hyny dengys mai efe oedd y cyfrwng trwy yr hwn y daeth pob peth arall i fôd. 'Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth, ac hebddo ef ni wnaethpwyd dim ar a wnaethpwyd.' Ynglŷn â dyfod yn gyfrwng crëadigaeth, daeth hefyd yn 'oleuni' i oleuo crëaduriaid rhesymol y grëadigaeth hono. 'Yn y pethau a wnaed' mewn crëadigaeth a rhagluniaeth, ac yn y goleuni sydd yn rheswm a chydwybod pob dyn wrth natur, daeth yn oleuni i bawb. A daeth 'at yr eiddo ei hun,' sef y genedl Iuddewig, mewn amlygiadau eglurach—mewn cysgodau a phrophwydoliaethau, ac o'r diwedd yn bersonol mewn cnawd. 'Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd.' Ac nid hyny yn unig; 'efe a drigodd,' hefyd, 'yn ein plith ni.' Pe nas gwnaethai ddim wedi cymeryd ein natur ond ymbabellu yn yr haul, neu yn un o'r sêr dysglaer yna sydd yn crogi yn y gwagle uwch ben, buasai genym achos i ryfeddu am byth. Ond, ryw fore yn Bethlehem Judah, wele yr haul yn taflu goleuni ar y gŵr a fu yn gyfrwng ei wneuthuriad, yn gorwedd yn faban gwan mewn preseb! Ac ychwaneg eto—dyma beth rhyfeddach fyth,—'o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a gras am ras!' Dyma ydyw yr efengyl. Beth sydd i'w gyhoeddi i'r bachgen caled?—'Ei gyflawnder Ef.' Beth i'r lodes falch, rodresgar?—'Ei gyflawnder Ef?'"

Dichon fod hynyna yn ddigon o'r pregethau. Os gofynir pa fodd a pha bryd y byddai yn gwneyd ei bregethau, y mae yn ddrwg genym ddyweyd nas gwyddom; nid oes neb a ŵyr, ac ni wybu neb ar y ddaear erioed ond ef ei hun. Ei brif lyfrau, yn chwanegol at y Bibl, oeddynt, "Gwaith Gurnal;" "Geiriadur Ysgrythyrol;" "Scott ar y Prophwydi;" "Duwinyddiaeth Watson;" ac "Athroniaeth Trefn Iachawdwriaeth." Darllenai bob un o'r rhai yna drachefn a thrachefn. Dywed ei berthynasau y byddai ambell brydnawn yn fwy trafferthus na chyffredin yn troi dalenau y llyfrau a nodwyd, ac yn dra disylw o bob peth arall, a thybiant mai dyna yr amser y byddai "yn ei *study*."

Yr ydym yn camgymeryd yn fawr os nad yw y darllenydd wedi cael "blasus-fwyd o'r fath a garai" yn yr hyn sydd wedi bod genym hyd yma, ac os nad ei deimlad ydyw, "Melus, moes mwy." Yn ffodus, y mae genym fwy i'w roddi. Y mae un o'r llinellau hynotaf yn nghymeriad ein cyfaill eto heb ei nodi—Dafydd Dafis fel *dirwestwr* ac fel *areithiwr* dirwestol. Yr oedd efe yn ddirwestwr ymarferol, ac yn gwrthwynebu yn weithredol yr arferiad o ddïotta cyn bod son am Gymdeithas Ddirwestol fel y cyfryw. Beiddiodd ef a Siôn James, Tŷgwŷn, tad y Parch. H. James, gweinidog yr Annibynwyr yn Llansantffraid yn Mechain, groesi arferiad "barchus" y wlad trwy wrthod myned i yfed y *shot* ar gladdedigaethau yn nhafarn y Llàn, pan y dysgwylid i bawb fyned, a phan yr elai pawb hefyd ond hwy eu dau. A mawr oedd yr erlid a fu arnynt am eu hystyfnigrwydd, yn tòri ar arferion y plwyf. Pan ddaeth sôn am lwyrymattaliaeth, croesawodd ef y symudiad gyda'r cyntaf, a daeth yn adnabyddus iawn trwy lawer o ardaloedd Cymru a threfi Lloegr trwy ei zêl a'i areithiau o blaid yr achos. Cofir am ei areithiau a'i ddywediadau rhyfedd yn erbyn meddwdod tra y pery yr oes bresennol. Y darluniad goreu allwn roddi o hóno yn y cymeriad hwn eto, yw ei osod ef ger bron i ateb drosto ei hun, mewn pigion o'i areithiau a'i ymadroddion, a gawsom oddiar gôf a llythyrau y rhai a'i clywsant. A ganlyn sydd nifer o'r cyfryw:—

"'Dyw crefydd a Dirwest byth yn cwympo allan. Mae crefydd a meddwdod yn cwympo allan yn fynych. Yr ydym ni wedi gweled llawer o drafferth ar grefydd o'i herwydd hi —yr hen ddïoden. Mae Dirwest wedi gwneyd llawer o lês, trwy wybod i mi, er's deuddeg neu dair-ar-ddeg o flynyddoedd. Mae hi wedi spario i ddynion gerdded y nos lawer iawn. Yr oedden' nhw, yr hen fechgyn, yn cerdded llawer iawn ar hyd y nos; ond y mae nhw yn dŵad adre 'rŵan wrth liw dydd, cyn y nos, a chyn y gwlaw, a chyn y t'rane'. Yr oedd yr hen fechgyn yn ei rhowtian hi yn lled lew. Yr oedd y ffordd yn rhy gul iddyn nhw: yr oedden' nhw yn ei slowtian hi yn iawn o'r naill ochr i'r llall. Ac yr oedden' nhw yn colli y ffordd ac yn myn'd i'r corsydd yn lled amal y pryd hwnw. Nid oedd fawr wahaniaeth p'run fyddai hi ai goleu pelyd' neu beidio, colli'r ffordd y bydden' nhw 'run fath. Mae hi, yr hen larpes, wedi myn'd â llawer un i'r cloddiau a'r corsydd. Bydde rhywbeth fydde nhw 'n alw 'myn'd i rwyd y fall' yn bod 'stalwm, hefyd. Mi glywais fy nhad yn dweyd am hen ŵr yn gorwedd ar ochor ei gefn yn y dafarn, ac yn methu dŵad allan, ac yn gwaeddi, 'Tynwch fi o rwyd y fall!' Yr oedd o'n misio dŵad oddiyno ei hun, er ei fod o am hyny. Felly yr oedd o'n gwaeddi, 'Tynwch fi, rywun o honoch chwi, o rwyd y fall.' A gwaeth na hyny, mae hi yn eu rhwydo i uffern yn y diwedd. Y mae hi yn o lew ar lawer o honyn' nhw yma, ond nid felly yno. Mae nhw yn ei photio ac yn ei smocio hi yma, ond rhaid iddyn' nhw roi cyfrif yno. Cloben o bibell fawr yn y genau, ac yn llawen efo'r cwpan 'rŵan, ond bydd y cyfrif yn sobor yn y pen draw. Mae y bibell yr un fath âg uffern—coes fawr wèn â thân yn y pen arall; ffordd fawr wèn i fyned ynó, a thân yn y diwedd.

"'Chwi yw halen y ddaear.' Dylai pob Cristion fod yn ddirwestwr mewn trefn i fod yn halen y ddaear. Mi leiciwn i bob un ieuanc sydd yma fod yn Gristion ac yn ddirwestwr. 'Rydw i yn methu deall sut y mae nhw yn ei chysoni hi, os yden' nhw'n meddwl eu bod nhw yn halen y ddaear tra yn arfer llyncu yr hen ddïoden; a'dydw i ddim yn meddwl y gallwn i ddeall pe bawn i yn myn'd chwarter blwyddyn i'r ysgol. O, y mae hi wedi rhoi llawer ergyd i grefydd cyn hyn! Mi glywais fwy nag un o hen wragedd y tai capelydd yn diolch am Ddirwest. Yr oedd llawer o wahaniaeth yn y Cyfarfodydd Misol y pryd hyny ragor yrwan, er nad oedden' nhw'n myn'd yn afreolaidd y dyddiau hyny. Ac y mae llawer o wahaniaeth yn nheuluoedd y wlad. Tòri calonau y gwragedd; y plant yn rhynu o eisieu bwyd; gwerthu y cwbl oedd ar eu helw er mwyn cael rhywbeth i'w lyncu; gwerthu eu crysau oddiam eu cefnau, os bydden' nhw'n werth rhywbeth hefyd; y gwŷr a'r tadau â'r ddau benelin allan o'u côtiau, a'r ddau ben glîn yn dyllau,—dyna fel y bydde hi mewn amal i deulu. Yr ydw' i yn methu deall sut yr oedden' nhw yn wastad â'u penglinïau yn dyllau, a'u penelinïau allan, os nad oedden' nhw yn cerdded llawer ar y cymalau hyny.

"'Does gen' i ddim yn rhagor i'w ddyweyd, am wn i. Yr oeddwn i 'stalwm yn dwyn llawer o resymau dros beidio yfed y dïodydd meddwol, ac weithiau yn ei hitio hi, dro arall yn misio, ond rhwng hitio a misio yn gwneyd llawer o lês. Gwna dynion drwy zêl, weithiau, fwy o dda na thrwy wybodaeth. Fel Luther, 'stalwm, gwnaeth o lawer o bethau trwy zêl na wnaethai fo byth mo honyn' nhw trwy wybodaeth."

A dyma eto dameidiau o areithiau eraill o'i eiddo. Y mae rhagor ar gael, ond tybiwn fod hyn yn ddigon:—

"Y ddïod feddwol—yr hen hudoles felen! Mi eith ei da hi i gyd i blisgyn ŵy, ond 'deith ei drwg hi ddim i Gwm Cowarch."

"Mae ein gobaith ni am lwyddiant gyda'r achos yma yn y plant a fegir. Gwnewch eich goreu, da bobol, i fagu y plant yn ddirwestwyr. Chwi glywsoch ambell hen ymladdwr, pan yn cael ei flino gan un ieuangach na fo'i hun, yn dyweyd, ''Dallai wneyd fawr o honot ti heddyw. Yr ydw' i wedi colli fy llaw. Ond y mae gen i fachgen yn cael ei fagu na bydd yn fawr o beth ganddo roi tro yn dy gêg di. Mi ddyweda i iddo dy gastiau di.' Dyna fel y mae hi arnom ninnau gyda'r achos dirwestol yma; y mae llawer o honom ni wedi colli ein dwylaw er bore'n hoes, ac y mae yr hen *witch* feddwol yma yn drêch na ni bob cynnyg. A oes genym ni fechgyn a ddaw ar ei thraws hi pan y cânt gyfle? Dywedwch wrth y plant am hen *driciau* y ddïod feddwol, da chwi, fel y byddo' nhw yn siŵr o godi eu llaw yn ei herbyn hi, a rhoi tro yn ei chêg hi pan y deuan' nhw i faint."

"Chware têg i'r grwgnachwyr. Yr ydym ni yn barod i ryfeddu yn aml at yr ysbryd grwgnachlyd a ddangosid gan yr Israeliaid yn yr anialwch tra yr oedd cymaint o ddaioni a gofal yn cael ei ddangos tuag atynt. Dylem ryfeddu llawer mwy at yr ysbryd sydd yn cael ei ddangos gan feddwon ein gwlad ni, y rhai sydd yn tòri tros ben pob trefniadau rhagluniaethol i borthi eu chwant. Chware têg i'r Israeliaid, meddaf. Pan yn eu syched mawr, holi a chwyno am ddŵr yr oedden' nhw, ac nid llygadrythu i chwilio am *sign* tŷ tafarn."

"Mae dyddiau gwell ar wawrio. Mae y byd yma i gael ei newid o ben-bwy-gilydd. Daw adeg y bydd "sancteiddrwydd i'r Arglwydd" yn ysgrifenedig ar ffrwynau y meirch. Ond fydd hyny ddim, cofiwch, tra y bydd meddwon ar eu cefne' nhw."

"Yr oedd Robin —— yn dychwelyd adref un noson ffair yn feddw fawr heibio i bwll ——, ac fel y gallesid dysgwyl, cwympodd i'w ganol. Yr oedd yno lawer iawn o benbyliaid bach tua dechre a chanol hâf bob blwyddyn yn y pwll lleidiog hwnw. Mawr, yn ddiammheu, oedd eu cyffro wrth weled Robin wedi dyfod i'w plith. 'Ryfeddwn i ddim nad oedd yno lawer penbwl bach bron dyrysu, ac yn dyweyd, yn eu ffordd nhw, 'O, syndod, dyma benbwl mawr! Ai tybed y dôf fi rywbryd yn gymaint penbwl â hwn?'"

"Y mae' nhw' yn dannod mai yr un pethau ydym ni yn ei ddyweyd o hyd wrth areithio ar ddirwest. Wel, pa ryfedd? yr un pethau y mae hithau, yr hen feiden felen, yn wneyd o hyd. Pan y newidia hi ei *gwneyd*, newidiwn ninnau ein *dyweyd*."

"Yr oedd —— —— ryw noswaith yn dŵad adref o'r dref yn feddw. Aeth ei geffyl adref fel y dylasai, oblegid yr oedd y ceffyl yn sobor. Rywbryd ganol nos aeth rhai o'r gweision i chwilio am dano yntau, y meistr; ac fe'i cafwyd, wedi gosod y cyfrwy ar dop clawdd cèryg ar ymyl y ffordd fawr, ac wedi gosod ei hun yn ei ledorwedd ar hyny, ac yn chwipio a symbylu y clawdd ei oreu. 'Cerdd yn dy flaen di,' meddai, 'yr hen lebwst annyben; beth sydd ar yr hen geffyl yma? 'Dydi o'n symud yr un cam. Cerdd yn dy flaen di; buasai yn ffitiach dy fod di gartref er's oriau!'"

"Wn i ddim beth i'w ddyweyd wrthoch chwi. Fedra'i ddim areithio. Ond 'does dim eisieu dyweyd dim, 'ran hyny, mae 'mrawd yma (y Parch. E. Williams, Dinas) wedi dyweyd digon. Yr ydym ni fel rhyw ddau saer welais i y dydd o'r blaen yn gwneyd drŵs; un yn curo yr hoelion, a'r llall yn eu *clenchio* nhw. Mae arna' innau eisieu *clenchio* yr hoelion ar ol fy mrawd. Mae arna'i eisieu iddyn' nhw lŷnu wrthoch chwi; oes, mae arna' i eisieu iddyn' nhw lŷnu wrthoch chwi"—ac yna bloeddiai—"*fel blew cath wrth losg!*"

Yn araf, ddarllenydd tirion! Ai "chwaeth" oeddit ti yn myned i ddyweyd? Digon prïodol, yn ddïau, ond cymer bwyll:

Pawb a genfydd o bydd bai,
A bawddyn lle ni byddai.

Pa ddyben tynu darlun Alexander heb ei graith? Pwy a'i hadnabyddai felly? Tynu darlun Dafydd Dafis, yn onest hefyd, hyd eithaf ein medr, yw ein hamcan ninnau. Dïau y gallem adael y geiriau a'r brawddegau geirwon, cartrefol, allan. Ond beth wedi hyny? Byddai yn ddarlun o ryw *Mr. Davies* gorphenedig felly, hwyrach, ond nid o Ddafydd Dafis o Gowarch. Na, gadawer i ni ei gael fel yr oedd, yn blentyn diymhòngar natur.

One touch of nature makes the whole world kin.

Nid ydym yn dyweyd fod eisieu Dafydd Dafis arall. Dïau fod un yn ddigon. Nid rhaid i natur ddynwared ei hun. Ond yr ydym yn ddiolchgar o galon i'r Crëawdwr am yr un a gafwyd. Pwy nad yw yn mwynhâu y gwastadedd ëang, prydferth, diwylliedig, a meillionog? Pwy hefyd nad yw yn mwynhâu aruthredd danneddog a hyllig y graig, a'r rhaiadr gwyllt yn trochioni wrth ymarllwys yn ddidrefn drosti? I ni, felly yr oedd gwrando ar ddawn dirodres ein hen gyfaill, pan oedd yn fyw; ac felly y mae cymdeithasu â'r adgofion am dano eto wedi iddo farw. "Nid da *rhy* o ddim," yn sicr. Ond o'r ddau gwell i'r byd y rhy erwin, na'r rhy esmwyth; y rhy onest na'r rhy lednais i ddyweyd y gwir. Gwell cael rhywbeth na'r *apology* o ddyn fyddo wedi ei goegddiwyllio i waeth peth na marwolaeth.

Oh! for an hour of Luther now!
O! for a frown of Calvin's brow!

Diammheu, fel y maentumiwyd eisoes, y buasai ei ddefnyddioldeb yn fwy pe cawsai fwy o fanteision boreuol: eto, fel yr oedd, bendith neillduol i'r byd fu ei gael. "Yr wyf fi yn ei hoffi," meddai un o fawrion yr oes ddiweddaf am Rowland Hill, "am ei fod yn galw pethau wrth eu henwau eu hunain; geilw raw yn rhaw, a diafol yn ddiafol." Felly y teimlem ninnau, a llawer eraill, at wrthddrych ein sylwadau. Ond rhag i ni fyned yn "rhy" faith, addäwn bellach ddwyn ein nodiadau am yr anwyl Dafydd Dafis i ben gydag un bennod yn rhagor o'i ddywediadau. Llefarwyd y rhan fwyaf o'r rhai hyn yn nghyfarfodydd eglwysig a chyfarfodydd gweddïau cyffröus adeg y diwygiad yn 1859 a 1860. Ac felly, "dyma eiriau diweddaf Dafydd."

"Yr yden' ni yn gweled boneddigion o Loegr, a manau eraill, yn dŵad atom ni i Gymru, weithiau, ac yn *delightio* mewn hen gorsydd ac anialwch nes penderfynu eu sychu, a gwneyd tir da o honyn' nhw. Bydd pobol wrth fyn'd heibio yn aml yn dyweyd, 'Neiff o ddim o hwna; mae y tir yn rhy sâl.' 'O, mi *'ranta* i y gŵr,' meddai rhywun arall, 'mae o yn ddigon cry', ac yn bur siŵr o'i bwynt.' Felly y mae Duw wedi *delightio* yn ein byd ninnau, ac y mae o am ei ennill o i'w Fab. 'Neiff o ddim o hóno fo byth; mae yr hen gors yn rhy fawr ac yn rhy wlyb.' Na, mi *'ranta* i y Gŵr. Mae ganddo fo ddigon o fodd, ac mor siŵr o'i bwynt, fel y 'gwna yr hyn a fyno oll.' 'Ni phalla efe, ac ni ddigalona.'"

"Mŷn grefydd dda yn y dechre, 'machgen i. Os na fyni di un iawn yn y dechre, fydd dim llun arnat ti byth fel crefyddwr, oddieithr i rywbeth pur ryfedd dy gyfarfod di. Pan y byddwn ni yn nodi ac yn *pitchio*'r defaid, os na wnawn ni lythyren dda y cynnyg cyntaf, er rhoi cynnyg arni wedi'n i'w gwneyd hi yn well, fydd hi ddim ond rhyw figlach faglach yn y diwedd. Felly, hefyd, os na chychwyni dithau yn iawn efo chrefydd yn y dechre, fydd dy grefydd di ddim ond rhyw figlach faglach—fydd dim trefn arni hi byth."

"Mae ein Duw ni yn gwneyd pethau rhyfedd iawn. Dyma un nad oeddym ni braidd yn dysgwyl byth ei gweled hi yn y fan hyn—wedi myned yn hen bric sychlyd, crin. Ond fe fedr ein Duw ni ei gwneyd hi yn 'dirf ac iraidd' eto, a gwneyd *flute* o hóni i *flutio* ei ogoniant am dragywyddoldeb."

"Yr ydw' i gyda'r Bibl yma fel y bobol sy'n magu plant—yr i'angaf o hyd yw y olyfra' o honyn' nhw i gyd. Yr ydw' i yn darllen llyfr y Diarhebion yrŵan, ac yn barod i ddyweyd mai llyfr y Diarhebion yw y olyfra' o honyn' nhw i gyd."

"Dyma'r cyfarfod gweddi yrŵan ar ben. Mae hi yn ffair gan blant y byd yma allan ar y' strŷd yna. Ewch adref yn syth heb gymysgu dim â nhw. Mae yna afon yn y 'Merica yna—'dydw' i ddim yn cofio 'i henw hi—sydd mor gre' nes y mae hi yn myn'd allan yn gorn i'r môr, heb gymysgu dim â fo, am filldiroedd. Ewch chwithau adref yn gorn trwy y ffair, heb gymysgu dim â'r bobol sydd ynddi."

"Welais i neb erioed na fyddai yn well pregethwr na fi ond yr hen Wynne Owen, hen berson Llanymowddwy. Mi fedra' i bregethu yn well na hwnw."

"Meddwl yr ydych chwi fy mod i yn dyweyd yn rhy hyll am bechod? Pe yr argyhoeddid chwi fel yr argyhoeddwyd fi, mi *fetia'* â chwi swllt y dywedech chwithau yr un peth."

"Dyma i chwi, 'mhlant i, bren brâf—pren y bywyd, bob mis yn rhoddi ei ffrwyth. Y mae ar y pren yma afalau gauaf yn gystal âg afalau hâf. Hyd yn nôd yn ngauaf bywyd, pan y bydd pob dyddanwch arall wedi diffrwytho, mae lympiau o afalau brâf i'w cael arno fo y pryd hwnw."

"Pa fodd y mae hwn a hwn yn d'od ymlaen? Wel, rhyw droion bychain gwael sydd ynddo. Mae o y dyn gore erioed ymhob man nes y daw o i gysylltiad â rhyw ddimeiau. Fe ddywed anwiredd er mwyn peidio talu ceiniog goch. Fe wna ymdrech a'ch rhyfeddai chwi er mwyn ysgôi talu'r tyrpeg. A dyweyd y gwir, â rhywbeth fel deunaw ceiniog yn y flwyddyn y gallai fod y dyn goren ei gymeriad yn yr holl wlad."

"Yr ydych chwi wedi sylwi fod *spring* y ffynnon yn beth nas gellir ei rwystro i darddu allan. Bûm i yn ceisio gwneyd hyny pan yn blentyn. Bûm yn rhoi càreg ar lygad y tarddiad, ond yr oedd y ffrwd yn mŷnu codi heibio ei hymyl hi. Byddwn yn rhoi fy nhroed arni drachefn; ond dŵad i fyny yr oedd y dŵr wedi'n yn y fan. *Rhaid* i'r ffynnon gael tarddu allan. Yr oeddwn i yn adwaen hen wraig 'stalwm ag oedd yn arfer trin a thafodi ei chymydogion yn ddiymarbed. Ymffrostiai beunydd yr un pryd ei bod hi mor grefyddol â neb o broffeswyr, ond nad oedd hi ddim yn dewis 'cymeryd arni' hyny. 'Doedd hi'n deall dim byd am dani, druan. Pe buasai ysbryd crefydd unwaith yn cymeryd meddiant o hóni, hi ddaethai i 'gymeryd arni' hyny wedi'n, waetha'n ei gên."

"Mae ambell un yn siarad yn erbyn etholedigaeth o elyniaeth tuag ati. Ac y mae rhai yn gosod arni hi yn hŷf iawn, gan feddwl ei symud hi i ffwrdd ar unwaith. Ond waeth iddyn' nhw fod yn llonydd, druain; mae nhw wedi cysgu yn rhy hir. Mae y *vestry* wedi pasio cyn eu geni nhw."

"Dacw ddyn yn cwympo oddiar ei geffyl, ac yn cael archoll ar ei law. Dacw rywun o garedigrwydd yn rhwymo yr archoll â chadach o sidan glâs. Ar hyny mae y dyn yn codi ei law i fyny, ac yn balchïo yn mhrydferthwch y cadach, ac yn gwaeddi, 'Welwch chwi, mor hardd ydyw fy llaw i!' Yr un mor ynfyd ydych chwithau, fechgyn a merched beilchion—ymfalchïo yr ydych yn yr hyn a gawsoch i rwymo archollion eich codwm mawr. Byddai yn ffitiach i chwi gywilyddio o'r dillad yna na balchïo ynddynt."

"Mae o bwys i ti, 'machgen i, wylio yn neillduol ar y manau hyny lle buost ti yn arfer tòri dros y terfynau. Byddaf fi yn sylwi eu bod oddeutu glànau y Dyfi yna yn gwneyd argauon yn ddwbwl ac yn drebel i amddiffyn y dôlydd yn y manau lle bydd yr afon unwaith wedi gwneyd cryn dòriadau, am y bydd hi yn debycach o dòri yno drachefn. Gosod dithau wyliadwriaeth ddwbwl ar dy hen arferion, oblegid ti fyddi yn sior o gael y rhai hyny yn 'bechodau parod i'th amgylchu.' Mae yr afon wedi tòri yno o'r blaen."

"Mewn tai clai, fel tai Towyn, yr oedd yr Israeliaid yn byw yn ngwlad Gosen (hen dai Towyn a feddyliai, wrth gwrs, nid y tai rhagorol presennol): drws a thwil i godi'r glicied, fel drws beudŷ. Fuasai raid i'r angel ddim ond *twtchio* blaen ei aden ynddyn' nhw, na buasai nhw yn malurio i lawr fel tomen o ludw. Ond yr oedd 'y gwaed ar gapan y drws, ac ar y ddau ystlysbôst,' yn eu gwneyd nhw yn fwy cedyrn na chestyll. 'Pan welwyf y gwaed, yna yr âf heibio.'"

"Wel, J—— fach, ac yr ydych dan *warning* [afiechyd] eto? Llawer *warning* a gawsoch chwi erioed. Ond y mae genym ni Feistr tir tyner iawn. Mae o yn ein dyodde' ni'n rhyfeddol, er saled tenantiaid ydym ni."

"Buasai'n well gen' i i ryw frawd dyeithrach a galluocach na fi bregethu i chwi heno. Ond na feindiwch, mwy nag Israel yn nghanol y seirph tanllyd, sut un fydd y drostan; y Gwrthddrych ddelir o'ch blaen chwi ganddi, hwnw sy'n *mendio* pechaduriaid."

"'Bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw.' Dyna i chwi guddio bráf—cuddio, a dyweyd yn mh'le. Mae plant yn cuddio pethau rhag eu gilydd, ac yn dyweyd, 'O, 'rydw' i wedi ei guddio fo, a ddyweda' i ddim yn mh'le.' Ond y mae Duw yn cuddio ac yn dyweyd yn mh'le; a phwy *odds!* Hèr i'r diafol ddwad o hŷd i'r fan!"

"Eich gweled chwi yn gwneyd llawn digon o *fuss* yr ydw' i ymhlith yr hanner Saeson yma. Iē, 'merched i, gwirionedd tragywyddol ydy' hwnw, 'pan ddêl balchder, daw gwarth;' mi ellwch chwi chwerthin yna, efo'ch umbrelos bach" *(parasols).*

"Ffydd iawn oedd ffydd Noah. 'Wyt ti'n siŵr, Noah, y deil yr arch yna o dan y storom hono yr wyt ti o hyd er's dros gan' mlynedd bellach, yn cadw dwndwr am dani hi?' 'O,' medd Noah, 'nid fy *mus'ness* i ydy' gofalu am hyny. Mae hi wedi ei gwneyd yn union fel y darfu iddo fo ddyweyd, a rhyngddo fo â'r sut y bydd hi bellach. 'Rydw' i wedi ei *drustio* fo.'"

"'Dydy' siop iachawdwriaeth ddim yr un fath â siopau ein hardaloedd a'n trefydd ni. 'Yn mh'le y cawsoch chwi y peth yna?' 'Yn siop y drws nesaf yma.' 'Yn mh'le y cawsoch chwi y peth arall?' 'Yn siop pen draw y pentref; 'doedd dim o hóno fo yn y siop yma.' 'Yn mh'le y cawsoch chwi hwna sy'n y fasged?' 'O, bu raid i mi fyn'd yr holl ffordd i'r dref i 'mofyn hwn. 'Doedd dim o hóno fo yn nês; na dim yn y dref ond mewn un siop.' Nid fel yna mae hi yma. Yn mh'le y mae yr aileni i'w gael? Yn yr un siop â'r cyfiawnhâu. Yn mh'le y mae'y sancteiddio? Yn yr un siop â'r aileni. Yn mh'le y mae y cynnal, a'r cadw, a'r maddeu, a'r dyddanu, er gwaetha' holl gastiau yr un drwg, nes gorphen mewn gogoniant? Wel, yn yr un siop â'r lleill, yn brafia' 'rioed, i gyd efo'u gilydd. 'Oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o *bob* cyflawnder ynddo ef.'"

Ond er ei holl zêl, dyddiau Dafydd Dafis "a nesasant i farw." Wrth ddychwelyd adref o'i gyhoeddiad o Lanbrynmair, bore Llun, y 12fed o fis Ionawr, 1861, a phan bron a chyraedd drws ei dŷ, cafodd ymosodiad o'r parlys mud. Adferwyd ef yn lled dda i'w ymwybyddiaeth ymhen ychydig ddyddiau. Gwelsom ef yn nglàn y dŵr. Yr oedd wedi bod mewn digalondid ac ammheuon, ond yr oedd y diwrnod hwnw "mewn tangnefedd heddychol," er nad yn orfoleddus. Dywedai ddiwrnod arall wrth chwaer grefyddol a aethai i ymweled âg ef, fod arno fwy o awydd dyweyd am Iesu Grist y pryd hwnw nag erioed; ei fod yn gweled y Bibl yn rhyfeddach nag y gwelodd ef erioed o'r blaen—ei fod fel rhyw fŵnglawdd, yn dyfod â'i oludoedd yn lympiau i'r golwg o hyd. "Yr ydw' i wedi bod yn meddwl," meddai, "lawer y dyddiau diweddaf yma am y gair hwnw, 'Rhaid gweddïo yn wastad ac heb ddiffygio.' Yr ydw' i yn gwneyd pregeth newydd ar y geiriau yna—yr oreu wnês i erioed, 'tae oreu arnyn' nhw; ac os ca'i fendio, mi bregethaf hi o hyd. Geiriau Iesu Grist ydyn' nhw. '*Rhaid* gweddïo,' medd Iesu Grist." Tynhäodd ei nychdod ei afaelion arno hyd ddydd Iau, Ebrill y 18fed, pryd "yr hunodd yn yr Iesu," yn y 67ain flwyddyn o'i oedran, a'r 42ain o'i weinidogaeth. Claddwyd ef y dydd Llun canlynol yn Mynwent Rydd Dinas Mawddwy.

Ei enw 'n perarogli sydd,
A'i hûn, mor dawel yw!

Yn awr yr ydym yn dodi ein hysgrifbin o'r neilldu, gyda chofnodi yr englynion sydd yn argraffedig ar gàreg ei fedd, o awduriaeth ei hen gyfaill, Mr. Morris Davies, Upper Bangor.*

Un o ddoniol blaenwydd anian,—oedd e
Yn ei ddull ei hunan;
O'i rydd wyllys trôdd allan
Yn was glew i'r Iesu glân.

Tywyswyd ef at Iesu,—yn foreu,
I'w fawr anrhydeddu;
Ar y gwaith o'i bregethu,
Hyd ei fedd diwyd a fu.

Yn ei fedd gorwedd heb gur,—yn dawel,
'N ol diwedd ei lafur;
Daw eilwaith, heb un dolur,
O'i dŷ llaith yn berffaith bur.

* Dymuna awdwr yr ysgrif uchod gydnabod yn ddiolchgar garedigrwydd amryw gyfeillion, yn enwedig y Parch. E. Williams, gweinidog yr Annibynwyr, Dinas, a Mr. Evan Davies, pregethwr ieuanc gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, yn Aberangell, am y cynnorthwy a roddasant iddo i gasglu yr adgofion o'r pregethau, &c., a ddodwyd i mewn yn nghorff yr ysgrif.

---

## CYFLOGI GWAS.

A WNEI di beidio diogi, ond bod yn ddyn dygyn?
A wnei di beidio ymyraeth y nos efo morwyn?
A wnei di beidio rhegu, a wnei di beidio rhwygo—
Rywbeth yn dy feddwl, beth bynag a fyddo?
A wnei di beidio caru ac yfed y cwrw,
Nes iti ymfaeddu a myned yn feddw?
Ac a gynnulli di ormod o ganwyllau,
Yn hŵy nas pery gwaith nos a borau?
Wnei di beidio cario ysfa i fyn'd i bedair croesffordd,
At rai heb wylder gyda'u twrw a'u baldordd?
A wnei rŵan dyngu na wnei di ddim d'engyd?
Ac wrthyf fi dywed a wyt ti 'n ddyn diwyd?

# Y GWYNTOEDD.

"Y MAB y gwynt yn chwythu lle y myno." Ond y mae iddo yntau ei ddeddf, megys i'r gŵr sydd yn meddu "ewyllys rydd;" canys "yr hwn a rodia ar adenydd y gwynt," ydyw yr Hwn sydd yn ei ddwyn allan o'i drysorau, ac yn ei gasglu yn ei ddyrnau; "y mae yn attal ei wynt garw ar ddydd dwyreinwynt." Ië, mor ddarostyngedig ydyw yr awelon i awdurdod Brenin y brenhinoedd, fel y darllenwn, "Ac efe a gododd i fyny, ac a geryddodd y gwynt, ac a ddywedodd wrth y môr, Gostega, dystawa. A'r gwynt a ostegodd; a bu tawelwch mawr." Yr oedd hon yn olygfa ddyeithr i'r dysgyblion ofnog. Yr oeddent o'r blaen wedi gweled clefydau yn ymostwng i allu y meddygon, er nad gyda'r un cyflymdra a rhwyddineb ag yr oeddynt yn gollwng eu gafael ar y cleifion o dan law y Penmeddyg; ond dyma beth hollol newydd, gweled y gwynt—y peth mwyaf dilywodraeth yn y grëadigaeth, a'r môr aflonydd, yn ufuddhâu yn ebrwydd i lais Mab y dyn. "Pwy yw hwn," meddent, "gan fod y gwynt a'r môr yn ufuddhâu iddo?" Amlwg yw mai Efe ydyw, yn yr hwn, a thrwy yr hwn, ac er yr hwn, y crëwyd pob peth, ac yn yr hwn y mae pob peth yn cydsefyll. Nid oes yr un crëadur, pa mor ddirgel bynag ei ffordd i ni, bydded mor wibiog ac aflywodraethus a didrefn ag y myno, a pha un bynag ai yn y nefoedd uchod neu ar y ddaear, neu yn y dyfnder isod, nad oes iddo ei ddeddf, ac nad ydyw yn gyfangwbl o dan lywodraeth ac awdurdod yr Hwn sydd uwchlaw pob peth.

Yr achosion naturiol sydd yn dylanwadu ar, ac i fesur yn rheoli cyfeiriad, naws, a nerth y gwynt, ydynt y rhai canlynol:—cylchdröad y ddaear ar ei phegynau ac o amgylch yr haul, y cyflymdra gwahanol gyda pha un y mae y belen yn troi, rhaniadaeth y ddaear i dir a môr, ffurfiad anwastad ar wyneb y tir, ac amrywiaeth yr hinsawdd. Pe buasai y ddaear yn wastad ac nid yn gron, yn sefydlog ac nid yn symudol, ac ar yr un pryd fod yr awelon yn chwareu ar ei hwyneb fel y maent yn bresennol, a bod iddi ei chylchoedd rhewllyd a thymherus, a phoeth yr un modd, buasai gwynt deheuol parhäus i'r gogledd o'r cyhydedd, ac awel ogleddol tu dehau i'r cyhydedd yn haen uchaf yr awyrgylch, ac i'r gwrthwyneb buasai y gwynt yn chwythu tua'r dê yn yr hannergylch gogleddol a thua'r gogledd yn yr un deheuol—y naill fel y llall yn gweithio ei ffordd at y cyhydedd—ar wyneb y tir. Y mae gwrês mawr y poethgylch yn teneuo yr awyr, yr hwn mewn canlyniad fydd yn ymgodi yn golofn i'r entrych, ac hefyd yn cael ei yru i fyny gan yr awelon oerach, y rhai a lanwant y lle gwâg a grëir trwy deneuad yr awyr yn y poethgylch. Fel yn y môr pan y gwneir lle gwâg gan long yn aredig gwyneb y dyfnder, mae y dyfroedd cyfagos ar unwaith yn llanw y rhych; felly pan y mae gwrês yn teneuo yr awyr, ac am hyny yn gwaghâu yr awyrgylch, mae yr awelon o leoedd cyfagos mwy oer yn ymwthio i'r gwagle, hwythau eilwaith trwy rym gwrês i'w troi yn golofn o awyr deneu i esgyn i fyny o flaen y rhai a'u dilynant, a hyny yn ddiddiwedd. Wedi yr esgyno y golofn yma o awyr i barthau uchaf yr awyrgylch, y

mae ar unwaith yn troi yn ol tua'r pegwn gogleddol y naill du i'r cyhydedd, a thua'r dehau y tu arall i'r cyhydedd. Fel yma y gwelwn fod i'r awyrgylch fel i'r ddaear ei gwahanol haenau, o leiaf ddwy brif haen, y naill yn gorwedd ar wyneb y tir, a'r llall i fyny yn uchel; ac i egluro hyn nid oes eisieu ond adgofio i'r darllenydd, os ydyw wedi sylwi dim, ei fod wedi teimlo y gwynt yn myned heibio mewn un cyfeiriad, ac ar yr un pryd yn gweled y cymylau yn ymlwybro mewn cyfeiriad arall. Nid ydyw y cerbydau ardderchog a phrydferth hyn a welir yn entrych y nen, sef y cymylau, yn teithio yn eu nerth eu hunain, ond gyrir hwynt o'r naill ardal i'r llall gan y gwyntoedd; adenydd y gwynt ydynt eu cludyddion hwy.

Eithr yn gymaint â bod y ddaear yn gron, ac mewn canlyniad, fod pob lle ar y cyhydedd yn ymdeithio gyda chyflymder mwy chwyrn na'r manau o'r naill ledred i'r llall, a bod cyflymdra cylchdröad y ddaear yn lleihâu fel yr ydys yn agoshâu at y pegynau, y mae cyfeiriad gogledd-ddwyreiniol yn cael ei roddi i'r gwynt yn yr hannergylch gogleddol a dê-ddwyreiniol y tu dehau i'r cyhydedd. Cyflymdra cylchdröad y ddaear ar ei phrif amgylchedd, sef y cyhydedd, ydyw ychydig dros fil o filldiroedd yr awr; yn lledred 30°, symuda gwyneb y ddaear tua 860 m. yr awr; ac yn lledred 60°, 500 m. yr awr ydyw cyflymdra y cylch. Ac y mae yr awyrgylch yn cylchdroi gyda'r ddaear, ac am hyny mae ei gwahanol barthau yn meddu yr un cyflymdra â'r lleoedd ar y rhai y maent yn gorwedd. Y canlyniad ydyw fod y gwyntoedd yn eu rhediadau o'r pegynau tua'r cyhydedd, fel y mae'r awelon mwy oer yn ymwthio i'r awyr yn y parthau mwy cynhes, yn aros ar ol y ddaear; ac felly yn gymaint â bod y belen yn troi o'r gorllewin tua'r dwyrain, y mae y rhediadau awyrol yn derbyn y cyfeiriadau a grybwyllwyd yn y naill hannergylch a'r llall. Eto nid yw yr awelon hyn yn cael eu teimlo yn gyson bob cam o'r ffordd o'r pegynau i'r cyhydedd; ond adnabyddir hwynt yn benaf tu fewn i'r lledred 30° o bob tu i'r linell, hyd tua'r 2° o ledred. Ac o herwydd eu diysgogrwydd a'u cysondeb, ac oblegid fod morwyr yn ymddibynu gymaint arnynt, y maent yn myned o dan yr enw masnachwyntoedd *(trade winds)*. Teimlir cyfeiriad dwyreiniol y gwyntoedd hyn, yn benaf, yn eu dechreuad tua'r lledred 30°; canys fel y maent yn agoshâu at y cyhydedd, y mae cylchdröad cyflymach y ddaear yn cymeryd yr effaith arnynt o fwyhâu eu buander hwythau; ac felly y mae cyflymder y naill a'r llall yn myned yn agosach i'r un maint. Tuedda hyn o angenrheidrwydd i beri i'r masnachwyntoedd yn raddol golli eu cyfeiriad dwyreiniol, a chymeryd cyfeiriad mwy uniongyrchol tua'r linell. Mewn mordaith, er esiampl, o Brydain i Benrhyn Gobaith Da, mae y llong ar ei mynediad i'r masnachwynt gogleddol yn cael ei gyru ymlaen gan awelon dwyreiniol, ond fel yr agoshâ at y cyhydedd mae y gwynt yn myned yn fwy gogleddol, nes o'r diwedd y mae ei gyfeiriad yn gwbl ddeheuol. Y mae yr effaith y tu dehau i'r linell yn gyffelyb. Rhwng y masnachwyntoedd y naill du i'r cyhydedd y mae parth yr awelon tawel a chyfnewidiol *(the region of calms and variables)*. Yma y mae y ddau fasnachwynt yn cyfarfod ac yn dieffeithio eu gilydd. Mae llêd y parth yn amrywio o 150 i 550 o filldiroedd. Nid oes yr un awel gyson a diysgog yn y parth hwn; mae ei awyrgylch yn gyffredin yn dawel; ond ar rai adegau mae ei wyntoedd deheuol ysgafn yn cael eu haflonyddu gan ystormydd a chorwyntoedd.

Y rheswm am nad ydys yn profi y masnachwyntoedd yn nês i'r pegynau na'r lledred 30° ydyw fod rhediad uchaf yr awyrgylch o'r cyhydedd yma yn gweithio ei ffordd i lawr i wyneb y ddaear; a chan ei fod yn dwyn gydag ef gyflymder y belen yn y parth o'r hwn y mae yn dyfod, sef y poethgylch, y mae yn wynt dê-orllewinol yn yr hannergylch gogleddol, ac yn wynt gogledd-orllewinol yn yr hannergylch deheuol. Ac mewn canlyniad mae yr awelon gorllewinol yn goruchafu ar y rhediad dwyreiniol o gyfeiriad y pegynau yn y cylchoedd tymherus. Yr ydym ni yn y wlad hon, er esiampl, yn teimlo mwy oddiwrth wyntoedd gorllewinol na'r rhai dwyreiniol. Effaith arall i ddisgyniad haen uchaf yr awyrgylch i wyneb y ddaear, a thrawsgyfarfyddiad yr awelon cyhydeddol a phegynol ydyw yr ystormydd a'r chwäon aml, yn enwedig yn y parth o'r lledred 30° hyd lledred 40°; canys fel y mae cyffyrddiad y gwefr nacäol a chadarnhâol yn achosi mellt a tharanau, felly y mae cyfarfyddiad y gwyntoedd, yn ol gradd eu cyflymder, yn cynnyrchu ystormydd mwy neu lai enbydus a pheryglus. Eithr nid ydyw rhediad yr awelon o'r pegynau tua'r linell yn ol y ddeddf a grybwyllwyd genym uchod yn cael ei rwystro yn hollol gan ddisgyniad y gwyntoedd cyhydeddol; weithiau y mae yn ddigon cryf i'w troi yn ol ar unwaith i lanw adenydd y masnachwyntoedd. Mae i'w ystyried hefyd mai graddol ydyw disgyniad haen uchaf yr awyrgylch i wyneb y belen; ac o'r herwydd fe ganiatëir amser, megys i ryw gymaint o ddylif yr awelon pegynol i ddïanc ar eu ffordd tua'r cyhydedd. Mae yn ddichonadwy, modd bynag, fod y gwyntoedd cyhydeddol weithiau yn disgyn i'r ddaear gyda'r fath nerth ag i rwystro yn hollol am dymmor y rhediadau o'r pegynau, ac i'w troi i ychwanegu at rym a chyfrol y gorllewinwynt yn y cylch tymherus yn y ddau hanne-rgylch. Eto y mae y masnachwynt yn derbyn ei gyflenwad yn barhäus. Pa beth bynag ddaw o wynt y gogledd, a pha fodd bynag y mae hi ar y rhediadau awyrol yn y cylch tymherus, nid un amser braidd y siomir y morwr yn ei ddysgwyliadau wrth y masnachwynt ar ei daith i'r moroedd a'r gwledydd tu dehau i'r cyhydedd. Mae y gwynt hwn, er fod iddo ambell i ystorm, mae yn wir, fel afon, bob amser yn gorwedd yn ei wely ac yn dylifo ymlaen tua'r parth tawelog. Ond paham y mae y golofn awyrol sydd yn esgyn i'r entrych o ganol y poethgylch yn disgyn i wyneb y ddaear cyn cyraedd y pegynau, a hyny ar draws rhediad haen isaf yr awyrgylch? Oblegid fod yr awyr uchod yn oerach yn y man cyntaf yn lledred 30° na'r awel ar wyneb y tir; ac fel yr ydys wedi dangos eisoes, mae y gwynt mwy oer yn gweithio ei ffordd i blith ac i le awelon mwy cynhes.

Mae i'w sylwi ymhellach fod y masnachwyntoedd yn cael eu cyfyngu nid yn unig gan ddisgyniad rhediadau uchaf yr awyrgylch, fel y dangoswyd uchod, ond hefyd gan y gwahanol gyfandiroedd. Gwyntoedd y môr, yn benaf, ydynt yr awelon hyn; ac ar y dyfnder yn unig y deallir eu cymeriad yn brïodol. Y mae masnachwynt y Môr Tawelog yn cael ei attal gan Awstralia. Ac yma dylid crybwyll y ffaith hanesyddol i'r môr hwnw dderbyn ei enw ar gyfrif y gwynt cyson a mwynaidd hwn, yr hwn a gariodd Magellan, llong yr hwn a wnaeth y fordaith gyntaf o amgylch y byd. Attelir masnachwynt Môr yr India gan Affrica, ac eiddo Môr y Werydd gan gyfandir America. Ac y mae yr olaf yn cael ei agweddu gan derfynau mwy cyfyng a ffurf hynodol yr Atlantic. Ac ar y cyfrif

hyn y mae y gwynt hwn yn cael ei drosglwyddo amryw o raddau i'r gogledd. Mae terfyn gogleddol y dwyreinwynt gogleddol yn cael ei nodi rhwng 28° a 30° lledred, tra mae ei derfyn deheuol tua'r lledred 8° y tu uchaf i'r cyhydedd. Ac y mae parth yr awelon tawel ac amrywiol, mewn canlyniad, yn lle bod ar ac o bob tu i'r linell, fel y mae yn Moroedd y Dwyrain, rhwng 3° ac 8° lledred gogleddol yn yr hâf, a rhwng 1° a 6° yn nyfnder y gauaf. Y mae ffurf cyfandir Dê America, yr hwn sydd yn ymestyn allan yn raddol i'r môr o Benrhyn Horn hyd tua'r lledred 8° deheuol, ac yna yn ymgilio yn gyflym dros y cyhydedd hyd y culdir sydd yn gorwedd rhwng Columbia a Mexico, yn ffafrio rhediad masnachwynt deheuol yr Atlantic yn uwch i'r gogledd na'r linell; ac y mae mynyddoedd uchel y cyfandir yn nghymydogaeth y cyhydedd yn tueddu i oeri yr awyrgylch a'r tir, ac felly yn cynnorthwyo i lanw adenydd awelon y masnachwynt o'r dehau, ac i yru ei derfyn gogleddol weithiau ymhell y tu uchaf i'r cyhydedd i'r hannergylch gogleddol. Hynyna ar fasnachwyntoedd Môr y Werydd.

Tafled y darllenydd ei lygad yn awr dros Foroedd yr India, y rhai a amgylchynir i'r gogledd gan gyfandir mawr Asia, i'r dwyrain gan Awstralia, ac i'r gorllewin gan Affrica. Yn y moroedd hyn mae y masnachwynt deheuol yn rhedeg yn rheolaidd bob tymmor o'r flwyddyn; ond y mae y rhediad gogledd-ddwyreiniol yn cael ei droi yn ol yn yspaid y gauaf gan wynt de-orllewinol yn chwythu o gyfeiriad cyfandir Affrica dros Fôr yr India tua, a thros, y cyfandir Asiaidd. Dyma y tymmorwynt *(monsoon)*; ac adnabyddir y cyfryw wyntoedd hefyd yn moroedd China. Yn nhymmor yr hâf gogleddol (yr un â'n hâf ni) mae hinsawdd y cyfandir Asiaidd yn barhâol gynhesach nag eiddo Môr yr India; o ganlyniad, mae awelon oerach yr olaf yn ymwthio i awyrgylch deneuedig y blaenaf, ac felly, fel y crybwyllwyd, yn troi yn ol y masnachwynt gogledd-ddwyreiniol. Eithr yn ystod yr hâf deheuol (amser ein gauaf ni), pryd y mae yr India, a'r cyfandir cyfagos, yn oerach na'r môr y tu dehau iddynt, mae y gwynt yn cymeryd ei gyfeiriad cyffredin o'r pegwn gogleddol tua'r cyhydedd; ond ar gyfrif ei ddarostyngiad i gyfnewidiad y tymmorau, y mae yn colli y cyfenwad masnachwynt, ac yn myned dan yr enw tymmorwynt. At y gwynt hwn y cyfeiria Macaulay yn ei draethawd ar Warren Hastings, pan yn adrodd yr hanes cynhyrfus am ymgyrch Hyder Ali yn erbyn y Saeson yn yr India, a phan yr oedd Cymedrolaeth Madras ar gael ei cholli i'r Prydeiniaid, "dygwyd y newyddion drwg mewn ychydig ddyddiau i Calcutta gan long gyflym, yn ehedeg o flaen y tymmorwynt de-orllewinol."

Mae yr adeg ar y flwyddyn pan y mae y tymmorwyntoedd yn croesi eu gilydd, ac megys yn cydymdrechu am yr oruchafiaeth y naill ar y llall, yn dra pheryglus ar y môr. Dyma adeg y tröellwyntoedd, y rhai unwaith yr ä llongau i'w gafael, ni ollyngant eu hysglyfaeth nes eu dinystrio a'u suddo i'r dyfnder. Dygir yr ymdrechfëydd hyn ymlaen yn misoedd Ebrill a Hydref, ac achosant nid yn unig wyntoedd enbydus, ond hefyd gwlawogydd cynddeiriog a tharanau dychrynllyd.

Fe sylwa y darllenydd fod ffaith (dyna'r gair goreu wyddom am dano am *phenomenon;* clogyrnog i'w ryfeddu yw cyfieithiad Spurrell, sef, 'ymddangosiad rhyfeddol') y tymmorwyntoedd yn Môr yr India, yn cael ei hachosi nid yn unig gan gyfnewidiad y tymmorau trwy gylchrediad

blynyddol y ddaear, ond hefyd gan raniadau y tiroedd a'r moroedd. Pan y disgyna gwrês yr haul yn gyffelyb ar dir a môr cyfagos, mae y blaenaf yn cael ei gynhesu yn llawer cyflymach na'r olaf; ond yn absennoldeb yr haul, y tir sydd yn colli ei wrês gyntaf. Felly, trwy y dydd, mae y tir yn gynhesach na'r môr, ac i'r gwrthwyneb yn y nos. Crëa y gwahaniaeth hwn ddosbarth o wyntoedd a adwaenir o dan y cyfenwad, *awelon y tir a'r môr.* Yn ol yr egwyddor gyffredinol sydd eisoes wedi ei gosod i lawr, teimlir awelon y môr yn ystod y dydd yn dechre oddeutu wyth y bore, ac yn graddol ymgryfhâu hyd dri y prydnawn, ac yna yn lleihâu, nes ar ol disgyniad yr haul y maent yn rhoi ffordd i awel y tir, yr hon a deimlir yn yspaid y nos, ond a brofir gryfaf yn y bore. Mae i'w gofio, modd bynag, fod yr awelon hyn yn cael eu llwyr golli pan y mae gwynt cryf yn chwythu yn eu herbyn neu ar eu traws, o ba gyfeiriad bynag y daw tir neu fôr. Fe sylwedda y darllenydd pa mor boeth y cedwir y moroedd trofäol a deheuol (pan y mae yn auaf gyda ni), pan y dywedwn mai awel fwyn ydyw y tymmorwynt gogledd-ddwyreiniol yn yr India, a'i bod yn rhedeg gyda rheoleidd dra cyson ar hyd amser ei hadeg. Ond am y tymmorwynt de-orllewinol, y mae yn wynt nerthol, ac yn chwythu i berfeddion cyfandir mawr Asia. Ar ei ffordd mae yn cyfarfod â mynyddoedd uchel yr Himalayah, y rhai sydd yn ei droi tua y gogleddorllewin, nes y cyrhaedda yr Hindoo Coosh; yna y mae yn cymeryd cyfeiriad gorllewinol uniongyrchol, nes ei rhwystrir gan y Solimaun, ac yma fe'i attelir i fyned ymhellach, neu fe'i gorfodir i ymadael â'r cymylau oedd yn ei lwytho. Fe welir, felly, fod ffurf anwastad y ddaear yn cymeryd effaith ar gyfeiriad y gwyntoedd. Fe geir egluriadau o'r ffaith yma yn bur aml yn heolydd ein trefi. Meddylier am heol fawr sydd yn agor un ochr i heolydd eraill, ond sydd yn gauedig yr ochr arall. Pan y mae y gwynt yn chwythu o gyfeiriad a thrwy yr heolydd croesion, y mae yn bwrw yn erbyn y tai ar ochr arall y ffordd fawr, ac yn cael ei daflu yn ol fel gwynt croes, yr hyn sydd yn fynych yn achosi anghysur, ac weithiau ddyryswch, yn enwedig pan y mae y fforddolion yn dal i fyny eu cysgodleni rhag y gwlaw.

Yr ydys eisoes wedi crybwyll fod y gwyntoedd o'r cyhydedd yn haen uchaf yr awyrgylch yn disgyn i'r ddaear tua hanner y ffordd i'r pegynau. Achosa hyn ymryson rhwng y gwyntoedd cyhydeddol a'r rhai pegynol; a'r canlyniad ydyw, fod y gwyntoedd yn dra chyfnewidiol yn y cylchoedd tymherus. O'r rhai hyn, y mwyaf cyson, ac a deimlir amlaf, ydynt yr awelon dê-orllewinol a'r dwyreiniol, a'r gogledd-ddwyreiniol. Y blaenaf yw y masnachwynt uchaf ar ei ffordd yn ôl tua'r pegwn gogleddol, a'r olaf ydynt y gwyntoedd pegynol ar eu ffordd tua'r cyhydedd. Llwybr cyffredin y naill yw y môr, megys yn y Werydd a'r Tawelog; llwybr y llall ydyw y Cyfandir, yn enwedig Gogledd America. Hyn sydd yn rhoddi cyfrif am y ffaith fod parthau gorllewinol y cyfandiroedd yn yr Hen Fyd a'r Newydd yn gynhesach ac yn llai sych na'u tueddau dwyreiniol. Canys y mae y gwynt dê-orllewinol yn dwyn o ddyfroedd y môr yn ei awelon, ac yn gwlitho y glànau, a chan gario cymylau trwmlwythog i'r canol a'r ucheldiroedd, y mae yn gwasanaethu hefyd i ddyfrhâu rhanau mewnol y cyfandiroedd, ac felly i leddfu yr oerni llym a gynnyrchir gan awelon sychion a rhewllyd y gogledd. A phan y cofiwn fod y gwyntoedd gorllewinol yn colli llawer o'u lleithdra fel y

rhedant dros y tir, a chan hyny mai y glànau sydd yn derbyn y rhan fwyaf o'r gwlaw, ac mai o'r braidd y derbynia y rhanau dwyreiniol o'r cyfandiroedd eu cyfran prïodol ac angenrheidiol o ddwfr, gallwn gasglu mai doethineb oruchel a thrugaredd fawr yn y Crëawdwr Hollalluog ydoedd dosbarthu gwyneb y ddaear fel y gwnaeth, dwy ran yn fôr a'r drydedd yn dir. Llai o ddyfroedd ar gyfer y tir sydd (a pha faint mwy felly ar gyfer tiroedd mwy ëang?), fuasai yn annigonol; ac o hyny, buasai llawer iawn mwy o'r byd yn annhrigiadwy nag y sydd. Y mae y gwynt, gan hyny, yn gwasanaethu i beri i'r môr weini i'r tir. Dywedai y Deddfroddwr ei hun unwaith yn nyddiau ei gnawd wrth y bobloedd, "Pan welwch gwmwl yn codi o'r gorllewin, yn y fan y dywedwch, Y mae cawod yn dyfod, ac felly y mae." Yn Palestina y llefarwyd y geiriau; ac i'r gorllewin o'r wlad hono ar ei hŷd, o Tyrus hyd derfyn deheuol llwyth Simëon, y mae Môr y Canoldir. A phan nad ydyw yn gwasanaethu i'r dyben a nodwyd, y mae, a phob amser, yn effeithio ar yr hinsawdd, naill ai i wresogi neu i oeri, yn ol y cyfeiriad o ba un y mae yn dyfod. Yn yr un cysylltiad ag y llefarwyd y geiriau uchod, ychwanegodd ein Harglwydd, "A phan weloch y deheuwynt yn chwythu, y dywedwch, y bydd gwrês; ac fe fydd." Mae pob un sydd yn cofio sefyllfa gwlad Canaan ar unwaith yn rhwym o ddeall athroniaeth y ffaith honyna. Fel yma y mae y gwynt yn dra gwasanaethgar i'r llafurwr ar y tir, yn enwedig yr amaethwr, yn gystal a'r morwr.

Gellid ychwanegu llawer gyda golwg ar gyfnewidiadau y gwyntoedd yn y lledredau canol, y rhai sydd nid yn unig yn aml yn yr un flwyddyn ymhob gwlad, ond hefyd yn amrywio yn fawr yn eu hagweddiad a'u heffaith y naill flwyddyn ar ol y llall, mewn gwahanol ranau o'r byd. Y mae llawer o awelon hefyd i'w dynodi yn syml yn *lleol;* ac ond sylwi yn fanwl, y mae yn bosibl rhoddi cyfrif am danynt i fesur mawr. Ond wedi y cwbl, ar ol yr eglurhâd mwyaf manwl a goleu ar bob ffaith a wyddom am dani mewn cysylltiad â'r gwyntoedd—a hyderwn ein bod wedi llwyddo o leiaf i dŷnu sylw, os nad i ddenu serch, darllenwyr y TRAETHODYDD at yr efrydiaeth ddorus hon, y mae yn aros yn wirionedd digyfnewid,—yr hyn sydd yn profi fod yr Athraw Mawr yn Brophwyd mewn dysgeidiaeth naturiol, yn gystal ag mewn pethau uchanianyddol ac ysbrydol,—"Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno, a thi a glywi ei sŵn ef; ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned."

# MOSES.

## II.

WEDI gorphen y tabernacl a'i ddodrefn, yn ol y portrëad a ddangoswyd i Moses yn y mynydd, fe'i gosodwyd yn nghanol y gwersyll, ymysg pebyll meibion Israel, a'i wyneb bob amser tua'r dwyrain. O'i amgylch, ar bob tu, yr oedd pebyll yr offeiriaid a'r Lefiaid; ac o amgylch hyny, yn ffurfio math o ysgwâr, yr oedd y gwersyll—tri llwyth ar bob tu. O du y dwyrain, yr oedd Judah, o dan ei lumman yn y canol, ac o bob tu iddo yr oedd Issachar a Zabulon. O du y dehau, yr oedd Reuben yn y canol, a Simëon, a Gad, un ar bob llaw iddo. O du y gorllewin, yr oedd Ephraim, a Manasseh, a Benjamin o bob tu iddo; ac ar du y gogledd, yr oedd Dan yn y canol, ac Aser, a Naphtali, un ar bob llaw. Dyma drefn y gwersyll, a'r tabernacl yn y canol. Ar y tabernacl yr oedd y golofn yn gorphwys yn barhäus, yn "gwmwl niwl y dydd, a cholofn dân y nos." A gogoniant yr Arglwydd a lanwodd y babell. Yna, disgynodd yr Arglwydd i babell y cyfarfod, ac a alwodd ar Moses, i ddyfod i ddrws y babell, gan fynegu iddo yn fanwl drefn a rheolau y gwasanaeth oedd i gael ei gario ymlaen ynddi. Dyma y ddeddf seremonïol. Llefarwyd hon, nid ar y mynydd, fel y ddwy ddeddf arall, ond o babell y cyfarfod. Y mae hyn yn ein dwyn at yr aberthau o dan gyfraith Moses.

Yr oedd aberthau ac aberthu yn bod o'r blaen, yn y cyfnod "o Adda hyd Moses," ac yr oedd y ddefod wedi ei sefydlu gan Dduw, fel yr ydym yn hyderu ddarfod i ni brofi mewn ysgrif flaenorol. Ond, yr oedd yr aberthau, fel pob peth arall, heb eu gosod "dan ddeddf;" ac wedi gorphen y babell, a sefydlu yr offeiriadaeth, y mae Duw yn ymgymeryd â gwneyd trefn ar yr addoliad aberthol.

Yr enw cyffredin ar y pethau a gyflwynid i wasanaeth Duw, naill ai yn ddyhuddol neu yn addoliadol, ydyw *offrwm*—"Corban, hyny yw, Rhodd." Ac wrth gymeryd golwg ar gyfraith yr offrymau, yr ydym yn cael pump math gwahanol—y pechaberth, y camwedd-aberth, y poethoffrwm, yr aberth hêdd, a'r bwydoffrwm: y pedwar cyntaf yn nosbarth yr offrymau gwaedlyd, neu yr aberthau, a'r olaf yn nosbarth yr offrymau di-waed.

Yr oedd yn rhaid i'r offrymau oll fod yn dal y berthynas agosaf oedd yn bosibl â'r offrymwr. Yr oedd yr offrymau gwaedlyd i fod o'r creaduriaid agosaf at ddyn—y gwartheg, a'r praidd, a'r adar *dofion*. Yr oedd y gyfraith yn dosbarthu y creaduriaid, gyda golwg ar eu bwyta, i *lân* ac *aflan*, a gosodir eu nôdau gwahaniaethol i lawr yn eglur a diammwys. Am yr anifeiliaid, yr oeddynt oll yn aflan, ond y rhai oedd yn "fforchogi yr ewin, ac yn cnoi eu cîl." Nid oedd dim pysgod i'w bwyta ond y rhai oedd iddynt "esgyll a chèn," Lef. xi. 9. Yr oedd yr ednogiaid hefyd oll yn aflan, oddieithr "y locust yn ei ryw, a'r selam yn ei ryw, a'r hargol yn ei ryw, a'r hagab yn ei ryw," Lef. xi. 22. Am yr adar, nid oes un reol yn cael ei rhoddi i'w gwahaniaethu; ond y mae

pob rhyw oeddynt aflan yn cael eu henwi yn benodol, Lef. xi. 15—20; ac y mae golwg ar y rhestr waharddedig yn dangos fod pob adar ysglyfaethus yn cael eu cau allan fel pethau aflan. Mae yr un sylw yn wirionedd hefyd am yr anifeiliaid, y pysg, a'r ednogiaid.

Un dyben i'r dosbarthiad hwn ydoedd, er mwyn iechyd a gweddeidd-dra; i roddi attalfa ar arferion barbaraidd ac afiachus, ac i fagu chwaeth a choethder meddyliol, yn gystal a glanweithdra corfforol; canys nid oes dim sydd â mwy o duedd ynddo i ddyrchafu a choethi dynion nag arferion priodol wrth y bwrdd. Ac y mae yn eglur am yr hyn a ystyrid yn lân dan gyfraith Moses, eu bod, heb ond ychydig eithriadau, yn ychwanegol, yn cael eu dewis yn ymborth gan y cenedloedd mwyaf coeth a gwareiddiedig, pa rai sydd wedi astudio fwyaf ar ddeddfau iechyd, glanweithdra, a gweddeidd-dra. Hefyd, dyben arall oedd i'r gosodiad hwn, sef i fod yn arwyddluniol, fel y dengys "llènllïan" Pedr,—o'r gwahaniaeth oedd rhwng pobl Dduw a "chenedloedd y byd." Yr oeddynt hwy yn genedl sanctaidd, ac yr oedd eu pobpeth i ddwyn hyny ar gôf iddynt. Yr oedd eu pethau allanol, megys eu hymborth a'u gwisg, i'w codi at ddrychfeddwl ysbrydol. Dyna paham yr oedd "cîg moch" yn waharddedig iddynt, am fod y crëadur hwnw yn ddïarebol am ei *aflendid;* er ei fod yn cael ei ddefnyddio yn helaeth gan genedloedd gwareiddiedig yr oesoedd hyn, ac nad ystyrir ef yn ymborth afiachus.

Ond, i ddychwelyd at ein pwnc; er fod y crëaduriaid wedi eu dosbarthu fel hyn i lân ac aflan gyda golwg ar eu bwyta, eto nid oedd yr oll o'r crëaduriaid glân i'w haberthu; nid pob peth oedd *fwytadwy* oedd *aberthadwy;* dim o'r *game*, neu y crëaduriaid gwylltion, megys yr "iwrch a'r carw," er eu bod yn "fforchògi yr ewin ac yn cnoi eu cîl;" na, yr oedd yn rhaid i'r crëaduriaid a aberthid fod yn dal y berthynas agosaf oedd yn bosibl â'r dyn—yr anifeiliaid gwâr, oedd wedi eu magu ganddo, trwy drafferth a gofal, nes magu anwyldeb tuag atynt, fel y byddai hyny yn tŷnu allan deimladau tyner y dyn wrth gyflwyno y crëadur yn aberth drosto. Yn yr un modd hefyd yr oedd yn rhaid i'r offrymau diwaed fod yn gynnyrch llafur dyn, o ffrwyth y ddaear, fel y byddent yn dal y cysylltiad agosaf oedd yn bosibl â'r offrymwr. Y mae hyn yn ddïau yn arwain meddwl y darllenydd—os nad oedd yn arwain meddwl yr Iuddew gynt —at yr Aberth Mawr—"Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom"—fod yn rhaid iddo fod yn y berthynas agosaf â ni—yn ein natur—yn asgwrn o'n hesgyrn, ac yn gnawd o'n cnawd, mewn trefn i fod yn aberth drosom. Y mae yr un peth yn wirionedd hefyd am yr offrymau hyny nad oeddynt yn uniongyrchol yn gysgod o Aberth Crist, ond yn arwyddluniol o gyflwyniad yr offrymwr o hóno ei hun yn ngwasanaeth Duw; yr oedd fod y gyfraith yn gofyn am y crëaduriaid agosaf at ddyn, yn awgrymiad arwyddocäol fod gwasanaeth Duw yn gofyn am y dyn ei hunan.

Peth arall anhebgorol yn y crëaduriaid a aberthid, oedd, eu bod nid yn unig yn sefyll yn y berthynas agosaf yn bosibl â dyn, ond hefyd yn "ddianaf" neu "yn berffeithgwbl." Tebyg mai effaith pechod ydyw pob anaf a diffyg yn y deyrnas anifeilaidd, yn gystal â phob afiechyd a phoen ymysg dynion; mae "pob crëadur yn cyd-ofidio" o herwydd y pechod "sydd wedi darostwng y grëadigaeth i oferedd." Ac am hyny yr oedd yn rhaid cael crëadur mor rydd ag oedd yn bosibl

oddiwrth effeithiau pechod i fyned yn aberth dros bechod. Yr oedd hyn eto yn awgrymiad i'r meddwl fod yn rhaid cael un perffaith ddibechod i fod yn aberth "difai i Dduw" dros bechadur, yn gystal a bod Duw yn gofyn perffeithrwydd yn ei wasanaeth. Mor bwysig oedd y drychfeddwl hwn, fel yr oddd pob gwendid yn y crëadur yn ei wneyd yn wrthodedig fel aberth. Yr oedd yn rhaid i'r crëadur fod yn "wyth niwrnod oed," cyn y gallesid ei offrymu dan unrhyw amgylchiad, fel y byddai ei alluoedd wedi eu dadblygu i raddau digonol i'w wneyd yn alluog i ddyoddef, ac hefyd, fel y byddai wedi costio peth trafferth i'r aberthwr, ac yn debyg o ddyfod o werth iddo yn y dyfodol. Oblegid, y crëadur sydd wedi byw i'r oedran o wyth niwrnod, yr ydys yn teimlo yn lled hyderus fod hwnw yn ddigon cryf i fyw ac i gynnyddu. Wedi hyny, nid oedd un crëadur hen, a diwerth yn yr ystyr hwnw, i fod yn aberth. Buasai hyny yn gwneyd yr aberth yn rhy râd i'r aberthwr, ac hefyd buasai y cîg,—yr hwn a fwytëid yn gyffredin naill ai yn gwbl ai mewn rhan,—buasai hwnw yn wael a ffiaidd. Nid oes un reol fanol a phenderfynol hyd pa mor hen y gellid aberthu y crëadur, fel y ceir yn dangos pa mor ieuanc; eto, y mae y rheol ymhob amgylchiad yn darpar fod yr aberth yn ieuanc. "Llwdn gafr"—"oen blwyddiad"—"anner goch"—"bustach ieuanc;" dyna y geiriau a ddefnyddir i osod allan yr aberthau, pa rai ydynt oll yn dangos fod yr aberthau i fod yn ieuanc, ac nid wedi colli eu gwerth trwy henaint. Yr ydym yn cofio, pan yn ieuanc, glywed ambell i hên amaethwr crefyddol, wrth nesau at Dduw mewn gweddi, yn diolch yn gynhes iawn, fod y ffordd at Dduw mor rwydd ac mor rad; nad oes eisieu y "bustach seithmlwydd" yn awr fel yn y dyddiau gynt; fod Aberth y groes wedi gwneyd i ffordd â'r holl aberthau. Ar y pryd, yr oeddem yn llwyr feddwl fod y "bustach seithmlwydd" yn cael ei ofyn gan y gyfraith; ond wedi dyfod i oedran addfetach, a dechreu chwilio drosom ein hunain, canfyddem, er ein syndod, nad oedd hyny yn bod; ac mai "bustach *ieuanc*, perffeithgwbl," oedd gofyn y gyfraith. Y mae yn wir, pan oedd y Midianiaid yn gorthrymu Israel, yn amser y Barnwyr, fod yr Arglwydd wedi gorchymyn i Gedëon gymeryd y bustach oedd eiddo ei dad, sef yr "ail fustach seithmlwydd," a'i offrymu yn boethoffrwm â choed llwyn allor Baal. Ond gellid meddwl fod hyn yn eithriad i'r rheol arferol, fod yr Arglwydd yn derbyn aberth mor hen, o herwydd y cyfyngder a'r prinder oedd yn y wlad ar y pryd o achos y gorthrwm; canys dywedir fod Israel yn dlawd iawn o achos y Midianiaid. Barn. vi. 6.

Fel hyn yr ydym yn canfod fod y gyfraith yn gofyn i fod yn aberth y crëaduriaid mwyaf perffaith a gwerthfawr, i ddysgu yr aberthwr fod Duw yn haeddu y goreuon yn ei wasanaeth, ac hefyd i ddangos fod eisieu Aberth perffaith rydd oddiwrth bechod, mewn trefn i "dynu ymaith bechodau." Prin yr ydym yn teimlo fod angen awgrymu i'r darllenydd mai yn "Oen Duw" y caed yr anhebgorion hyn yn berffaith. Mae Efe yn sefyll yn y berthynas agosaf sydd yn bosibl â'r ddynoliaeth—natur ddynol berffaith yn ei Berson—ac y mae hyny yn ei osod yn nês atom na phe buasai yn berson dynol, am nad oes un person yn meddu y natur ddynol yn ei pherffeithrwydd, ac am ei fod felly yn dal yr un berthynas o ran natur â phawb fel eu gilydd. Er hyny yr oedd yn ddibechod—yn "beth sanctaidd" o'r bru—heb ddim diffyg naturiol yn

ei ddynoliaeth, na diffyg moesol yn ei gymeriad. Ac hefyd yr oedd yn nghyflawnder ei oedran a'i nerth pan fu farw, adnoddau bywyd yn eu llawn rym, a'r cysylltiad rhwng corff ac enaid yn ei rym yn ei natur, fel yr oedd yn alluog i deimlo ac i ddyoddef. "Gosodwyd ein cymhorth ar un cadarn." Dyma yr "Oen *difeus* a *difrycheulyd*," yr hwn a'i "hoffrymodd ei hun yn *ddifai* i Dduw."

Yn awr ni a ymdrechwn osod o flaen y darllenydd fras-ddarlunniad o gyfraith neu reol y gwahanol aberthau ydym wedi eu nodi, gan amcanu cael allan ystyr a meddwl yr amrywiol ddefodau perthynol iddynt wrth fyned ymlaen. Sylwer eto fod y rheolau manwl hyn wedi eu llefaru gan yr Arglwydd o babell y cyfarfod. Dechreuwn gyda

*Y Pechaberth*. Y mae yn wir am gyfraith yr aberthau, fel eu llefarwyd gan Dduw o'r babell, ac fel y ceir hi yn ysgrifenedig yn nechre llyfr Lefiticus, mai y poethoffrwm, y bwydoffrwm, ac aberth hêdd, sydd yn cael eu desgrifio gyntaf, gan adael y pechaberth a'r camweddaberth hyd yn ddiweddaf. Gellir cyfrif am hyn trwy fod y poethoffrwm a'r aberth hêdd mewn arferiad cyn sefydlu y gyfraith; y cyntaf wedi ei sefydlu, mae yn debyg, yn yr ymdrafodaeth âg Adda, a'r llall yn yr ymdrafodaeth â Noah, pan roddwyd caniatâd i fwyta cîg. Y mae pob awgrymiadau a gawn yn dangos fod y ddau hyn yn bod, ac nad oedd ond hwy mewn arferiad cyn sefydlu cyfraith yr aberthau. Y prawf cyntaf yw mai y ddau hyn a arferid yn nghysegriad cyntaf y genedl, wrth fynydd Sinai, pan oedd Duw yn eu codi i berthynas gyfammodol âg ef ei hun. Ex. xxiv. 5. Y maent yn cael y *flaenoriaeth* o herwydd eu *henafiaeth*, ac am fod yr hyn a wyddai y genedl am yr hen aberthau oedd mewn arferiad o'r blaen yn help iddynt i ddeall y cyfarwyddiadau mewn perthynas i'r rhai oedd yn cael eu sefydlu o'r newydd. Ond wedi sefydlu cyfraith yr aberthau, y mae y flaenoriaeth bob amser yn cael ei roddi i'r pechaberth. Ac ar yr adegau hyny, pan offrymid cyfres o'r gwahanol aberthau, y pechaberth yn wastad oedd y cyntaf fel sail i'r aberthau eraill.

Yr oedd y pechaberth, fel y mae ei enw yn arwyddo, yn dal perthynas arbenig â phechod; ei holl amcan oedd arddangos yr egwyddor ddyhuddol, iawnol, neu drososodol, mewn trefn i godi yr aberthwr i heddwch a chymmod gyda Duw—"Aberth *dros* bechod." Mor agos oedd y berthynas rhyngddo â phechod, fel y sylwa Dr. Fairbairn, fel mai yr enw cyffredin ar bechod a ddefnyddir i osod allan y pechaberth yn yr iaith Hebräeg. Càn belled ag y gallai y cysgod fyned, yr oedd y pechaberth yn cael ei wneyd yn bechod "dros y troseddwr." Yr oedd yr elfen ddyhuddol yn yr aberthau eraill oedd yn bod cyn y gyfraith; ond nid oedd wedi ei nodi allan mor eglur, na'i gwahaniaethu oddiwrth elfenau eraill oedd yn cael eu harddangos yn yr aberthau. Trwy gyhoeddiad y ddeddf y daeth pechod "yn dra phechadurus," ac y cyrhaeddwyd y fath adnabyddiaeth o bechod fel yr oedd yn angenrheidiol sefydlu aberth o bwrpas i arddangos y drychfeddwl o iawn, gan adael yr aberthau eraill, fel o'r blaen, i arddangos drychfeddyliau gwahanol. Ond er mai amcan mawr yr aberth dros bechod oedd arddangos y drychfeddwl o iawn, eto nid oedd y gyfraith yn darparu aberth dros "bob pechod"—dim ond dros "bechod o anwybod"—pechod wedi ei gyflawni mewn anwybodaeth am ac o'r gyfraith, yn ei hystyr a'i meddwl. Hefyd, pechodau wedi eu cyflawni

mewn amryfusedd, a than ddylanwad temtasiwn, a "dallineb y galon" lygredig i ddirnad beth sydd bechod. Nid oedd y gyfraith yn darpar aberth dros "bechodau rhyfygus," neu bechodau wedi eu cyflawni "â llaw uchel;" yr oedd pwy bynag a geid yn euog o'r cyfryw i "farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion." Yr oedd hyn, yn ddïau, yn dangos gwendid y gyfraith fel darpariaeth i gyfarfod âg angen dyn fel pechadur, yr hyn oedd yn bwysig, canys fe wasanaethai i godi meddwl yr eglwys i ddysgwyl am "obaith gwell." Ond heblaw hyny, yr oedd hyn yn arddangos egwyddor bwysig yn nhrefn Duw, sef bod rhyw raddau ar bechod yn ei wneyd yn anfaddeuol. "Os o'n *gwirfodd* y pechwn, ar ol derbyn *gwybodaeth* y gwirionedd, nid oes aberth mwyach wedi ei adael dros bechodau," Heb. x. 26.

Dywed Paul ei fod ef wedi cael trugaredd a maddeuant am yr erlid a'r cablu, am iddo ei "wneuthur yn *ddiarwybod* trwy anghrediniaeth." Ac yr oedd yr egwyddôr hon yn cael ei chydnabod yn eiriolaeth Crist ar y groes dros ei groeshoelwyr, "O Dad maddeu iddynt, canys *ni wyddant* beth y maent yn ei wneuthur." Yr egwyddor bwysig hon oedd yn cael ei gosod allan yn nghyfraith y pechaberth. Ond am y pechodau oedd yn ddyhuddadwy, pan ddelai y rhai hyny "i wybodaeth" yr aberthwr, yr ydoedd iddo ddwyn ymlaen ei aberth dros bechod.

Os yr holl gynnulleidfa, yn ei chymeriad corfforedig, a fyddai wedi pechu mewn anwybod, a myned yn euog,—pan wybyddid y pechod, "bustach ieuanc perffeithgwbl" oedd i fod yn aberth. Yr oedd i gael ei ddwyn i ddrws pabell y cyfarfod, a'i osod o'r "tu gogledd i'r allor"—allor y poethoffrwm yn y cyntedd. Mae llawer o ddyfalu wedi bod paham y gosodid yr aberth tu gogledd i'r allor. Meddylia rhai mai am yr unig reswm fod y lle hwnw yn fwy cyflëus, am fod lludw yr allor "o du dwyrain" (Lef. i. 16), y noe brês o du y gorllewin (Exod. xl. 30), ac o du y dehau yr oedd y fynedfa; ac felly, meddant hwy, nid oedd ond y tu y gogledd yn gyflëus. Ond nid yw yn debyg y buasai gorchymyn mor bendant, a chyfarwyddyd mor fanwl, yn cael ei roddi ar hyn, oni buasai fod rhyw ystyr arwyddluniol i'r ddefod. Tybia eraill mai am fod y "tu gogledd" yn fwy tywyll a phruddaidd y gosodid ef yno, fel y gosodid yr argraff ar feddwl yr aberthwr, fod ei aberth yn awr yn y tywyllwch pruddaidd, megys tàn ŵg a soriant Duw, yr hyn yw haeddiant pechod. Pa fodd bynag, pan oedd yr Aberth Mawr yn dyoddef, bu "tywyllwch dros yr holl ddaear o'r chweched hyd y nawfed awr;" ac nid oedd hyny ond darlun o'r tywyllwch dudew yr oedd efe ynddo, o dan guddiadau wyneb ei Dad. Wedi gosod yr aberth fel hyn o "du gogledd i'r allor," yr oedd "henuriaid y gynnulleidfa" i "osod eu dwylaw ar ei ben." Amryfal ydyw barnau dynion gyda golwg ar ystyr y ddefod o osod dwylaw ar ben y crëadur a aberthid. Tybia rhai nad ydoedd yn golygu dim ond arwydd o neillduad neu gysegriad y crëadur i fod yn aberth. Eraill a dybiant ei fod yn arwydd o gyflwyniad gwirfoddol yr aberthwr a'i aberth. Nid ydym yn ammheu nad ydoedd yn arwyddo y pethau yna, ond yr oedd yn arwyddo llawer yn ychwaneg. Yr oedd y ddefod yn gyffesiad arwyddluniol o bechod o du y troseddwr, ac yn drosglwyddiad o bechod ar yr aberth, ynghyda'r rhwymedigaeth i ddyoddef y gosb ddyledus am dano. Yn ol traddodiad unllais yr

Iuddewon, yr oedd cyffesiad geiriol bob amser yn cydfyned âg arddodiad dwylaw. Ac fel cadarnhâd i'r golygiad hwn, ni a gawn fod Aaron, ar ddydd mawr y cymmod, i osod ei ddwylaw ar ben y "bwch byw"—yr hwn oedd yn rhan o'r pechaberth am y dydd—"a chyffesu arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl bechodau, a'u holl gamweddau hwynt," Lef. xvi. 21.

Wedi cyflawni y ddefod o osod dwylaw ar y crëadur "ger bron yr Arglwydd," yr oedd "henuriaid y gynnulleidfa" i'w ladd. Nid oes un math o angen i ni yn y fan hon i fyned i mewn i'r prawf, mai ystyr y lladd oedd—mor bell ag y gallasai cysgod ei ddangos—dwyn cosb pechod; "cyflog pechod yw marwolaeth." Wedi cyfrif neu osod y pechod ar y crëadur trwy arddodiad dwylaw, yr oedd ei einioes, neu ei waed, neu fel y gellir dyweyd, "ei enaid," yn cael ei "dywallt i farwolaeth" yn aberth dros bechod: "canys enaid pob cnawd sydd yn ei waed;" y naill enaid dros y llall—enaid y crëadur dros enaid y dyn. Y mae y rhai sydd yn gwrthwynebu aberth dirprwyol *(vicarious)* yn methu gweled un ystyr yn y lladd ond yn unig fel moddion i gael y gwaed i'w daenellu ar yr allor. Ond pe hyny fuasai yr amcan, gallesid cael digon o waed i ateb pob dyben felly heb ladd y crëadur; buasai ychydig o'i waed yn ddigonol i'w daenellu heb ei ladd. Ond yr oedd yn rhaid lladd yr aberth cyn y buasai ei waed yn werth dim i'w daenellu.

Wedi lladd yr aberth, yr oedd yr "offeiriad eneiniog" i gymeryd y gwaed mewn cawg—yn yr amgylchiad dan sylw—i'r cysegr: "a throched yr offeiriad ei fŷs yn y gwaed, a thaenelled ger bron yr Arglwydd seithwaith ger bron y wahanlen, a gosoded o'r gwaed ar gyrn yr allor aur yn y cysegr, a thywallted y gweddill wrth waelod allor y poethoffrwm yn y cyntedd." Yna yr oedd yr holl wêr, neu frasder y bustach, i'w losgi yn gwbl ar yr allor brês, a'r holl fustach—ei ben a'i draed, ei groen a'i gîg, ei berfedd a'i fiswail—i gael ei losgi mewn lle glân, o'r tu allan i'r gwersyll, wrth dywalltfa y lludw, Lef. iv. 13—21. Os yr "offeiriad eneiniog" neu yr archoffeiriad fyddai wedi pechu, yr un aberth, a'r un drefn yn hollol oedd i'r aberthiad, ond yn unig ei fod ef ei hun i roddi ei law ar ei ben a'i ladd. Yr oedd ei bechod ef yr un peth â phechod yr holl gynnulleidfa, am ei fod ef yn eu cynnrychioli oll ger bron Duw, Lef. iv. 3—12.

Os un o'r bobl a fyddai wedi pechu, oen, neu lwdn gafr *fanyw* berffeithgwbl, oedd i fod yn bechaberth. Ond os byddai y dyn fyddai wedi pechu yn "benaeth," neu yn swyddog gwladol, yr oedd yn rhaid i'r aberth fod yn *wryw,* i ddangos fod gwahaniaeth rhwng pechod swyddog a phechod dyn cyffredin. Yr oedd yr aberth i gael ei osod "o'r tu gogledd i'r allor," a'r offrymwr euog i osod ei law ar ei ben, a'i ladd â'i law ei hun; yna yr oedd yr offeiriad a fyddai yn gweini ar y pryd i gymeryd ei waed a'i osod â'i fŷs ar gyrn allor y poethoffrwm yn y cyntedd, a'r gweddill i'w dywallt wrth waelod yr allor; yna yr holl wêr i'w losgi ar yr allor, a'r holl gîg i gael ei fwyta gan bob gwryw ymhlith yr offeiriaid—dim i'w teuluoedd—yn nghyntedd y babell. Nid bwyta cyffredin oedd hwn, ond bwyta swyddogol: "canys sancteiddiolaf yw."

Yn awr, y mae y darllenydd yn craffu ar fanylrwydd y rheolau yn ngweinyddiad y pechaberth dros wahanol bersonau, fel y mae hyny yn dynodi gwahaniaeth a graddoliaeth yn ysgelerder eu pechodau yn erbyn

Dûw. Nid oedd dim gwahaniaeth i fod rhwng aberth dros "benaeth" ac aberth dros ddyn cyffredin, yn ei werth na'i weinyddiad, ond yn unig yn ei *ryw*. Mae hyn yn awgrym, feddyliem, fod y swyddog gwladol, ar yr un tir â'r deiliad cyffredin mewn crefydd, ond yn unig fod pechod y naill yn fwy amlwg na phechod y llall; ac felly am fod hynodrwydd ar ei bechod, yr oedd hynodrwydd i fod hefyd ar ei aberth, ond nid dim i arwyddo uchafiaeth y penaeth ar y deiliad mewn crefydd. Ond am yr archoffeiriad, oedd yn cynnwys y genedl, neu y genedl oedd yn cynnwys yr archoffeiriad, yr oedd gwahaniaeth amlwg i fod rhwng eu haberth hwy ac aberth dros ddyn cyffredin. Nid yn unig yr oedd gwahaniaeth yn ngwerth yr aberth—un yn "fustach ieuanc" a'r llall yn "oen neu fŷn," ond hefyd yr oedd gwahaniaeth yn ngweinyddiad neu offrymiad yr aberth.

Yr oedd un gwahaniaeth amlwg yn nhaenelliad y gwaed. Yr oedd gwaed yr aberth dros yr offeiriaid i gael ei daenellu o flaen y wahanlen, ac ar gyrn yr allor aur yn y cysegr, pryd yr oedd gwaed yr aberth dros un o'r bobl i gael ei daenellu ar gyrn yr allor brês yn y cyntedd.

Yr un ystyr oedd i daenelliad y gwaed ymhob amgylchiad—nid yn unig gwaed y pechaberth, ond gwaed yr aberthau eraill, fel y cawn sylwi eto—sef, gwneyd "cymmod dros anwiredd," neu yn fwy llythyrenol, gorchuddio neu guddio pechod. Ac yr oedd hyn yn cael ei effeithio trwy daenellu gwaed yr aberth ar yr allor, ac ar gyrn yr allor—y rhan fwyaf amlwg, oedd yn dyrchafu tua'r nef, megys i bresennoldeb Duw. Nid oedd yn ddigon lladd yr aberth, heb daenellu neu gymhwyso ei waed, mwy nag—fel y sylwa Kurtz—y mae yn ddigon i'r meichnïydd ennill yr arian, heb eu gosod yn lle dyled y dyledwr, er mwyn ei rydd-hâu. Yn y taenelliad yr oedd y cymmod yn cyraedd cydwybod yr aberthwr. Felly y mŷn llawer ddarllen Heb. ix. 22: "Heb *daenellu* y gwaed (αἱματεκχσίας) nid oes maddeuant"—nid heb ei dywallt. Os dyna ystyr y taenellu, ai nid at y pechadur ei hun y dylid cymhwyso "gwaed y taenelliad," mewn trefn i "buro y gydwybod," ac nid at yr allor a'i chyrn? Nage, oblegid drwg yn erbyn Duw ydyw pechod, a'r unig ffordd i ddieuogi y gydwybod yw cuddio pechod rhag golygon sanctaidd Duw. Symud *euogrwydd* pechod oedd dyben y pechaberth; a'r ffordd i effeithio hyny oedd cymhwyso y gwaed at y gwrthddrychol, nid at y tumewnol, oblegid cysgod ydoedd o waith y Mab, ac nid gwaith yr Ysbryd Glân.

Yn gyson â hyn, yr oedd gwaed y pechaberth dros y bobl yn cael ei daenellu ar yr allor a'i chyrn yn y cyntedd—safle y bobl gyffredin yn yr eglwys ar y pryd. Yno, megys, yr oeddynt hwy yn pechu yn erbyn Duw, ac yno yr oedd y pechod i gael ei guddio. Ond am yr offeiriaid, yr oedd eu safle hwy yn y cysegr. Yno yr oeddynt hwy yn pechu, ac yno, ar y wahanlen, ac ar gyrn yr allor aur, yr oedd eu pechod i gael ei guddio â gwaed.

Yn yr un ystyr yn hollol yr oedd yr archoffeiriad, ar ŵyl y cymmod, yn dwyn y gwaed i'r sancteiddiolaf, ac yn ei daenellu "seithwaith"—rhif y cymmod, pedwar y ddaear a Thri y nef wedi dyfod yn un—"ar y drugareddfa," i'r dyben i guddio pechodau y flwyddyn rhag ei olygon sanctaidd Ef. Trwy hyn yr oedd i lanhâu y cysegr oddiwrth aflendid meibion Israel, ac oddiwrth eu hanwireddau, yn eu holl bechodau," Lef.

xvi. 16. Yn yr un modd y mae yr Archoffeiriad mawr yn cael ei ddarlunio yn myned "i'r nef ei hun," "trwy ei waed ei hun;" ac fel yr oedd "portrëadau y pethau sydd yn y nefoedd" yn cael eu puro â gwaed yr ebyrth, felly fod y "pethau nefol eu hunain" yn cael eu puro âg "aberthau gwell na'r rhai hyn," sef âg aberth Crist. Fel yna awgrymir ei fod wedi puro y nefoedd "â'i waed ei hun;" a chan ei fod wedi ei chlirio yn llŷs y nef, mae ei waed yn effeithiol i "buro y gydwybod." *Gorchuddio* pechod oedd drychfeddwl uchaf y cysgod; ond y mae y sylwedd yn effeithiol i "ddilëu camwedd, ac i beidio cofio pechod," eu "taflu tu ol i gefn" Duw, a'u taflu i "ddyfnderoedd y môr." Fel hyn, yr oedd taenelliad y gwaed yn gysgod o eiriolaeth Crist yn y nefoedd, neu gyflwyniad ei aberth ger bron Duw trosom ni.

Gwahaniaeth arall rhwng pechaberth dros yr offeiriaid a thros y bobl gyffredin oedd, yn y defnydd o gîg yr aberth. Yr oedd yr holl wêr, ymhob amgylchiad fel eu gilydd, i gael ei losgi ar yr allor "yn arogl peraidd i'r Arglwydd." Yr un meddwl oedd i losgi brasder y pechaberth ag oedd i losgi holl wêr yr aberth hêdd, fel y gwelwn oddiwrth Lef. iv. 31; a'r un meddwl oedd i'r ddau, feddyliem, ag oedd i losgi yr holl anifail yn y poethoffrwm, fel y cawn weled wrth fyned ymlaen. Ond wedi llosgi yr holl wêr—goreu yr aberth—ar yr allor, yr oedd gwahaniaeth tarawiadol yn y driniaeth ar y cîg. Yn y pechaberth dros yr offeiriaid a'r genedl, neu "yr hwn y dygid ei waed i'r cysegr," yr oedd holl gorff yr anifail i'w losgi mewn lle glân o'r tu allan i'r gwersyll. Ond am y pechaberth dros y bobl gyffredin, yr hwn y taenellid ei waed ar yr allor yn y *cyntedd*, yr oedd i gael ei fwyta gan yr offeiriaid yn y lle sanctaidd, sef yn nghyntedd y babell. Yn awr, y mae yn naturiol i ni dybied, gan mai yr un ystyr oedd i'r pechaberth ymhob amgylchiad, mai yr un ystyr oedd hefyd i'r bwyta a'r llosgi oedd i fod ar gîg yr aberth. Ac, yn wir, y mae naturiaethwyr yn ein dysgu, mai yr un *process* yn hollol sydd yn cymeryd lle yn y cylla yn nhreuliad yr ymborth âg sydd yn cael ei ddwyn ymlaen yn y tân yn nhreuliad y tànwydd. Ond beth ydoedd yr ystyr hwnw? Tybia rhai mai arwyddlun o ddigofaint Duw yn erbyn pechod ydoedd llosgiad y pechaberth o'r tu allan i'r gwersyll. Mae pawb erbyn hyn wedi rhoddi i fyny y meddwl mai ystyr y tân ar yr allor oedd bod yn arwyddlun o ddigofaint Duw; ond eto y maent yn dal mai dyna ystyr y llosgi o'r tu allan i'r gwersyll, a bod yr aberth yn yr ystâd hon, "megys y peth aflan," ac yn "llwythog o bechodau." Eu rhesymau dros y golygiad hwn ydyw, nad yr un gair sydd yn yr Hebräeg am losgi o'r tu allan i'r gwersyll ag am losgi ar yr allor; yr olaf yn golygu llosgi yn beraidd, ac hefyd fod y dyn a ddygai yr aberth i'w losgi i olchi ei ddillad fel dyn aflan. Hefyd, am gîg y pechaberth, yr hwn a fwytëid gan yr offeiriaid, yr oedd y llestr pridd y berwid ef ynddo i gael ei dòri, a'r llestr prês i gael ei ysgwrio a'i olchi mewn dwfr; yr hyn, meddir, oedd yn arwyddo ei fod yn aflan. Ond gwrthwynebir hyn yn gadarn gan eraill, ar y sail fod y cîg yn cael ei alw yn "sancteiddiolaf"—fod iddo gael ei losgi mewn "lle glân; ac am yr hyn a fwytëid, nad oedd neb i'w fwyta ond "pob gwryw ymysg yr offeiriaid," a hyny yn y "lle sanctaidd,"—dim i'w teuluoedd, fel yn yr aberth hêdd. Yn awr, feddyliem, mae gwirionedd gan y ddwy ochr, a'r ddau fath cyfarwyddiadau uchod yn rhoddi

ar ddeall i ni fod rhyw gyfuniad dirgeledig o bechod a sancteiddrwydd yn y pechaberth, neu, yn hytrach, ei fod yn llwythog o *euogrwydd* pechod tra yn berffaith lân oddiwrth ei *halogrwydd;* neu fel yr Aberth mawr—"y gwŷn a'r gwridog,"—"yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwireddau ni i gyd;" "ac efe a ddŷg ein pechodau yn ei gorff ar y pren:" ar yr un pryd yr ydoedd yn "Oen difeius a difrycheulyd," yn "sanctaidd, yn ddiddrwg, yn ddihalog, ac yn ddidoledig oddiwrth bechaduriaid." "Ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." Ac eto, er "nad adnabu bechod, efe a wnaed yn bechod trosom ni." *Euogrwydd* pechod sydd yn gyfrifadwy neu yn drosglwyddadwy, nid ei *halogrwydd.* Yn awr, yr ydym yn tybio mai y cyfuniad rhyfedd a dirgeledig hwn o bechod a sancteiddrwydd, oedd yn cael ei arwyddo yn y pechaberth, ac felly gallasai fod yn "sancteiddiolaf," ac yn dal y berthynas agosaf â phechod. Ond ystyr y llosgi a'r bwyta oedd derbyniad a chymeradwyaeth Duw o'r aberth. Er fod pechod wedi ei gyfrif arno, nid oedd yn aflan, ac yr oedd yn dderbyniol gan Dduw dros yr euog, yn gymaint felly, fel yr oedd yr offeiriaid, gweision cysegredig Duw, i'w fwyta yn y lle sanctaidd. Yn y wêdd yma yr oedd yr "offeiriad yn gwneyd cymmod" dros y pechadur: "a maddeuir iddo." Dyma brawf amlwg i'r pechadur euog fod Duw yn derbyn ei aberth. Ond am y pechaberth dros yr offeiriaid, a'r genedl, "yr hwn y dygid ei waed i'r cysegr," nid oedd weddus i'r offeiriaid fwyta hwnw, gan ei fod dros eu pechod hwy eu hunain; buasai felly yn aberth hêdd; ac felly yr oedd yn rhaid ei ddwyn i le glân o'r tu allan i'r gwersyll, i'w fwyta yno gan y tân, yn arwydd o gymeradwyaeth Duw o hono. Nid oedd yn weddus ei losgi ar yr allor, neu fe fuasai fel y poethoffrwm, yr hwn oedd o ystyr tra gwahanol. Felly yr ydym yn cael yr un ystyr yn mwyta y pechaberth gan yr offeiriaid "yn y lle sanctaidd," a chan y tân "mewn lle glân o'r tu allan i'r gwersyll," sef cysgod o'r "llwyr foddlonrwydd" a gafodd Duw yn y Pechaberth mawr.

Y mae genym air eto mewn perthynas i'r pechaberth mewn amgylchiadau o ddwfn dlodi. Os byddai dyn yn rhy dlawd i gyraedd oen neu fŷn, "dwy ddurtur, neu ddau gyw colomen," oedd i fod yn bechaberth, y naill i'w llosgi ar yr allor, fel y gwêr, a'r llall i'w bwyta gan yr offeiriaid, fel y cîg. Yr oedd yr aberth hwn mor îsraddol fel na sonir am roddi llaw ar ei ben, &c.; ond eto, yr oedd peth o'r gwaed i'w daenellu ar ystlys yr allor, a'r rhan arall i'w wasgu wrth waelod yr allor. Taenelliad y gwaed oedd pwynt mawr y pechaberth. Ond os byddai dyn yn rhy dlawd i gyraedd "dwy ddurtur, neu ddau gyw colomen," "degfed ran ephah" o beilliad oedd i fod yn bechaberth. Yr oedd rhan o hóno i'w losgi ar yr allor, yn lle y brasder, a'r rhan arall i'w fwyta gan yr offeiriaid, yn lle y cîg. Nid oedd nac olew na thus i fod arno, fel gyda'r bwydoffrwm, "canys aberth dros bechod ydyw." Degfed ran ephah, meddir, ydoedd dogn dyn am ddiwrnod o ymborth; ac os nad allai dyn gyraedd un math arall o aberth dros ei bechod, yr oedd yn rhaid iddo ymprydio am ddiwrnod. Yr oedd dyoddef i fod dros bechod; ac os nad allai gael neb i ddyoddef drosto, yr oedd yn rhaid iddo ddyoddef ei hunan. Yr oedd yn rhaid cael aberth dros bechod, pa mor dlawd bynag y byddai y pechadur. Dyma gysgod gwan o'r gwirionedd mawr nad oes maddeu i fod heb iawn.

Yn nesaf ni a ddeuwn at y *Camwedd-aberth*. Nid oedd yr aberth dros gamwedd ond math îsraddol o bechaberth, i'w offrymu dros y troseddau hyny a ystyrid yn fwy o *gamwedd* nag o *bechod;* neu fel y gelwir hwynt mewn un man, "pechodau dynol," Num. v. 6. Yr oedd y camweddau hyn yn gynnwysedig mewn colledu Duw yn ei feddiannau, fel brenin gwladol, neu ynte, dynion fel ei ddeiliaid Ef, megys, camattal pethau cysegredig yr Arglwydd—y blaenffrwyth, y degwm, a'r offrwm, neu ynte dwyllo ei gymydog mewn dim, trwy ddyweyd celwydd, a dwyn camdystiolaeth, yr hyn a barai niwed a cholled iddo. Wrth gwrs, yr oedd yn rhaid fod y camweddau hyn wedi eu cyflawni mewn "amryfusedd," cyn y gellid dwyn aberth drostynt. Pan ddelai y camwedd i wybyddiaeth y dyn, yr oedd i gyffesu ei drosedd a wnaeth, a rhoddi yn ei ôl "yr hyn yr oedd yn euog o hôno," trwy dwyllo a chamattal—"erbyn ei ben," i'w berchenog, neu, os na byddai hwnw byw, i'w gyfnesaf, a chwanegu ei bummed ran ato—dau ddegwm. Yr oedd y camwedd, neu y *damage*, fel hyn, i gael ei brisio. Nid oedd yn bosibl prisio pechod fel drwg moesol yn erbyn Duw; ond yr oedd y wêdd yma ar bechod yn brisiadwy. Wedi hyny, yr oedd y troseddwr i ddwyn "hwrdd perffeithgwbl" (hwrdd bob amser oedd i fod yn gamwedd-aberth, oddieithr yn nglanhâd y gwahanglwyfus, pan y crybwyllir am hespwrn, neu hwrdd ieuanc) yn gamwedd-aberth. Yr oedd yr hwrdd hefyd i gael ei brisio gan yr offeiriaid, "yn ol sicl y cysegr," fel y byddai yr aberth yn dal perthynas gydwerth â maint y trosedd. Nid yw yn hawdd canfod paham yr oedd yr aberth hwn bob amser i fod yn *wryw* o'r defaid, pan yr oedd y pechaberth dros y bobl i fod bob amser yn *fanyw*. Tybia rhai mai dyben hyny ydoedd, i arwyddo fod yma drais a gorthrech yn y math yma o droseddau. Y rheswm a roddir i ni gan rai fod y camwedd-aberth i fod yn unig o'r defaid, ac nid o'r geifr, hefyd, fel y pechaberth, mai math o ddirwy *(fine)* oedd y camwedd-aberth, ac mai mewn defaid yr arferid talu pob math o ddirwyon a theyrnged yn y gwledydd dwyreiniol.

Ni chrybwyllir yn bendant am osod dwylaw ar ben y camwedd-aberth, eto mwy tebyg ydyw fod hyny yn cymeryd lle, gan y dywedir (Lef. viii. 7), "Fel y mae yr aberth dros bechod, felly y mae yr aberth dros gamwedd, un gyfraith sydd iddynt." Yr oedd y gwaed i gael ei daenellu ar yr allor—nid ar ei chyrn, fel yn y pechaberth—ond "ar yr allor o amgylch." Yr oedd yr holl wêr i'w losgi ar yr allor, a'r cîg i'w fwyta gan "bob gwryw ymysg yr offeiriaid, yn y lle sanctaidd: sancteiddiolaf yw." Bellach ni a gymerwn olwg fer ar y

*Poethoffrwm*. Fel yr ydym wedi sylwi, yr oedd y math hwn o aberth mewn arferiad ymysg y patriarchiaid o'r dechreuad; ond yn awr, y mae yntau, fel pob peth arall, yn cael ei osod "dan y ddeddf." Yr oedd y poethoffrwm, o ran ei ddefnydd, i fod o'r gwartheg, o'r defaid, neu o'r geifr. Ond yr oedd yn rhaid iddo, ymhob amgylchiad, fod yn "*wryw* perffeithgwbl." Yr oedd yr offrymwr i'w ddwyn "o'i ewyllys ei hun, i ddrws pabell y cyfarfod," a'i osod ger bron yr Arglwydd, sef "o'r tu gogledd i'r allor;" yna, dodi ei law ar ei ben, a'i ladd. Wedi hyny yr oedd yr offeiriad i gymeryd ei waed, a'i daenellu ar yr allor o amgylch; nid ar gyrn yr allor, fel yn y pechaberth. Wedi ei flingo, yr oedd y croen i fyned i'r offeiriad a fyddai yn gweinyddu ar y pryd (Lef. vii. 8),

a'r holl gorff i gael ei dòri yn ei ddarnau, hyny yw, yn ei gwarteri. Dyben hyn oedd ei wneyd yn fwy hwylus i'w osod ar yr allor, a hyny heb ddinystrio cyfanrwydd yr aberth. Yr oedd y traed a'r perfedd i'w golchi mewn dwfr, a'r cwbl i'w gosod yn drefnus ar y coed, ar yr allor; yna yr oedd yr offeiriad i losgi y cyfan ar yr allor, "yn aberth tanllyd o arogl peraidd i'r Arglwydd." Mewn amgylchiadau o dlodi, yr oedd adar yn dderbyniol yn boethoffrwm, fel yn y pechaberth; Lef. i. 14.

Nid ydym yn cael fod y poethoffrwm i'w gyflwyno dros bechodau neillduol, fel y pech a'r camwedd-aberth, ond dros ddynion oedd yn barod yn sefyll mewn perthynas gyfammodol â Duw, ond eto yn teimlo eu diffygion a'u llygredd mewnol. er nad oedd yn tòri allan yn drosedd allanol, fel yr oeddynt yn ymwybodol o euogrwydd ger bron Duw. I gyfarfod â'r teimlad hwn, yr oedd yr offrymwr i osod ei law ar ben ei offrwm, i gyffesu ei bechodau, a'r gwaed i gael ei daenellu ar yr allor, "i wneuthur cymmod drosto," Lef. i. 4. Ond drychfeddwl mawr y poethoffrwm oedd, y llosgi yn gyfan ar yr allor. Dyna ei hynodrwydd arbenig, a'r hyn oedd yn ei wahaniaethu oddiwrth yr aberthau eraill. Nid oedd yr arddodiad dwylaw a thaenelliad y gwaed ond pethau îsraddol yn hwn, a moddion i'w gysylltu â'r pechaberth. Yr ystyr arbenig i'r llosgi yn gyfan ar yr allor, dybygid, oedd, arwyddlun o ymgyflwyniad yr offrymwr yn hollol i wasanaeth Duw. Fel yr ydym wedi sylwi, nid tân cosbawl oedd y tân ar yr allor, ond tân puredigol; arwyddlun o waith yr Ysbryd Glân, yr hwn sydd "â'i ddylanwadau megys tân." Yr oedd y tân hwn wedi disgyn o'r nef ar y dechre, ac yr oedd y cwbl a losgid arno yn "arogl peraidd i'r Arglwydd," yr hyn oedd yn arwydd o gymeradwyaeth Duw o'r aberthwr yn ei offrwm, ac nid arwydd o ddigofaint Duw, yr hwn nad yw yn "ymhoffi yn marwolaeth yr annuwiol." Cawn yn nesaf yr

*Aberth hêdd.* Yr ydym wedi sylwi o'r blaen fod yr aberth hêdd yn bod yn amser y patrïarchiaid, o leiaf er dyddiau Noah, pan roddwyd caniatâd i fwyta cîg; ond y pryd hwn y gosodwyd yntau dan reolau. Y mae yn ddïau genym mai ystyr yr ymadrodd, aberth hêdd, ydoedd, nid aberth â'i ddyben i gyraedd heddwch Duw, ond aberth yn seiliedig ar heddwch; ac o ganlyniad, nid ydym yn cael yr aberth hwn yn cael ei gysylltu âg unrhyw bechodau neillduol, ond âg amgylchiadau neillduol yn mywyd yr aberthwr. Felly yr ydym yn cael tri math o aberth hêdd: yn 1af, Aberth hêdd o ddiolch, pan fyddai dyn yn teimlo rhwymedigaeth i gydnabod Duw yn gyhoeddus am ryw waredigaeth neu ffafr neillduol oddiar ei law, neu ryw amlygiad neillduol o'i ddaioni. 2il, Aberth hêdd o adduned, pan fyddai dyn yn ymgyfammodi â Duw, ac yn gofyn rhyw ffafr arbenig oddiar ei law. Pan dderbyniai y cyfryw ffafr, yr oedd yn "talu ei addunedau i'r Arglwydd yn ngŵydd ei holl bobl ef," trwy ddwyn ei aberth hêdd. 3ydd, Aberth hêdd gwirfoddol, pan na byddai un amgylchiad neillduol, ond y dyn yn teimlo ei rwymedigaeth i'w Grëawdwr. Yn yr amgylchiad hwn, yr oedd crëadur â gormod neu rhy fychan o aelodau yn dderbyniol, os byddai yn naturiol. Yn y wêdd yma, yr oedd dyn yn cael lle i gydnabod llaw Duw yn y cyfryw grëadur trwy ei offrymu i'r Arglwydd yn aberth gwirfoddol; Lef. vii. 11—21, a xxii. 23.

Yr oedd yr aberth hêdd i fod o'r gwartheg, y defaid, neu y geifr, gwr-

yw neu fanyw perffeithgwbl—oddieithr yn yr amgylchiad a nodwyd. Nid ydym yn cael fod adar yn dderbyniol yn yr aberth hwn, fel yn yr aberthau eraill i gyfarfod âg amgylchiadau o dlodi, am nad oedd yr angen am hwn mor fanwl âg yn y lleill. Gyda golwg ar ddwyn yr aberth i babell y cyfarfod—gosod dwylaw ar ei ben—ei ladd—a thaenellu y gwaed,—yr oedd y rheol gyda golwg ar y pethau hyn yr un peth yn hollol ag yn y poethoffrwm. Yr oedd yr holl wêr i'w losgi ar yr allor fel yn y pechaberth. Am y cîg, yr oedd y barwyden *(breast)* i gael ei neillduo yn "barwyden cyhwfan," a'i ysgwyddog ddehau—neu fel y mŷn rhai ddarllen—y glûn ddehau—yn "ysgwyddog ddyrchafael;" y naill i'w hysgwyd yn wastad, a'r llall i'w dyrchafu tua'r nefoedd, ac yna eu rhoddi i'r offeiriaid a fyddai yn gweinyddu ar y pryd, i'w bwyta, hwy a'u teuluoedd. Dyma fwyta cyffredin, ac nid swyddogol, fel yn y pechaberth. Dyben y "cyhwfanu," a'r "dyrchafu," oedd eu cyflwyno i Dduw cyn eu rhoddi i'r offeiriaid fel ei gynnrychiolwyr; oblegid yn ol iaith y ddeddf, Duw oedd yn eu rhoddi i'r offeiriaid, ac nid y bobl. "O herwydd parwyden y cyhwfan, ac ysgwyddog y dyrchafael, a gymerais i gan feibion Israel o'u hebyrth hêdd, ac a'u rhoddais hwynt i Aaron, ac i'w feibion, trwy ddeddf dragywyddol," Lef. vii. 24. Ar ol hyny yr oedd y gweddill o'r cîg i'r aberthwr a'i deulu, a chynifer a ddewisai ef eu gwahodd—os byddent yn lân yn ol y gyfraith—i wledda arno. Dyma yr unig aberth y gallasai yr aberthwr gyfranogi o hóno, oedd yr aberth hêdd. A dyma oedd neillduolrwydd yr aberth hwn, yr hyn a'i gwahaniaethai oddiwrth bob aberth arall, ei fod yn fforddio gwlèdd i'r offrymwr ei hun. Deuwn bellach at

*Y Bwydoffrwm.* Gallesid offrymu hwn yn ol yr amgylchiadau, naill ai o grâsŷd—ŷd parod i'w falu, neu o beilliad—ŷd wedi ei falu; neu ynte yn deisenau wedi eu pobi mewn ffwrn, mewn padell, neu ar radell. Lef ii. Yr oedd gwîn hefyd i fod yn ddïodoffrwm. Nid oedd arddodiad dwylaw, neu gyffesiad o bechod, yn cydfyned âg offrymiad y bwydoffrwm, am nad oedd ond math o rodd ddiolchgar i Dduw. Arwyddlun ydoedd o weithredoedd da dyn, fel ffrwyth ei lafur a'i ddiwydrwydd, o gynnyrch y ddaear. Nid ydoedd byth i gael ei offrymu arno ei hun, ond gyda y poethoffrwm a'r aberth hedd,—byth gyda'r pechaberth. Yr oedd i'w offrymu yn ddognau penodol yn ol maint y crëadur a aberthid, Num. xv. 1—13. Gydag oen, neu fŷn, $\frac{1}{10}$ epha o beilliad, $\frac{1}{4}$ hin o olew, a $\frac{1}{4}$ hin o wîn; gyda hwrdd, neu fwch, $\frac{2}{10}$ epha o beilliad, $\frac{1}{3}$ hin o olew, a $\frac{1}{3}$ hin o wîn; gyda bustach, $\frac{3}{10}$ epha o beilliad, $\frac{1}{2}$ hin o olew, a $\frac{1}{2}$ hin o wîn. Yr un faint oedd i fod gyda y poethoffrwm â chyda yr aberthhêdd; ond gyda yr olaf yr oedd i gael ei goginio, a'i gymhwyso i'w fwyta gyda'r aberth wedi llosgi rhan o hóno ar yr allor. Ond gyda y poethoffrwm, yr oedd i gael ei losgi yn gwbl ar yr allor. Yr oedd pob math o fwydoffrwm i gael ei gymysgu âg olew. Arwyddlun o ddylanwadau yr Ysbryd Glân oedd yr olew ymhob peth—"yr eneiniad oddiwrth y sanctaidd hwnw"—i ddangos fod y gweithredoedd da sydd yn dderbyniol, i'w cynnyrchu trwy yr Ysbryd Glân. Yr oedd halen hefyd i fod ar bob bwydoffrwm. Yr oedd halen yn arwyddo anllygredigrwydd cyfammod Duw, am hyny yr oedd i fod gyda phob bwydoffrwm. Yr un modd hefyd yr oedd y thus i fod gyda y bwydoffrwm. Ac yr oedd yr "holl thus" i'w losgi ar yr allor, hyd yn nôd yn yr amgylchiadau hyny pryd

na losgid yr holl fwydoffrwm. Arwyddlun o weddi ydoedd y thus, ac y mae y rheol gyda golwg arno yn dangos, yn un peth, fod holl weithredoedd da dyn i'w cyflwyno i Dduw gyda gweddi, ac hefyd mai ar Dduw yn unig y dylid gweddïo. Llosged yr offeiriad goffadwriaeth o bob bwydoffrwm, "a'i holl thus," Lef. ii. 16.

Erbyn hyn y mae y darllenydd yn sylwi, er fod pump math o offrymau, nad oedd ond tair egwyddor yn y cwbl. Nid oedd y camwedd-aberth ond agweddiad neillduol ar y pechaberth, yn yr amgylchiadau y gellid prisio y golled. Yr un *idea* oedd yn y ddau. Wedi hyny nid oedd y bwydoffrwm i'w offrymu ar ei ben ei hun, ond gyda y poethoffrwm, a'r aberth hêdd.

Yn awr y mae y tri hyn yn arddangos y tri nôd gwahaniaethol. Neillduolrwydd y pechaberth oedd *taenelliad y gwaed*, nid yn unig ar yr allor ond hefyd ar *gyrn* yr allor—y lle mwyaf amlwg arni,—ac mewn rhai amgylchiadau ar gyrn yr allor aur yn y cysegr. Neillduolrwydd y poethoffrwm oedd ei fod yn cael ei losgi yn *gyfan* ar yr allor; a neillduolrwydd yr aberth hêdd ydoedd y *wlêdd* i'r aberthwr, &c.

Nid yw yn anhawdd canfod erbyn hyn fod y tri yn arddangos ac yn dysgu tair athrawiaeth fawr. Yn y pechaberth, lle yr oedd y *gwaed* yn cael lle mor amlwg, yr *idea* fawr ydoedd cymmod dros bechod—iawn i Dduw, a chyfiawnhâd i'r pechadur. Ac fel y mae cyfiawnhâd yn cynnwys cyfiawnhâu y person, a maddeu y pechodau, felly y mae dau beth yn cael eu harddangos yn y pech a'r camwedd-aberth gyda eu gilydd. Yn y poethoffrwm, lle llosgid ef yn gyfan ar yr allor, yr *idea* fawr ydoedd sancteiddhâd, neu gyflwyniad dyn o hóno ei hun yn gwbl i wasanaeth Duw mewn bywyd sanctaidd, a'i aflendid yn cael ei symud ymaith "mewn ysbryd barn ac mewn ysbryd *llosgfa*." At hwn y cyfeiria yr apostol, Rhuf. xii. 1,—"roddi o honoch eich cyrff yn aberth byw, sanctaidd, &c." Aberth Crist trosom yw ein cyfiawnhâd, ond ein haberthiad ni o hónom ein hunain i Dduw yw ein sancteiddhâd; haeddiant drosom yw y gwaed, ac nid moddion ein sancteiddhâd. Yr oedd y gwaed i gael ei daenellu ar yr allor ac nid ar y pechadur. Ysbryd a gair Duw ydyw gweithredydd a moddion ein sancteiddhâd. Ac nid ydym yn meddwl fod un adnod yn y Bibl—o'i hiawn esbonio—yn dysgu fod y gwaed yn *foddion* ein sancteiddhâd, ond yn hytrach yn *haeddiant* ein cyfiawnhâd a'n hiachawdwriaeth hollol.

Yn yr aberth-hêdd, lle y darperid gwledd i'r aberthwr, yr *idea* ydoedd cymdeithas â Duw—rhan ar yr allor—rhan i'r offeiriaid—a rhan i'r aberthwr a'i deulu i wledda arno. Aberth sant oedd hwn, ac nid aberth pechadur allan o heddwch Duw. Dyma grefydd yr aberthau: cyfiawnhâd, sancteiddhâd, a chymundeb â Duw; crefydd gryno i bechadur. Ac y mae yn werth ein sylw, fel y mae y tair *idea* yn dal cysylltiad, ac yn ymdoddi i'w gilydd yn y tri aberth. Yn un peth, yr oedd arddodiad dwylaw a thaenelliad y gwaed, yn gyffredin i'r tri. Er fod hyny yn îsraddol yn y poethoffrwm a'r aberth hêdd, eto yr un meddwl oedd i'r ddefod ynddynt hwy ac yn y pechaberth, lle yr oedd yn cael lle arbenig, sef cymmod dros bechod. Ac yr oedd hyny yn dangos fod sancteiddhâd, a chymundeb â Duw, yn seiliedig ar y cyfiawnhâd, fel yr oedd y poethoffrwm a'r aberth hêdd yn seiliedig ar y pechaberth, ac yn cael eu cysylltu âg ef trwy daenelliad y gwaed, yr hyn oedd yn gyffredin i'r tri.

Wedi hyny, yn y pechaberth a'r aberth hêdd, yr oedd yr holl wêr i gael ei losgi ar yr allor, yr hyn oedd o'r un ystyr a llosgiad cyfan y poethoffrwm, a thrwy hyny yn cael eu cysylltu âg ef, i ddangos mai dyben eithaf y pechaberth a'r aberth hêdd oedd sancteiddhâd.

Yn y wêdd hon, yr oedd y tri aberth gyda eu gilydd, wedi eu "cyfangydgysylltu," yn gysgod o un Aberth mawr. "Ag un offrwm y perffeithiodd Efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio." Nid un mewn cyferbyniad i'r miloedd a offrymwyd "yn fynych, er dechreuad y byd," mewn cyferbyniad i ba rai yr offrymodd Ef ei hun *unwaith* "yn niwedd y byd;" ond *un* mewn cyferbyniad i *dri* oedd yn angenrheidiol i berffeithio yr addolydd dan y gyfraith. Mae ein cyfiawnhâd, ein sancteiddhâd, a'n cymundeb â Duw, yn gryno yn ei aberth Ef.

Y mae yr olwg yna ar yr aberthau yn agoriad i'r gyfundrefn ddyrys benbwygilydd. Gyda'r agoriad hwn yn ein llaw, egyr dôrau y deml ddirgelaidd hon bron "o'u gwaith ei hun," ac arweinir ni i gymeryd golwg drefnus a dealladwy o'r holl fanylion. Yn ngoleu y drychfeddwl hwn, y mae yr "Efengyl yn ol Lefiticus"—ys dywed Dr. Cumming—bron mor oleu â'r Efengyl yn ol Matthew, a Llyfrau Moses bron mor eglur âg Epistolau Paul. Rhydd hyn gyfrif, yn

1. Am y drefn yr offrymid hwynt. Pan y byddai y tri yn cael eu hoffrymu gyda'u gilydd, fel y byddent yn fynych, y pechaberth oedd y cyntaf, yna y poethoffrwm, ac wedi hyny yr aberth hêdd. Ac fel yr oedd trefn yr aberthau, felly y mae trefn y rhagorfreintiau. Y peth mawr cyntaf yw cyfiawnhâu y person, yna ymgysegriad llwyr i wasanaeth Duw mewn bywyd sanctaidd; ac ar sail y ddau y mae cymundeb â Duw i'w gael i'r credadyn.

2. Am nad oedd ond un pechaberth yn cael ei gyflwyno, pan gyflwynid lliaws mawr o aberthau eraill. Ar y gŵyliau, neu ar achlysuron arbenig, yr oeddynt yn offrymu rhifedi mawr o boethoffrymau ac ebyrth hêdd. Ar adeg cysegriad y deml, yr oedd yr ebyrth hyn braidd yn ddirifedi. Ond pan fyddai fwyaf o honynt, nid oedd ond un pechaberth,—hyny yw, un bob dydd,—am fod gwaith pob dydd ar ei ben ei hun yn arddangosiad cyflawn o grefydd berffaith. Nid oedd y ddau fŵch ar ŵyl y cymmod ond un pechaberth. Y mae y rheswm am hyn yn amlwg, am mai gweithred unwaith am byth ar y pechadur yw y cyfiawnhâd—gweithred sydd yn berffaith ar unwaith, heb ddim graddau yn perthyn iddi. Ond am y sancteiddhâd, a chymdeithas Duw, y mae graddau yn perthyn iddynt. Y mae yr un dyn yn amrywio ynddynt ar amrywiol amserau.

3. Rhydd hyn gyfrif paham y defnyddid y bwydoffrwm, gyda y poethoffrwm, a'r aberth hêdd, yn unig, ac nid byth gyda y pechaberth. Arwyddlun oedd y bwydoffrwm o weithredoedd da dyn—fel yr ydym ni yn awr yn offrymu ein harian i Dduw at gynnal crefydd—yn cael eu cynnyrchu trwy eneiniad yr Ysbryd, a'u cyflwyno gyda thus gweddi. Ond nid oes lle i weithredoedd da dyn yn y cyfiawnhâd—nid oes yno le hyd yn nôd i waith yr Ysbryd—gwaith y Mab yn unig yw ein cyfiawnhâu ger bron Duw. Ond yn ein sancteiddhâd a'n cymdeithas â Duw, mae yma le i'n hufudd-dod, ein llafur, a'n gweithredoedd. Y dyn sydd wedi ei "gyfiawnhâu yn rhad trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu," ac yn cysegru ei hun i fywyd o lafur dros Dduw yn y byd, dyna y dyn sanctaidd, a dyna y dyn sydd yn cael cymdeithas â Duw a gwêdd

ei wyneb. Mae hyn yn dangos fod sancteiddhâd yn rhywbeth mwy na diniweidrwydd nacäol. Dyna syniad uchaf rhai am sancteiddrwydd, mai peidio gwneyd drwg ydyw. Na, mae bywyd sanctaidd yn fywyd o lafur a gweithgarwch yn ngwasanaeth Duw. Dyna paham, fel y tybir, yr oedd y poethoffrwm ymhob amgylchiad i fod yn *wryw*—yr hyn sydd yn ein taro braidd yn ddyeithr, pan gofiwn fod y pechaberth mewn llawer o amgylchiadau i fod yn *fanyw;* ond yr unig reswm a ellir ei roddi dros hyn ydyw, i ddangos mai nid rhyw ddiniweidrwydd benywaidd yw sancteiddrwydd, ond bywyd o wrolrwydd, egni, a llafur, yn ngwasanaeth Duw. Ac am hyny nid oedd dim bwydoffrwm i fod gyda y pechaberth, ond bob amser gyda y poethoffrwm a'r aberth hêdd. Dyna y rheswm hefyd paham nad oedd nac olew na thus i fod ar "ddegfed ran epha o beilliad" y dyn tlawd yn ei aberth dros bechod. Nid bwydoffrwm ydoedd, ond pechâberth, mewn amgylchiad nad allai gyraedd dim arall. Gwaith y Mab oedd hwnw yn ei arddangos; nid oedd lle i waith yr Ysbryd, na gwaith na gweddi dyn ynddo.

4. Rhydd hyn gyfrif paham yr oedd y poethoffrwm yn cael ei offrymu yn wastadol bob dydd, heb unrhyw achlysur neillduol, fel gyda yr aberthau eraill. Yr oedd dau oen blwyddiaid i gael eu hoffrymu bob dydd dros y genedl, un y bore a'r llall yr hwyr, i'w llosgi ar yr allor "o fore hyd nos, ac o nos hyd fore," yn wastadol. Ar y Sabbath yr oedd dau eraill yr un modd i'w chwanegu atynt. Ac ar ddyddiau cysegredig yr oeddynt i gynnyddu hyd ddeg—rhif perffeithrwydd—sef dau fustach, un hwrdd, a saith o ŵyn blwyddiaid, a'r dogn penodol o fwydoffrwm; heblaw y poethoffrwm gwastadol, yr oedd hwnw i'w gadw yn sefydlog er pobpeth. Yr oedd hyn yn dangos fod y genedl i fod yn "genedl sanctaidd" bob amser; ar y Sabbothau yn fwy cysegredig; ac ar y gŵyliau yn arbenig yr oedd y ddefod yn ei harddangos yn berffaith gysegredig. Fel hyn yr ydym yn teimlo fod y drefn yna ar yr aberthau yn agoriad rhwydd i'r holl fanylion; ac ond cadw y tri pheth a nodwyd mewn golwg, ni chyferfydd y darllenydd â nemawr anhawsder yn y gyfundrefn aberthol. Nid ydym yn teimlo ein bod eto wedi gorphen â Moses, ond rhaid i ni adael ein gilydd ar hyn o bryd yn y fan yma.

# CARTREF Y GWEITHIWR.

Ffaith gysurlawn ac anrhydeddus iawn ydyw fod hawliau a llesiant y gweithiwr yn ennill yn barhäus fwy o sylw, ac yn derbyn ychwaneg o gydymdeimlad. Y mae pwysigrwydd y dosbarth gweithiol, fel olwyn fwyaf anhebgorol y peiriant cymdeithasol, yn cael bellach ei gydnabod, i raddau helaeth; ac mewn canlyniad y mae eu buddiannau a'u cysur yn cael llawer o ystyriaeth. Ymysg yr amrywiol welliannau ydynt yn ffrwyth y gydnabyddiaeth hirddysgwyliedig hon o'r gweithiwr, y mae ei gartref, ar ol myned dan archwiliad, a'i brofi yn brin, wedi ei ddiwygio yn ganmoladwy, mewn rhai achosion yn bur ddymunol a pherffaith. Ond y mae yn ddrwg genym wybod mai nid hyn ydyw y gwirionedd cyffredinol am Gymru. Y mae "cartref y gweithiwr" yma eto ymhell o fod yr hyn y dylai, yn bur llawn o anghyflëusderau a diffygion, a'r cyfrifoldeb o hyny, mewn llïaws o amgylchiadau, yn gorphwys wrth ddrysau eraill; weithiau, mae yn bosibl, wrth ddrws y gweithiwr ei hun.

Y mae yn ein bryd gymeryd golwg ëang ar y mater, a cheisio nodi allan anhebgorion mwyaf neillduol cartref y gweithiwr, nid yn unig yn y cyfeiriad hwnw y gall fod yn ddibynol ar eraill, ond hefyd yn yr un y mae ynddo yn ddibynol arno ei hun. Y mae llïaws o elfenau anhebgorol cyfaddasder a chysur cartref y gweithiwr, o angenrheidrwydd yn rhai cyffredin i bob cartref; ond gyda dangos yr angenrheidrwydd ychwanegol am y rhai hyny yn ei achos ef, hwyrach y gallwn ddisgyn ar amryw bethau ydynt, mewn modd arbenig, yn hanfodion neu anhebgorion "cartref y gweithiwr."

"Teilwng i'r gweithiwr ei gyflog," medd yr Ysgrythyr; a gellid ychwanegu, dybygem, gyda llawer o brïodoldeb, "teilwng i'r gweithiwr" ei *gartref*, a theilwng iddo ei gael, nid yn unig yn fan i droi iddo dros nos i ddysgwyl y bore; nid yn unig yn gell i droi iddi am ei ymborth a'i ddillad; nid yn unig yn fath o gorlan i gadw ei blant gyda'u gilydd ynddi; nid yn unig fel yna yn rhyw fath o gysgod rhag yr oerni a'r gwrês,—ond teilwng iddo ei gael yn gartref yn holl ystyr y gair, yn baradwys y ddaear iddo, yn lle âg fyddo yn ei swyno iddo o bob cyfeiriad, ac yn ei gadw ynddo yn wastad, ond pan fyddo raid iddo fyned allan. Dylai ei gael yn gyfryw, ac ni a geisiwn ddangos pa mor bell y mae yn brïodol dyweyd y dylai efe ei hun ei wneuthur yr hyn y dylai fod.

Y mae ystyr y gair anwyl hwn, "cartref," yn cynnwys ynddo falm esmwythäol i holl boenau gofid a thrafferth y byd; y mae yn arwyddo rhywbeth y mae meddwl am dano yn cymmodi y teithiwr â holl anhawsderau a pheryglon ei daith—rhywbeth sydd yn peri iddo anghofio ei flinder, ac ymwroli i fyned ymlaen heb laesu dim, er gwaethaf pobpeth fyddo yn sefyll i'w erbyn. Y mae y gair "cartref," pan fyddo yn bur gyflawn o ystyr i rywun, yn meddwl rhywbeth na chyfnewidiai am fyd o berlau, nad ymwadai âg ef am un o orseddfeinciau uchaf y ddaear, ac na fradychai er arbed ei fywyd ei hun. Nid mawredd cyfoeth sydd yn ei wneuthur felly; nid anrhydedd y byd sydd wedi gosod bri a gogon-

iant arno: o ran hyny, y mae yn bosibl na phwysai cartref llawer un, a'r cwbl sydd ynddo, yn nghlorian masnach y byd hwn, ond y peth nesaf i ddim; pe cyhoeddid arwerthiad arno, y mae yn bosibl na cheid un cynnygiad am dano, ac na wnelid un gair o ymofyniad yn ei gylch; eto, iddo ef, ei berchenog, y mae yn fwy ei werth na byd cyfan. Y mae yn perthyn iddo ddirgelwch sydd yn anwylach gan ei galon na dim a fedd y ddaear. Yr ydym am geisio chwilio y dirgelwch hwn allan, a'i amrywiol berthynasau, a dangos mor anhebgorol angenrheidiol ydyw i gartref y *gweithiwr*—gymaint yn fwy felly ydyw i'w eiddo ef ragor i eiddo y pendefig, am nad oes ganddo ef, os yn amddifad o'r anhebgor hon, ddim wedi ei adael i wneuthur i fyny am y golled, nac un cyfeiriad i droi iddo am rywfath o adloniant, ond cyfeiriad dinystriol y dafarn a'r gyfeddach. O bawb yn y byd, y gweithiwr ydyw yr un â mwyaf o angen cartref arno; ac efe o bawb hefyd, tra yn ymddwyn yn deilwng, ydyw y mwyaf haeddiannol o'i gael yn gartref mewn gwirionedd. Y mae holl drafnidiaeth y byd yn gorphwys ar ei ysgwydd ef mewn ystyr nad yw felly ar ysgwydd un arall; holl gynnyrch y ddaear yn ffrwyth ei lafur, holl orchestion y byd yn waith ei law; ac os yw y byd wedi y cwbl yn nacâu iddo y gydnabyddiaeth fechan o gael cartref cysurus, neu os yw efe yn ei esgeuluso ei hun yn y mater hwn, y mae ei gyflwr yn un gwir alarus, yn un i dosturio wrtho yn yr amgylchiad blaenaf, ac yn un i'w resynu yn yr olaf. Pwy bynag a adawer i grwydro, neu i aros odditan gronglwyd dyllog, rhwng muriau agenog, ac mewn ystafelloedd cyfyng ac anghyfleus, rhodder i'r gweithiwr gartref cyfaddas. Nerth ei ewynau ef sydd yn troi olwynion masnach y byd; chwys ei wyneb sydd yn ffrwythloni cysuron a mwyniannau y ddynoliaeth; felly y mae synwyr cyffredin a chyfiawnder yn hawlu iddo gartref cysurus—aneddle iach a chysurlawn i dreulio ei nos, ei Sabbath, a'i ddiwrnod gŵyl, ac i ymneillduo iddi i gymdeithas ei deulu. A phwy bynag a esgeuluso ei hun yn y cyfeiriad hwn, ac a ddibrisio ei gartref a phobpeth perthynol iddo, gofaled y gweithiwr yn arbenig rhag gwneyd hyny; y mae ei ddedwyddwch yn y byd hwn a'r hwn a ddaw yn gorphwys yn fwy llwyr ar y sail hon nag eiddo neb pwy bynag, heb anghofio hefyd fod hyn yn gyffredin i bawb, i raddau helaeth iawn.

Ond yn awr, ni geisiwn sylwi yn fanylach ar "gartref y gweithiwr." Y mae cartref yn sicr o fod yn arwyddo dau beth i bob meddwl, sef yw hyny,

Tŷ, neu ANEDDLE, a
THEULU, neu BRESWYLWYR.

Yn gyflawn, y mae hefyd yn gofyn trydydd peth, sef DEDDFWRIAETH, neu DY-REOLAETH, ynghyda'r peth hwnw sydd yn cyflenwi y gair "cartref" o ystyr—yn ei wneuthur yn fan anghymharol, yn gartref mewn gwirionedd. Yn ein hymdriniaeth bresennol, ni a ddygwn y drydedd elfen i sylw gyda y ddwy flaenaf, gan dybied mai hi, wedi y cwbl, ydyw y fwyaf angenrheidiol ei hystyried.

*Yn gyntaf*, ynte, y mae cartref yn gŏlygu Tŷ; adeilad wedi ei bwriadu i ddynion aros ynddi, i gadw eu dodrefn, eu trysorau, a'u plant, i dreulio y nos, i barotôi a chymeryd eu hymborth, i drefnu eu hamgylchiadau bydol, i fwynhâu cymdeithas eu gilydd, ac i gyfarwyddo a chynnorthwyo

y naill y llall yn y pethau a berthyn i fywyd a duwioldeb. Y mae ar y gweithiwr eisieu hyn—eisieu tŷ yn cyfateb i'w angenrheidiau neillduol. Y mae yn cael rhywfath o dŷ, rhyw gell i droi iddi o'r gwlaw a'r gwrês; ond hyd yn hyn, fel rheol gyffredin, y mae ymhell iawn o fod yr hyn y dylai fod. Fel yr awgrymwyd, y mae y cyfrifoldeb o hyn weithiau wrth ddrws ei feistr—ei arglwydd, daear yr hwn sydd yn cael ei gwrteithio gan chwys ei wyneb ef, a thŷ yr hwn sydd yn cael ei ehangu i dderbyn ffrwyth ei lafur ef, tra y mae yntau, y gweithiwr ei hun, heb ond prin ddigon o le i roddi ei bwys i lawr yn ei ystafell fechan, gyfyng; heb ond prin ddigon o oleuni i weled gwyneb ei wraig, a phrin ddigon o awyr iach i'w gadw yn fyw o'r hwyr hyd y bore. Mewn achosion eraill, y mae cyfrifoldeb yr anghyfleüsdra a'r anghysur yn aros wrth ei ddrws ei hun, gan y gallasai gydag ond ychydig iawn o ymröad, fod wedi gwneuthur ei dŷ yn bobpeth ag a ellid ei ddymuno, ar raddeg ei amgylchiadau neillduol ef.

Y mae amgylchiadau rhai dosbarthiadau o weithwyr yn y wlad hon bellach yn gyfryw, fel gyda diwydrwydd a darbodaeth brïodol, y gallai llawer, os nid y mwyafrif o honynt, adeiladu tai iddynt eu hunain. Yr ydym wedi gweled *rhai* yn gallu; gan hyny, paham nad allai y llïaws ydynt mewn cyffelyb sefyllfäoedd? A phaham hefyd nad ellid ystyried y mater fel ag i wneuthur ei dŷ i gyfateb amgylchiadau neillduol y gweithiwr?

Yr ydym yn amcanu dangos y dylid ei wneyd felly, ac hefyd y gellid ei wneyd felly, drwy dalu sylw i egwyddorion neillduol, gyda chàn lleied, os nid llai, o draul nag yr eir iddi gyda phethau llawer mwy anmhwrpasol. I gyfarfod y moddion cymhariaethol brin a ddygir allan yn adeiladaeth tŷ y gweithiwr, pa un bynag ai ei feistr ai efe ei hun fyddo yn ymgymeryd â hyny, y mae yn ymddangos mai yr elfenau neillduol y dylid eu cydnabod a'u gweithio allan yn ei ddygiad oddiamgylch, ac yn ei gynnaliad ymlaen hefyd o ran hyny, ydynt, *gofal*, *cynnildeb*, a *threfnusrwydd*. Os mynir gwneyd y goreu o'r darn bychan o dir sydd wedi ei nodi allan ar ei gyfer, rhaid bod yn *gynnil*. Os mynir i'w adeiladwaith fod yn ddïogel a diddos, rhaid bod yn *ofalus;* ac os mynir iddo gyfarfod angenrheidiau penodol y gweithiwr a'i deulu yn ei wahanol ddosbarthiadau, rhaid bod yn *drefnus;* ac y mae hyn oll, nid yn unig mor anhebgorol yn achos y gweithiwr ag yn achos eraill, ond yn sicr o fod ar rai ystyriaethau yn fwy felly.

Yn gyntaf, yr ydym yn sylwi y dylai tŷ y gweithiwr gynnwys nifer priodol o ystafelloedd, a'r rhai hyny hefyd o helaethder prïodol. Hyd yn ddiweddar iawn, nid oedd ond y nesaf i ddim o sylw yn cael ei dalu i hyn yn Nghymru, yn neillduol yn y rhanau mwyaf gwledig; ac nid yw yr haul wedi codi fawr iawn uwch i'r làn eto mewn llawer congl. Os câ y gweithiwr cyffredin—y llafurwr, rywfath o bedwar mur, a rhyw dipyn o dô uwch ei ben, a rhywfath o ddrws i gau ac agor, ystyrir ei fod yn cael llawn cymaint â'i eisieu a'i deilyngdod; yn achos ei dŷ ef, nid yw wiw son am unrhyw ddosbarthiad mewnol o fath yn y byd, er harddwch na chyfleüsdra. Mae y dybiaeth annheilwng hon yn prysur ddiflanu, mae yn wir, ond nid eto i'r graddau y byddai yn ddymunol. Nid yn unig y mae llawer o'i hôl yn aros ar y byd, ond y mae hefyd llawer o'i hysbryd yn parhâu i fyw a ffynu yma. Yr ydym yn ailddyweyd y dylai tŷ y gweithiwr feddu nifer digonol o ystafelloedd—nifer digonol i

gyfarfod ei angenrheidiau anhebgorol ef a'i deulu, gan dybied achos cyffredin gŵr, gwraig, a nifer o blant. Hwyrach na fyddai waeth i ni fanylu ychydig, a dyweyd y dylai gynnwys, o leiaf, ddwy ystafell ar y llawr, a thair ar y llofft; ystafelloedd o faintioli cymedrol. Ni fyddai hyny ddim uwchlaw cyfarfod angen arbenig teuluoedd cyffredin. Nid peth anarferol, yn enwedig yn nhrefydd gweithfäol y Dywysogaeth, ac eiddo Lloegr hefyd o ran hyny, ydyw gweled teulu llïosog yn ceisio byw mewn un ystafell, un ar y *llawr;* ac y mae yr anghyflëusdra a'r annhrefn yn y cyfryw leoedd yn eithafol; pob math o orchwyl yn cael ei gyflawni yn yr un ystafell hono, yn nghanol twrw chwech neu wyth o blant, hwyrach, heb fod gan y gweithiwr blin un lle arall i droi iddo i eistedd i lawr a bwrw ei ludded, na chan ei wraig un gongl i droi iddi am seibiant a mwynhâd, ar ol diwrnod o drafferth gyda'i theulu llïosog. Ond heb son am orphwysdra a mwynhâd, oblegid anaml y cydnabyddir fod gan y gweithiwr a'i wraig un hawl i'r cyfryw felusder, y mae yr anghyflëusdra yn y cyfryw achosion yn anghyfiawn i'r eithaf, a'r annhrefn a'r anghysur fel canlyniad naturiol ac anocheladwy, yn drwm a gormesol. Er tybied y wraig yn un o'r rhai mwyaf gofalus a threfnus, y mae ymron yn anmhosibl iddi, mewn achos felly, wneuthur ei chartref yr hyn y dylai fod, a'r hyn y dymunai iddo fod, ar gyfer dychweliad ei gŵr. Y mae y lle yn rhy fychan, a'r gwaith a'r drafferth yn rhy fawr.

Tybed na ddylai y gweithiwr, yn anad neb, gael lle tawel, a lle digon helaeth i ymorphwys ynddo ar ol ei ddiwrnod llafur caled? Fel y dywedasom o'r blaen, ni dybygem fod synwyr cyffredin yn ddigon i benderfynu y mater, heb sôn fod cyfiawnder yn gorchymyn yn awdurdodol iddo i'w gael.

Nid ydym yn gallu tybied tŷ cysurus i'r gweithiwr heb fod ganddo, fel yr awgrymwyd, o leiaf ddwy ystafell ar y llawr, a'r rhai hyny yn gymedrol o ëang; un fel cegin, i eistedd ynddi, cymeryd ymborth, a chyflawni gorchwylion heb fod y rhai iselaf, a'r llall yn ystafell fwy neillduol, fwy hardd ac addurnedig, os gellir ei gwneyd felly, i'r gweithiwr droi iddi ar ol ymolchi ac ymdaclu ychydig, i fwynhâu ei hun, i edrych yn ei lyfr, os bydd yn dymuno neillduedd, i ysgrifenu ei lythyr a'i gyfrifon, os bydd yn gallu gwneyd hyny, ac i'w wraig droi cyfaill neu gyfeilles iddi, fyddo wedi galw ar neges. Tybed fod hyn dros ben yr hyn a ellir ei alw yn angenrheidiau anhebgorol? Nid ydym yn barod i addef hyny. Onid ydyw y gweithiwr hefyd yn ddyn, yn meddu teimladau dynol, yn teimlo oddiwrth anghyflëusdra ac anghysur, ac yn gallu gwerthfawrogi yr hyn sydd yn wrthwyneb i hyny? Pa fodd nad ydyw y cyflëusderau ydynt yn anhebgorol angenrheidiol i eraill, i ryw fesur felly iddo yntau? Y mae yn gorfod gwneyd hebddynt, mae'n wir; ond y mae hyny yn amlwg niweidiol iddo, ac felly, y mae y ddyledswydd i ystyried ei achos, a chydnabod ei angenrheidiau, yn dyfod o hyd yn fwy pwysig. Nid yn unig y mae gan gyflëusdra neu anghyflëusdra, trefnusrwydd neu annhrefnusrwydd, prydferthwch neu hagrwch y tŷ y byddir yn byw ynddo, ddylanwad ar y cyfansoddiad corfforol, ond y mae ganddo hefyd ddylanwad neillduol a phur bwysig ar y *meddwl,* y rhan ysbrydol o'r dyn, i weini er ei iechyd, neu er ei afiechyd, ei berffeithiad neu ei ddirywiad. Y mae hyn yn wirionedd amlwg iawn mewn cysylltiad â phlant, y rhai y mae eu meddyliau yn dyner, ac felly yn

barod i dderbyn pob argraff. Pa natur bynag o bethau y byddo eu llygaid yn ymgynnefino â hwynt yn y byd materol o'u cwmpas, y mae yn hawdd darganfod delw neu argraff hyny yn amlwg ar eu meddyliau, oddieithr y bydd yno ryw ddylanwad eithriadol o bwysig yn cyfryngu; ac y mae pwysigrwydd hyn yn sicr o fod yn rhywbeth i'w gyfrif.

Heblaw y ddwy ystafell a grybwyllwyd, y gegin, a'r un y byddid yn debyg o'i galw yn "barlwr," dylai hefyd fod mewn cysylltiad â'r tŷ, ystafell fechan, a ellid ei galw yn "gegin allan," un i gyflawni y gwaith iselaf ynddi, megys golchi, pobi, &c.; oblegid dylai yr iselwaith perthynol i dŷ, ar bob cyfrif, gael ei ddwyn ymlaen mewn ystafell bwrpasol at hyny,—wahanol i ystafell boreufwyd, a chiniaw, a swper. Y mae y caledwaith, neu fel ei galwyd, yr iselwaith, perthynol i dŷ a theulu, yn anghyfaddasu ystafell at ddybenion uwch; felly dylai tŷ y gweithiwr, yn gystal a phob tŷ arall, feddu ystafell bwrpasol at hyn, a hono, os nad yn rhan o'r tŷ, yn gysylltiedig âg ef, drwy ddrws o'r gegin. Byddwn yn cael y pleser o weled pethau yn yr ystâd yma weithiau mewn cysylltiad â'r *gweithiwr*, un, mor bell ag y byddwn ni yn gweled, yn bobpeth ellid ddymuno, ac y mae ffrwyth toreithiog o gysur yn canlyn. Mae yr angenrheidrwydd am ystafell fel hon yn bwysig iawn yn rhanau gweithfäol ein gwlad, lle y mae galwedigaeth y gweithiwr yn peri fod yn rhaid iddo, yn union ar ei ddyfodiad i'r tŷ, ddyosg ei ddillad budron, ac ymolchi, cyn y bydd mewn un modd yn gymhwys i eistedd i lawr a chymeryd ei ymborth. Y cyfryw ydyw amgylchiad y glöwr, a'r mŵnwr, a llawer eraill; ac fel y mae yn wybyddus, y mae yn rhaid i hyn gael ei gyflawni, mewn llïaws o achosion, yn yr un ystafell a phobpeth arall! Y mae anmhrïodoldeb a gwrthuni peth felly yn amlwg i bawb, a'r canlyniad yn sicr o fod yn niweidiol iawn. Y mae gwyleidd-dra yn cael ei ddinystrio, ac ëofndra yn cael ei gynnyrchu, a rhinwedd felly heb unrhyw amddiffyniad, yn agored i holl ymosodiadau gwawd a gelyniaeth. A ddylai galwedigaeth beryglus, wasanaethgar y glöwr, gael ei diraddio a'i darostwng? Ai ni ddylid cydnabod yr hwn sydd yn ei daflu ei hun i ffau elfenau cynddeiriog crombil y ddaear, er llesâd a chysur y ddynoliaeth? Yna adeilader ei dŷ yn gymhwys i'w anghenion, a dosbarther ef i ateb ei angenrheidiau. Pa reswm na fyddai ganddo ystafell bwrpasol o'r neilldu i ymolchi, yn lle bod yn nghanol ei deulu, a'i gymydogion, pawb a ddygwyddant daraw i fewn? Y mae rheswm a chyfiawnder yn dywedyd y dylai ei chael.

Dylai y llofft hefyd fod yn cynnwys o leiaf dair ystafell wely. Yr ydym o hyd yn tybied achos cyffredin,—gŵr, gwraig, a nifer o blant. Nid oes a fynom ar hyn o bryd â thŷ "hen lanc" o weithiwr. Y mae ambell un felly i'w gael, bid siŵr, ac yn cadw mwy o lawer na digon o le; ond caiff ef fyned ymlaen fel y myno, oreu y gallo, neu càn waethed ag y gallo, o'n rhan ni, gan mai braidd yr ydym yn ei ystyried yn werth cymeryd trafferth o'r natur yma yn ei gylch; neu hwyrach mai gwell fuasai i ni ddyweyd, nad ydym yn gweled yr atebai hyny un dyben, gan fod y rhan fwyaf o'r frawdoliaeth hon wedi gwneuthur eu meddyliau i fyny, dybygid, sut i wneyd, a sut i fod. O'r goreu, ynte, boed felly; derbynied pob un o honynt, "ddydd pen eu blwydd," ein dymuniadau goreu am lawer dychweliad hapus o'r cyfryw ddydd. Ystyried yr "hen lanc" ei achos ei hun; y mae a fynom ni â'r gweithiwr y mae

ganddo wraig a phlant, ac un felly y mae y byd yn ddyledus iddo. Dywedasom y dylai ei dŷ gynnwys tair ystafell wely ar y llofft, ac y dylai pob un o'r rhai hyny fod yn gymedrol o ëang. Nid ydyw hyn eto ddim uwchlaw a thu hwnt i angenrheidiau anhebgorol teulu, yr hwn y mae ynddo rïeni a phlant; y mae hyny yn gofyn o leiaf ddwy ystafell. Wrth fod y plant yn tyfu i fyny, y mae deddfau prïodoldeb a gweddeidddra yn gwneuthur trydedd ystafell yn angenrheidiol, ac heb sôn am hyn, o ran hyny, gan dybied y gall plant y gweithiwr fod yn gorfod troi allan i ennill eu bara cyn tyfu ond i ychydig o oedran a maintioli, rhaid tybied achos o gystudd; oblegid pa le y mae teulu nad yw yn cael ei oddiweddyd gan ddydd y blinder hwnw rywbryd? ac y mae ystafell wely wahanol i'r claf yn beth y mae pob rheswm yn dysgu yr angenrheidrwydd o hóno. Y mae rheswm neillduol ac amlwg hefyd dros i ystafelloedd gwely tŷ y gweithiwr fod yn helaeth. Y mae ychwaneg o nifer yn eu preswylio nag fydd mewn tai helaethach,—pedwar neu ychwaneg o blant yn yr un ystafell, hwyrach, a'r tad a'r fam, ac un neu ddau eraill, yn y llall; ac mewn llawer o achosíon, pan fyddo y lle yn gyfyng a phrin iawn, y mae yr anghysur a'r afiechyd yn alarus.

Yn nesaf, dylai yr holl ystafelloedd hyn, ar y llawr ac ar y llofft, feddu ffenestri cymedrol o fawr, a'r rhai hyny wedi eu gwneuthur i'w hagor, er awyriad prïodol y tŷ. Y mae tŷ y gweithiwr, o angenrheidrwydd, i fod yn gymhariaethol fychan; a llawer o waith, felly, i gael ei gyflawni mewn un ystafell, a llawer o wahanol bethau i fod ynddi; ac y mae o gymaint a hyny yn fwy pwysig fod yno ffenestri mawrion yn gyfrwng cymundeb â chorff yr awyr iach oddiallan. Er ys ychydig flynyddoedd yn ôl, braidd y cydnabyddid, ar ran tŷ y *gweithiwr* yn enwedig, yr angen am fodolaeth ffenestri o gwbl, ond i ganiatâu rhyw belydryn o oleuni i fewn—prin digon i alluogi y wraig i adnabod gwahaniaeth rhwng wynebau y plant—i adnabod wyneb John oddiwrth wyneb Mary—ac i adnabod y gwahaniaeth rhwng llaeth a dwfr. Os buasai angenrhaid gwneyd rhyw ymchwiliad manylach, byddai raid cael canwyll, neu yn niffyg presennoldeb un o'r caredigion hyny, byddai raid cynneu swp o wellt ar ganol y llawr i ddadguddio dirgelwch pob congl. Erbyn hyn, y mae y ffenestr yn cael mwy o'i chydnabod: y mae bellach wedi dyfod i lawer o fri, a'i defnyddioldeb cyffredinol yn cael ei deimlo a'i gydnabod. Y mae ffenestr tŷ y gweithiwr hefyd wedi ei helaethu mewn llawer achos, ond nid tu hwnt i'r hyn oedd angenrheidiol; ac yn wir, mewn llawer congl, drwg genym orfod dyweyd, nad ydyw wedi ei chyffwrdd. Heblaw bod yn borth i'r goleuni, y mae gan y ffenestr bellach wasanaeth pwysig arall, ac yr ydym yn hòni y dylai gael ei chyfaddasu i'w gyflawni, yn enwedig felly yn mûr ystafell y gweithiwr. Achos pur gyffredin mewn annedd-dai Cymreig, yn enwedig eiddo y blynyddoedd aethant heibio, ydyw llofft heb un ffenestr o gwbl, neu, ynte, heb ond un ffenestr fechan yn mûr talcen y tŷ, a hono heb fod yn agor, a'r llofft mor agos i ben y tŷ fel nad allai un sefyll yn syth oddiarni, ac eto, llonaid hono o fôdau dynol yn cysgu bob nos. Hwyrach y gellir dadleu fod pobl a phlant yr amser hwnw yn llawer iachach a chryfach nag eiddo y genedlaeth gŵynfanus hon, er maint a phwysiced y gwelliannau a gynnyrchir ganddi yn y naill gyfeiriad a'r llall, a chan hyny nad all un pwysigrwydd fod yn yr anghyflëusdra yr oeddent hwy ynddo, nac unrhyw fûdd pwysig

yn mherffeithiau y dyddiau dysglaer hyn. Caniatäer eu bod felly—yn iachach a chryfach, yr hyn hefyd nis gellir ei ammheu, ond yr oedd hyny i'w brïodoli, nid i anghyflëusdra eu hannedd-dai, ond i rywbeth arall, y byddai yn burion chwilio allan beth ydoedd. Tybed nad y ffaith eu bod yn byw yn benaf ar gynnyrch eu gwlad eu hunain, o ran eu hymborth, oedd y dirgelwch. Yr oeddynt yn iach, a chryf, a gwrol, o herwydd rhyw reswm fel yna, er *gwaethaf* tywyllwch ac afiechyd yr ogofäau yr oeddynt yn treulio eu hoes ynddynt.

Dylai *hefyd* fod grisiau cyfaddas a hawdd yn arwain i fyny i lofft y gweithiwr. Y mae hyn yn angenrheidiol er dïogelwch ei blant, y rhai nad ydyw ef, druan, yn abl i gadw un forwyn, ond ei wraig, i ofalu am danynt, a'r hon y mae amgylchiadau beunyddiol yn ei galw allan oddiwrth fod â'i llygad yn uniongyrchol ar eu hôl. Yr hen ffasiwn gyda llofftydd, fel y rhai y cyfeiriwyd atynt yn flaenorol, oedd ysgol yn cael ei chymeryd i lawr, a'i rhoddi i fyny, fel y byddai yr angen. Ni raid manylu ar beryglon ac anghyflëusdra cynllun felly i deulu llawn o blant, ac i deulu y byddo gan yr unig un fydd yno i gadw pethau gyda'u gilydd, ac yn y blaen, fwy na digon o waith. Anmhrïodol a pheryglus iawn hefyd y gwelwn ni risiau uchel yn arwain i ddrws y tŷ. Y maent yn fwy felly mewn cysylltiad â thŷ y gweithiwr nag â thai eraill, oblegid fel rheol gyffredin, nid oes gan dŷ y gweithiwr ond un drws, ac y mae pob ymdrafodaeth â'r byd oddiallan yn cael ei dwyn ymlaen drwyddo. Y drws hwnw ydyw unig borth y plant i basio drwyddo yn ol a blaen, ac, fel y dywedwyd, nid oes yno un forwyn i ganlyn ar eu hôl, i'w gwylio rhag syrthio, ac i'w cynnorthwyo i fyny ac i waered. Trugaredd â'r pethau bychain gweiniaid fyddai symud y cyfryw berygl o'u ffordd, os gellid rywfodd wneuthur hyny.

Gallem ychwanegu y dylai muriau tŷ y gweithiwr gael eu gwneuthur gyda gofal. Y mae hyn yn ochelgarwch, a ddylasai, wrth gwrs, fod yn gyffredinol, ond yr ydym am hòni pwysigrwydd arbenig iddo yn achos tŷ y gweithiwr, a hyny oblegid prinder moddion i gyfarfod traul ychwanegol unrhyw welliant, neu ailwneuthuriad, yngbyda'r ffaith fod gwraig a phlant y gweithiwr yn agored i ddyoddef mwy oddiwrth furiau anniddos nag eraill; y maent yn treulio ychwaneg o'u hamser yn yr un ystafell, yn yr un lle, ac heb foddion, hwyrach, i gael y cyflenwad angenrheidiol o dân, neu, o'r hyn lleiaf, ond prin ddigon. Pa un bynag ai ei feistr ai efe ei hun fydd yn dwyn traul yr adeiladaeth, ni fydd y moddion ond prin, o ewyllys, hwyrach, yn yr achos blaenaf, ac o angenrheidrwydd yn yr olaf. Felly, nid yw o un dyben adgyweirio, ail wneyd, neu roddi ychwanegiad at yr adeilad, os prawf yn anmherffaith. Nid yw y moddion ond prin digon i guddio y draul gyntaf—traul yr adeiladaeth seml —gan hyny y mae yn bwysig cymeryd gofal i wneyd y muriau yn ddïogel.

Nid oes a fynom ni ar hyn o bryd â cheisio penderfynu ffurf neu *blan* tŷ y gweithiwr; y mae hyny yn dibynu llawer ar y lle a'r cysylltiadau, o angenrheidrwydd, ac hefyd ar chwaeth neillduol y perchenog. Pa fodd bynag, dylai angenrheidiau arbenig y preswylydd gael eu cydnabod yn bendant yn nhrefn dosbarthiad yr adeiladaeth. Hwyrach ein bod eisoes wedi nodi cynifer o fanylion eraill yn y cyfeiriad yma ag ydynt yn dwyn cysylltiad â phwrpas neillduol y traethawd hwn.

Mewn perthynas i ddodrefnu tŷ y gweithiwr, hwyrach y byddai yn ddigon i ni ddyweyd y dylent, beth bynag, fod yn ddigon i gyflawni pob pwrpas angenrheidiol, yn y gwahanol gyfeiriadau,—bwyta, gwisgo, a chysgu. Dylai fod gwahanol gelloedd i'r ymborth a'r dillad, bid sicr (ond yr ydym wedi gweled achosion galarus yn y gwrthwyneb); bwrdd digon mawr i bawb gymeryd ei ran arno, neu ynte fwrdd ychwanegol i wneyd y diffyg i fyny lle byddo; digon o gadeiriau neu eisteddleoedd i bawb yn y tŷ, fel na fyddo i'r plant gael eu harfer i orwedd hyd y llawr fel cŵn; a digon o lestri i goginio a dal pob math o ymborth fyddo yn arfer cael ei barotôi. Y mae cymaint â hyna, beth bynag, yn anhebgorol angenrheidiol; ac os gellir casglu ychydig dros ben er cyfleusdra ac addurn, pobpeth yn dda. Y mae gweled llyfrgell fechan gan y gweithiwr fel "seren y bore" i'n golwg ni yn wastad, ac fel y tybiwn, yn awgrym ffafriol am gysur a ffyniant y teulu hwnw.

Byddai ein cynllun o gartref y gweithiwr yn anmherffaith iawn eto heb fod darn bychan, mwy neu lai, o ardd yn dyfod mewn cysylltiad âg ef, ac fel un o'i anhebgorion. Dylai y gweithiwr, ar bob cyfrif, er ei ddifyrwch a'i lesâd, feddu gardd mewn cysylltiad â'i dŷ. Y mae hyn eto yn anhebgor gyffredinol, ond y mae yn arbenig felly i'r gweithiwr. Y mae ei heisieu arno er cymhorth i gynnaliaeth ei deulu, ac hefyd i fod yn rhywbeth i ymddifyru ynddo—i dalu sylw iddo yn ei awr hamddenol, ac i wylio ei lwyddiant, fel ffrwyth ei lafur a'i ddyfais ef ei hun. Y mae ei ardd i'r gweithiwr, os bydd fel y dylai, yn talu sylw iddi, ac yn ei thrîn yn brïodol, yn rhywbeth yn gwneyd i fyny iddo am y maes a'r fferm nad ydynt ganddo; ac y mae profi ei fedrusrwydd a'i ddyfais gyda ei lysiau a'i ffrwythau yn orchwyl sydd yn ei esmwythâu o flinder y dydd. Mae yn bur sicr fod gardd fechan i'w thrîn a'i pherffeithio wedi bod yn gymhorth i gadw ambell un o'r dafarn ar lawer amgylchiad; a gweled ffrwyth ei lafur ynddi a'i fwynhâu, wedi rhoddi iddo wybod blâs ymdrech deilwng a diwydrwydd. Ar fanteision gardd fel cyfrwng cynnaliaeth teulu, ni raid ymhelaethu yma; y mae hyny yn ddigon amlwg i bawb; ond hwyrach nad ydyw angen neillduol y *gweithiwr* o hóni agos mor amlwg, yn enwedig i rai llygaid. Y mae gan eraill eu haur a'u harian i'w rhoddi yn gyfnewid am unrhyw beth a ddymunant; y mae ganddynt eu hanifeiliaid breision, eu meusydd toreithiog, a'u perllanoedd llawnion i ymddifyru ynddynt, ond os nad oes gan y gweithiwr ei *ardd*, nid oes ganddo ddim—ddim yn y cyfeiriad yna; y mae yn sicr o fod yn teimlo ei hun wedi cael cyfyngu arno; y mae ei ddwylaw yn ymollwng, a'i wynebpryd yn syrthio, am nad oes ganddo ddim neillduol i wneyd, na dim i ymddifyru ynddo—dim i wylio ei ymddadblygiad, ac i lawenhâu oblegid ei lwyddiant. Y mae ei wraig a'i blant ganddo, mae yn wir, ac y mae yn ymhyfrydu ynddynt, ni dybiwn; ond y mae yn perthyn i'w natur, os ydyw i ryw fesur yn fyw ac iach, dueddfryd nad yw yn cael ei chyfarfod hyd yn nôd yn y gwrthddrychau hyny. Er ei fod wedi casglu llawer o flinder wrth frwydro drwy ei ddiwrnod gwaith, y mae ynddo fywiogrwydd yn weddill, ag a fuasai yn troi yn fwynhâd wrth ei arfer gyda rhyw orchwyl perthynol iddo ef ei hun. Dylai y gweithiwr feddu gardd, ynte, er lleshâd a difyrwch ei gorff a'i feddwl. Yr ydym yn cofio nad ellir—nad yw yn bosibl—cymhwyso yr haeriad hwn at achosion y trefi mawrion, ond gellid yn ddïau wneyd hyny mewn llawer

cyfeiriad y mae eisieu gwneyd hyny. Gellid, a dylid, caniatâu y fantais a'r pleser hwn i luoedd o weithwyr nad ydynt yn eu meddu ar hyn o bryd.

Ond y mae cartref yn golygu Teulu hefyd. Pan yn ei briodoli i'r gweithiwr—pen y teulu—y mae yn golygu gwraig a phlant. Gall fod yn cynnwys ychwaneg neu lai o berthynasau neu aelodau, ond fel yna y tybir am achos cyffredin.

Yn awr wedi cael tŷ, a'i gael, ni dybiwn, yn debyg i'r hyn y dylai fod, a chael y gweithiwr a'i deulu yn ei breswylio, bydd a fynom bellach â'r elfenau hyny yn ei gynnaliaeth a'i ddygiad ymlaen, ydynt, fel y tybiwn, yn anhebgorol angenrheidiol i'w wneuthur yn gartref mewn gwirionedd —elfenau ydynt o ran hyny yn llawer pwysicach na phobpeth a goffâwyd eisoes, ac ydynt hefyd yn abl gwneyd i fyny am lawer o anghyfleusderau, a gwneuthur y drigfod fwyaf diymhòngar a chyffredin, ac hyd yn nôd anghymwys, yn gartref hapus i'r perchenog, fel y mae yn gallu anghofio, i raddau helaeth iawn, yr anghyflëusderau ydynt yn gwasgu arno, a theimlo, er gwaethaf y cwbl fyddo yn tynu yn ol, ei fod yn deall gwir ystyr y gair "cartref." Nid ydym wrth ddyweyd fel hyn yn lleihâu yr angenrheidrwydd am y cyflëusderau y buom yn siarad am danynt yn flaenorol. Pob peth fyddo yn ychwanegu cysur a mwynhâd, y mae yn fuddiol ac angenrheidiol, ac y mae gan y gweithiwr, yn ngraddeg ei amgylchiadau neillduol ef, gystal hawl i'r cyfryw bethau â neb pwy bynag. Er hyny, yn annibynol ar anhebgorion moesol, bydd y gweithiwr, fel eraill, er meddu tŷ cyfleus, gardd brydferth, a theulu llïosog, ymhell o fod yn meddu cartref yn ystyr gyflawn y gair.

Bydd a fynom yn awr â cheisio cael allan y dirgelwch hwn. Yn yr ymchwiliad byddwn, o angenrheidrwydd, yn golygu holl aelodau y teulu fel eu gilydd, y pen yn gystal â rhyw ran arall o'r cyfansoddiad. Y mae yn anmhosibl i'r gweithiwr ei hun fod allan o gylch cyfrifoldeb yn y mater o wneyd ei drigfan yn gartref. Y mae gan bob elfen hanfodol yn y pwnc gymaint o hawl arno ef âg ar ei wraig. Gall ef, os mŷn, er pob ymdrech gwrthwynebol, a phob darpariaeth teilwng, wneuthur ei dŷ yn bobpeth ond cartref—yn nythle i anghysur a thlodi. Y mae yr esiamplau o hyn yn alarus o lïosog. Ni raid myned allan o'r ffordd i'w chwilio; y maent o'n cylch yn mhobman. Ond eto, gan fod ein testun yn tybied un ochr i'r mater yn fwy na'r llall—yn tybied y gweithiwr ei hun yn ddyoddefol yn fwy nag yn weithredol, hwyrach y bydd hyny yn cyfiawnhâu tôn unochrog ein sylwadau ninnau.

Ar hyn o bryd, tebyg y bydd cyfeiriad mwyaf uniongyrchol ein sylwadau at aelodau eraill y teulu rhagor y "pen," mai eu hystyried hwy a wneir yn *benaf*, ond heb anghofio dyweyd y gobeithiwn y gwna y gweithiwr hefyd gymhwysiad personol o'r cwbl fyddo yn meddu hawl arno ef, ac fyddo hefyd yn deilwng o'i sylw.

Yn y cyfeiriad hwn eto yr ydym yn sicr o ddisgyn ar elfenau ydynt i fod yn gyffredinol—ydynt i ffurfio cyfansoddiad teuluaidd y masnachwr a'r pendefig, yn gystal â'r gweithiwr, tuag at i'r rhai hyny fod i ryw fesur yn deilwng a pherffaith; ond y mae yn ein bryd gyfeirio hefyd at y pethau hyny y gellir dyweyd eu bod yn *anhebgorol* angenrheidiol yn nghartref y gweithiwr. Un o'r rhai hyny, dybygem, a'r cyntaf y cawn ei enwi, ydyw *Gynnildeb;* elfen brydferth mewn cymeriad moesol, a gwir angenrheidiol i gysur a ffyniant "cartref y gweithiwr." Y mae amddi-

fadrwydd llwyr o hôni yn abl darostwng cartref y *cyfoethog* i agwedd bur annymunol; ond i eiddo y gweithiwr yn ddymchweliad uniongyrchol. Hwyrach y caniatëir i ni ddyweyd, o'r ddau, ei bod, ar rai cyfrifon, yn fwy anhebgorol i gymeriad y wraig, am y gall hi wneyd i fyny am lawer o ddiffygion ei gŵr yn y cyfeiriad hwn. Yr ydym wedi gweled achosion ymha rai y bydd yn methu, mae yn wir, ac y mae y cyfryw yn eithaf torcalonus. Ond nid llai torcalonus fod ymdrechion y gŵr yn methu gwneyd i fyny am wastraff y wraig, a thrwy hyny fod y lle a ddylasai fod yn gartref, yn nythle cynnen a drwganwydau. Ydyw, y mae cynnildeb yn werthfawr ymhob man, ac ymhob amgylchiad; ond yn nghartref y gweithiwr, i wneuthur i'w ennillion prin ef gyfarfod anghenion teulu llïosog, y mae yn anhebgorol.

Dyddorol iawn ydyw sylwi ar ddyfeisiau gwraig gynnil "i wneuthur i ychydig fyned ymhell"—i ychydig, llai nag ugain swllt yn yr wythnos, hwyrach, i fyned i bellder dymunol yn nghyfeiriadau ymborth a dillad i'w theulu llïosog, ac yn nghyfeiriad mwyniant hefyd ar ran ei gŵr, os gall hi fodd yn y byd. Y mae ei gweled yn peri iddo yntau ei hedmygu, ac ymfywhâu i gyflawni ei ran ei hun yn deilwng; y mae yn dwyn pen trymaf yr iau gyda llawenydd, gan deimlo fod ganddo gartref y gall gasglu gymaint ag a fedr iddo gyda'r dïogelwch mwyaf. Golygfa wahanol iawn geir yn nhŷ y wastraffus; yno y mae yn helbul beunyddiol oblegid methu cael dau ben y llinyn at eu gilydd; y wraig yn esgeulus, a'r gŵr yn gyfiawn yn beïo, ac yn colli pob gronyn o amynedd wrth geisio dyoddef. Y mae yn myned at ei orchwyl â chorff blinedig a meddwl llwythog, heb fod wedi gallu mwynhâu gorphwysfa y nos, nac yfed dim o fywiogrwydd y boreu; y mae yn ddigalon a gwan, ac odid fawr na thry yn ei ofid i'r dafarn, i wneuthur yr achos yn waeth. Po mwyaf cyfyng a therfynol y byddo'r adnoddau, mwyaf i gyd, wrth reswm, yw yr angenrheidrwydd i arfer cynnildeb wrth eu defnyddio; ac wrth gymhwyso hyn at ennillion y gweithiwr, y mae yn dyfod i brofi ein gosodiad. Nid yn unig y mae hon i fod yn elfen neillduol bywyd neu gymeriad y gweithiwr a'i wraig, y mae hefyd i lywodraethu ymddygiadau y plant. O ran hyny, pan fyddo cynnildeb y fam yn amlwg, y mae yn sicr o gael ei efelychu gan y plant. Oddieithr fod yno ryw goll eithriadol, y mae delw y fam ar y plant ymhob peth, a'i hesiampl yn wastad yn cael ei dilyn. Er nad oes gan blant y gweithiwr fawr iawn rhwng eu dwylaw i'w gwario na'u harbed, eto, yn eu cylch bychan, cyfyng, y mae gan eu hymddygiadau rywbeth i wneyd tuag at hwylysu neu anhwylysu yn y cyfeiriad hwn. Dylai cynnildeb felly fod yn elfen neu ddeddf gyffredinol yn nghartref y gweithiwr.

Chwaer *cynnildeb*, ac anhebgor arall yn y mater, ydyw *Diwydrwydd*. Gefeilliaid yw y rhai hyn, mae'n debyg, ac y maent yn arferol o fyw gyda'u gilydd, ond weithiau gellir gweled achos gwahanol. Y mae y naill yn gorfyw y llall yn aml. Ymddengys fod anadl cynnildeb yn hŵy nag eiddo ei chwaer, ac y mae felly, weithiau, yn ei byw hi allan. Y mae dïogi yn iselhâd a niwed lle bynag y byddo, ond yn ddinystr llwyr ac uniongyrchol yn nghartref y gweithiwr. Os daw yr haint niweidiol heibio i'r cyfoethog yn ei balas, gan afael yn ei droed, a'i hawlio fel ei eiddo ei hun, bydd gan hwnw lawer o draed a moddion eraill i'w defnyddio yn ei le, i wneyd y golled i fyny dipyn. Bydd ganddo ef geffyl i'w farchog-

aeth, cerbyd i'w yru, gweision a morwynion i weini arno, a chyflawnder o aur yn ei goffrau i gadw yr holl beiriant i droi yn ei flaen. Ac os ymeifl yn nghyfansoddiad y crwydryn ar y ffordd, gan wanhâu ei fferau, diffrwytho ei aelodau, a marweiddio ei ysbryd, nid yw y canlyniad yn ddifrifol yn ei achos yntau; oblegid bydd yn debyg o allu ymlusgo at ryw ddrws neu gilydd, a chyflawni ei neges yn o lew ar y cyfan, hwyrach yn fwy llwyddiannus na phe byddai yn iach. Ond os try y plâ i fewn i babell y *gweithiwr*, a meddiannu yno, bydd y cwbl yn sefyll ar unwaith—y blawd yn y celwrn yn darfod, a'r olew yn yr ystên yn pallu, a sychder a newyn yn dechreu parotôi eu meirch a'u cerbydau, oblegid y mae pawb yma, yn "nghartref y gweithiwr," yn byw ar ffrwyth llafur eu dwylaw a chwys eu gwynebau. O'r ddau, hwyrach mai yr helynt waethaf yn y cyfeiriad hwn ydyw fod y gŵr—y gweithiwr ei hun—yn cael ei gymeryd yn glâf; ond y mae ailystyriaeth yn peri i ni ammheu, a braidd ogwyddo i feddwl yn wahanol. Yn ffodus, nid yw yn bwysig i ni benderfynu y rhan hon o'r mater, felly waeth i ni heb geisio; y mae y naill achos a'r llall yn ddinystriol.

Y mae diwydrwydd, fel ei chwaer, yn brydferthwch ac yn nerth. Y mae cymhorth y ddwy wedi galluogi llawer gweithiwr i ddringo o'r dyfnder i fyny yn uchel iawn, ac i sefyll ger bron tywysogion, nid ar ei brawf, ond fel aelod teilwng o'r gymdeithas. Ië, drwy ddiwydrwydd yn unig y mae i'r gweithiwr ddysgwyl byw a llwyddo, ac yn yr un modd hefyd y gall ei wraig rwyfo drwy dònau gwrthwynebus ei gorchwylion a'i thrafferthion llïosog, fel ag i allu cyraedd y làn erbyn y nos, a bwrw angor yn drefnus a dïogel i ddysgwyl y boreu. Y mae ei thrafferth yn fawr, ei theulu yn llïosog, ac oll, i ryw fesur, yn dybynu ar ei gofal hi; y mae ei dyledswyddau tuag atynt yn aml a thrymion, ac nid oes ganddi un i dderbyn y pen hwn i'r iau am awr yn ei lle; felly drwy fod yn ddiwyd iawn yn unig y gall hi dŷnu y cerbyd er ei hôl, a chyraedd pen ei thaith yn o lew o gryno a phrydlawn. Druan o honi! Y mae *yn* gallu hefyd, ac fel y wenynen, yn llanw ychydig ar ei chell o hyd, ac yn derbyn cymeradwyaeth a bendith ei gŵr yn wobr am ei llafur, ynghyd a'r wobr lawer gwerthfawrocach, o weled ei llafur yn troi yn fwynhâd iddo. Nid diwydrwydd y wraig, nac eiddo y gŵr, nac eiddo y ddau ynghyd, ydyw y *cwbl* angenrheidiol i wneyd cartref yr hyn y dylai fod, ond y mae yn *un* elfen anhebgorol,—yn neillduol felly yn achos y rhai y mae eu bywyd yn dybynu ar waith eu dwylaw. Y mae yr achosion galarus o hollol absennoldeb yr elfen hon yn profi hyn yn amlwg, ac yn ddrychau o'r annhrefn a'r methiant mwyaf llwyr.

Merch *diwydrwydd*, ac elfen neillduol arall yn y mater yw *Darbodaeth*; un sydd yn parotôi teulu y gweithiwr goreu y gallo, ar gyfer y dyfodol. Nid rhyw "Hiel y Betheliad" yn adeiladu Jericho yn erbyn gorchymyn yr Arglwydd, "Na ofelwch dros drannoeth," ydyw hon, ond llances ddoeth yn ufuddhâu i'r gorchymyn, "Tydi, ddïogyn, dôs at y morgrugyn, edrych ar ei ffyrdd ef, a bydd ddoeth;" ac yn dysgu gwers oddiwrth y dystiolaeth, "Nid yw y morgrug bobl nerthol, eto y maent yn darparu eu lluniaeth yn yr hâf." Ychydig a ellir ei wneyd yn nghartref y gweithiwr cyffredin yn y cyfeiriad hwn, mae'n wir, pa mor egnïol bynag y byddo y gŵr, a pha mor ddiwyd a doeth bynag y byddo'r wraig; ond eto y mae genym lïaws o brofion y gellir gwneyd *ychydig*, ac fod yr ychydig

hwnw yn cynnyrchu boddhâd a dedwyddwch sydd yn gyfartal i ychwaneg mewn cylchoedd eraill. Ydyw, y mae darbodaeth yn elfen bur angenrheidiol yn nghartref y *gweithiwr*, yn gymaint ag nad oes ganddo ef, mewn adeg o gyfyngder, ddim i syrthio arno ond ef ei hun.

Y mae adnoddau yr amaethwr, y masnachwr, a'r pendefig, yn gyflawn; nid oes raid iddynt frysio wrth ragdybied dydd tywyllwch a gorthrymder: ac y mae llettŷ y digartref yn barod yn y tlottŷ; ond y mae y gweithiwr ymhell o feddu y blaenaf, ac nid all lai nag arswydo rhag yr olaf, hyd yn nôd y ffurf dyneraf o hóno, "myned ar y plwyf." Y mae ganddo deulu llïosog, hwyrach, a phe byddai dau neu dri yn cael eu cymeryd yn glâf, neu pe dygwyddai i'w wraig, ei gymhorth penaf, gael ei tharaw i lawr, byddai ei ennillion yn llawer rhy brin, a byddai raid iddo edrych ar y peiriant yn dyrysu ac yn aros. Y mae achosion felly yn aneirif yn ein gwlad ein hunain, a'r canlyniad yn ofidus i'r eithaf. I gyfarfod amgylchiadau fel hyn, y mae darbodaeth yn dyfod yn bur angenrheidiol. Y mae yn anmhosibl, dybygem, i'r gweithiwr brofi y tawelwch a'r hapusrwydd sydd mor anhebgorol i wrthweithio effeithiau ei lafur caled, heb fod yn y teulu ryw gymaint o ddarbodaeth ar gyfer y gauaf.

Elfen bwysig arall, ac un bwysicach, fe allai, nag y mae llawer yn barod i ganiatâu, yn y mater o wneuthur tŷ yn gartref, ydyw *Glanweithdra*. Nid hyn chwaith yw y *cwbl* sydd angenrheidiol, ond y mae yn *rhan* bwysig o hono. Yr ydym wedi gweled llïaws o achosion yn profi mai nid glanweithdra ydyw pobpeth sydd yn eisieu, ac yn profi hefyd nad yw yn alluog i wneyd i fyny ond yn anmherffaith iawn, am ddiffyg elfenau eraill; ond yr ydym hefyd wedi cael profion nad ydyw elfenau da eraill yn gallu gwneyd i fyny am y diffyg o hóni hithau, ond yn anfoddhäol iawn, ac nid yw yr achosion ymha rai yr haerir eu bod, mewn un modd yn deilwng o gael eu gosod yn esiamplau. Pa fodd bynag, y mae glanweithdra manwl yn abl gwneyd annedd bur ddiolwg a diswyn yn un hoffus i dŷnu ati, ac i aros ynddi—yn un i ddênu y gweithiwr o bob hudoliaeth i fwynhâu ei hun ynddi; ac y mae *diffyg* glanweithdra, o'r ochr arall, yn gwneuthur llawer tŷ digon prydferth a chyflëus yn rhywbeth i'w ffieiddio yn hytrach na dim arall—yn rhywbeth i ddychrynu ei berchenog rhagddo, yn hytrach na'i ddênu iddo. Gellir, mae'n wir, ddadleu anhawsderau gwraig y gweithiwr yn y cyfeiriad hwn, ac yn sicr y maent yn llïosog ac yn bwysig; y rhwystrau i wraig y gweithiwr, sydd yn gorfod cyflawni pob iselwaith perthynol i'w thŷ a'i theulu, ymarfer glanweithdra fel y dylai, ac fel y dymunai; ond ar yr un pryd, y mae ymgais ddyfal at hyny, yn gwneuthur yr achos yn bur ddymunol. Fel rheol gyffredin, y mae yn gwneyd pobpeth y mae y gŵr yn ei ddysgwyl, ac y mae hyny, yn y rhan fwyaf o amgylchiadau, yn ateb yn rhagorol. Y mae rhyw gymaint o arbenigrwydd i angen cartref y gweithiwr o'r anhebgor yma hefyd. Y mae ei dŷ yn fychan, a phob gwaith yn cael ei gyflawni o fewn cylch bychan; nid oes fawr o le i gilio o'r cylch hwnw; *rhaid* aros tu fewn iddo, fel y mae glanweithdra gymaint a hyny yn bwysicach i dŷ y gweithiwr nag i dŷ helaethach. Y mae ei ystafelloedd gwely hefyd yn gymhariaethol fychain, a llawer yn eu preswylio, felly y mae y pwys iddynt gael eu cadw yn fanwl o lân, a'u hawyru yn brïodol, yn fwy neillduol. Pe buasem yn tybied y disgynai llygad rhywun y mae yn perthyn iddo ar y sylwadau hyn, buasem yn helaethu

ychydig ar awyriad gwely-ystafelloedd. Y mae ugeiniau a channoedd o wragedd gweithwyr nad ydynt yn talu y sylw lleiaf i'r mater hwn, nac yn gofalu dim am wybod yr hyn sydd mor bwysig i'w cysur a'u hiechyd hwy a'u teuluoedd. Y mae rhai fel pe byddent wedi penderfynu, ac yn cymeryd gofal i gario y penderfyniad allan, na chaiff un gronyn o awyr iach, bur, wybod y ffordd i'w hystafelloedd yn y llofft—ystafelloedd eu gwelyau, na chael gwybod fod y fath ystafelloedd yn bod. Ceir eu gweled yn rhoddi y dillad yn ôl yn ofalus ar y gwely wedi cyfodi o hóno, fel pe byddai berygl iddo oeri cyn y byddont yn dychwelyd iddo yn yr hwyr, ac yn gadael y ffenestri heb eu cyffwrdd drwy'r flwyddyn, er eu bod wedi eu bwriadu a'u trefnu i gael eu codi a'u gostwng; ac wrth ddyfod i lawr y boreu, yn cau drws yr ystafell yn sicr ar eu sodlau, rhag i un gronyn o'r awyr anmhur ddïanc allan, na'r gronyn lleiaf o awyr iach ladrata ei ffordd i fewn, a gwrthod ymadael! Y fath gamgymeriad eithafol o bwysig! Pa hŷd y bydd pobl heb ddysgu peth mor eglur? Paham na adewir ffenestri yr ystafelloedd hyn yn agored drwy y dydd, yn enwedig yn yr hâf, oddieithr fod gwlaw, neu rywbeth neillduol yn rhwystro? A phaham na roddir cyflawn chwareu têg i'r awyr ar ddillad y gwely, ydynt, wrth reswm, i ryw fesur, yn llaith gan chwys y corff? Ac oni ddylid bod yn orfanwl i gadw yr ystafelloedd hyn yn lân? Pan ystyrir fod iechyd y teulu, i fesur helaeth iawn, yn dybynu ar iawn-drefniad a gofal yn y cyfeiriad hwn, y mae y mater yn ymddangos dipyn yn ddifrifol. Ond y mae a fynom â chartref y *gweithiwr*, ac â glanweithdra ei gartref ef. O ran hyny, nid ydym wedi crwydro oddiwrtho; er ei fwyn ef yr oeddem yn nodi y peth diweddaf; a gallem ychwanegu, fod awyriad prïodol ei ystafell wely ef, ar rai ystyriaethau, yn fwy pwysig nag eiddo rhai eraill. Y mae yn bosibl y bydd ef yn anadlu awyr afiach drwy'r dydd, oddidan y ddaear, neu mewn rhyw gell gyfyng, isel, fel mai braidd yr oedd yn gallu cadw ei hun yn fyw i ddyfod allan, ac y mae ei fod yn anadlu awyr afiach y nos hefyd, yn ddïau, yn peryglu ei iechyd yn fawr. Gadawer i'r gweithiwr gael pob chwareu têg sydd bosibl, beth bynag, er ei lês ei hun, ei deulu, a'i feistr; awyr iach, a chyflawnder o hóni, pan fyddo hyny o fewn cyraedd, a lle glân, pa mor syml a chyffredin bynag, i dreulio ei nos, a bwrw ei ludded.

Fel y dywedwyd, y mae a fyno glanweithdra lawer iawn a gwneyd cartref yn lle i ymhyfrydu ynddo. Nid oes un ammheuaeth nad yw diffyg hyn wedi gyru llawer gweithiwr i ymofyn aelwyd arall—un y dafarn, ac felly i ddibrisio ac anmharchu ei aelwyd ei hun. Os na chaiff y gweithiwr le glân yn ei gegin, ni bydd ganddo, yn dra thebyg, un ystafell arall i droi iddi, pan fydd gan berchenog tŷ helaethach ei ddewis o ystafelloedd, a'i ddewis o lawer o bethau i'w ddifyru, ac i fod yn wrthddrychau dyddordeb ac ymhyfrydiad iddo, pethau nad ydyw y gweithiwr, druan, yn gwybod ddim am danynt.

Dylai gwraig y gweithiwr mewn modd arbenig fod yn loew yn ei pherson. Os na fydd glanweithdra yn ei phrydferthu hi, y mae yn debyg na fydd fawr o ddim—dim i wneuthur y diffyg i fyny, pan y bydd gan wraig y cyfoethog ei dillad gwychion, ei modrwyau, a'i haddurniadau, yn *ymddangosiadol* o leiaf, yn rhywfath o gyflenwad. Dylai gwraig y gweithiwr fod mor lanwaith ag y gall ei hamgylchiadau ganiatâu iddi fod, er gwneyd pobpeth posibl i beri i'w gŵr ymhyfrydu yn ei gartref,

ac ynddi hithau fel ei bri̇od, fel y byddo hyny yn fûr o ddïogelwch iddo rhag swyn cwmnïau ofer a drwg, ac ardderchogrwydd gwraig a thŷ y dafarn. Ei glanweithdra a'i thaclusrwydd ydyw unig ddengarwch gwraig y gweithiwr yn y cyfeiriad hwn, ac ynglŷn â phethau eraill, y mae wedi ei brofi yn un gwir nerthol—digon nerthol i ychwanegu llawer ar hapusrwydd y gŵr, os nid hefyd ei sicrhâu. Y mae tystio annhrefn ac aflaneiddiwch llawer annedd wedi peri i ni weithiau agos iawn a syrthio allan â'r drychfeddwl am dŷ, am furiau, a thô, a ffenestri, a drysau; oblegid methu eu sylweddoli yn ddim ond rhywbeth i gadw y goleuni allan, gan mor garcharaidd—bruddgarcharaidd a thruenus—y tybiwn y sefyllfa o fod dan orfodaeth i aros yn y cyfryw dŷ am noswaith, i ddyoddef cau y drŵs ar bob goleuni, a thegwch, a pherarogledd. Pa ryfedd fod y gŵr yn y cyfryw achos yn blino ar ei gartref, ac yn troi allan yn nwydwyllt i chwilio am ei well? Os ydyw i ryw fesur yn gallu gwerthfawrogi yr hyn sydd brydferth a rhagorol, y rhyfeddod ydyw, ei fod wedi gallu cydymddwyn cyhyd. Y mae tŷ bychan glanwaith, gwraig lanwaith, a phlant glanwaith, yn sicr o fod yn un o'r cadwynau cryfaf o ddïogelwch i'r gŵr, ac yn un o anhebgorion ei gartref. Y mae ymron yn anmhosibl i'r gweithiwr nad yw wrth ddyfod i'w dŷ ond yn unig yn symud o'r naill aflendid i'r llall, ddeall ei fod fawr gwell na'r anifail a ddyfethir, fawr iawn gwell na bod yn rhywbeth i'w ŷru, a chael gwaith oddiwrtho; heb fod eisieu gofalu ychwaneg am dano, na chaniatâu iddo ddigon o ymborth. Yn ddïau, mae rhyw gymaint o'r cyfrifoldeb yn y mater hwn yn gorphwys arno ef ei hun, ond eto, pennod arbenig y wraig yw hon wrth reswm; arni hi yn benaf y mae y cyfrifoldeb yn gorphwys yn y cyfeiriad hwn. Y mae ambell ddyn, rhaid addef, fel pe na fyddai yn alluog i werthfawrogi "glanweithdra;" nid ydyw erioed wedi dangos unrhyw foddhâd o'i blegid, nac unrhyw gymeradwyaeth iddo, ac y mae ambell un hyd yn nôd yn amlygu *anfoddlonrwydd* fod amser yn cael ei wario felly er ei fwyn; ond eithriadau yw y rhai yna, prin iawn hefyd. Dyn yw un fel yna â rhyw olwyn bwysig iawn yn ei feddwl wedi myned oddiar ei hechel, os bu hi yno erioed, o ran hyny. Nid yw un felly yn werth ymresymu âg ef, na'i ddwyn yn esiampl; ond pe gellid gweled i'w waelod yntau—ei brofi â hollol amddifadrwydd o'r peth hwn y mae, hwyrach, yn awr yn ei fwynhâu mewn cyflawnder, nid yw yn anmhosibl na cheid ef yn meddu y gallu neu y chwaeth y mae yn ceisio ei wadu. Rhodder i'r gweithiwr dŷ glân, a gwnaed yntau ei ran tuag at ei gael felly, os myn deimlo ei dŷ yn gartref.

Y mae gan yr elfen hon eto gymhares, neu chwaer, a'i henw hi ydyw *Trefnusrwydd*, neu fel yr arall-aml-eirir weithiau, "ei le i bobpeth, a phobpeth yn ei le; ei amser i bobpeth a phobpeth yn ei amser." Y mae y ddwy chwaer hyn hefyd fynychaf yn byw gyda'u gilydd, ond y mae yn bosibl fod eithriadau. Y mae trefnusrwydd, er yn anhebgor gyffredinol, eto yn arbenig angenrheidiol yn nghartref y gweithiwr, oblegid yn ei eiddo ef, y mae y "lle" a'r "amser" yn brinach—yn fwy cyfyngedig nag yn eiddo eraill, ac felly y mae eu hiawnddefnyddiad yn dyfod yn bwysicach. Mor brydferth ydyw gwêdd y tŷ hwnw (heb son am hwylusdod a chyfleusdra y mater), yn yr hwn y mae gan "bobpeth ei le," ac y mae pobpeth yn cael "ei le." Y mae y cwbl yn rhoddi i'r edrychydd deimlad o heddwch a boddlonrwydd, a pha faint mwy y mae

yn gwneuthur hyny i'r neb sydd yn preswylio yno. Mor wahanol ydyw gwêdd annedd arall y mae y rheol hon dan draed ynddi. Yno y mae y syniad o gyfyngder yn anwrthwynebol, ac y mae yn anmhosibl i un lai na chydymdeimlo â'r annhrefn a'r dyryswch. Ac yna y mae y gwahaniaeth hwylusdod yn un mor neillduol, a'r gwahaniaeth hwnw yn cynnyrchu gwahaniaeth yn y tangnefedd. Rhodder "ei le i bobpeth, a phobpeth yn ei le," ac arbedir mynydau, ïe, oriau lawer o chwilio diamynedd, ac ystormydd lliosog a chynddeiriog o ddigofaint. Os esgeulusir y rheol hon yn nhŷ y pendefig (er mai nid yno y gwneir fynychaf), bydd yno weision a morwynion, ceffylau a chŵn, i redeg ymhob cyfeiriad i wneuthur i fyny am y diffyg—i wneyd i fyny mor bell ag y gellir; ond yn nhŷ y gweithiwr, nid oes unrhyw gymhorth o fewn cyraedd. Rhaid iddo ef frwydro â'r anghyfleusdra ei hun, a myned drwyddi oreu y gallo, a'r canlyniad yn aml iawn ydyw syrthio i brofedigaeth a magl "natur ddrwg." Y mae ei wraig (wedi cysgu dipyn hŵy nag arfer) â'i holl egni yn ceisio parotôi boreufwyd; ac oblegid esgeulusdra y nos o'r blaen —gadael llestri swper heb eu trefnu, y mae yn methu "yn ei byw" cael hyd i "daclau" brecwast, ac felly yn fwy na llawn o frys a thrafferth; ac yntau, y gŵr, yn methu taraw ar ei ddillad, yn poeni y wraig â chwestiynau caledion yn eu cylch, yn achwyn oblegid ei gam, ac hwyrach cyn y diwedd, yn tybied yn brïodol defnyddio mesurau pellach o gwestiyno. 'Does yna un i gynnorthwyo a chyfryngu, a mawr mor flin yr helynt yn aml, yn unig oblegid diffyg "trefnusrwydd." Ychydig o sylw i'r rheol hon fuasai yn arbed y cyfan. Y mae hwylio llawn mor annyben, os nid yn fwy felly, bore Sabbath yn y teulu yna: dillad Sul y gweithiwr heb ymweled â hwy er y Sabbath o'r blaen, heb eu glanhâu na chyflenwi eu diffygion, a dillad y plant ar wasgar tua'r pedwar gwynt, heb fod un dewin yn gwybod ymha le; y cwbl yn un tryblith o annhrefn; ac yna ar ol gorphen ymgasglu o'r elfenau, y mae yr ystorm yn dechreu teyrnasu; y mae y Sabbath heb un ystyr i'r gweithiwr, wedi rhwyfo yn galed drwy dònau chwe' niwrnod o lafur tuag ato, a'r lle ddylasai fod yn gartref, ymron yn bobpeth gwahanol. Y mae y crwydryn yn byw îslaw cyraedd yr anghyfleusderau hyn, felly ni waeth heb fynegu deddf "trefnusrwydd" wrtho ef; y mae yn aros tu allan ac îslaw y cylch yr ydym yn siarad ynddo; ac y mae y cyfoethog, yntau, yn byw i fesur helaeth uwchlaw iddo. Y mae ei foddion helaeth, ei ystôr, ei gyflawnder, yn ei gyfodi uwchlaw llawer o anghyfleusderau. Os bydd un dilledyn neu un pâr o ddillad yn digwydd bod wedi ei esgeuluso, wedi ei adael yn ddiffygiol o rywbeth, y mae ganddo ef un arall, *lawer* eraill, yn union wrth law; os bydd yno ryw un angenrhaid ar goll, wedi ei chamgyflëu, y mae yn ddigon hawdd cyflawni y diffyg, a hyny yn union, heb golli fawr o amser; ac eto, nid yw hyn yn cyfreithloni annhrefnusrwydd yn nhŷ a theulu y cyfoethog, nac yn ei wneuthur yn fwy dymunol; mae yn ei wneuthur dipyn yn fwy *goddefol* hwyrach. Ond y mae yr achos yn wahanol iawn yn nhŷ y gweithiwr; yno y mae yr anghyfleusdra yn cael teyrnasu heb un gwrthwynebiad—heb ddim i ddarostwng ei rwysg, ac y mae y trychineb sydd yn canlyn yn wir ofidus. Os ychydig sydd yn y tŷ, hawddaf i gyd rhoddi i bobpeth ei le prïodol; ond y mae yr achos yn wahanol iawn yn aml. Mewn annedd bur anaml ei dodrefn y gwelsom weithiau yr esiampl o'r dirywiad gwaethaf yn y cyfeiriad hwn—un mor eithafol fel y byddai raid

chwilio hanner awr am bobpeth fyddai eisieu, a methu cael hyd iddo yn y diwedd, a'r lle hefyd heb fod ond cymhariaethol fychan. Oni fyddai yn ddymunol fod cartref y gweithiwr (bydded mor dlawd ag y byddo), mor drefnus, fel y gallai y gŵr a'r wraig daraw ar unrhyw beth yn eu meddiant fyddai yn angen arnynt ganol *nos*, a hyny pe dygwyddai y ganwyll fod wedi myned allan, ac heb fod yno un ar ei hol? Nid ydym yn petruso dyweyd fod hyn yn bosibl, pa fath bynag fyddo yr amgylchiadau. Yr ydym droion wedi bod yn dystion o'r angenrheidrwydd *neillduol* am hyn yn nheuluoedd trefi gweithfäol ein gwlad, teuluoedd ein glöwyr, ein mŵnwyr, a gweithwyr cyffelyb, y rhai ydynt yn gorfod newid eu dillad ar eu dyfodiad gartref, ac felly roddi y dillad gwaith heibio dros weddill y prydnawn, hyd fore drannoeth. Y mae y cynhwrf, yr ystŵr, a'r chwilio, yn ambell un o'r tai hyn y bore, yn enwedig mewn achos o ddau neu dri, neu ychwaneg, o weithwyr yn troi allan yr un pryd (fel y mae yn aml), yn ddigon i syfrdanu un, a pheri iddo ddymuno yn hytrach na hyny gael yn yr anialwch "lletty fforddolion," neu ddymuno adenydd eryr i allu ehedeg yn ddigon pell o gyraedd sŵn bodau dynol. Pa faint ydyw anghysur y preswylwyr eu hunain, ydynt fel hyn bob boreu yn gorfod pasio drwy yr ystorm genllusg hon, nid ydym yn gwybod; ond y mae yn sicr, dybygem, ei fod yn gymaint fel y gallent werthfawrogi gwaredigaeth o hóno. Dylai fod yn y cyfryw dai ystafell fechan bwrpasol i roddi y dillad gwaith ynddi, ac nid un i'w taflu i mewn iddi rywfodd chwaith, yn esgeulus a diofal, ond i'w crogi ar fachau, er hwylusdod a glanweithdra.

"Ei amser i bobpeth hefyd, a phobpeth yn ei amser." Trosedd cyffredin iawn o'r rheol hon ydyw peidio rhoddi y plant yn eu gwelyau mewn pryd, ac felly beri aflonyddwch ac anghysur i'r gweithiwr blin ar ei ddyfodiad adref. Os na chå y gweithiwr fyned i'w wely yn brydlawn, nid all fyned i'w waith yn brydlawn, na bwrw ei ludded chwaith, fel y byddai ddymunol; felly bydd y cwbl yn myned "o chwith." Y mae cadw y plant i fyny yn hwyr, nid yn unig yn niweidiol iddynt eu hunain, ond hefyd yn sicr o fod yn yspeilio y gweithiwr o'r tawelwch a'r orphwysfa sydd mor gyfiawn ac angenrheidiol iddo i'w cael ar derfyn y dydd, er ei gysur a'i iechyd. Y mae hyn hefyd yn fwy pwysig iddo ef nag i eraill ar amryw gyfrifon, er nad all ei fod yn ddibwys mewn unrhyw gysylltiad. Unwaith eto yr ydym yn dyweyd fod ei dŷ yn fychan, fel, os bydd yno dwrw ac aflonyddwch, nad all ddïanc o hóno; bydd yn *rhaid* iddo ei ddyoddef, ac wrth fethu ymgymmodi â hyny, y mae llawer un yn "myned o'i go'," ac yn cilio i gegin arall. Y mae ei lafur beunyddiol hefyd yn gwneuthur gorphwysfa mor anhebgorol iddo; a phan y gall y cyfoethog a'r hamddenol gael y mwynhâd hwnw pryd y mynont, y masnachwr ei gael y bore, hwyrach, yr amaethwr ganol dydd, ei unig gyfleusdra ef, y gweithiwr, i'w gael, ydyw yr hwyr a'r nos; ac y mae y rhwystrau a deflir i'w ffordd i'w gael y pryd hwnw, pan y gellir oddiwrth hyny, yn droseddau pur ysgeler. Mor ddymunol ydyw, pan fyddo y plant yn cael eu rhoddi i orphwys ar awr gynnar, a'r gweithiwr felly yn cael mwynhâu ei hwyr mewn tawelwch gyda ei wraig, i orphwys ac i ystyried ei faterion. Nid ydym wrth ddyweyd fel hyn yn anghofio fod y tad yn dymuno ac yn hoffi cwmni ei blant; nac ydym; ond "y mae amser i bobpeth," ac i aflonyddu ei heddwch ar awr hwyr, y mae yn dra

thebyg nad all hyd yn nôd cwmni ei blant fod yn beth i'w ddymuno—fod yn amserol. Tuag at i'w dŷ fod yn gartref i'r gweithiwr, y mae yn rhaid iddo gael mwynhâu ynddo fesur o dawelwch a gorphwysdra, o hamdden a boddlonrwydd; ac yr ydym yn tybied fod yn anmhosibl iddo gael hyny, heb fod *trefnusrwydd* yn elfen neillduol yn ngweithiad y cynllun teuluol allan. Ac ni ddylem anghofio dyweyd, rhag iddo ef anghofio ystyried, fod y rheol hon i'w chydnabod gan y gweithiwr ei hun yn gystal a chan ei wraig.

Y mae y plant yn debyg o fod fel eu mham, bydded hi fel y byddo, fel nad oes eisieu cyfeirio yn neillduol atynt hwy, ond nid yw esiampl dda y wraig bob amser mor lwyddiannus gyda'r gŵr; y mae yn bosibl fod trefnusrwydd yn ei foddhâu, ond heb fod yn ei ddiwygio—yn ei newid i'r un ffurf; ac y mae ei esgeulusdra ef yn gorlwytho ei wraig, yn ychwanegu ei thrafferth yn anghyffredin. Os oes yna ardd, pa le mae yr ychydig offer i'w thrîn yn cael eu cadw? A oes yna dŷ bychan, neu *shed* mewn rhyw gongl iddi at y pwrpas hwnw, fel y dylai? Beth am y tanwydd? Pa natur bynag ydyw, dylai fod yna gongl gryno i'w dderbyn a'i gadw. A ydyw amgylchoedd yr ardd yn daclus a diogel, a holl daclau y fferm fechan yn gryno ac yn eu lle? Ochr y gweithiwr ei hun yw hona, a lliaws o fanylion eraill y gellid cyfeirio atynt, a gofaled yntau am atebion boddhäol i'r cwestiynau yna a'u cyffelyb. Y mae yn sicr y deil y gwirionedd hwn i'w gymhwyso at lawer achos heblaw un arbenig y gweithiwr; ond yn ei fyd bychan llafurus ef, y mae yn bur bwysig. Haued y gweithiwr a'i wraig ynte yn y tir hwn, ac yr ydym yn sicrhâu iddynt gnwd gwerthfawr.

Yr ydym yn teimlo mai rhyw grwydro oddiamgylch y dirgelwch y soniem am dano ar y cychwyn ydym wedi ei wneuthur hyd yn hyn, a chyfeirio at ei allanolion: neu yn hytrach, fe allai, aros yn y cyntedd, a cheisio ei ddesgrifio, y mae arnom flys bellach myned yn nes i mewn, sangu i "gysegr" y dirgelwch, ac i'w "gysegr sancteiddiolaf" hefyd, os gallwn (ac os prïodol cymeryd benthyg y fath ymadrodd cysegredig), a dywedyd yr hyn a welwn. Yr ydym fel o'r blaen, yn meddwl am ddirgelwch gwneuthur neu gael tŷ yn "gartref," tŷ y *gweithiwr* hefyd mewn modd arbenig. Nid ydym am ymdroi nemawr bellach, ond nodi yn frysiog rai o'r pethau mwyaf neillduol. Dyna y peth cyntaf sydd yn tynu ein sylw yn y cyfeiriad hwn, a'r peth penaf hefyd, *Cariad* a'i ffrwythau, *serchogrwydd* a *charedigrwydd*. Dyma yn ddïau sydd yn rhoddi anadl yn y cyfan. Tybed nad ydym wedi cael hyd i hanfod y dirgelwch? Braidd na thybiem ein bod.

Y mae y gwirionedd hwnw yn gyflawn o ystyr o hyd, ac i fod felly byth, "Gwell yw pryd o ddail lle byddo cariad, nag ŷch pasgedig a châs gydag ef." Ië, gwell ydyw annedd bur gyffredin, a llawer o anghyfleusderau yn perthyn iddi, os bydd "cariad" yn teyrnasu o'i mewn, nag un dra ardderchog a phwrpasol, os yn amddifad o hono. Nid ydym yn cyhoeddi athrawiaeth ddyeithr mewn un modd, wrth ddyweyd fod "cariad yn cuddio," neu yn gwneyd i fyny, am lawer o ddiffygion. Os gofynir i ni a ydym yn gallu tybied cartref yn meddu y perffeithiau y cyfeiriwyd atynt yn flaenorol, heb fod yn meddu yr elfen anhegorol hon, yr ydym yn ateb ein bod. Yr ydym wedi gweled achosion felly,

ond yn amlach, achosion o ddiffyg y pethau hyny—diffyg pobpeth sydd werthfawr a rhagorol, fel *ffrwyth* diffyg cariad.

Y mae dygiad i fyny, arteriad a "synwyr cyffredin," yn abl gwneyd llawer iawn; ond os bydd amddifadrwydd cariad, bydd rhywbeth mor bwysig âg anadl bywyd yn eisieu, bydd yno ddiffyg nad all dim ei wneyd i fyny. Y mae gan y cyfoethog lawer o adnoddau i droi atynt i *geisio* gwneyd diffyg fel hwn i fyny. Os na fydd serchogrwydd ar wyneb ei wraig, bydd ei sidanau o'i chwmpas, a'i hardderchogrwydd ymddangosiad, yn ei alluogi, *hwyrach*, i dalu iddi rywfath o warogaeth, a bydd ganddo ystafell i droi iddi o ffordd tywyllwch ei gŵg, a'i lyfrgell i droi iddi am bleser, a'i feirch a'i gerbydau i'w defnyddio er ei ddifyrwch. Ond druan o'r gweithiwr! Os na fydd gwên yn addurno gwyneb ei wraig ef, a charedigrwydd yn dyferu o'i dwylaw, bydd ei unig ffynnonell (ddaearol) ef o gysur wedi sychu. Ni fydd yn achos ei wraig ef felly ddim wedi ei adael i ddïogelu urddas ac edmygedd, ac i'w alluogi yntau i roddi iddi y parch dyledus. Os geill wneyd hyny, ei fuddugoliaeth ef a fydd. Y mae yr un peth yn wir yr ochr arall, mewn cysylltiad âg yntau, ac ar rai ystyriaethau, y mae yn wir pwysicach. Y mae felly o gymaint âg y mae yr esiamplau o hóno yn fwy cyffredinol, ac hefyd o gymaint âg y mae awdurdod y gŵr ar y wraig yn gwneuthur ei ŵg ef yn drymach, yn anhawddach ei ddwyn, ac, yn gyffredin, yn fwy difrifol yn ei ganlyniadau. Yn gymaint hefyd âg mai y "llestr gwanaf" yw y wraig, y mae diffyg serchogrwydd yn ei gŵr tuag ati yn arf digon nerthol i'w chymeryd hi ymaith â'i ddyrnod, a gŵg parhäus ar ei wyneb, heb dybied dim ymhellach, yn abl difa nerth ei hysbryd, a'i dwyn hi "mewn gofid i'r bedd." Ond lle y mae cariad yn teyrnasu, serchogrwydd a charedigrwydd yn cael eu harfer, parch prïodol yn cael ei roddi, a gofal manwl yn cael ei gymeryd y naill tuag at ac am y llall, y mae yno i ryw fesur, yn ddïau, sylweddoli ystyr "cartref." Y mae gŵr y tŷ hwnw yn bur debyg o fod yn prysuro adref o bob man, ac o bob swyn, ac yn aros yn ei gartref cyhyd ag y gallo, nes y byddo raid iddo ymadael. Y mae yn amlwg y ceir eithriadau, fel pan mae un, yn hollol ddiachos, yn ymwrthod â'i gartref llawn o serch, er dilyn cwmpeini y dafarn. Y mae hyn i'w brïodoli i swyn y dïodydd meddwol, yr hwn a ymddengys fel yn gorchfygu rheswm, ac yn yspeilio serch, pan fyddo un wedi myned ymhell i'w afael. Pa bryd y cymer dynion rybudd, ac y deallant y perygl yn y cyfeiriad hwn? Nid ydym, fel y sylwasom ar y dechre, yn tybied fod ein testun y tro hwn yn arwain at yr ochr hon i'r mater, onidê buasem yn ceisio ymhelaethu ar y dinystr sydd ar gartref y gweithiwr gan y gelyn rheibus hwn, *meddwdod!* Y mae y drychau o hyn a ddengys cymdeithas yn dorcalonus i'r eithaf, yn echryslawn, yn ofnadwy! Edrych ynddynt dro, fel y dywed y bardd, "ŷr galon graig i wylo." Oes, mae miloedd o weithwyr Cymru yn anrheithio eu cartrefi, ac yn eu taflu eu hunain a'u teuluoedd i ganol y ffordd fawr, ïe, i garchar, drwy eu blŷs at y pethau meddwol! O na wawriai bore hyfryd diwygiad! "Cyfoded Duw, gwasgared ei elynion." Y mae meddwdod yn elyn Duw yn gystal âg yn elyn dyn, ac oblegid hyny yr ydym yn gryf ein gobaith y gwelir cyn hir ddydd ei lwyr ddarostyngiad.

Ond son yr oeddem fod cartref llawn o serch, pa mor isel a thlawd bynag, â swyn cryf ynddo i dŷnu y gweithiwr iddo, a'i gadw ynddo.

Braidd y mae eisieu ysgrifenu deddfau i gariad weithredu wrthynt, y mae yn gwneyd yn burion ei hun. Y mae ei gynlluniau i foddhâu a dedwyddu yn gywrain o'r fath gywreiniaf. Hwyrach mai ei brif ffrwythau yn y cyfeiriad hwn, fel y soniwyd, ydynt *serchogrwydd* a *charedigrwydd*—bydd i'r naill barchu y llall, y wraig y gŵr, a'r gŵr ei wraig, ac arfer tuag at eu gilydd bob caredigrwydd o fewn eu gallu. Wrth weled hyn, mae y plant yn cael eu dysgu yn yr un peth, i barchu eu tad ac i'w garu, ac i ddyfeisio gweithredoedd o garedigrwydd ar ei ran. Braidd na feddyliem fod esiampl y fam yn ddigon yn y cyfeiriad hwn, ac mai diffyg yn hono yw yr achos o ddiffyg yn y plant. Y mae yn bosibl fod eithriadau; ond yn yr achosion hyny pan fyddo y fam yn ei lle, bydd cariad yn eu dysgu pa fodd i weithredu.

Yn awr yr ydym yn ceisio dangos hyn fel anhebgor *fawr* "cartref y gweithiwr"—ei eiddo ef yn *neillduol*, un sydd, o angenrheidrwydd amgylchiadau, yn amddifad o lawer o bethau fuasent yn rhywfath o help i ddyoddef y golled o hôni. Ydyw, y mae serchogrwydd ei wraig, ei llonder yn ei dderbyn, a'i charedigrwydd yn ei wasanaethu, yn peri i lawer gweithiwr anghofio ei holl ludded ar unwaith, a theimlo yn wrol ar gyfer diwrnod arall o lafur, a hyny cyn bwrw ymaith ludded y dydd hwnw; pan y mae anserchogrwydd gwraig arall yn peri i'w gŵr braidd edifarhâu myned allan i'w waith, neu yn hytrach edifarhâu dyfod adref oddiwrtho. Y mae cariad yn cynnyrchu ufudd-dod, fel yn lle ymrafaelio ynghylch "pwy sydd i fod yn ben," a rhyw dwrw felly (nad oes gan y gweithiwr blin, pe c'ai "chware têg," a phe rhoddai chware têg iddo ei hun, ddim nerth yn ngweddill i'w ddadleu), y mae y gŵr a'r wraig y mae cariad yn teyrnasu yn eu calonau yn ymgystadlu yn hytrach mewn gwasanaethu eu gilydd. Sut y mae yn bosibl i deulu trafferthus y gweithiwr fyned ymlaen heb hyn? Y mae ei ysgwyddau ef ac eiddo ei wraig yn plygu dan eu beichiau, fynychaf—eu beichiau o lafur a phryder; ac heb feddu y cydymdeimlad llwyraf â'u gilydd, ac ymarfer y serchogrwydd mwyaf at eu gilydd, nid ydym yn gweled pa fodd y mae yn bosibl iddynt dynu eu cwys i ben. Os mynir cael cartref yn gartref gwirioneddol, yn ddïau dyma brif ran y dirgelwch—rhaid i *gariad* deyrnasu yno.

Yn îswasanaethgar i *gariad*, y mae "synwyr cyffredin" yn ymddangos yn bur werthfawr ac angenrheidiol, ac yn meddu lle penodol ymhlith dodrefn y cyfeiriad hwn.

Pa beth yn gywir a ddylid ei ddeall wrth "synwyr cyffredin," nid ydym ar hyn o bryd am gynnyg penderfynu; bydd yn ddigon i ateb y pwrpas presennol i gymeryd yr ymadrodd yn ei ystyr gyffredin a chynnefin. Pa mor bell y mae ar gartref y gweithiwr fwy o angen yr anhebgor hon na chartref rhywun arall, nid ydym chwaith am benderfynu. Pe na fyddai yr achos felly o gwbl, hwyrach na fyddai yn anmhrïodol crybwyll hyn. Ar yr un pryd, ar rai cyfrifon, tybiwn y gellir profi ei fod.

Y mae y gweithiwr a'i wraig yn troi mewn cylch, ac yn cyfarfod amgylchiadau, ydynt mewn modd arbenig yn gwneuthur mesurau teilwng o'r hyn a adnabyddir fel "synwyr cyffredin" yn anhebgorol angenrheidiol, ac ni fydd yn eu hachos hwy ddim i wneuthur i fyny yn y mesur lleiaf am y diffyg o hóno. Y mae ganddynt ryw feistr neu uchafiad i'w gydnabod, i ufuddhâu iddo, heb anufuddhâu i lais eu cydwybodau; a chymydogion i droi yn eu mysg, nad yw bob amser,

hwyrach, yn hawdd iawn eu dyoddef. Y mae ganddynt brawfiadau manwl ar eu hamynedd a'u dyoddefgarwch i fyned drwyddynt, yn eu cartref ac oddiallan iddo, fel y mae eu ffyniant a'u llwyddiant yn ngwyneb y cwbl yn dybynu llawer ar y mesurau o "synwyr cyffredin" a feddant i'w dwyn allan i gyfarfod y gwahanol alwadau hyn. Y mae hyn yn dwyn cysylltiad arbenig â'r wraig, oblegid os bydd hi yn weddol gyflawn yn y peth yma, gall wneyd i fyny, i fesur helaeth, am ddiffygion ei gŵr, pan na all ef, o herwydd rheswm sydd yn adlewyrchu tipyn o fri ar y "rhyw dêg," lwyddo agos gystal i gyflawni ei diffyg hi yn yr un cyfeiriad. Yn yr achos rhyngddi a'i gŵr hefyd, y mae ei llwyddiant i'w wneuthur ef yr hyn y dylai fod, iddi hi ac i'w blant, yn dybynu llawer ar ddyfais ei synwyr cyffredin. Os yn amddifad o hyn, nid oes ganddi fawr o ddim i'w chymeradwyo ger bron ei gŵr. Yr oedd gan eraill eu cynnysgaeth, eu haur a'u harian, eu tai a'u tiroedd, ac ni byddant yn ol o goffâu hyny, os dygwydd i'w harglwyddi anghofio, a dangos siomedigaeth oblegid y cyttundeb a wnaethant. Nid oes gan wraig y gweithiwr un noddfa o'r fath yna i droi iddi, un gymeradwyaeth o'r fath yna i gael ei chymhorth; ond os ydyw yn ymddadblygu yn ddynes bwyllog a synwyrlawn, y mae ei gŵr, er gwaethaf peb aflwydd, yn teimlo ei hurddas, ac yn sylweddoli ei fod wedi cael trysor gwerthfawrocach na gêmau. Mae y diffyg synwyr a amlygir gan lawer gwraig wedi gwneuthur ei gartref i lawer un yn annyoddefol, yn nŷth llawn o ddrain, un y bydd yn ofid i'w galon droi iddo, ac yn boen iddo aros ynddo, pan y dylasai fod yn hollol i'r gwrthwyneb, yn orweddfa esmwyth, un y byddai ei galon yn hiraethu am dani.

Anhebgor arall wasanaethgar iawn yn y cyfeiriad hwn ydyw *Addysg*, rhyw fesurau o wybodaeth a diwylliant meddyliol. Nid ydym yn ammheu na fu llawer gweithiwr pur anllythyrenog, ei wraig yn gymaint felly ag yntau, yn abl i ddeall yn bur drwyadl ddirgelwch cartref, ond nid heb deimlo ei golled yn ddïau, a theimlo yn ddwys hefyd. Y mae gan eraill eu gorchwylwyr a'u hathrawon cyflogedig i ddysgu eu plant, ond y mae yn rhaid i'r gweithiwr wneyd y cwbl ei hun yn ei fyd bychan ef. Er nad yw ei holl amgylchiadau ond cymhariaethol ddibwys, eto y mae eisieu gofalu am danynt, ac yn arbenig y mae arno eisieu cyfarwyddo ac arwain ei blant; nid oes un a wna hyny yn ei le. Gall eu gyru i'r ysgol am nifer o fisoedd neu flynyddoedd, mae'n wir; ond bydd ei ran ef o'u hyfforddiant yn aros o hyd heb ei rhoddi, a bydd effaith hyny arnynt hwythau, hwyrach, hyd derfyn eu hoes. Y mae y diffyg hwn yn myned yn llai amlwg o hyd, o drugaredd, fel y mae cyfryngau addysg yn lliosogi, a thrwy hyny mae llwybrau anghyfleusderau pwysig i gartref y gweithiwr yn cael eu symud. Eled y cerbyd hwn eto yn ei flaen—cerbyd addysg—fel y caffo holl blant ein gwlad, yn fechgyn a merched, eu parotôi yn brïodol ar gyfer y byd.

Yn awr, yr ydym yn cymeryd y cam diweddaf; ac wele, y mae CREFYDD yn ymddangos o'n blaen fel perffeithrwydd a choron y cyfan yn yr holl anhebgorion, heb yr hon nid all yr adeiladaeth, pa mor brydferth, a chref, a chyflawn bynag, fod yn orphenol. Nid ydym am wadu nad yw yn bosibl i'r gweithiwr y mae ei gartref yn cynnwys yr elfenau a nodwyd, ddeall ystyr y gair yn bur dda, sylweddoli y meddylddrych yn bur gyflawn; ac y mae yn sicr fod llawer o'r cyfryw a deimlent yn bur angher-

edig tuag at y neb a feiddiai ammheu fod ganddynt gartref yn holl ystyr y gair; ond eto nid ydym yn petruso ysgrifenu am bob achos felly, bydded mor dêg a ffafriol ag y byddo, am bob achos nad ydyw crefydd i fewn ymhlith y dodrefn, fod yno wagder a diffyg, gwagder hefyd na ellir ei gyflawni—na ellir agos ei gyflawni â dim arall. Y mae yno beth mor bwysig a'r "gogoniant" yn eisieu; rhywbeth a ddyrchafai y tŷ a'r teulu i ffafr a chymeradwyaeth arbenig y Goruchaf, ac a fyddai yn gyfrwng cymundeb rhyngddo â'r nefoedd; ïe, a ddygai y cartref hwnw i feddu rhyw gymaint o ystyr y cartref tragywyddol, yr "orphwysfa sydd eto yn ol." Hyd nes cael hyny, bydd yr adeiladaeth, pa mor hardd a chymhwys bynag, tu allan i derfynau y deyrnas sydd yn rhoddi ystyr i bethau, y deyrnas ysbrydol; y tu fewn i hono yn unig y mae pethau yn meddu gwir werth a gwir ystyr. Er mai yr un fydd y tŷ, yr un fydd yr ardd, a'r un fydd y dodrefn, wedi i wir grefydd gael ei gollwng i fewn â chynt, y mae yna gyfnewidiad annhraethol er hyny; y mae yna ddyrchafiad nad oes mesur arno. Yr oedd yn cael ei *alw* yn gartref o'r blaen; yr oedd y perchenog yn tybied ei fod felly yn sicr ac yn gyflawn, ond yn awr y mae yr enw wedi ei gadarnhâu â sêl y llywodraeth Ddwyfol; y mae ei *lease* wedi ei sicrhâu yn y llŷs uchaf; y mae gan ei berchenog hawl ar yr enw bellach, i'w ddefnyddio, ac y mae y cwbl wedi ei nodi allan fel rhan o berchenogaeth arbenig y nefoedd. Rhyw ddarn o'r deyrnas ysbrydol bellach ydyw y tŷ yna a'r cwbl sydd ynddo, ac nid yw yr hyn a elwir ar y ddaear yn "*Notice to quit*" i'w berchenog, yn cael ei adwaen wrth yr enw hwnw y tu arall i'r llèn; yno nid yw ddim amgen na symudiad o un ystafell i'r llall. Y mae y gwahaniaeth yn yr ystafelloedd yn wir yn annhraethol; y *promotion* i'r gweithiwr yn deilwng o'r neb a ddywedodd, "Yr wyf fi yn myned i barotôi lle i chwi," yn ogoneddus iawn; ond y mae ystyr y cwbl wedi ei ddeall o'r blaen, er ys llawer o flynyddoedd, yn cael ei brofi i fesur byth er pan agorwyd i'r Hwn a ddywedodd "Wele, yr ydwyf yn sefyll wrth y drws, ac yn curo," ac y dywedwyd wrtho, "Tyred i mewn, fendigedig yr Arglwydd." Ië, crefydd wir sydd yn gwneyd cartref yn gartref llawn; y Bibl ar y bwrdd, ac yn y galon, a gweddi yn y genau ac yn yr ysbryd. Mae hyn wedi gwneuthur llawer bwthyn Cymreig, digon llwyd ac anmharus ei wêdd, yn "borth y nefoedd"—yn nefoedd ar y ddaear, ac y mae yr adgof am dano yn dwyn tòn gref o hiraeth i mewn i ysbryd ambell fachgen yn nghanol gwychder a mwynderau prif ddinasoedd Lloegr. Y mae yn methu sylweddoli y gair "cartref" byth wedi gadael amgylchoedd hen fwrdd y "Bibl mawr" ar aelwyd ei rïeni. Yr oedd y bwthyn hwnw wedi ei dderbyn i ymdrafodaeth masnach y "deyrnas nad yw o'r byd hwn." Yr oedd rhyw ran o'r fasnach hono yn cael ei thrafod ynddo bob dydd, a swyddogion y llywodraeth yn ol a blaen ynddo yn barhäus: pa mor isel bynag, yr oedd hwnw yn "gartref." Ië, crefydd yn unig sydd yn abl llanw enwau o ystyr. Mae llawer o adeiladau y byd yma yn dwyn enwau llydain, meithion, ac ymhòngar iawn, ond mor wâg o ystyr, hwyrach, â gwagder ei hun; ond pan wnelo crefydd y tŷ yn etifeddiaeth iddi ei hun, pan gydnebydd hi ei enw, y mae yn union yn dyfod yn fwy na llawn o ystyr—yn orlwythog o ystyr, ac mewn canlyniad yn cael ei ddïogelu byth ar lyfrau y nef. Nid ydym am ddyweyd fod hyn yn fwy anhebgorol i gartref y gweithiwr nag i

gartref y masnachwr a'r boneddwr; y mae yn ddigon i ni ddyweyd ei fod ymhob cylch yn anhebgorol i wneyd cartref yn gartref. Ar yr un pryd, hwyrach fod cyflëad y gweithiwr yn y cylch y mae ynddo, mewn amgylchiadau cymhariaethol gyfyng, yn lliw pur fanteisiol ar gefn y darlun i ddangos y cyfoeth diderfyn sydd yn nghadw iddo yn nhrefn yr iachawdwriaeth, ac yn cael ei gynnyg iddo yn yr efengyl. Cymered yr awgrym, a defnyddied y cyfleusdra i wneuthur ei hun felly yn "gyfoethog tuag at Dduw" â'r cyfoeth nad yw "lladron yn cloddio drwodd i'w ladrata."

Gyda hyn, yr ydym yn gadael y mater, gan ddymuno heddwch a ffyniant "cartref y gweithiwr;" a chan ddymuno, os dygwydd i'r llinellau hyn gael rhedeg drostynt gan lygad a meddwl rhyw frawd o weithiwr, y bydd iddynt fod yn foddion i ychwanegu rhyw gymaint ar ei hapusrwydd, i oleuo rhyw gymaint ar ei ddeall, a'i alluogi i fendithio trefniadau trugarog y Nef.

---

# EMYNYDDIAETH.

## V.—SALMYDDIAETH Y CYMRY; EDMUND PRYS, A'R SALMAU CAN.

### RHAN I.

Cafodd y Saeson yr Ysgrythyrau yn eu hiaith eu hunain ymhell o flaen y Cymry, er darfod i'r Cymry yn ffurfiol ymwrthod â Phabyddiaeth ar yr un amser a hwythau. Bu dygn dywyllwch o anwybodaeth yn hir orchuddio ein gwlad, o herwydd amddifadrwydd o Air Duw, a diffyg gweinidogion ffyddlawn i'w bregethu. Ac wedi cael allan y ddyfais werthfawr o argraffu, bu yn agos i gan' mlynedd cyn gwneyd defnydd o honi i daenu goleuni gwybodaeth ymysg ein cenedl. Yn 1567 y cafwyd y Testament Newydd, o gyfieithiad William Salesbury, ac yn yr un flwyddyn, Y Llyfr Gweddi Cyffredin, o gyfieithiad yr un gŵr. Argraffiad mawr ydoedd, at wasanaeth yr Eglwysi; ond caed argraffiad ar blŷg bychan o'r un llyfr yn 1586. Cynnwysai yr argraffiadau hyn y Salmau mewn rhyddiaith rai blynyddau cyn i'r Bibl yn gyflawn gael ei ddwyn allan yn Gymraeg. Yr oedd cyfieithiadau William Salesbury, er gwerthfawroced oeddent, yn anfanteisiol i'r werin, o herwydd dyeithrwch y llythyreniad a arferwyd ganddo, ac anystwythder yr iaith; ond y Dr. Morgan, yn ei gyfieithiad ef o'r holl Fibl, yn 1588, a ddŷg i mewn welliant dirfawr yn llythyraeth yr iaith, ac ystwythder a llithrigrwydd y cyfieithiad. Erbyn hyn yr oedd ein cenedl wedi cael yr Ysgrythyr Lân yn yr iaith a ddeallent, a llawer, yn ddiammheu, yn gwerthfawrogi eu braint, er nad oedd y Bibl eto wedi ei ddwyn i gyraedd y cyffredin bobl, ond yn unig yn cael ei ddarllen yn y gwasanaeth crefyddol yn yr

Eglwysydd. Aeth blynyddoedd meithion heibio ar ol hyn, heb i un ddarpariaeth gael ei gwneyd er dwyn ymlaen ganiadaeth grefyddol yn yr Eglwys. Hyd yn hyn, ni feddai y Cymry brydyddiaeth gymhwys i'r cyfryw wasanaeth. Yr oedd y Cymry dysgedig a gwladgarol a breswylient yn Llundain yn y blynyddau hyny, wrth sylwi ar y dull gwresog a a hyfryd y dygid ymlaen ganiadaeth eglwysig ymysg y Saeson, yn teimlo yn awyddus a hiraethus am i'w cenedl eu hunain yn Nghymru gael mwynhâu y gyffelyb fraint. Ond hir y bu, er dwysed y teimlid y diffyg, cyn i neb anturio braidd ddim er cyflawni yr amcan dymunol. Y mae Morys Kyffin, yn ei "Lythyr anerch at y Darllenydd Cristionogawl," sydd yn rhagflaenu "Diffyniad Ffydd Eglwys Loegr," gan yr esgob Jewel, o'i gyfieithiad ef, yn ysgrifenu (yn 1594) fel hyn:—

"Gwaith rheidiol iawn fyddai troi'r Psalmau i gynghanedd Gymraeg; nid i gynghanedd englyn, nac owdl, na chywydd, nac i fath yn y byd ar gerdd blethedig; o herwydd felly ni ellir byth troi na'r Psalmau na dim arall yn gywir. Eithr i'r fath fesur a thôn cynghanedd ag sy' gymeradwy ymhob gwlad a ddiwygiwyd drwy dderbyniad dysgleirdeb yr efengyl; ac fel y gwelir yn y *Saesoneg*, *Scotiaith*, *Ffrangaeg*, iaith *Germania*, iaith *Itali*, a'r cyfryw; fel y gallo y bobl gânu i gyd ar unwaith yn yr Eglwys, yr hyn beth a fyddai ddifyrwch a dyddanwch nefol iddynt yn y llân a chartref Am Englyn, neu Owdl, neu Gywydd, fe ŵyr pawb nad cynnefin ond i un dyn ar unwaith gânu yr un o'r rhei'ny. Heblaw hyny, ni wasanaetha tôn yr un o honynt i gerdd ysbrydol uchelfraint; a phe gwasanaethai, eto cabledd mawr yw cymysgu cerdd yr Ysbryd Glân yn yr un dôn ganiad â cherdd faswedd ofer. Rhaid i'r neb a gychwyno hyn o orchwyl cysegr, ddeall amryw ieithoedd dysgedig, megys na roddo efe un gair yn y gynghanedd ond a fo gwbl gydsyniol â meddwl yr Ysbryd Glân. Pettai genyf y seibiant a'r hamdden sy' gan lawer, cyntaf peth, a chwennychaf poen a gymerwn i arnaf fyddai tueddu at hyn o waith, ar ol cydsiarad â dysgedigion Cymru ynghylch pa ddull a math ar gynghanedd a debygid oreu a chymesuraf i hyn o dduwioldeb."

Wrth y dyfyniad hwn, gwelir fod yr ysgrifenydd yn ystyriol o'r anhawsdra i gael yr amcan canmoladwy i ben, er mor ddymunol a rheidiol ydoedd; ac er y teimlai yn awyddus i ymgymeryd â'r gorchwyl ei hun, ac yntau yn Gymro da ac yn fardd, eto mae yn debygol na chafodd efe byth hamdden i hyny. Ei frawd (fel y tybir), Edward Kyffin, a wnaeth y cynnygiad cyntaf drwy gynghaneddu ychydig nifer o'r Salmau "er prawf yn unig," y rhai a gyhoeddwyd yn Llundain gan Thomas Salesbury, yn 1603, dan yr enwad,—"Rhann o Psalmae Dafydd Brophwyd, i'w canu ar y dôn arferedig yn Eglwys Loegr." Yn ei "Lythyr at ei geredigion wladwyr," sydd fel rhagymadrodd i'w lyfryn, dywed fel hyn:—"Wrth weled a chlywed mor brydferth ac mor hyfryd yr ydys yn moliannu Duw yn yr holl Eglwysi lle mae'r efengyl yn cael rhyddid, ond yn Nghymru yn unig, wrth ganu Psalmau Dafydd, hyny a wnaeth i mi (er gogoniant i'r Arglwydd a chariad i'm gwlad) ddangos fy ewyllys da yn cychwyn hyn o waith, ar ddechre cynghaneddu hyn o Psalmau yn nesaf ag y gellais at feddwl yr Ysbryd Glân, fel y cefais hwynt yn ysgrifenedig yn yr Ysgrythyrau." Ac am y cynghaneddiad, dywed fel hyn:—"Yr hwn fesur cynghanedd sy' gymhwysaf ei ganu gan yr holl gynnulleidfa ar unwaith." Math o awdl-gywydd ddigynghanedd yw mydryddiaeth E. Kyffin ar y Salmau, ar y gyhydedd lefn neu seithsill, ond y mae yr acenaid yn afreolaidd, a'r mesur yn fynych yn ddiffygiol neu yn ormod. Mae yn anhawdd dyfalu paham na fuasai yn defnyddio y mesur Eglwysig, fel ei gelwir weithiau, sef y Mesur

Cyffredin Seisonig, fel yn nghyfieithiad Sternhold a Hopkins, os nad oedd yn teimlo fod y Gymraeg yn brin o eiriau unsill i odli yn rheolaidd ar y mesur hwnw. Mae yn amlwg wrth ei lythyr ei fod ef yn edrych arno ei hun yn annigonol i'r gorchwyl, ac y mae yn dra dirodres yn annog eraill (a fedrent yn well) "i fyned trwodd â holl gorff y Psalmau," y modd yr oedd efe wedi dechreu.*

Yn yr un flwyddyn, a chan yr un cyhoeddwr, dygwyd allan gyfansoddiad y Cadben William Middleton o'r Salmau oll ar fydryddiaeth gaeth,† a hyny ar ol marwolaeth yr awdwr. Nid oedd cyfaddasrwydd yn y rhai hyny i'w cânu yn gynnulleidfäol, ac nid oeddent chwaith wedi eu bwriadu i hyny. Eto, mewn cyfarwyddyd a osodwyd o flaen Salm xli., yr hon sydd ar fesur englyn toddaid, dywedir, "y gellir ei chânu â'r dôn Ffrengig sydd i'r unrhyw Psalm." Wrth sylwi ar ansawdd y pennillion, mae yn rhyfedd genym os gellir eu cânu ar dôn yn y byd, na'u deall chwaith, gan un gynnulleidfa o bobl.

Yr unig Salm gan Gwilym Ganoldref ar fydr y gellir ei gânu yw y xlix., yr hon sydd ar fesur "Awdl Gywydd, o'r hen ganiad," yr un mesur ag sydd gan Edward Kyffin, ond bod Gwilym Ganoldref yn ei gadw beth yn well. Dichon mai "er prawf" y cyfansoddodd yntau y Salm hon mor rhydd, a'i fod yn barnu mai rywfodd yn debyg i hyn y dylesid cyfansoddi y Salmau ar gân i fod o fuddioldeb cyffredinol, a dichon mai dyma y cais cyntaf at hyny. Gosodwn yma rai o'r pennillion ystwythaf:—

PSALM XLIX. 1—9.

*Awdl Gywydd, o'r hen ganiad.*

Yr holl bobloedd, er eich llês,
Dowch yn nês i wrando;
A deglywch chwi bawb ynghyd
Sydd yn y byd yn tario:

Isel, uchel, mân, a brâs,
Câs, a chydymdeithion;
Y cyfoethawg, a phob tlawd,
Câr, a brawd, ac estron.

Ni ddaw dim o'm genau pêr
Onid doethder mwynffraeth;
A'r myfyrdawd dan fy mron,
Fy nghalon, yw gwybodaeth.

Yr wyf fi 'n bwriadu draw
Wrandaw ar ddammegion;
Ac mi draetha' ngherdd fal hyn
Gyda 'r delyn gyson.

Pam yr ofnaf, na dal gŵg,
Er bod yn ddrwg y dyddiau,
A chwmpasu o bechod ffôl
Hyd ar ol fy sodlau?

Yn eu golud, wrth eu rhaid
Yr ymddiriaid annoeth;
Ac a fostiant yn eu byw
Amled yw eu cyfoeth.

Ni all dyn gan Dduw a'i rhoes
Brynu einioes undyn;
Ac ni ddichon, mae'n rhy drwm,
Dalu arianswm drostyn'.

Gwerthfawr ydyw gan Dduw mau
Yr eneidiau duwiol,
Ger ei fron, Duw goreu fry,
A bery yn dragwyddol.

Gresyn na fuasai y bardd hwn yn troi ychwaneg o'r Salmau ar gynghanedd rwydd fel y pennillion uchod; gallasai ei waith felly ateb dyben buddiol. Ond y mae yn dra thebygol mai ymddangosiad y cynnyrchion hyn, ac yn enwedig annogaeth daer Edward Kyffin yn ei lythyr crybwylledig, a gynhyrfodd y Parchedig Edmund Prys i ymgy-

* Gwel y TRAETHODYDD am 1852, tu dal. 243, &c.

† *Ib.* tu dal. 175, &c., lle y traethasom ein syniadau ar Salmau Gwilym Ganoldref, fel ei gelwid gan y beirdd, ac ar y mesurau (caethion) a'r ofer fesurau, ar ba rai y cyfansoddodd.

meryd â'r anturiaeth bwysig o gyfieithu yr holl Salmau ar fesur cerdd yn Gymraeg. Yr oedd efe yn meddu ar gymhwysderau rhagorach at y gorchwyl na'i ragflaenoriaid, fel gŵr dysgedig, ac un yn gweini mewn pethau sanctaidd; yr oedd hefyd yn byw ymhell oddiwrth dwrf y byd prysur yn neillduedd tawel swydd Feirionydd, fel yr oedd yn cael hamdden ddymunol i ddilyn y fath efrydiaeth. Mae y gwasanaeth a gyflawnodd efe yn hyn i'w genedl ac i wir grefydd, a'r hyn a wnaethai yn flaenorol trwy gynnorthwyo y Dr. Morgan yn nghyfieithiad y Bibl, yn teilyngu coffadwriaeth barchus iddo; ond mae y defnyddiau tuag at wneyd cofiant teilwng o hóno yn hynod brin, ac y mae yn resyn ddarfod i'w gydoeswyr fod mor ddiofal ac esgeulus fel y gadawsant i'w cyfleusdra fyned heibio heb gofnodi pethau yn hanes ei fywyd a fuasent yn werth eu trosglwyddo i oesoedd dyfodol. Mae efe wedi marw bellach er yn agos i ddau cant a hanner o flynyddoedd, fel nad oes ond ychydig o draddodiadau am dano ar gof gwlad, ac o'r ychydig hyny nid oes ond llai y gellir rhoddi nemawr goel arnynt. Ymdrechasom gasglu ynghyd y cofion canlynol am dano, wedi eu lloffa oddiar amryw faesydd, a chyflwynir hwynt yma i sylw y darllenydd fel y cwbl a fedrwyd gael, gan obeithio y byddant yn dderbyniol, ac yn rhyw barotöad i ystyriaeth fwy manol o'i waith arbenig yn nghyfansoddiad y Salmau Cân.

Ganwyd y Parchedig Edmund Prys yn y lle a elwir y Gerddi Bluog, yn mhlwyf Llanfair Cadair Owain,* yn swydd Meirion, yn y flwyddyn 1541. Ymha le y cafodd efe ei addysg foreuol nid yw hysbys, ond derbyniodd ei ddysgeidiaeth athrofäol yn Ngholeg St. Ioan, Caergrawnt, a chymerodd y radd o A.C. yno.† Wedi gorphen ei ddysg, cymerodd urddau eglwysig, a chafodd bersoniaeth Ffestiniog a'r capeliaeth perthynol, sef Maentwrog, yn 1572, ac yn 1576 gwnaed ef yn Archddiacon Meirionydd. Cafodd bersoniaeth Llanddwywe yn 1580, a rhoddwyd iddo ganoniaeth Llanelwy yn 1602, gan yr esgob Morgan. Yr oedd efe yn ŵr tra dysgedig, ac yn ieithydd rhagorol; dywed ei hun ei fod yn gyfarwydd ar wyth o ieithoedd (os ŷm yn ei ddeall yn iawn) fel ag i ysgrifenu barddoniaeth ynddynt:

> Profais wau pêr wefus wawd,
> Brif ieithoedd, brawf o wythwawd,
> Ni phrofais dan ffurfafen
> Gwê mor gaeth a'r Gymraeg wèn.

Gallem gasglu oddiwrth y llinellau hyn, neu ddychymygu, o ddiffyg

* Llanfair-juxta Harlech, neu Llanfair ger Harlech. Yr ydym yn rhoddi yr enw uchod ar awdurdod y diweddar Mr. Ellis Owen, Cefn y Meusydd. Yr ŷm yn credu mai hyn sy gywir, ac nid plwyf Llandecwyn, fel y mae rhai ysgrifenwyr yn dywedyd; ond yr ŷm yn tybied, yn ol y cof sy genym, y gall fod sefyllfa y Gerddi Bluog ar derfyn y ddeublwyf, Llanfair a Llandecwyn.

† Yn rhestr Awduron Cymreig yn rhagflaenu y trydydd argraffiad o *Eirlyfr* T. Richards, Llan Grallo (Dolgellau, 1815) dywedir fod E. P. yn "LL.D.," ac y mae awdwr y *Cambrian Plutarch*, td. 326, yn ei gyfenwi "Dr. Edmund Prys," ond ar ba sail nid yw y naill na'r llall yn ein hysbysu. Ar hyn y mae genym y sylw canlynol o eiddo y Parch. D. Silvan Evans:—"Nid oes un prawf, na thebygoliaeth chwaith, fod yr Archiagon wedi cymeryd un râdd athrofäol uwch nag A.C. Nid yw debygol, pe buasai efe yn cymeryd grâdd uwch, y buasai gŵr eglwysig yn yr oes hono yn ymraddio yn y *Cyfreithiau* yn lle mewn *Duwinyddiaeth*. Nid wyf yn cofio am gymaint ag un enghraifft o'r fath. Nid oes un râdd athrofäol yn gysylltiedig â'i enw yn yr argraffiad *cyntaf* o Eirlyfr Richards, yr unig un a gyhoeddwyd yn mywyd yr awdwr." Fe allai mai ei gamgymeryd a wnaed am y Dr. Ellis Prys, Plas Iolyn ("y Doctor Coch"), yr hwn oedd yn LL.D. yn yr un Coleg.

llawnach cyfarwyddyd, fod rhestr yr wyth brifiaith rywbeth yn debyg i hyn; y pedair iaith ddysgedig a henafol: Hebraeg, Groeg, Lladin, Cymraeg; a'r pedair iaith diweddar: Saesoneg, Ffrangaeg, Almaenaeg, a'r Eidalaeg. Ond beth bynag am y rhestr ddychymygol hon, y mae digon o brawf ei fod ef yn dra chyfarwydd yn yr ieithoedd dysgedig, ac hefyd yn ei iaith enedigol, "y Gymraeg wèn," ac yn hen hanesiaeth y Cymry.* Wrth gofnodiad Lladin cysylltiedig â'r Rhagymadrodd i Fibl y Dr. Morgan, gwelwn ei fod yn cael ei gydnabod yn barchus ymhlith cynnorthwywyr y Dr. yn y gorchwyl pwysig o gyfieithu yr Ysgrythyrau i'r iaith Gymraeg. Yr oedd y Dr. Davies o Fallwyd yn un o'i gyfeillion mynwesol, fel yr ymddengys wrth gyflwyniad ei Ramadeg Cymraeg Lladin iddo gan y Dr. Davies: ac y mae cynllun ei ddawn a'i fedrusrwydd fel bardd Lladin i'w weled yn rhagflaenu y Gramadeg hwnw. Yr oedd cyflwyniad ei Ramadeg iddo, ar ran y Dr. Davies, yn gryn anrhydedd, ac nid oedd neb cymhwysach i dderbyn y fath anrhydedd na'r hybarch Archddiacon.

Cyfrifid ef yn fardd Cymreig rhagorol, yn dra chyfarwydd yn rheolau y farddoniaeth gaeth, fel ei gelwir; ac y mae rhai awdlau, a chywyddau, a chaniadau eraill, ar amryw destynau, gan mwyaf mewn ysgriflyfrau, eto ar gael o'i gyfansoddiad ef, heblaw pedwar ar ddeg a deugain o gywyddau oeddent yn fath o ymryson prydyddol rhyngddo ef â bardd cyfoesol, William Cynwal, brodor o Ddolwyddelen, yn swydd Gaernarfon; a dywedir am Siôn Phylip o Ardudwy ei fod yntau hefyd â'i fŷs yn y browes. Ystyrid y ddadl o ddyddordeb nid bychan ymhlith y beirdd y pryd hyny, gan fod y gwŷr hyn yn sefyll yn uchel ymysg beirdd Cymreig yr oes hòno. Mae y gystadleuaeth yn cynnwys cryn lawer o watwareg, digrifwch, ac ysmaldod, ond ar yr un pryd y mae yn brawf fod yr Archddiacon yn fardd duchan heb ei fath, ac yn feirniad manwl hefyd. Dywed traddodiad i William Cynwal syrthio yn aberth i lymder ei ffraethineb duchanol ef. Yr olaf o'r cywyddau hyny, meddir, sy farwnad o'r fath fwyaf galarus a theimladol, o gyfansoddiad Edmund Prys, pan y clywodd am farwolaeth ei wrth-ymrysonydd. Ond beth bynag am hyn, mae yn amlwg, dybygem, mai yn lled gynnar ar oes yr Archddiacon y cymerodd yr ymdrafodaeth farddol a llênyddol hono le, gan fod dyfyniadau o'i gywyddau dadleuol i'w gweled yn *Rheitheg Gymraeg Henri Perri*, argraffedig yn y fl. 1580. Mae y dyfyniad canlynol o lythyr a dderbyniasom oddiwrth y Parchedig D. Silvan Evans, B.D., Periglor Llan yn Mawddwy (i'r hwn y mae yn ddyled arnom dalu ein diolch cyhoeddus am ei garedigrwydd yn ateb ein hymofynion), yn taflu cryn oleuni ar y mater, ac yn gosod yr helynt mewn golygiad esmwyth a thra boddhaol.

"Chwi a wyddoch am y Cywyddau Ymryson rhwng E. P. a William Cynwal. Y mâent oll genyf mewn llyfr mawr o wahanol hen ganiadau. Nid ydynt, hyd y gallaf weled, yn taflu ond ychydig lewyrch ar hanes buchedd yr Archiagon. Y mae un frawddeg yn un o gywyddau Cynwal yn rhedeg fel hyn:—

Un Duw lân nid amcanodd
Unwaith fardd o ddyn o'th fodd;
Yn *Ddoctor*, blaenor heb lai,
Cyn oes y'th amcanasai.

* Te Laboris Aristarchum deligi, ut quem sciam nihil Britannicæ cognitionis latere, nostratium grammaticorum peritissimum, linguæ patriæ cultorem diligentissimum, ecclesiæ Br. benevolentissimum, meique semper amantissimum.—*Dr. Davies.*

Gellid meddwl ar yr olwg gyntaf wrth y crybwylliad yma am 'ddoctor' fod yr Archiagon wedi cymeryd y râdd hono; ond dïau genyf mai yn yr ystyr o athraw neu ddysgawdwr (crefyddol) yr arferai Cynwal y gair. Ei bwnc ef ydoedd ceisio dangos a phrofi nad oedd E. P. yn *fardd* mewn un modd, ond mai duwinydd, 'pregethwr,' offeiriad, &c., ydoedd ef; ac na ddylasai ormesu ar gylch cysegredig y beirdd, i'r hwn yr oedd Cynwal, bid sicr, yn perthyn. Yn y cyffelyb y mae yn arfer 'prelad' yn un o'r cywyddau, er y gwyddai ef yn eithaf da nad oedd E. P. mewn un modd yn *brelad* neu esgob. 'Ne sutor ultra crepidam,' oedd cynghor Cynwal i E. P. 'Glŷn di wrth bregethu, &c., a gad y *farddoniaeth* i *ni*, gwŷr yr *urdd*.' Pwnc E. P. o'i du yntau ydoedd dangos y medrai *farddoni*, er nad oedd yn perthyn i'r urdd farddol, ac y medrai wneyd hyny yn llawer *gwell* na W. Cynwal; ac o herwydd hyny arferai ysgrifenu *amryw* gywyddau am bob *un* i Cynwal."

Yn ychwanegol at hyn, y mae yn ein taraw y gallai fod yr ymdrafodaeth wedi dygwydd yn lled fuan ar ol "Eisteddfod Fawr" Caerwys, a gynnaliwyd tua'r fl. 1568, yn amser a thrwy awdurdod y frenhines Elizabeth; ac mewn canlyniad fod E. P. a'i gyfeillion, fel y beirdd yn gyffredin, wedi teimlo yn lled drwm oddiwrth achreth y dwymyn eisteddfodol, a bod E. P. fel dyn ieuanc bywiog, hewydus, ymwybodol o'i nerth a'i adnoddau, yn dangos awydd i ragori, nes oedd hyny yn cyffroi eiddigedd rhai o'r "beirdd wrth fraint a defod," fel ag i chwennychu cadw i lawr yr ymgystadlydd ieuanc hyd y gallent. Ond pe cyferbynid cynhenau a checraeth beirdd a llêncrion ein hoes ni, ynglŷn âg eisteddfodau o bob math, yn yr hyn y gwelwyd gweinidogion crefydd yn rhy fynych yn cymeryd eu rhan, pe cyferbynid y rhai hyn, meddwn, âg ymryson cystadleuol E. P. a'i gyfeillion, yr ydym yn tybied y tröai'r fantol i gryn raddau yn mhlaid yr Archddiacon. Edliwid i *Marot* a *Beza* gan y Pabyddion eu caniadau maswedd, y rhai er eu gofid a gyfansoddasent yn eu hieuenctyd; ond hyd ag y gwelsom ni nid oedd caniadau E. P., er eu bod yn ffraethlym ac arabeddus ddigon, mewn dim yn halogedig ac anweddaidd.*

Mewn "Cywydd a gânt Tomas Prys o Blas Iolyn [mab y "Dr. Coch"] i ŷru yr Eryr" i gyfarch deuddeg o brydyddion enwocaf ei oes, mae y bardd yn gosod Edmwnt Prys ar ben y rhês, ac yn talu ei foes i'r Archiagon,† ac yn crybwyll ei gynneddfau, fel y canlyn:

Yn gyntaf hed lle'th gredir,
Hoewlan têg, at haul ein tir;
Henwir enaid yr Ynys,
Hynod yw pryd Edmwnd Prys;
Iawn bregethwr, brig ieithiau,
Ac os myn, bydd brydydd brau;
Ysgwier call, ysgwîr cerdd,
Gwŷr glymau pynciau pencerdd.

Dadleuai W. Cynwal mai pregethu oedd ei waith priodol, i'r hwn, "cyn oes, yr amcanasai" Duw ef, sef y gwaith yr etholasid ef iddo; ac yma, tystia y bardd o Blas Iolyn ei fod yn "bregethwr iawn." Felly y mae

* Gwel "Hanes yr Ymrysongerdd rhwng Edmwnd Prys, Archddiacon Meirionydd, a William Cynwal, prydydd ac arwyddfardd," yn y *Gwyliedydd* am 1835, td. 245, wedi ei godi o'r *Greal*, rhif 1. Gwel hefyd "Llyfryddiaeth y Cymry," dan y fl. 1588. Mae y gwaith llafurus a buddiol hwn, gan y diweddar Gwilym Lleyn, ar gael ei gyhoeddi, dan olygiad y Parch. D. Silvan Evans, B.D., gan John Pryse, Llanidloes.

† Hwn yw y gair arferedig gan y beirdd o amser W. Cynwal i waered: y ffurf Gymreig iddo yn amser Taliesin oedd *Archaeddon:*

Hael archaeddon, &c.

genym dystiolaeth dau fardd (a phaham nas gallwn ddibynu arni?) fod E. P. wedi cyraedd cryn radd o enwogrwydd fel pregethwr, yn gystal ag fel gŵr dysgedig a bardd. Yr oedd hyn yn yr oes hono yn beth tra anghyffredin.

Mae y Parchedig Edward Samuel o Langar yn Edeirnion, yn ei Farwnad i Huw Morus, wrth olrhain achau barddol yr hen brydydd enwog o Lansilin, yn enwi "Edmwnt Prys" ymhlith ei henafiaid awenyddol fel yn dad iddo:—

Siôn Tudur, glan eglur glog,
Oedd ei daid, wedd odidog;
Edmwnt* Prys, felys ei fawl,
Oedd dad iddo dedwyddawl;....
Brawd ei daid, ganaid ei gân,
Siôn Phylip, sain hoff wiwlan;
Brawd ei dad, siad ddi sâl,
Gwlm cân oedd Gwilym Cynwal:
A fu o feirdd, y fo fydd
I'r gwŷr yn wir garenydd.

*Eos Ceiriog*, I. *td.* 108.

Y bardd poblogaidd nesaf o flaen Huw Morus oedd Edmund Prys, o leiaf yn Mhowys a Gwynedd; ond yr ydym ni yn tybied y dylesid cynnwys "Ficer Llanddyfri" yn y rhestr, fel un a wnaethai lawer o ddaioni i Gymru mwy ond odid na nemawr un yn ei oes.

Mae digon o brofion y medrai Edmund Prys gyfansoddi yn rhagorol ar y mesurau caethion: dyma un englyn a gyfansoddodd wrth gladdu ei gymydog a'i gyfaill Huw Llwyd, Cynfal, yr hwn hefyd oedd yn un o'i blwyfolion, yn foneddwr a milwr, yn ysgolaig, ac yn fardd:—

Pen campau doniau a dynwyd,—o'n tir
Maentwrog yspeiliwyd;
Ni chleddir, ac ni chladdwyd,
Fyth i'w llawr mo fath Huw Llwyd.

Mae yn ddiammheu i'w ragoriaeth fel bardd "awenbwyll," ac yn enwedig am ei ddofn ddysgeidiaeth, ei ddwyn yn gynnar i sylw ei gydwladwyr fel un cymhwys i fod o ddefnyddioldeb yn yr eglwys. Yn unol â hyn, fel y crybwyllwyd eisoes, darfu i'r Dr. Morgan sicrhâu ei wasanaeth fel un o'i gynnorthwywyr yn nghyfieithiad y Bibl. Ni wyddys pa ran a gyflawnwyd ganddo ef na'i gydweithwyr eraill; ond tebyg yw fod eu gwaith yn myned dan olygiaeth gyffredinol Morgan ei hun, er mwyn dïogelu unffurfiaeth yn y cyfan. Yr oedd cael bod â llaw yn y gwaith o gyfieithu yr Ysgrythyrau yn ddïau yn anrhydedd o'r mwyaf iddo ef a'i gyfeillion. Cyflawnwyd y gwaith mawr mor dda gan y gwŷr enwog hyny a gyfodwyd ac a gymhwyswyd iddo gan Dduw, fel, mewn ystyr lênyddol, mai y Bibl yw safon yr iaith; ac fel llyfr eu crefydd, y mae Protestaniaid Cymru, Eglwyswyr ac Ymneillduwyr yn ddiwahaniaeth, yn gallu ei ddefnyddio, heb ddim anghyfleusdra. Ar gyfrif eu llafurus gariad, dylai enwau y cyfieithwyr ffyddlawn gael eu cadw mewn parchus a bythol goffadwriaeth gan y genedl.

* Yn yr hen lyfrau mae yr enw yn cael ei roddi mewn amryw ddulliau; Edmwnd, Edmwnt, Edmund, *vulgo* Iemwnt, neu Emwnt. Mae fel enw a chyfenw i'w gael yn lled fynych yn nghymydogaethau Maentwrog etc. Enw Saxonaidd ydyw, yn arwyddo heddwch gwynfydedig neu fendigaid. *Bailey's Dict.*

Ond yr hyn sydd wedi enwogi ac anwylo coffadwriaeth E. P., yn fwyaf arbenig, yw ei waith yn troi y Salmau ar gynghanedd Gymraeg. Mae lle i dybied mai yn mhrydnawn ei fywyd, ryw yspaid ar ol y fl. 1603, y cyflawnodd efe y gorchestwaith hwn. Dywedir mai ei ddull yn cyflawni y gwaith oedd cyfieithu un salm bob wythnos erbyn y Sabbath, i'w chânu yn y llàn ar y gwasanaeth cyhoedd, nes y cânwyd y cwbl o honynt cyn eu hargraffu. Cafodd y cantorion a'r gynnulleidfa y fath flâs ar y gyntaf, nes ei annog yn awyddus i fyned ymlaen o wythnos i wythnos, ac wedi parhâu felly am flwyddyn, ymroddodd i fyned rhagddo nes gorphen y cyfan. Ymddengys iddo gyflawni y gwaith yn ddifrifol a chydwybodol; nid oes dim yn dwyn perthynas âg ef yn dangos ysgafnder, ond yn y gwrthwyneb, bod ganddo nôd uchel i gyrchu ato, sef gogoniant Duw yn adeiladaeth ei eglwys; ac y mae i'w weled ynddo lawer o wreiddiolder meddwl ac addfedrwydd barn. Ni wyddys ddarfod iddo gyhoeddi dim ei hun yn ei oes heblaw ei gyfieithiad o "Lyfr y Psalmau." Bu y beirdd yn ddigon gofalus i gadw ei gynnyrchion pryd-yddol eraill rhag myned ar ddifangoll; ac y mae rhyw nifer o honynt yn argraffedig, er nad ŷm ni yn yr oes hon yn gwybod ond ychydig am danynt. Dichon nad ydynt yn meddu rhyw lawer o ddyddordeb erbyn hyn, oddieithr fel gweddillion hynafiaeth, a'u bod mewn rhai pethau yn taflu goleuni ar ansawdd cymdeithas, arferion y wlad, a sefyllfa llênyddiaeth ac amaethiad yr iaith yn yr oes hono. Os gadawodd ryw ysgrifeniadau eraill ar ei ol, megys pregethau neu draethodau crefyddol buddiol, mae yn debyg, er cymaint y gallai fod yr anghen am danynt, na wnaed dim ymdrech i'w dwyn i oleuni dydd, er addysg y werin, na chymaint â gofalu yn brïodol am eu cadwraeth.

Preswyliai yn y Tyddyn Du, yn mhlwyf Maentwrog, lle yn agos i hanner y ffordd rhwng Maentwrog a Thrawsfynydd; a thebygol yw mai yno y gorphenodd ei ddyddiau. Bu farw yn 1624, ynghylch 83 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn Eglwys Maentwrog, o dan y bwrdd cymun, fel y dywedir; ond nid oes un gàreg na beddargraff, hyd y gwyddom, er côf am dano, nac i ddangos yno "fàn fechan ei fedd."

Methasom gael allan o ba wehelyth yr hànodd, ac nid yw yn hysbys i ni pa deulu a adawodd ar ei ol. Yr ŷm yn cael enwau "Edmund Prys, ficer Clynog Fawr, yn Arfon," a "Ffoulke Prys" yn berson Llanllyfni, yn nechre y ddeunawfed ganrif; tybir wrth yr amser y gallent fod yn ŵyrion iddo, ond nid yn feibion, fel y dywed rhai. Yr oeddynt ill dau yn wŷr o ddysg, ac yn coledd yr awen yn achlysurol, a gellir gweled cynllun o'u dawn yn nechre "Rheol Buchedd Sanctaidd, gan Jeremy Taylor, D.D., o gyfieithiad Ellis Wynn," 1701. Mae rhai teuluoedd yn Meirionydd, Eifionydd, a manau eraill, yn hòni eu disgyniad o'r un âch ag Edm. Prys. Yn "*Yr Haul,*" am Meh., 1866, tu dal. 188, ceir âchres un gangen o'r teulu o'i fab Edmund Prys, yr hwn a brïododd etifeddes y Gerddi Bluog (perthynàs iddo, fe allai), yn disgyn hyd y chweched genedlaeth yn y llinach wrywaidd, ac oddiyno ymlaen yn y fenywaidd, ac yn terfynu yn nheulu y diweddar Barch. John Parry, Morgan, Ebrwyad, Llanidloes, yn swydd Drefaldwyn. Gan nad ŷm yn hyddysg mewn âchyddiaeth, nis gallwn chwanegu ar hyn, ond ei adael yn agored i'r cyfarwydd mewn ymchwiliadau o'r fath.

Yn ol "*Llyfryddiaeth y Cymry,*" yn y flwyddyn 1621 yr argraffwyd y

Salmau Cân y waith gyntaf, yn gysylltiol â "Llyfr y Weddi Gyffredin," argraffedig yn y flwyddyn hono. Yr oedd hyn ryw dair blynedd cyn marwolaeth y cyfieithydd hybarch, a'r flwyddyn nesaf ar ol ymddangosiad Bibl yr Esgob Parri. Mae y rhagddalen yn darllen fel hyn:—

"Llyfr y Psalmau, Wedi ei cyfieithv a'i cyfansoddi ar Fesur Cerdd yn Gymraec: Drwy waith Edmwnd Prys, Archdiacon Meirionydd. Ai Printio yn Llvndain, 1621.'

Ceir desgrifiad o'r argraffiad hwn o'r Llyfr Gweddi a'r Salmau Cân yn Rhestr Llyfrau un o lyfrwerthwyr Llundain *(Th. Arthur, Strand)* am Ragfyr diweddaf, yn darllen fel hyn:—

"Book of Common Prayer, with the Psalter and Psalms of David, in Welsh, black letter, woodcut title, (wants two leaves), Llundain 1621."

"Llyfr y Psalmau, drwy waith Edmwnd Prys, Archdiacon Meirionydd, black letter, title within a woodcut border (edges of a few leaves at end frayed), ib. 1621, in one vol. thick small 4to, calf, neat, 15s."

"This metrical version of the Psalms in the Welsh Language seems to be unknown, a copy priced in Mr. Lilly's Catalogue, £5 5s. See Loundes."

Diammheu mai hwn oedd yr argraffiad cyntaf oll o'r Salmau Cân. Yr oedd ei amseriad yn anhysbys hyd yn ddiweddar iawn, er bod y cyfieithiad yn eithaf adnabyddus. Yr argraffiad nesaf, yn ol "Llyfryddiaeth y Cymry," a fu yn 1628. "Ymddengys i hwn gael ei gyhoeddi wrtho ei hun, i'w gydrwymo âg unrhyw argraffiad dyfodol o'r Llyfr Gweddi Gyffredin." Wedi hyn argraffwyd hwynt gyda Bibl bychan 1630, yr argraffiad cyntaf o'r Bibl Cymraeg mewn llythyren Rufeinaidd. Yr argraffiad nesaf a gofnodir yw un 1638, mewn llythyren ddu, yn bedwar plŷg bychan, yn gyfaddas fel o'r blaen i'w rwymo gyda'r Llyfr Gweddi Gyffredin. Yr oedd y copi a welsom o hwn wedi ei gydrwymo â'r Llyfr Gweddi argraffedig yn 1634, bedair blynedd yn gynt. Yr ydym yn cael, fel hyn, fod pedwar argraffiad o'r Salmau Cân wedi eu dwyn allan o fewn llai na deunaw mlynedd, yr hyn a brawf eu bod yn dra derbyniol, a bod galwad mawr am danynt. Mae yr argraffiadau eraill, o hyn ymlaen, yn canlyn y gwahanol argraffiadau o'r Bibl a'r Llyfr Gweddi Gyffredin.

Mae un nodwedd bwysig oedd yn perthyn i'r argraffiadau cyntefig wedi ei golli yn y rhai dilynol a diweddar, sef bod ystyr neu gynnwysiad pob salm wedi ei osod o'i blaen yn Gymraeg, yn dilyn y geiriau cyntaf o hóni yn Lladin, yr hyn, yn yr hen amseroedd, a gymerid fel enw y salm, fel y mae *Pader*, oddiwrth "Pater noster," y geiriau dechreuol yn y Lladin, yn enw eto ar Weddi yr Arglwydd. Mae geiriad rhai o'r cynnwysiadau hyn yn werth sylw, ac yn wir addysgiadol; ac y mae yr hen argraffiadau, ar gyfrif y rhai hyn, yn meddu cryn ddyddordeb. Gosodwn yma ychydig o'r rhai mwyaf nodedig a tharawiadol, gan ddilyn llythyraeth argraffiad 1630:—

"Beatus vir. Psal. 1.—*Dyma wynebni y Psalmau: yn dangos tyciant y duwiol ac aflwydd y rhai annuwiol.*" [Mae y gair "wynebni" heb ei restru yn ein Geiriaduron; ei ystyr, dybygem, yw gwynebiad, rhaglith, neu arweiniad i mewn i'r Salmau, gan fod y salm gyntaf yn gwasanaethu i hyny, ac fel gwynebadail, yn dangos math ac urddas y gyfryw adeilad. Ffurfir y gair o *wyneb* a'r terfyniad *ni*, fel goleuni, tlysni, &c., o goleu, tlws, &c.]

"Quare fremuerunt. Psal 2.—*Mae y prophwyd Dafydd yn yr Yspryd Glân yn rhagweled gwrthwyneb mawr i Eglwys Christ. Lle y mae efe yn newid personau yn yr ymadrodd, mae yr yspryd yn gryfach na rheswm dyn.*" Gwel Act. iv. 23—30, a xiii. 33."

"Domine ne infuriere. Psal. 6.—*Gweddi o drymder am ei bechodau: a phan gafas obaith. y mae yn dibrissio ei elyn, gan foli Duw.*"

"Saluum me fac. Psal. 12.—*Wrth weled anllywodraeth, y mae efe yn prophwydo, pan addfedo drygioni, y daw tro gwell.*"

"Diligam te. Psal. xviii.—*Dafydd yn diolch i Dduw am ei orfoledd a'i freniniaeth, gan ddatgan gwrthiau Duw yn rheoli hinon: y mae yn prophwydo am Grist.*" [Wrth "hinon" yma, dybygid, y meddylir elfenau natur, fel eu desgrifir yn y Salm.]

"Deus, Deus meus. Psal xxii.—*Prophwydoliaeth o ddioddefaint Christ, a'i weddi dros yr eglwys, a'i swyddau tragwyddol, yn brophwyd, yn offeiriad, yn frenin.*"

"Dominus illumunatio. Psal. xxvii.—*Ffydd Dafydd tuag at Dduw, tra orfu arno fod allan o'r orsedd; a'i gysur i bawb yn eu blinder.*"—[Wrth "orsedd" yma, fel yn amryw fanau yn y Salmau hyn, meddylir, y cynnulliad crefyddol yn addoliad Duw;—y babell, y deml. Yn Act. xix 29, 31, arwydda gynnullfan neu olygfa; *theatr*. Yn gyffredin cyfystyr yw â *gorseddfainc*.]

"Quemadmodum. Psal. xlii.—*Dafydd heb gael gan ei erlidwyr ddyfod i'r gynnulleidfa sanctaidd. yn dangos fod ei galon ef yn bresennol gyda hwy, a bod ei holl ymddiried ef yn yr Arglwydd.*"

"Eructauit cor meum. Psal. xlv.—*Anrhydedd, nerth, a phrydferthwch Solomon; bendithio ei briodas ef â'r Aiphtes, os hi a ymwrthodei â'i thylwyth, gan ddilyn ei gŵr; a hyn yn arwydd o Christ, a'r eglwys o'r cenedloedd.*"

"Deus deorum. Psal. l—*Prophwydoliaeth am alwedigaeth y cenedloedd, ac na fyn Duw aberth ond diolchgarwch, yn erbyn y rhai a arferant Ceremoniau o flaen Gair Duw.*"—[Gwelir wrth hyn nad oedd E. P. o dylwyth y "Defodwyr," a'i fod ar bwnc y defodau braidd yn gogwyddo at buroniaeth; o leiaf gellir tybied felly. Geilw rhai ei gyfaill, ieuengach nag ef, y Dr. John Davies, o Fallwyd, yn buroniad *(puritan)*, am iddo, yn ddisylw o orchymyn Laud, adael y bwrdd cymun ar ganol yr eglwys, lle y bu hyd yn ddiweddar, ac nid yn allor wrth y ffenestr ddwyreiniol. Nid ydym wrth hyn am awgrymu nad oeddent ill dau yn gydffurfwyr ffyddlawn a chydwybodol, ond eu bod yn fwy goleuedig na llawer.]

"Quid gloriaris? Psal. lii.—*Dangos dull y gorthrymydd, ac am ei ddiwedd: cysur i'r ffyddlon yn Nuw. Mae y Salm hon yn gosod allan yn eglur deyrnasiad yr Anghrist.*" [Yr oedd E. P. yn amlwg wedi yfed yn helaeth o ysbryd y Diwygiad Protestanaidd.]

"Saluum me fac. Psal. lxix.—*Serch Dafydd a'i flinderau: creulondeb ei elynion, ei gysur, a'i glod i Dduw: y mae efe hefyd yn anog pob creadur i foli Duw, ac yn prophwydo am deyrnas Christ: ac yn y Salm hon y mae Dafydd yn arwydd o Grist.*"

"Deus Judicium. Ps. 72.—*Solomon a'i deyrnas yn y Psalm hon yn arwydd ac yn ffigur o Grist a'i ogoniant.*"

"Deus. venerunt. Psal. lxxix.—*Achwyn rhag y dinystr a wnaethai Antiochus ar Deml Dduw a Ierusalem: a gofyn cymorth gan Dduw rhag ei orthrwm elynion.*" [Fel enw gwan, neu ansoddair, yr arferai E. P. a chyfieithwyr y Bibl, y gair *gorthrwm* yn unig, ac nid fel enw cadarn neu sylweddair, fel y gwna rhai ysgrifenwyr diweddar, yn wrthwyneb i gyfaledd *(analogy)* yr iaith. Esa. xxix. cyn. Ei ystyr yw *tra thrwm, trwm iawn,* neu *dost.* Fel enw cadarn, *gorthrymder* (trais, gormes, &c.), sydd gywir.]

"Benedixisti Domino. Psal. lxxxv.—*Er mwyn nad oedd Duw yn tynu mo'i wialen oddiar ei Eglwys gwedi ei dyfod adref o Babel, maen hwy yn gyntaf i'w goffâu ef i orphen arnynt waith ei ras. Ac yn achwyn rhag eu hir gystudd, ac yn olaf, yn ymlawenychu yn eu gobaith o addewidion Duw.*"

"Domine refugium. Psal. xci.—*Mosen. wrth weled y bobl heb ystyried dim o ddaioni Duw, na'i gosb, yn gweddio ar Dduw am droi eu calonau hwy o'i drugaredd.*" [Mosen, neu Moesen, sydd hen ffurf Gymreig i'r enw Moses, fel Selyf am Solomon, Deiniol am Daniel, Esay am Esaiah, Suddas am Judas, y rhai ni arferir yn bresennol ond yn anfynych, tra y mae enwau eraill yn parhâu yn eu hen ffurf Gymröaidd, megys Adda, Efa, Dafydd, Mair, Pedr, Ioan, Iago, a rhai eraill. Yn y Bibl, gelwir y Salm hon "Gweddi Moses gŵr Duw."]

Gallasem ychwanegu llawer at y dyfyniadau uchod, pe buasai ein gofod yn caniatâu Mae hyn yn ddigon i ddangos y modd y rhoddai yr awdwr hybarch ei olygiad yn fyr ar ystyr neu achlysur pob Salm, yn enwedig yn eu cyfeiriad at Grist a goruchwyliaeth yr efengyl. Gresyn oedd gadael heibio y cynnwysiad yn yr holl argraffiadau dilynol i'r pedwar a nodwyd.

Mae yr hen argraffiadau hefyd yn cynnwys rhai tônau (12 o nifer) wedi eu hargraffu wrth rai o'r Salmau fel yn gyfaddas i'w cânu arnynt. Yr ydym yn adnabod rhai o honynt, er eu bod wedi eu hargraffu yn dra esgeulus: megys *St. Mary*, yn y modd Doraidd, ar Salm ii.; *Martyrs*, yn yr un modd, ar Salm vi.; *Windsor*, ar y ix.; *Old London* ar y xii.; yr *Hen Ganfed*, ar y c; *yr hen* 113 *(Nashville)* ar y cxiii. a cxiv., yn ei hŷd yn gyflawn: cenid y pennill blaenaf ar yr adran flaenaf o'r dôn, a'r ddau bennill dilynol ar yr adran olaf. Cânai yn ardderchog felly. Ymddengys y cenid y ddwy sill olaf o'r ail a'r bedwaredd linell ar yr un nôd, yn y M.C. a'r M.B. Mae amryw o'r tônau i'w cael yn Salmydd Knox, a chasgliad Este, 1595. Gwel y *Cerddor Cymreig*, 1866, tu dal. 84. Yr ydym yn cofio gweled argraffiad addurnedig o'r Llyfr Gweddi a'r Salmau Cân, wedi ei argraffu yn Llundain, yn 1752, yn cynnwys nifer o dônau da, wedi eu hargraffu yn hardd oddiar lafnau copr cerfiedig. Dywedir mai golygydd y gerddoriaeth, ac awdwr nifer o'r tônau, oedd telynor Cymreig yn Llundain, o'r enw Evan William. Heblaw hyn, nid ydym yn gwybod am un argraffiad o Salmau E. P. gyda thônau.

Mae Cymraeg E. P. yn dra chyflawn o eiriau godidog, a brawddegau prydferth a grymus. Pe byddai i efrydydd ieuanc ddarllen y Salmau hyn yn ofalus, gan sylwi ar y geiriau anghynnefin, a chwilio i'w tarddiad a'u prïodol ystyr, heblaw yr addysg a dderbyniai, dïau genym yr ymgyfoethogai yn fawr mewn geiriau ac ymadroddion o arddull wir Gymreig. Nodwn yma rai enghreifftiau allan o lawer o'r cyffelyb, er annogaeth i ddarllenwyr wneyd fel y gwnaethom ninnau, ac y mae genym bob hyder y try eu llafur yn elw iddynt.

Mae yr enwau canlynol ar y Duwdod yn cael eu mynych arfer yn y Salmau. Er bod i bob un ei ystyr neillduol, y maent yn cael eu defnyddio yn gyffredin, yn ddiwahaniaeth, am y Bôd Goruchaf, yr Ysbryd fragywyddol, Crëawdwr, Cynnaliwr, a Llywodraethwr yr hollfyd; Ffynnon pob daioni, ac unig Wrthddrych addoliad.

Arglwydd, Penllywydd, Llywodraethwr.
Brenin, Penadur, un derchafedig.
Cun, Tywysog, un yn "tŷnu ato ei hun."
Dofydd, Arglwydd, Trefnedydd.
Dug, Unben, Goruchaf, Tywysog.
Duw, "Goleuni yw Duw, ac nid oes ynddo ddim tywyllwch." *Ioan.* "Tad y Goleuni." *Iago.*
Gwanar, Arweinydd.
Jehofah, (Heb.) y Tragywyddol, "Ydwyf yr hwn ydwyf." *Exodus.*
Iôn, yr achos cyntaf; yr Arglwydd; Peryf.
Iôr, yr Hen Ddihenydd, yr Hwn oedd erioed.
Nâf, Crëawdwr, Gwneuthurwr.
Nêr, "Duw Hollalluog," yr Holl Gyfoethog
Penrhaith, Deddfwr, "yr Un Gosodwr Cyfraith." *Iago.*
Pôr, Penadur, "Duw Goruchaf."
Rhi, "Un Duw a Thad oll;" Penaeth.
Sanct Duw yr Iôn, "y Sanctaidd.'
Teyrn, (Tëyrn, E. P.) Brenin, Goruwch-reolwr; Penaeth teyrnas.

Mae y geiriau canlynol yn dyfod oddiwrth yr hen oruchwyliaeth ac addoliad y deml, ac i'w cymeryd, fynychaf, mewn ystyr efengylaidd.

Aberth, poeth-offrwm, aberth gwaedlyd; offrwm.
Allor, i gyflwyno arni aberthau ac offrymau.

**Cafell, côr, cell, ystafell.**
Cangell, cafell, cysegrfa.
Côr. côrgell, lle y côr; y cantorion.
Cyntedd, cynteddfa, lle o amgylch y deml.
Cysegr. cysegrfa, lle sanctaidd.
Pabell, tabernacl, preswylfa.
Teml, tŷ yr Arglwydd, lle i addoli.

Mae y rhai hyn yn fwy yn ol iaith y Testament Newydd:—

Amen, yn wir, boed felly, felly y byddo.
Cred, gwledydd Cred neu Gristionogol.
Cristionogon, rhai yn proffesu Crist.
Eglwys, cynnulleidfa o ffyddloniaid.
Immanuel, "Duw gyda ni."

Ychwanegwn y rhestr isod fel yn deilwng o sylw:—

Addail, dail tyner.
Anfad, drwg.
Arfod, adeg.
Astrus, dyrys, diriaid
Bâr, llid, drygedd, trallod.
Blith, llaeth, *yn flith*, er budd.
Bolglymau, cnapiau.
Brau, parod, rhwydd; bregus.
Brawd, barn, Brawd-ddydd.
Cadeirir, ir flagur.
Callestr, cellt, carreg dân.
Carn, craig, tŵr.
Cathl, emyn, cân.
Cau, gwâg. "Bedd agored cau."
Cawdd, soriant.
Ceisiad, ceisbwl; cerwr.
Cethlyddiaeth, peroriaeth.
Clau, diwyd, gofalus.
Coelfain, meini coel, arwyddion ffordd.
Cryw, rhwyd.
Cuwch, gŵg.
Cydblwyf, pobl yr un ardal.
Cyfatgen, dihareb.
Cyni, ing, gwasgfa.
Cyredd, cyrau, ll. o cŵr.
Danas, ceirw, hyddod.
Dibris, rhyfygus, enbyd.
Didwn, difai; didor.
Diddos, diddefni; diogel.
Dilyd, dilyn, Rhuf. xii. 13, yn yr hen argraffiadau.
Dilys, diau, ffyddlawn.
Dilyth, dilesg, heb wendid.
Di orn, heb ŵg.
Dir, gwir, dwys, rhaid.
Dirdra, niwed tost.
Di rus, diofn, diarswyd.
Dwyfol, duwiol.
Dybryd, tost, athrist, erchyll.
Dyserth, anialwch.
Eigion, dyfnder.
Eiriach, arbed; eiriol dros.
Esgair, coes, aelod.
Esgud, diwyd, cyflym.
Ffaig, tro, trallod, cyni.
Ffel, call, gochelgar.
Ffiwch, helaeth, aml, llawn.
Fforddio, hyfforddi.
Ffun, anadl, bywyd.
Gau, geuawg, twyllodrus, ffals.
Gefyn, cadwyn.
Germain, achwyn, ochain.
Goddaith, llosgiad, golosgiad.
Gorllwyn, nawdd, amddiffyn.
Gortho, cysgod, gorchudd.
Grwn, cefn o dir.
Gwâr, dôf, llonydd, mwyn.
Gwawd, clod; gwatwaredd.
Gwehelyth, llwyth, cenedl, âch.
Gwŷd, drygioni.
Gwŷdd, coed, coedwydd.
Haiach, mwyach, disymwth.
Hoenyn, croglath, tagfagl.
Hug, rhith, esgus.
Hun, cwsg.
Hydwyll, hawdd ei dwyllo; twyllodrus.
Hydwydd, coed hirion.
Hyfr, llwdn gafr; ll. hyfrod.
Hygledd, parod i ddefnyddio cleddyf.
Isom, danom, odditanom.
Llam, cam, damwaen, hap.
Llathlud, hudoliaeth.
Llathriad, llathraid, dysglaer.
Llewa, bwyta, llyncu.
Llio, dëol, didol.
Llochwyd, encilfan.
Llusern, lamp.
Llyth, gwael, masw, egwan.
Mâd, da.
Madrondod, syndod, pensyfrdandod.
Madws, mae yn amser.
Main, meini.
Mebgyrn, ll. o mabgorn, y rhan fewnol o gyrn anifeiliaid.
Methedigaeth, cyflwr methiant, cyfeiliornad.
Nen, entrych, y nef fry.
Od, eira neu genllusg mân,
Orug, gorug, trech, gorfodol.
Pannwl, Pant.

Panylu, pantio, suddo.
Perwylau, achosion, achlysuron.
Pläu, plaeo, blino, taraw â phla.
Porth, cymhorth, help.
Pybyr, nerthol, effeithiol.
Rhagdal, wyneb.
Rhaith, llŵ, cyfraith, dedfryd.
Rhegain, grwgnach, sibrwd.
Rheidus, anghenus.
Rhwth, agored, gwancus.
Rhybrid, rhy ddrud.
Sallwyr, llaswyr, Llyfr y Salmau, salmyddiaeth.
San, syndod.
Sugnedd, llŷn tro, llynclyn.
Swrn, ychydig, peth, rhywfaint.
Syberwyd, haelioni, tiriondeb.
Tarf, dychryn.
Teilwng, haeddol, gweddaidd, addas, ffyddlawn.
Telm, rhwyd, magl.
Têr, pur, puredig.
Trefnid, hwyl, rheol, trefn.
Trin, llywodraeth.
Trwcio, trycio, methu.
Trŵn, trôn, sêdd, gorsedd, eisteddfa: cylch.
Turio, twrio, troi y tir fel y gwna baedd.
Twn, *b.* tòn, tòredig, briw.
Urddas, derchafiad, anrhydedd.
Ynglef, gwaedd mewn cyfyngder.
Ymwanu, ymladd â gwaewffyn.
Ys, dïau, gwir.
Ystad, cyflwr, sefyllfa.
Ystig, dyfal, dichlyn.
Ystod, gyrfa, rhedfa, gorchest, gwrhydri; gwanaf.
Ystryw, dichell, dyfais.
Y wêdd, yr iau.

Y broddegau dilynol ŷnt o eirweddiad Cymreig, ac y mae rhai o honynt yn rymus nodedig:—

*Am i ham*, heb achos, xxv. 3.
*Anferth iawn*, tra rhyfedd, lxxi. 7.
*Anian*, natur; greddf—*Dyrys anian*, dyrys hynod, cxxxvi. 16. *Gwammal anian*, tra gwammal, xci 8. *Mawr anian*, mawr iawn, mawr byd, xl. 9.
*Braint aflawen*, cyflwr athrist. lxxix. 2. *Braint Meirwon*, cyflwr neu agwedd meirwon, xxii. 29 *Drygfraint*, sefyllfa ddrwg, xcvii. 8. *Troi ym mraint ynfydu*, i rydd ynfydu, troi at ynfydrwydd, lxxxv 8.
*Cenllusg cesair*, ystorm o genllusg, lxxviii. 48.
*Cerdd fwys*, cân gynnwysfawr, hyawdl, yn ystyr gyntaf y gair "mwys," xlix. 3.
*Efrydd*, cloff, anafus; gwel Act. xiv. cyn. Yn y Salmau Cân arferir y gair ar fath o droell-ymadrodd. *Helynt efrydd*, helynt dôst neu flin, xviii. 42. *Llïaws efrydd*, hyny yw, mawr iawn, lxxiv. 20. *Corwynt efrydd*, tra dychrynllyd, lxxxiii. 15. *Tòri yn efrydd*, hyny yw, yn alaethus, lxxxviii. 16. *Trawsder efrydd*, trais niweidiol, cxl. 1. *Tafod efrydd*, hyny yw, afrwydd, mud. xxxviii. 14. *Gwrthwynebu yn efrydd*, yn greulawn, 20.
*Gan fore a chan hwyr*, yn foreu ac yn hwyr, trwy gydol y dydd, lxv. 8.
*Gwau* neu wëu a ddefnyddir gan E. P. mewn dull ffugyrol. *Mellt yn gwau*, hyny yw, yn gwibio, xviii. 4. *Cymylau yn gwau*, yn ymgymysgu, lxxvii. 17. Merched breninoedd yn gwau, hyny yw, yn rhodio ymhlith y pendefigesau, xlv. 9. *Colyn sarph yn gwau*, yn symud yn gyflym, cxl. 3.
*Heb wedd*, uwchlaw gallu eu desgrifio. cxlv. 3.
*Ifyrn dai*, palasau ifori, xlv. 8. A yw ffurfiad y gair hwn yn rhoi lle i dybied bod iddo *unig* a *llïosog*, ifwrn, ifyrn, fel asgwrn, esgyrn? a'i fod hefyd yn enghraifft o ddull ein hynafiaid o ffurfio geiriau ar wreiddiau Cymraeg i gyfateb i eiriau estronol mewn sain mor agos ag y gallent? *Ifwrn*, o if a gwrn.
*Magwyr feinin*, mûr cèryg, xviii. 29.
*O blan i blan*, o blanigyn i blanigyn. o lin i lin yn olynol, cxxxii. 12.
*Pe rhon*, bydded felly, er, pe caniatëid, pe rhoddem (?) lxxxiv. 6. *Rhag amled*, gan amled, lxvi. 3.
*Rhagot ti*, oddiwrthyt, lxxiii. 27.
*Tefyll cri*, tafelli crëw o eira; megys y dywedir "Ei bod yn pluo eira," cxlvii. 17.
*Ystafell fachog*, hyny yw, mewn congl o'r neilldu, lv. 7.
*Mau* a *tau* ydynt ragenwau meddiannol, yn dilyn yr enw y perthynant iddo, a bannod neu ragenw meddiannol arall, yn rhagflaenu yr enw:—*fy anwiredd mau*, fy anwiredd i; *y min mau*, fy min i, li. 1, 15; *yr oes fau*. *y dillad mau*, xii. 18, 20; *yr ebyrth tau*, dy aberthau di, l. 8; *y farn dau*, vii. 8; *dy foliant tau*, lxiii. 5. "Y llawenydd hwn mau fi a gyflawnwyd," Ioan iii. 29. Nid yw *mau* a *tau* mwyach ar

arfer ond mewn prydyddiaeth yn unig. Mae perthynas amlwg rhyngddynt â *fy* (my) a *dy* (ty), fel yn *myfi* a *tydi*.

*Ymy, yny, yty*, a arferir yn dra mynych yn y Salmau Cân, ydynt yr hen ffurfiau o'r arddodiaid rhagenwol, imi, ini, iti, neu yn bwysleisiol, i mi, i ni, i ti. Defnyddia hwynt er mwyn odliad; ac y mae i'r un dyben yn gadael allan lythyren o arddodiaid ereill cyffelyb, megys wrthynt, ganddynt, o honynt, &c., gan eu hysgrifenu, *wrthyn'*, *ganddyn'*, *o honyn'*, &c. Yr un modd mewn prifeiriau o'r trydydd person lliosog, megys *twysgan'*, yn lle twysgant (ymgasglant) cxlii. 7.

---

# Y DDAU DESTAMENT A'R "UN GREFYDD."

Y MAE y rhan amlaf o'n darllenwyr wedi clywed neu ddarllen am y "Grefydd Gyffredinol," ac yn fynych wrth ddarllen newyddiaduron a chyhoeddiadau cyfnodol eraill yn "yr iaith nesaf atom" yn dyfod ar draws ymadroddion a syniadau seiliedig ar y drychfeddwl a gynnwysir yn y geiriau, "*Absolute Religion.*"

Y drychfeddwl hwnw ydyw, Bod ysbryd a hanfod crefydd yr un ymhob oes, ac ymhlith pob cenedl ar wyneb y ddaear, a'n bod ni, nid yn unig yn gulfeddwl ac anrhyddgarol, ond hefyd yn dangos ein bod yn "anneallawl" ac anoleuedig dros ben, wrth ddywedyd bod y cenedloedd eilunaddolgar yn golledig am nad ydynt yn Gristionogion. Dywedir bod Duw yn derbyn eu haddoliad hwy, er mai i eraill y maent yn ei offrymu; ei fod yn edrych ar eu seremoniau hwy fel cynnifer o argeision i wasanaethu yr Ysbryd mawr, yr hwn nid ydynt yn ei adnabod, a chan hyny yn eu cymeradwyo. Dywedir mai nid Cristionogaeth yw yr unig grefydd ag y mae Duw yn ei chydnabod—nad yw hi ond ffurf, er, fe allai, y ffurf oreu o'r "grefydd gyffredinol"—nad yw hi ond un o amrywiaeth mawr o gyfundraethau crefyddol, y rhai ydynt oll yn gymeradwy gan Dduw; er yr addefir ei bod hi yn rhagori arnynt oll yn y manteision y mae yn eu dwyn i ddynion. Nid yw y golygiad hwn yn fwy rhyfedd, nac yn fwy dyeithr, na llawer o olygiadau eraill a goleddir gan ddynion. Y mae y gwrthdarawiad sydd yn nghalon dyn yn erbyn y gwirionedd—yr hoffder sydd ynddi at y tywyllwch yn hytrach na'r goleuni—yn ddigon i roddi cyfrif am bob cyfeiliornad sydd wedi ffynu ymhob oes ac ymhob gwlad Ond y *mae* yn rhyfedd bod y cyfryw olygiad yn cael ei goleddu gan ddynion a elwir yn Gristionogion, ac yn enwedig eu bod yn cymeryd y rhyddid i'w seilio ar yr Ysgrythyrau Cristionogol eu hunain.

Gosodir yr Hen Destament a'r Newydd yn erbyn eu gilydd, a cheisir profi eu bod yn gosod allan *ddwy grefydd* hollol wahanol y naill i'r llall yn eu natur—y naill yn "*grefydd ofn,*" a'r llall yn "*grefydd cariad.*" Yr ymresymiad, yn fyr, sydd yn debyg i'r hyn a ganlyn,—"Yr ydych yn

addef bod y ddwy yn gymeradwy gan Dduw—ei fod ef yn derbyn aberthau gwaedlyd yr Iuddew fel y mae yn derbyn addoliad mwy pur y Cristion,—ei fod ef yn tosturio wrth y rhai oeddynt yn nesâu ato dan grynu, fel Duw y farn, yn gystal âg wrth y rhai sydd yn nesâu ato mewn hyder fel Duw cariad. Nid oedd yr Iuddew yn ei adwaen ond fel Jehofah, yr hwn oedd yn ofnadwy yn nghynnulleidfa ei saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd, tra y mae y Cristion yn ei adwaen fel Tad tyner a thrugarog; ac addefwch ei fod yn derbyn y cyntaf yn gystal â'r olaf. Gan eich bod yn addef bod Duw yn cymeradwyo dwy grefydd mor wahanol i'w gilydd, pa hawl sydd genych i haeru nad yw efe yn cymeradwyo deg, neu ugain, neu gant, mewn gair, pob math a ffurf ar grefydd sydd erioed wedi ffŷnu ymysg dynion?"

Y gosodiad ar ba un y mae yr holl ymresymiad hwn wedi ei seilio, yw, Bod y *ddau Destament* yn gosod allan *ddwy grefydd.* Pe buasai hyny yn wirionedd, fe fuasai rhyw gymaint o werth ynddo. Ond y mae y gosodiad yn gyfeiliornus. Y mae yr holl adeilad wedi ei chyfodi "ar y tywod." A'n hamcan yn yr ysgrif hon yw dangos bod yn rhedeg trwy y ddau Destament yr un "*ofn*" a'r un "*cariad*."

Nid ydym yn tybied bod achos i ni wneuthur unrhyw ymddiheurad am ddwyn y mater hwn o dan sylw ein darllenwyr. Yr ydys wedi dywedyd bod ysgrifenydd yn euog o wastraffu amser, ac o rywbeth gwaeth na hyny, pan fyddo yn dadleu dros athrawiaeth nad oes neb o'i darllenwyr yn ei gwadu, neu yn erbyn cyfeiliornad nad oes neb o honynt yn ei gredu, ac yn enwedig pan fyddo yn dwyn i'w sylw athrawiaethau mor ddyeithr nad oes odid neb o honynt wedi clywed am danynt. Y mae mwy na mwy o ffolineb yn cael ei siarad ar beth fel yma fel ar bob peth arall. Clywsom ddywedyd "Y *mae* yn beth blin bod cynnulleidfa yn clywed am y waith gyntaf am gyfeiliornad o enau dysgawdwr y gwirionedd." Yr un peth mewn effaith yw hynyma a dywedyd "Y *mae* yn beth blin bod dinasyddion yn clywed am y waith gyntaf am ddyfodiad y gelyn o enau eu gwylwyr." Y mae llaweroedd o ddarllenwyr y TRAETHODYDD yn bur gyfarwydd â'r golygiad cyfeiliornus a wrthwynebwn; ac am y lleill, os nad ydynt wedi darllen llyfrau ymha rhai y trinir y mater yn faith ac yn fanwl, y maent yn fynych yn dyfod ar draws ymadroddion a brawddegau sydd yn cyfodi oddiwrtho ac yn seiliedig arno. Yr ydym yn cyfarfod â hwy yn barhäus yn y cyfnodolion Saesoneg sydd yn ymarllwys wrth y miloedd i Gymru. Nid yw y gwenwyn yn cael ei gynnyg i ni yn y crynswth, ond yn fân ddognau yn y papyrau dyddiol, ac yn y ffugchwedlau sydd bellach wedi dyfod mor boblogaidd ymhlith ein hieuenctyd; ac y mae y rhydd-dybiaeth sydd yn lledu ar bob llaw, a'r teimlad sydd wedi myned i ffŷnu yn dra chyffredinol, bod y naill grefydd yn gystal a'r llall, yn brofion poenus ei fod eisoes wedi cael effaith niweidiol ar laweroedd.

Ein hamcan yn yr ysgrif bresennol yw gwrthweithio y teimlad hwn, mor bell ag y mae yn seiliedig ar unrhyw wahaniaeth tybiol rhwng y ddau Destament. Yr hyn sydd genym i'w brofi yw, mai yr un grefydd sydd yn cael ei gosod allan yn y ddau Destament, ac mai yr un ysbryd sydd yn rhedeg trwyddynt; a thuag at hyny ni a ddangoswn mai nid yn yr Hen Destament yn unig y mae Duw yn ymddangos yn ofnadwy, ac mai nid yn y Newydd yn unig y mae wedi gwneuthur ei hun yn

hysbys fel Duw cariad. Ni a edrychwn yn gyntaf ar yr "ofn" am yr hwn y dywedant hwy ei fod yn cael ei gyfyngu i'r Hen Destament, ac yna ar y "cariad" am ba un y dywedant ei fod yn cael ei gyfyngu i'r Newydd.

I. Yr Ofn. Dywedir fod "Duw o dan yr Hen Destament wedi amgylchynu ei hun â'r fath fawredd ofnadwy, fel na feiddiai neb nesâu ato ond fel caethweision yn nesàu at eu meistr caled, neu fel troseddwyr yn dyfod ger bron eu barnwr gwgus, ac nid fel plant yn dyfod ger bron eu tad tyner a thrugarog." Y mae yn hawdd haeru peth fel yma; ac nid yw yn rhyfedd bod dynion sydd yn dilyn dynion eraill, yn lle chwilio a meddwl drostynt eu hunain, yn ei gymeryd yn ganiatâol; a bod yr haeriad gan hyny yn cael ei adrodd drachefn a thrachefn o dan wahanol ffurfiau. Ond y cwestiwn yw, Pa faint o wirionedd sydd ynddo? Fe fydd i bwy bynag a gymero y drafferth o ddarllen drosto ei hun gael, fod saint yr Hen Destament yn nesâu at Dduw, nid fel troseddwyr na chaethweision ychwaith, ond "fel plant yn nesâu at eu Tad." Yr oedd Enoch yn byw yn fore o dan yr Hen Destament, ac am dano ef dywedir, "Enoch a rodiodd gyda Duw; ac ni welwyd ef; canys Duw a'i cymerodd ef," Gen. v. 24. Byddai yn arfer myned allan o blith dynion i gymdeithasu â'i Dduw, ac un diwrnod fe aeth ar goll. Ni ddarfu iddo ddychwelyd at ei deulu fel arferol. Hwy aethant allan i chwilio am dano. Chwiliasant bob man, ond methasant a'i gael; a'r penderfyniad y daethant iddo ydoedd, bod ei Dduw, â'r hwn y byddai mor hoff o gymdeithasu, wedi ei gymeryd ato ei hun. Cawn yn Heb. xi. 5, hysbysiad ychwanegol am dano; "Canys cyn ei symud, efe a gawsai dystiolaeth ddarfod iddo ryngu bodd Duw." Ai "crefydd yr ofn" oedd ei grefydd ef? Am Abraham dywedir, "A chyfaill Duw y galwyd ef." Ymddyddanai Moses â'r Arglwydd wyneb yn wyneb; ac anfonwyd angel o'r nefoedd at Daniel, i ddywedyd wrtho ei fod yn "ŵr anwyl." Dywed y Salmydd, "Nesâu at Dduw sydd dda i mi;" "Bydd melus fy myfyrdod am dano, mi a lawenychaf yn yr Arglwydd." Pan gafodd Dafydd ei ddinas wedi ei llosgi â thân, ei feddiannau wedi eu hysbeilio, ei deulu wedi eu cymeryd yn gaethion gan haid o Amaleciaid didrugaredd, a'i bobl ef ei hun yn dechreu siarad ymhlith eu gilydd am ei labyddio ef, fel yr achos o'r holl drychinebau ag oeddynt wedi eu goddiweddyd,—"Dafydd a *ymgysurodd* yn yr Arglwydd ei Dduw." Edrychai Habaccuc yn y blaen at amser pan y pallai pob cysuron daearol; ond yr oedd meddwl am ei Dduw yn ei alluogi i ddal y cyfryw ragolygiad heb dòri ei galon. Y mae yn bleser darllen ei eiriau melusion: "Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na byddo ffrwyth ar y gwinwydd; gwaith yr olewydd a balla, a'r meusydd ni roddant fwyd; tòrir ymaith y praidd o'r corlan, ac ni byddo eidion yn y beudai; eto mi a *lawenychaf* yn yr Arglwydd; *byddaf hyfryd* yn Nuw fy *iachawdwriaeth.*" Y cyfryw ydynt eiriau duwiolion yr Hen Destament am eu Duw, y cyfryw oeddynt eu teimladau hwy tuag ato; ac nid yw haeriadau y rhai a soniant am eu crefydd fel "crefydd yr ofn" a'u nesâd at Dduw fel "nesâd troseddwyr i bresennoldeb barnwr digofus," yn profi dim yn y byd ond eu bod hwy eu hunain mewn dygn anwybodaeth o'r mater âg y maent yn cymeryd y rhyddid o siarad mor ffraeth yn ei gylch. Y mae yn wir y dysgir ni yn yr Hen Destament ei fod ef yn

Dduw mawr ac ofnadwy, a bod yn bechadurus ac yn beryglus rhuthro i'w bresennoldeb, ac ymarfer â'i ordeiniadau yn anystyriol a difeddwl. Ond y mae hyn oll yn wirionedd bob amser. Fe'i dysgir mor amlwg yn y Testament Newydd ac yn yr Hen. Yn y Newydd y dywedir, "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw." "Oblegid oni ddïangasant hwy, y rhai a wrthodasant yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaear, mwy o lawer ni ddïangwn ni y rhai ydym yn troi ymaith oddiwrth yr Hwn sydd yn llefaru o'r nef." Ni ddaethom ni at y mynydd teimladwy, y mynydd ag y gellir ei deimlo, sydd yn llosgi gan dân, &c. Nid yw y perygl o ysgafnder ac anystyriaeth mor *weledig* i'r *llygaid*, nac mor deimladwy i'r cnawd; ond y mae mor wirioneddol, ac mor fawr â phan gyhoeddwyd y gyfraith o ganol y mŵg a'r tân. Y mae difrifoldeb ger bron Duw o gymaint pwys y dydd heddyw âg y bu erioed. Gan hyny, "bydded genym ras, trwy yr hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, *gyda gwylder a pharchedig ofn. Oblegid ein Duw ni sydd dân ysol.*"

"*Ond y mae y fath waeau, a'r fath fygythion dychrynllyd yn cael eu cyhoeddi yn yr Hen Destament, a thuedd y cyfryw yw cynnyrchu ofn.*" Y *mae* gwaeau lawer, a bygythion arswydol yn cael eu cyhoeddi yn yr Hen Destament; ac addefwn mai eu tuedd yw cynnyrchu ofn; ac addefwn fwy —mai hyny yw yr *amcan* oedd mewn golwg wrth eu cyhoeddi. Ond pwy a fygythir? Yn erbyn pa fath ddynion y cyhoeddir y gwaeau? Onid yn erbyn yr anghyfiawn a'r drygionus? "Gwae yr *anwir*, drwg fydd iddo." "Ar yr *annuwiolion* y gwlawia efe faglau tân a brwmstan a phoethwynt ystormus: dyma ran eu phïol hwynt." "Gwae di *anrheithiwr*, a thi heb dy anrheithio; a thi *anffyddlawn*, er na wnaed yn anffyddlawn â thi." "Gwae yr hwn a adeilado ei dŷ trwy *anghyfiawnder*, a'i ystafelloedd trwy *gam*, gan beri i'w gymydog ei wasanaethu yn rhad, ac heb roddi iddo am ei waith." "Gwae a adeilado dref drwy *waed*, ac a gadarnhäo ddinas mewn *anwiredd*." "A mi a nesâf atoch chwi i farn; a byddaf dyst cyflym yn erbyn yr *hudolion*, ac yn erbyn y *godinebwyr*, ac yn erbyn yr *anudonwyr*, ac yn erbyn *camattalwyr cyflog y cyflogedig*, a'r rhai sydd yn *gorthrymu* y *weddw*, yr *amddifad*, a'r *dyeithr*, ac *heb fy ofni i*, medd Arglwydd y lluoedd." A oes achos profi fod bygythion yn erbyn y cyfryw rai yn berffaith gyson â thrugaredd a chariad? Onid yw cosbedigaeth y rhai a geisient ddinystrio seiliau cymdeithas yn drugaredd i'r byd? Ond ein hymofyniad presennol yw, A yw y cyfryw waeau a bygythion yn cael eu cyfyngu i'r Hen Destament? A oes rhai o'r gweithredoedd, neu o'r cymeriadau, a gondemnir ac a fygythir yn yr Hen Destament, yn cael eu hesgusodi yn y Newydd? Dichon fod rhai o'r bobl sydd yn meddwl eu bod yn meddu digon o ddoethineb i basio barn ar y Bibl heb ei ddarllen yn tybied felly; ond y mae pawb sydd yn gyfarwydd â'r Ysgrythyrau sanctaidd yn gwybod yn amgenach. Nid yw ein Harglwydd Iesu Grist yn fwy tyner wrth bechod na'r prophwyd Esaïah, ac y mae holl daranau Moses yn cael eu hadsain yn epistolau Paul. Disgynai y gair "Gwae" o enau y Gwaredwr mor fynych âg oddiar ysgrifellau y prophwydi; ac ni chyhoeddwyd gwaeau mwy ofnadwy yn erbyn "dinas y gwaed" nag a gyhoeddwyd ganddo ef yn erbyn y dinasoedd hyny lle y gwnaethpwyd y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasent. Dywedai wrth ei wrandäwyr anghrediniol, "Oni chredwch mai myfi yw efe, chwi a fyddwch feirw yn eich

pechodau," ac wrth y rhai a alwasant ei sylw at dynged druenus y Galilëaid, y rhai y cymysgasai Pilat eu gwaed gyda'u haberthau, efe a ddywedodd, "Onid edifarhëwch chwi a ddyfethir oll yn yr un modd." Yr oedd y Pharisëaid yn ei gymeryd yn ganiatäol y caent hwy eu derbyn i'r nefoedd, gan nad pa beth a ddeuai i bobl eraill; ond rhagrybuddiai ein Harglwydd Iesu hwynt o'r siomedigaeth ofnadwy oedd yn eu haros. "Yno y bydd wylofain a rhincian dannedd, pan weloch Abraham, ac Isaac, a Jacob, a'r holl brophwydi yn nheyrnas Duw, a chwithau wedi eich bwrw allan." Cyfeiriai bygythion yr Hen Destament gan mwyaf at ofidiau a thrychinebau a derfynent yn y byd hwn, ond cawn ein Gwaredwr yn fynych yn dwyn o flaen ei wrandäwyr ddychrynfëydd y byd a ddaw. O'i enau ef y clywn yn gyntaf oll am y "tywyllwch eithaf," "barn uffern," "y pryf nad yn marw," a'r "tân na ddiffydd."

Y mae rhai o'r pethau mwyaf ofnadwy yn yr Hen Destament yn cael cyfeirio atynt yn y Newydd, nid i'w galw yn ol, ond i'w cadarnhâu. "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach; eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr. Yr un a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion: pa faint mwy cosbedigaeth (dybygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod, trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras? Canys nyni a adwaenom y neb a ddywedodd, Myfi bïau dïal, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd. A thrachefn, Yr Arglwydd a farna ei bobl. Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw." Amcan hyn oll yw dangos mor ffiaidd yw pechod yn ngolwg Duw, ac mor ddrwg a pheryglus ydyw i ddyn—gwirioneddau nad effeithir arnynt gan dreigliad oesoedd, na chyfnewidiad goruchwyliaethau, ond rhai a barhânt yn wirioneddau yn dragywydd.

Cyfeirir at y barnedigaethau ag y darllenwn am danynt yn yr Hen Destament, fel profion ychwanegol mai egwyddor lywodraethol crefydd y dyddiau hyny ydoedd *ofn.* Rhoddir dinystr y byd â dyfroedd y diluw, dymchweliad dinasoedd y gwastadedd â than a brwmstan o'r nefoedd, pläau yr Aipht, barnedigaethau yr anialwch, dinystr preswylwyr Canaan, a'r trychinebau a oddiweddasant Israel yn eu gwlad eu hunain, yn terfynu yn eu caethgludiad i Babylon, a dinystr eu dinas a'u teml gan Nebuchodonosor, fel esiamplau o'r toster gyda pha un y dangosid yn y dyddiau hyny fod Duw yn llywodraethu y byd.

Fe fuasai grym yn yr ymresymiad hwn pe buasai y Testament Newydd, wrth gyfeirio at y barnau hyn, yn dywedyd wrthym fod cyfnod y cyfryw bethau wedi myned heibio bellach, ac nad oedd achos i'r byd ofni ymweliadau trychinebus o'r fath byth mwy. Ond mor bell y mae oddiwrth hyny, fel y mae yn dywedyd yn bendant am y barnau ofnadwy a ddesgrifir yn yr Hen Destament, "Y pethau hyn oll a ddygwyddasant yn esiamplau iddynt hwy, ac a ysgrifenwyd yn *rhybudd* i ninnau, ar y rhai y daeth terfynau yr oesoedd." Disgynodd barnau ofnadwy ar Israel yn yr anialwch. Brathwyd hwynt gan seirph, a bu miloedd o honynt feirw. Dinystriwyd miloedd yn ychwaneg o honynt gan y dinystrydd. Cychwynasent o'r Aipht gyda'r bwriad o fyned i wlad Canaan; ond tyngodd yr Arglwydd yn ei lid am y rhai na chredasant, na chaent fyned

i mewn i'w orphwysfa ef. Syrthiodd eu celaneddau hwynt yn yr anialwch. Nis gallent fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth. Pa beth yw y casgliad ag y mae y Testament Newydd yn ei dynu oddiwrth y pethau hyn? Y gallwn ni ymgysuro yn y sicrwydd na bydd i bethau ofnadwy o'r fath yma byth ddygwydd i ni? Ein bod ni yn byw o dan oruchwyliaeth dynerach, ac wedi ein gwaredu odditan ddylanwad "crefydd yr ofn?" Dim o'r fath beth. Ond dyma y casgliad,—"*Ofnwn gan hyny*, gan fod addewid wedi ei adael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol." Os yw yr Hen Destament yn rhoddi hanes dinystriad y byd â dyfroedd y diluw; y mae y Testament Newydd wrth gyfeirio at hyny yn dywedyd bod "y nefoedd a'r ddaear sydd yr awrhon *trwy yr un gair* wedi eu rhoddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn a dystryw yr anwir ddynion."

Ac nid yw y cyfryw farnau chwaith yn cael eu cyfyngu i'r Hen Destament. Ceir esiamplau ofnadwy o'r un natur yn y Testament Newydd. Pa le yn yr Hen Destament y ceir enghraifft mwy ofnadwy o farn Duw nac a geir yn niwedd truenus y bradwr, Judas Iscariot, "Yr hwn wedi ymgrogi a dorodd yn ei ganol, a'i holl ymysgaroedd a dywalltwyd allan?" Beiddiodd Ananias a Sapphira, er mwyn amcan hunanol a chybyddlyd, ddywedyd celwydd wrth yr Apostolion, ac felly wrth yr Ysbryd Glân, a syrthiasant ill dau yn gelaneddau meirwon gyda bod y celwydd hwnw yn dyfod allan o'u genau, "A bu ofn mawr ar yr holl eglwys; ac ar bawb oll a glybu y pethau hyn." Tarawyd Herod yn ddisymwth gan angel yr Arglwydd pan yn nghanol ei falchder a'i rwysg, "a chan bryfed yn ei ysu, efe a drengodd." Y mae ein Harglwydd Iesu ei hun yn rhagddywedyd dinystr Jerusalem: "Ac wedi iddo ddyfod yn agos, pan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti, gan ddywedyd, Pe gwybuasit dithau, ie, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynant i'th heddwch! eithr y maent yn awr yn guddiedig oddiwrth dy lygaid. Canys daw y dyddiau arnat, a'th elynion a fwriant glawdd o'th amgylch, ac a'th amgylchant, ac a'th warchaeant o bob parth; ac a'th wnânt yn gydwastad â'r llawr, a'th blant o'th fewn; ac ni adawant ynot faen ar faen, o herwydd nad adnabuost amser dy ymweliad." Pan ddygid ef allan i'w groeshoelio, "yr oedd yn ei ganlyn ef lïaws mawr o bobl, ac o wragedd; y rhai hefyd oedd yn cwynfan, ac yn galaru o'i blegid ef. A'r Iesu wedi troi atynt, a ddywedodd, Merched Jerusalem, na wylwch o'm plegid i: eithr wylwch o'ch plegid eich hunain, ac oblegid eich plant. Canys wele, y mae'r dyddiau yn dyfod, yn y rhai y dywedant, Gwyn eu byd y rhai anmhlantadwy, a'r crothau ni eppiliasant, a'r bronau ni roisant sugn. Yna y dechreuant ddywedyd wrth y mynyddoedd, Syrthiwch arnom; ac wrth y bryniau, Cuddiwch ni. Canys os gwnânt hyn yn y pren îr, pa beth a wneir yn y crîn?" Cafodd y geiriau yna eu gwireddu yn ofnadwy. Nid oedd y trychinebau dychrynllyd a ddisgynasant ar yr Iuddewon, pan gymerwyd eu dinas gan Nebuchodonosor, o dan yr Hen Destament, ond megys dim mewn cymhariaeth i'r rhai a ddaethant ar benau eu plant, pan gymerwyd hi gan y Rhufeiniaid o dan y Testament Newydd. Cymerai y fath ymweliadau dychrynllyd le o dan y ddau Destament er mwyn dysgu gwirioneddau pwysig, ac er mwyn gwneuthur argraff ar feddyliau dynion; ac y mae y gwirioneddau hyny yn parhâu yn wirioneddau, a dynolryw y fath ag y mae arnynt eisieu y cyfryw argraffiadau ymhob oes, ac o dan bob goruchwyliaeth.

Ond defnyddir aberthau yr Hen Destament i'r un dyben. "Yr oeddynt," meddir, "yn gorfod offrymu y fath afonydd o waed i ddyhuddo digofaint eu Duw, ac y mae hyny yn unig yn ddigon o brawf mai egwyddor lywodraethol eu crefydd hwy ydoedd ofn." Ond pa beth oedd natur yr aberthau hyny? Nid oedd yn eu plith aberthau dynol. Y mae yr Arglwydd yn rhoddi ar ddeall i feibion Israel y byddai y cyfryw aberthau yn ffieidd-dra yn ei olwg Ef. Yr oedd y cenedloedd a breswylient wlad Canaan o'u blaen hwy yn gwneuthur "pob ffieidd-dra yr hwn oedd gâs gan yr Arglwydd i'w duwiau; canys eu meibion hefyd a'u merched a losgasant yn tân i'w duwiau: na wna di felly i'r Arglwydd dy Dduw," Deut. xii. 30—31. Y mae y ffaith hon ar unwaith yn gwneuthur yr ymresymiad yn gwbl ddirym. Soniant am oruchwyliaeth yr Hen Destament fel goruchwyliaeth waedlyd; y maent yn gwneyd defnydd helaeth o'r gair "gwaedlyd." Gellir meddwl eu bod am i ni anghofio pob peth wrth edrych yn y cyfeiriad hwnw ond "gwaed." Ond nid ydynt yn dyweyd wrthym mai yr unig waed, wedi'r cwbl, sydd gan ddynt sôn am dano, yw gwaed teirw a geifr, a'r anifeiliaid direswm eraill. "Yr oedd y grefydd hono yn un galed a thôst *(hard and stern)*," meddant. Pwy oedd yn dyoddef y caledi a'r toster? Ai yr anifeiliaid? Pe buasent hwy heb gael eu lladd yn aberthau, buasai raid iddynt farw i ddybenion eraill, ac, fe allai, mewn llwybr llai trugarog. Cof genym, yn nyddiau boreuol ein mebyd, glywed hen bregethwr yn rhoddi desgrifiad hyawdl o'r jubili oedd ymhlith yr anifeiliaid ar ol gorphen yr Aberth mawr ar Galfaria:—"Gwaeddai yr aneirod cochion, 'Hosanna!' atebai yr ŵyn bach, 'Haleluia!' 'Ni gawn bori yn heddychol ar y dolydd yn awr,' meddai y naill; 'Ninnau a gawn brancio yn llawen o amgylch ein mamau,' meddai y lleill, 'heb ofni cyllell yr offeiriad mwy.'" Yr oedd yr hen ŵr parchedig wedi myned i'r hŵyl, a'r gynnulleidfa yn y mwynhâd. Yr oeddem ninnau yn llawenychu hefyd, yn enwedig dros "yr ŵyn bach." Ond trwy y cwbl, yr oedd rhyw anesmwythder yn aros yn ngwaelod ein calon. Yr oedd ammheuon anghysurus yn cyfodi o'n mewn, er bod cyllell yr offeiriad wedi ei gosod yn y wain; oblegid yn ein byw yr oeddym yn methu peidio â meddwl am gyllell y cigydd. Y mae llawn cymaint, o leiaf, o'u gwaed hwy yn cael ei dywallt yn ein plith ni yn awr a phe buasai yr oruchwyliaeth seremonïol yn parhâu yn ei grym hyd y dydd heddyw. Ac nid oedd y bobl chwaith yn dyoddef unrhyw galedi. Ni ofynid gan neb i offrymu ond yn ol ei allu. Pe cymerai y bobl drafferth i ddarllen drostynt eu hunain, yn lle cymeryd pethau yn ganiatâol wrth wrando ar eu gilydd, hwy welent fod y gofal mwyaf yn cael ei gymeryd rhag i'r aberthau fod yn wasgfa ar y tlawd.

Yr ydym *ni* yn edrych ar yr holl aberthau yma fel cysgodau o aberth Crist, ac yn credu mai eu hamcan mwyaf pwysig ydoedd rhagddangos ei ddyoddefaint Ef, a'r gogoniant ar ol hyny. Y mae y bobl at ba rai y mae yr ysgrif hon yn cyfeirio yn gwadu hyn, ac yn ei alw yn ffolineb. Ond nis gallent hwy, pe edrychent ar y mater yn ddiragfarn a diduedd, lai na gweled fod y gyfraith sydd yn cynnwys yr holl reolau o barth y defodau a'r aberthau Iuddewig, mor bell o fod yn "dôst" ac yn "galed," fel y mae yn llawn tiriondeb tuag at yr addolwyr. Darparai lwybrau i deimladau y bobl tuag at eu Duw—eu tristwch am eu beïau, eu hofnau, eu gobeithion, a'u diolchgarwch, i redeg allan; a'r rhai hyny oll yn

llwybrau esmwyth iddynt hwy eu hunain. Fe fyn y teimladau yma o eiddo dynoliaeth ddangos eu hunain, ac ymhob enghraifft lle y mae hyn wedi ei adael i ddyfais dynion, y canlyniadau ydynt hunan-boenedigaeth, aberthau dynol, a phob creulonderau. Addefwn fod y gocheliadau mwyaf difrifol yn cael eu rhoddi, rhag i'r bobl gyflawni y defodau yma mewn ffordd a reolaidd, ac mewn ysbryd annheilwng; ond ni a gawn yr un peth mewn cysylltiad â Swper yr Arglwydd yn y Testament Newydd: "Pwy bynag a fwytäo y bara hwn, neu a yfo gwpan yr Arglwydd yn annheilwng, euog fydd o gorff a gwaed yr Arglwydd. Eithr holed dyn ef ei hun, ac felly bwytäed o'r bara ac yfed o'r cwpan. Canys yr hwn sydd yn bwyta ac yn yfed yn annheilwng, sydd yn bwyta ac yn yfed barnedigaeth iddo ei hun, am nad yw yn iawn farnu corff yr Arglwydd. Oblegid hyn y mae llawer yn weiniaid ac yn llesg yn eich mysg, a llawer yn huno." Pa un ai clefydau a marwolaeth naturiol, neu lesgedd a marweidd dra ysbrydol, a feddylir wrth y pethau hyn, y mae un peth tu hwnt i bob dadl—eu bod yn disgyn ar y Corinthiaid fel arwyddion o anfoddlonrwydd Duw am eu bod yn "bwyta o'r bara, ac yn yfed o'r cwpan yn annheilwng." Gadawer i ni edrych yn

II. Ar y *Cariad*. Yr ydym wedi ceisio dangos nad yw yr ofn sydd yn rhedeg trwy yr Hen Destament wedi ei ddiddymu na'i osod o'r neilldu o dan y Testament Newydd; a'n hamcan bellach fydd dangos nad oedd y cariad a ddadguddir yn y Testament Newydd yn beth anadnabyddus o dan yr Hen.

Edrychwn ar y dadguddiad a roddes Duw o'i natur a'i berffeithiau ei hun yn yr Hen Destament. Ar ol rhoddiad y ddeddf ar Sinai, pan oedd Moses ar y mynydd gyda Duw, darfu i gynnulleidfa Israel syrthio i bechod ofnadwy. Pan oedd sŵn y geiriau, "Na fydded i ti dduwiau eraill ger fy mron i;" "Na wna i ti dy hun ddelw gerfiedig," yn parhâu i adsain yn eu clustiau, a thra yr oeddynt hwythau newydd ymrwymo mewn cyfammod difrifol i wneuthur yr hyn oll a orchymynasai yr Arglwydd iddynt,—gwnaethant lô aur, ymostyngasant o flaen gwaith eu dwylaw eu hunain, a dawnsiasant ger ei fron, gan ddywedyd, "Dyma dy dduwiau di, O Israel, y rhai a'th ddygasant i fyny o wlad yr Aipht." Yr oedd eisieu argraffu ar eu meddyliau syniad teilwng o fawredd y pechod yr oeddynt wedi bod yn euog o hóno; a dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, "Gwelais y bobl hyn; ac wele, pobl wargaled ydynt. Am hyny yn awr gâd i mi lonydd, fel yr ennyno fy llid yn eu herbyn, ac y dyfethwyf hwynt; a mi a'th wnaf di yn genedlaeth fawr." Ond mewn atebiad i ymbiliau taerion Moses, addawodd aros yn eu plith, er eu pechod andwyol, a'u harwain ei hunan tua gwlad yr addewid. "A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses, Gwnaf hefyd y peth hwn a lefaraist; oblegid ti a gefaist ffafr yn fy ngolwg, a mi a'th adwaen wrth dy enw." Fe allai mai i symud pob ammheuaeth o'i feddwl ei hun—mai er mwyn i'w ffydd gael goruchafiaeth lwyr ar yr ofnau a ymgodent yn ei fynwes, y gofynodd Moses yn ychwanegol, "Dangos i mi, attolwg, dy ogoniant." Rhoddodd yr Arglwydd iddo weled cymaint o'i ogoniant ag a allai ei ddal; ac yn ychwanegol at hyny, cyhoeddodd yn ei glywedigaeth ei ENW ei hun: "A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, "JEHOFAH, JEHOFAH, y Duw trugarog, a graslawn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd; yr hwn sydd yn cadw trugar-

edd i filoedd, gan faddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod, a heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn. Yr hwn a ymwêl âg anwiredd y tadau ar y plant, ac ar blant y plant hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth." Y mae yn ymddangos fod llawer, naill ai heb ddysgu, neu wedi anghofio, mai yn yr Hen Destament y ceir yr ymadroddion graslawn hyn. Y mae yma sôn am farn, ond trugaredd sydd yn dyfod flaenaf, ac yn annhraethol orbwyso. Rhoddasid y rhan olaf o'r cyhoeddiad hwn o'r blaen, o ran sylwedd, mewn cysylltiad â'r ail orchymyn: "Nac ymgryma iddynt, ac na wasanaetha hwynt; oblegid myfi yr Arglwydd dy Dduw, wyf Dduw eiddigus; yn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth o'r rhai a'm casânt; ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fy ngorchymynion." Pan y mae plant yn casâu Duw fel eu tadau, y maent yn cyfiawnhâu eu ffyrdd hwy, ac yn cyfranogi o'u cosbedigaeth. Os bydd i'r plant ymwrthod â ffyrdd drygionus eu tadau, y maent yn ddïogel rhag y farn. Ar y plant sydd yn ei gasâu y mae Efe yn ymweled âg anwireddau eu tadau. Y mae yn gwneuthur hyny hyd y drydedd, ac, weithiau, hyd y bedwaredd, genedlaeth. Ond pa hŷd y mae yn cadw trugaredd? Ai hyd y drydedd neu y bedwaredd genedlaeth? Nagê. Hyd filoedd o genedlaethau, o'r rhai a'i carant, ac a gadwant ei orchymynion.

Gellir casglu oddiwrth yr hyn y mae llawer yn ei ddyweyd ac yn ei ysgrifenu ar y mater hwn, mai y rhan olaf yn unig o'r cyhoeddiad yma o enw eu Duw a ddarfu lŷnu yn meddyliau y rhai oeddynt yn byw o dan yr Hen Destament, ac na ddarfu iddynt hwy erioed sylwi ar, na chael cysur oddiwrth, y rhan flaenaf. Ond pa beth yw y ffaith? A oeddynt fyth yn dychrynu wrth gofio y farn, ac yn byw fel pe buasent wedi anghofio fod yn yr Enw sôn am drugaredd? Dywedwn ar unwaith, *Nac oeddynt.* Argraff gwbl wrthwynebol i hyn yma a adawodd y cyhoeddiad bendigedig hwn ar eu meddyliau hwy trwy yr oesoedd. Cawn gyfeiriadau ato laweroedd o weithiau yn yr Hen Destament, ac yn yr holl gyfeiriadau hyny, oddieithr dau (gan Moses yn Num. xiv. 18, a Jerimiah xxxii. 18), y rhan gyntaf o hono a ddyfynir; a hyd yn nôd yn yr eithriadau uchod, fe ddefnyddir yr Enw fel dadl mewn gweddïau am drugaredd. Y mae Hezecïah yn anfon rhedegwyr trwy holl wlad Israel i wahodd y rhai a weddillasid o'r deg llwyth i ddychwelyd at yr Arglwydd, ac i'w calonogi i gydsynio â'r gwahoddiad; y mae yn rhoddi ar y rhedegwyr yma i ddywedyd wrthynt, "Grasol a thrugarog yw yr Arglwydd eich Duw, ac ni thrŷ efe ei wyneb oddiwrthych, os dychwelwch ato ef." Y mae Nehemïah, yn ei weddi dros y genedl, yn cyffesu eu pechodau o'u dyfodiad allan o'r Aipht hyd eu caethgludiad i Babylon; ac mewn cyfeiriad at eu cyndynrwydd yn yr anialwch, dywed, "Eto ti ydwyt Dduw parod i faddeu, graslawn a thrugarog, hwyrfrydig i ddigter, ac aml o drugaredd, ac nis gwrthodaist hwynt." "Trugarog a graslawn yw yr Arglwydd," medd Dafydd, "hwyrfrydig i lid, a mawr o drugarogrwydd;" a cheir yr un geiriau, gydag ychydig o amrywiaeth, chwe gwaith yn llyfr y Salmau.

A yw yn wirionedd fod y prophwydi "yn rhoddi y fath arbenigrwydd i'r Ofnadwy, fel ag i beri i'w gwrandäwyr dybied nad oedd na chariad na thrugaredd yn perthyn i'w Duw?" Ceir atebiad yn yr ymadroddion a ganlyn, ac mewn lliaws eraill o'r un fath ag a ellid eu dyfynu: "Gad-

awed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth." "Ti Israel wrthnysig, dychwel, medd yr Arglwydd, ac ni adawaf i'm llid syrthio arnoch; canys trugarog ydwyf fi, medd yr Arglwydd; ni ddaliaf lid yn dragywydd." "Er ys talm yr ymddangosodd yr Arglwydd i mi, gan ddywedyd, A chariad tragywyddol y'th gerais; am hyny tynais di â thrugaredd." "Ni ddeil efe ei lîd byth, am fod yn hoff ganddo drugaredd." Anfonwyd Jonah i bregethu yn erbyn Ninefeh, a'r bregeth a roddwyd yn ei enau ydoedd, "Deugain niwrnod a fydd eto, a Ninefeh a gwympir." Ond yr oedd yn anfoddlawn i fyned; ceisiodd ffoi i Tarsis yn hytrach; a chawn ei esgus dros wneuthur felly yn ei eiriau grwgnachlyd ef ei hun, wedi iddo weled Ninefeh yn ymostwng mewn edifeirwch, a Duw yn cymeryd trugaredd arni: "A bu ddrwg iawn gan Jonah hyn, ac efe a ddigiodd yn fawr. Ac efe a weddïodd ar yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Attolwg i ti, Arglwydd, oni ddywedais i hyn pan oeddwn eto yn fy ngwlad? am hyny yr achubais flaen i ffoi i Tarsis; am *y gwyddwn* dy fod di yn Dduw graslawn a thrugarog, hwyrfrydig i ddig, aml o drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg." Ac er hyn oll, fe geir dynion, a'r rhai hyny yn cael eu cyfrif yn ddynion mawrion, talentog, athronyddol, beirniadol, rhyddfrydig, &c., &c., yn haeru ac yn haeru drachefn, mai ofn oedd yr elfen fawr arweiniol yn nghrefydd yr Hen Destament, ac mai Bôd dyeithr i saint y dyddiau hyny ydoedd Duw y cariad!

Ffrwyth cariad y Duw mawr tuag at fyd colledig yw yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist Iesu. "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hóno fywyd tragywyddol." Ond yr oedd wedi dadguddio ei hun o dan yr Hen Destament fel Duw iachawdwriaeth. Gwnaethai ei hun yn hysbys trwy y prophwydi fel "Duw cadarn ac achubydd." Llawer gwaith y canesid ar ŵyliau arbenig Israel, "Ein Duw ni sydd Dduw iachawdwriaeth; i'r Arglwydd Dduw y perthyn diangfâau rhag marwolaeth." "Duw yw yr Arglwydd yr hwn a lewyrchodd i ni; rhwymwch yr aberth â rhaffau, hyd wrth gyrn yr allor." Yr un peth â dywedyd, "Y mae yr aberthau a offrymwn, a'r defodau a gyflawnwn, yn dangos iachawdwriaeth i ddyn colledig. Diolch iddo byth!" Ac y mae y Testament Newydd mor bell oddiwrth ddiarddel yr oruchwyliaeth seremonïol, fel y mae yn ei desgrifio fel cynllun cyflawn o'r iachawdwriaeth. Yr oedd yr aberthau oll yn gysgodau o aberth Crist. Offrymai yr archoffeiriad yr aberth er mwyn rhagddangos Crist yn offrymu ei hun drosom ni. Elai i mewn i'r cysegr sancteiddiolaf â gwaed, er mwyn rhagddangos Crist yn myned i mewn i'r nefoedd yn ei waed ei hun i ymddangos ger bron Duw drosom ni. Gwnaed defnydd o waed er sancteiddio i bureiddiad y cnawd, er mwyn dangos fod gwaed Iesu Grist ei Fab Ef yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod. Yr oedd y rhyddhâd blynyddol a gaent hwy ar ŵyl fawr y cymmod yn rhagddangosiad o'r tragywyddol ryddhâd sydd yn dyfod i ni trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Ac felly trwy yr holl ordeiniadau. Yr oedd rhyw athrawiaeth efengylaidd—rhyw wirionedd pwysig perthynol i drefn fawr yr iachawdwriaeth, yn cael ei ddysgu ymhob defod ac arferiad o dan oruchwyliaeth yr Hen Destament. Ac nid mewn defodau yn

unig yr oedd y gwirioneddau hyn yn cael eu dysgu, ond hefyd mewn geiriau eglur, erbyn hyn, ac anghamsyniol. Gwelai yr Apostol Pedr yr iachawdwriaeth yn ysgrifeniadau y prophwydi, "Am yr hon iachawdwriaeth yr ymofynodd ac y manwl chwiliodd y prophwydi, y rhai a brophwydasant am y gras a ddeuai i chwi." Gellir meddwl nad oedd dim yn dywyll iddynt hwy yn ei gylch ond amser ei ddyfodiad: "Gan chwilio *pa bryd*, neu *pa ryw amser*, yr oedd Ysbryd Crist, yr hwn oedd ynddynt, yn ei hysbysu, pan oedd efe yn rhagdystiolaethu dyoddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hyny." Pa le y dysgir Athrawiaeth yr Iawn yn fwy amlwg na chan y prophwyd Esaiah? "Ond Efe a archollwyd am ein camweddau ni, Efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno Ef, a thrwy ei gleisiau Ef yr iachâwyd ni."

Pan fyddom yn son am fendithion yr iachawdwriaeth, byddwn yn cyfeirio at yr Hen Destament yn llawn mor fynych ag y byddwn at y Newydd. Os maddeuant pechodau fydd ein testun, mor gyfoethog y mae o addewidion mawr iawn a gwerthfawr gyda golwg ar hyny. "Myfi, myfi yw yr hwn a ddilëa dy gamweddau er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau." Dangosir mai un o ragoriaethau gogoneddus Duw Israel ar yr holl dduwiau gau ydoedd ei fod *Ef* yn maddeu pechodau: "Pa Dduw sydd fel tydi yn maddeu anwiredd, ac yn myned heibio i anwiredd gweddill ei etifeddiaeth? Ni ddeil efe ei ddig byth, am fod yn hoff ganddo drugaredd. Efe a ddychwel, Efe a drugarhâ wrthym; Efe a ddarostwng ein hanwireddau; a thi a defli eu holl bechodau i ddyfnderoedd y môr." Pan yn dangos fod ein Duw ni yn maddeu i'r pechaduriaid mwyaf, yr ydym yn myned i'r Hen Destament i gael esiampl yn Manasseh, yn gystal âg i'r Testament Newydd, i gael un arall yn Saul o Tarsis. Pan fyddom yn son am radlonrwydd yr iachawdwriaeth, odid nad äwn ar unwaith at y prophwyd Esaiah. "O deuwch i'r dyfroedd bob un y mae syched arno, ïe, yr hwn *nid oes arian ganddo;* deuwch, prynwch win a llaeth *heb arian* ac *heb werth*." Os ei chadernid a'i hanghyfnewidioldeb hi fydd ein testun,—os byddwn yn ceisio perswadio y naill y llall i bwyso yn ddiofn ar y "cyfammod disigl," ein rheswm mwyaf nerthol fydd yr hen adnod fendigedig, "Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant; eithr fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthyt, a chyfammod fy hêdd ni syfl, medd yr Arglwydd yr hwn sydd yn trugarhâu wrthyt." Yn ein holl gystuddiau a'n gorthrymderau, yr ydym yn cael rhai o'n cysuron cryfaf trwy ymadroddion melusion yr Hen Destament. "Nac ofna." "Yr wyf fi gyda thi." "Myfi yw dy Dduw." "Pan elych trwy y dyfroedd, yr wyf fi gyda thi." "Myfi, myfi, yw yr hwn a'ch dyddana chwi." "Fel un yr hwn y dyddana ei fam ef, felly y dyddana yr Arglwydd chwi." "A anghofia gwraig ei phlentyn sugno, fel na thosturio wrth fab ei chroth? eto hwy a allant anghofio, eithr myfi nid anghofiaf di." Rhaid i ni ymattal. Y maent yn ymarllwys i'n meddwl fel cefnllif nerthol tra yr ydym yn ysgrifenu, ac y *maent* yn felus fel y diliau mêl. O na ddarllenai y bobl hwy, yn lle cymeryd pethau ar *gredit* oddiwrth eu gilydd; yn lle gwrandaw ar y newyddiaduron a'r chwarterolion, a'r mân chwedlau, ac ar y cwacyddion hyny sydd yn tybied, oblegid eu bod yn abl i siarad am ser, neu ager, neu greigiau, neu gregin, eu bod yn gymhwys i feirniadu ar Air Duw, ac i bwyso Moses a'r prophwydi! Darllenant y Salmau a'r prophwydi drostynt eu hunain.

Darllenent hwy yn fanwl a meddylgar, ac yna yr ydym yn bur sicr y byddwn wedi clywed am y tro diweddaf oddiwrthynt hwy am "grefydd yr ofn."

Unwaith eto: edrycher ar y cariad, y cymwynasgarwch, a'r tiriondeb y mae yr Hen Destament yn eu cymhell ar ddynion tuag at eu gilydd. Siaredir yn aml am "gyfraith cariad" fel pe byddai yn rhywbeth newydd ei darganfod, pan, mewn gwirionedd, y mae y gyfraith hono yn rhedeg trwy yr holl Ysgrythyrau o'r dechreuad. Dywed y Testament Newydd am y ddeddf a roddasid yn yr Hen,—"Cyflawnder y gyfraith yw cariad." Pan ofynwyd i'n Harglwydd Iesu nodi allan y gorchymyn mawr yn y gyfraith, ei atebiad ydoedd, "Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl. Hwn yw y cyntaf a'r gorchymyn mawr. A'r ail sydd gyffelyb iddo; Câr dy gymydog fel ti dy hun. Ar y ddau orchymyn hyn y mae y gyfraith a'r prophwydi yn sefyll." Pan osododd efe i lawr y rheol euraidd, "Am hyny pa bethau bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy;" yn lle dywedyd fod hyny yn beth newydd, na wyddai neb am dano o'r blaen, ychwanegai, "Canys hyn yw y gyfraith a'r prophwydi."

A ŵyr un o ddeg o'r bobl sydd yn haeru byth a hefyd fod y ddau Destament yn groes y naill i'r llall, pa le y mae yr ymadroddion canlynol yn ysgrifenedig? "Na orthryma y dyeithr; chwi a wyddoch galon y dyeithr; o herwydd chwi a fuoch ddyeithriaid yn nhir yr Aipht. Chwe' blynedd yr heui dy dir, ac y cesgli ei ffrwyth, a'r seithfed, paid âg ef, a gâd ef yn llonydd; fel y caffo tlodion dy bobl fwyta; a bwytäed bwystfil y maes eu gweddill hwynt. Felly y gwnei am dy winllan, ac am dy olewydden. Chwe' diwrnod y gwnei dy waith; ac ar y seithfed dydd y gorphwysi; fel y caffo dy ŷch a'th asyn lonyddwch, ac y cymero mab dy forwyn gaeth, a'r dyeithrddyn, ei anadl ato. A phan gynhauafoch gynhauaf eich tir, na feda yn llwyr gonglau dy faes, ac na chynnull loffion dy gynhauaf. Na loffa hefyd dy winllan, ac na chynnull rawn gweddill dy winllan; gâd hwynt i'r tlawd ac i'r dyeithr; yr Arglwydd eich Duw chwi ydwyf fi. A phan dlodo dy frawd gyda thi, a llesgâu o'i law, cynnorthwya ef, fel y byddo byw gyda thi; er ei fod yn ddyeithrddyn neu yn alltud. Na chymer ganddo ocraeth na llôg; ond ofna dy Dduw; a gâd i'th frawd fyw gyda thi. Na ddod dy arian iddo ar usuriaeth, ac na ddod dy fwyd iddo ar lôg. Pan fenthyciech i'th gymydog fenthyg dim, na ddos i'w dŷ ef i gymeryd ei wystl ef. Allan y sefi; a dyged y gŵr y benthyciaist iddo y gwystl allan atat ti. Ac os gŵr tlawd a fydd efe, na chwsg â'i wystl gyda thi. Gan ddadroddi, dyro ei wystl iddo pan fachludo yr haul, fel y gorweddo yn ei wisg, a'th fendithio di; a bydd hyn i ti yn gyfiawnder o flaen yr Arglwydd dy Dduw. Na orthryma was cyflog tlawd ac anghenus o'th frodyr, neu o'th ddyeithrddyn a fyddo yn dy dir, o fewn dy byrth di. Yn ei ddydd y rhoddi iddo ei gyflog, ac na fachluded yr haul arno; canys tlawd yw, ac â hyn y mae yn cynnal ei einioes; fel na lefo ar yr Arglwydd yn dy erbyn, a bod pechod ynot. Na ŵyra farn y dyeithr a'r amddifad, ac na chymer ar wystloraeth wisg y weddw. Os cyfarfyddi âg eidion dy elyn, neu â'i asyn yn myned ar gyfrgoll; dychwel ef adref iddo. Os gweli asyn yr hwn a'th gasâ yn gorwedd dan ei bwn; a beidi a'i gynnorthwyo? Gan gynnorthwyo cyn-

northwya ef." Pe buasai yr ymadroddion yma i'w cael yn ysgrifeniadau rhyw hen athronydd paganaidd, buasem wedi clywed mwy na mwy am danynt. Buasai rhai wedi darganfod ynddynt holl ysbryd y Grefydd Gristionogol, ac ond odid yn myned mor bell â dywedyd mai i'r athronydd hwnw yr oedd Iesu Grist yn ddyledus am ei syniadau. Ond ni cheir dim tebyg iddynt yn holl lênyddiaeth baganaidd y byd. Esiamplau ydynt o liaws mawr o ymadroddion eraill o'r un natur a geir yn llyfrau boreuaf yr Hen Destament—y llyfrau ymha rai y gosodwyd i lawr seiliau y grefydd hono ag y mỳn rhai dynion, er pob peth, ei galw yn "grefydd yr ofn."

Pa beth yw dirgelwch yr ymgais i ysgaru y ddau Destament oddiwrth eu gilydd? Paham y ceisir dyrchafu y naill ar draul darostwng y llall? Ai parch mawr i'r Testament Newydd sydd yn peri hyny? Dim o'r fath beth; ond gwrthwynebiad calon i'r ffaith fawr a gogoneddus i ba un y mae yn rhoddi yr arbenigrwydd mwyaf, sef, "Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio." Y mae aberthau a phophwydoliaethau yr Hen Destament yn dwyn y dystiolaeth fwyaf cadarn ac anwadadwy i athrawiaeth yr Iawn; ac fe geisir ymhob modd wanhâu y dystiolaeth hono, er mwyn tỳnu ymaith "dramgwydd y groes" Y maent yn yspeilio y ddau o'r gwirionedd mawr er mwyn pa un y cawsant eu hysgrifenu, ac yn gadael ar ol rhyw eilun, sydd yn eu bryd hwy, heb fod yn rhy dda nag yn rhy ddrwg, i gymeryd ei le ymysg y teulu mawr sydd yn gwneuthur i fyny "y Grefydd Gyffredinol."

---

# KANSAS.

Mae *Beth sydd mewn enw?* bellach yn hen ofyniad. Digon tebyg yr edrychir arno mewn mwy nag un ystyr; megys pa brïodoldeb sydd mewn gair i fod yn enw ar gyfryw wrthddrych, a pha faint gwell yw y gwrthddrych hwnw am fod y cyfryw enw arno, &c., na wyddys pa càn belled. Ond ni fydd â fynom yn y sylwadau canlynol â phethau mor ddyfnion, ond hysbyswn y cyfryw o ddarllenwyr y Traethodydd ag sydd hyd yma yn anhysbys, mai enw *afon* yw y gair sydd uwchben, yn y lle cyntaf; ac yna enw y wlad y rhêd yr afon hono drwyddi. Mae y naill a'r llall yn America, ac yn y rhan hono o hóni a elwir yr Unol Daleithiau. Heb son am fawredd y wlad hono yn y cyfanswm, mae ehangder un o'r taleithiau yn ddigon i sỳnu Cymro sydd heb fod lawer o wlad ei enedigaeth. Pe byddai un o'r cyfryw mor ffodus â chael cyfleusdra i fyned ar hŷd a llêd un o'r taleithiau hyn, a meddwl nad yw ond *un* o *un ar bymtheg ar hugain*, heblaw *deg* o rai eraill a elwir yn diriogaethau, byddai yn barod i ddyweyd fel y bachgen a aeth gynt gyda'i frawd hŷn nag ef o Sir Gaernarfon i Sir Aberteifi i brynu ŵyn, wedi myned o honynt dros afon Dyfi, a chael golwg ar gŵr y Deheudir,

gwaeddai mewn syndod, "Tad anwyl, Wil bach, ni ddarfu i mi erioed feddwl fod y byd mor fawr!" Mae Prydain bellach wedi ennill oddiwrth genedloedd a llywodraethau y ddaear y teitl o Brydain Fawr; ac ni cheisir yma gan neb ammheu y prïodoldeb o'i galw felly. Ac y mae ei bychander mewn ystyr ddaearyddol yn dwyn ei mawredd mewn golygiadau eraill yn fwy i'r golwg. Un peth sydd yn rhoddi golwg ar ehangder yr Unol Daleithiau yw mawredd a llïosogrwydd ei hafonydd. Ac un o'r rhai hyny yw Kansas. Y Mississipi yw prif afon yr Unol Daleithiau; ac y mae afonydd mawrion eraill yn arllwys iddi, megys yr Ohio, y Missouri, yr Arkansas, &c. I'r Missouri y mae Kansas yn rhedeg. Ond y mae afonydd mawrion, digon mawr, rai o honynt, i fod yn fordwyol am ugeiniau os nad cannoedd o filldiroedd, yn rhedeg i'r Kansas. Eithr nid â'r afon yn gymaint y mae a fynom, ond â'r dalaeth. A'r achos ein bod yn dwyn talaeth Kansas i sylw ein darllenwyr ydyw, fod bwriad ar droed i gychwyn sefydliad Cymreig ynddi. Rhaid fod y Cymry bellach ar eu gwyliadwriaeth yn wyneb cynnygion o'r fath, am fod rhai o'r cyfryw wedi diflanu gyda bod son am danynt; ac eraill mor agos i fod yn fethiant nes dylanwadu yn anffafriol ar gynnygiad newydd at gychwyn ymfudiad. Wrth ddywedyd hyn nid ydym yn golygu fod yr ymfudiadau blaenorol o Gymru *oll* wedi bod yn aflwyddiannus. Na, y mae cannoedd o'n cydgenedl a symudasant i orllewinbarth talaeth New York a Phennsylvania, i Ohio, ac i Wisconsin, wedi *gwneyd yn dda.* Aeth amryw o'r cyfryw drosodd heb ond ychydig iawn o arian ar ol cyraedd pen y daith, ac mewn deng mlynedd neu lai daethant yn berchenogion ffermydd mawrion, a *stock* dda arnynt. Eraill wedi dyfod yn berchenogion gwell ffermydd na'r rhai yr oeddynt yn byw ynddynt yma fel tenantiaid wrth y flwyddyn. Os gall cyfnewidiad fel hyn edrych yn ddibwys yn ngolwg pobl ein trefydd, nis gall fod felly yn ngolwg y rhai sydd yn trîn y ddaear.

Y mae yn dêg i ni gyfaddef mai nid dyma y tro cyntaf yn y blynyddoedd hyn i gymhelliad i ymfudo i'r rhanau gorllewinol i'r Mississipi a'r Unol Daleithiau, gael ei osod o flaen sylw ein cenedl. Ryw dair neu bedair blynedd yn ol, argymhellwyd talaeth Iowa fel y fàn i'r Cymry ymfudo iddi. Wedi hyny cymhellwyd ymfudiad i ogleddbarth Missouri. Ac yma cymhellir ymsefydlu yn Kansas. Nid yw y gwahaniaeth rhwng y tair talaeth hyn yn fawr, am eu bod yn taro ar eu gilydd. Maent ill teiroedd hefyd yn well lleoedd i ymfudo iddynt nag unman arall y symudodd y Cymry iddo. Mae y gauaf yn fyrach a llai gerwin ynddynt nag yn ngorllewinbarth New York a Phennsylvania, yn gystal a Wisconsin; ac nid oes ynddynt waith arloesi tir coed fel yn Ohio. Eto, ar y cyfan o'r tair talaeth, prïodol rhoddi y flaenoriaeth i Kansas; am fod y gauaf yn dynerach ac yn fyrach ynddi nag yn Iowa, a'r hâf, ar gyfrif yr awelon de-orllewinol sydd yno trwy gydol y dydd, ddim mor boeth âg ydyw hâf Missouri, ïe, ddim o lawer mor boeth â hâf Wisconsin, er ei bod yn fwy gogleddol na Kansas. Ond nid i ni yn y sylwadau hyn ychwaith y perthyn argymhell Kansas i sylw y Cymry gyntaf. Ymddangosodd yn y *Faner* y llynedd gyfres o lythyrau ar ymfudiaeth yn ei berthynas â'r dosbarth amaethyddol o'r Cymry. Ac yn y llythyrau hyny, nodid Kansas fel y lle goreu i ymfudo iddo. Yn niwedd y flwyddyn ddiweddaf hefyd, cychwynwyd cyfres o lythyrau yn y *Drych* (newyddiadur

Americanaidd Cymreig), yn y rhai y cymeradwyir Kansas fel y lle goreu i'r Cymry ymfudo iddo. Beth bynag am ragoriaethau neu ddiffygion y llythyrau yn y *Faner*, mae ynddynt un peth ar y pwnc ag y mae yr hyn a ysgrifenwyd yn Gymraeg arno yn lled brin o hóno, sef teimlad da at Brydain. Nid unwaith na dwywaith y cymhellwyd ein cydwladwyr, trwy y wasg Gymreig, i ymofyn gwlad arall ar gyfrif gorthrymder y wlad hon —gorthrymder y perchenogion tiroedd, y goruchwylwyr, y cyfoethogion, ac yn enwedig gorthrymder ein llywodraeth. Yr ydym yn y modd mwyaf pendant yn dadgan ein hanghymeradwyaeth o hyn, ac yn gwadu mai camymddygiad y llywodraeth at y deiliaid, neu gamymddygiad y naill ddosbarth o'r gymdeithas wladwriaethol at ddosbarth arall, yw yr achos fod angen am ymfudo. Carem yn fawr weled ugain mil o amaethwyr a llafurwyr amaethyddol Cymru yn ymsefydlu yn Kansas; ond carem eu gweled oll yn ffarwelio â John Bull wrth gychwyn mewn tymher dda; yn addef nas gall John wneyd lawer yn well o honynt nag y gwnaeth. Ni ddeuai dim daioni i'r Cymro o efelychu y Gwyddel yn hyn.

Ond os nad oes gorthrymder yn Nghymru, paham y cymhellir neb i'w gadael? Mae y gofyniad hwn yn ein harwain yn naturiol i geisio dangos i'n darllenwyr beth sydd yn galw am i lawer iawn o'r rhai sydd yn trin y ddaear symud o Gymru. Gellir dwyn y cyfan i un peth—*prinder tir*. Mae yn ffaith hysbys pan â ffarm yn rhydd y bydd o ddeg i ddeg a deugain am dani. Gan nas gall ond un ei chael, yn lle dysgwyl am ail gyfle i wneuthur cynnyg aflwyddiannus am ffarm arall, onid gwell fyddai cymeryd pythefnos o amser i ymfudo i wlad lle mae deg a deugain o ffermydd i'w cael am bob un sydd yn ymofyn am ffarm? a lle y gall yr hwn nad yw yn gobeithio yn uwch na bod yn denant blwyddyn mewn ffarm yma, fod yn berchen ar well ffarm na hono yno. Ond y mae yn amlwg y rhaid fod prinder ffermydd yn achosi fod y telerau ar ba rai y gosodir hwy yn anffafriol i'r tenant. Byddai raid i berchenogion tir fod yn rhyw fodau uwch a gwell na dynion syrthiedig pe gweithredent yn amgen. A pha beth bynag am eu diffygion presennol, y maent yn well i fod yn y lle y maent na neb arall a ellid gael. Oblegid y mae yn perthyn i'r hen deuluoedd pendefigaidd deimlad o anrhydedd tuag at eu tenantiaid ag sydd yn eu cadw rhag gadael i'r *gofyn* am dir reoleiddio ei *bris*. Fel y mae tir yn symud yn ein gwlad o afael yr hen foneddigion i'r dosbarth masnachol, mae y teimlad hwn yn lleihâu; ac fel y bydd yn lleihâu, bydd yn naturiol i sefyllfa y tenant waethygu. Gellid ar yr olwg gyntaf dybied y byddai lleihâu nifer y rhai fydd yn ymofyn am ffermydd wneyd drwg i berchen y tir; ond gallai yn y wêdd hono fod yn fantais iddo, sef trwy fod yn gymhelliad iddo ei *osod* ar delerau y byddai y ffarmwr yn fwy annibynol, ac felly yn alluog i ddwyn y tir i well agwedd. Mae y fath gydymgais ag sydd yn awr am dir yn rhwystr i'r ffarmwr gyraedd y gradd hwnw o annibyniaeth meddwl; ac y mae gochel hyny yn beth anmhosibl ond trwy leihâu nifer y rhai fydd yn ymofyn am dir. Y ffordd a gymerir gan lawer o deuluoedd amaethyddol Cymru i gyfarfod â'r anfantais hon yw dwyn eu bechgyn i fyny i fod yn fasnachwyr, a'u hanfon i drefydd mawrion Lloegr. Têg yw addef fod llawer o'r rhai a aethant o Gymru i Lundain, Liverpool, &c., wedi bod yn llwyddiannus i gyraedd sefyllfa lawer gwell na'r un yr oeddynt ynddi gartref. Ond y mae eraill a wnaethant yr un newidiad, wedi myned i sefyllfa lawer

ís na'r un yr oeddynt ynddi yn Nghymru; ac fel y sylwai un yn ddiweddar, "fod mwy o'r rhai hyny nag a feddyliem, am fod tlodion ein trefydd mawr gymaint *o'r golwg*." Mae cynnydd poblogoeth ein trefydd mawrion yn destun dychryn i'n gwladweinwyr craffaf. A phe gwneid i fyny un cyfanswm o'r *gormod* o'r rhai sydd yn ymwneyd âg amaethyddiaeth yn ein gwlad, ac y gofynid pa un oreu i'r rhai hyn, wrth adael eu gwlad, ai gwynebu tua'r trefydd at fasnach, llaw-weithyddiaeth, neu ryw waith a gânt i'w wneyd yn ein lleoedd poblogaidd, ai ynte croesi y Werydd am ffermydd iddynt eu hunain yn y rhan fwyaf dymunol o wledydd y gorllewin? Mae yn hollol amlwg fod y rhagolygon am eu lleshâd a'u cysur mewn ystyr foesol a gwladol, yn llawer iawn mwy sicr wrth wneyd yr olaf. Mae gobaith da o'u blaen y cyrhaeddant sefyllfa o lawnder ac annibyniaeth, heb redeg i wyneb peryglon a themtasiynau ein trefydd mawrion.

Cawn olwg ar ymfudiaeth hefyd fel y mae yn ateb dybenion pwysig yn llywodraeth Duw ar y byd, ag sydd yn gymeradwyaeth uchel i'r peth. Heblaw y gwelir trwy hanesyddiaeth mai dyma y cynllun—gallwn ddywedyd y cynllun Dwyfol—at boblogi y byd trwy yr oesoedd, mae awgrymiadau yn y Bibl ar y mater, megys "ffrwythwch, ac amlhëwch, a llenwch y ddaear." Eto, dywedir yn llyfr y prophwyd Esaiah, "Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, crëawdydd y nefoedd, y Duw ei hun a luniodd y ddaear, ac a'i gwnaeth; efe a'i sicrhäodd hi, ni chrëodd hi yn ofer, i'w phreswylio y lluniodd hi." Tra y cydnabyddwn y perygl o ddefnyddio yr Ysgrythyrau sanctaidd i ddybenion annheilwng, yr ydym yn dadgan ein crediniaeth fod yr Ysgrythyr yn ein dysgu pa fodd i gyflawni dyledswyddau y bywyd hwn, yn gystal a'n parotôi ar gyfer dedwyddwch mewn byd ar ol hwn. Ac un o'r dyledswyddau hyny ydyw peidio gadael i ranau ffrwythlawn o'r ddaear fwrw ffrwyth yn ofer, tra y byddwn o ran cysuron tymmorol, a thuag at fod yn ddefnyddiol gyda chrefydd, mewn angen am danynt. Hyderwn y bydd i'r rhan amaethyddol o ddarllenwyr y TRAETHODYDD roddi ystyriaeth bwyllog a difrifol i'r pwnc yn ei berthynas â hwy eu hunain, gan fod yn ddiddadl mai yr unig ymwared a all llawer o honynt hwy a'u teuluoedd gael, yw ymfudo.

Bellach, rhoddwn ein rhesymau dros gymhell ein cydwladwyr i wneyd dewisiad o Kansas fel y wlad oreu i ymfudo iddi. Wele, ynte, grynöad bỳr o'i *hanes*. Mae yn gorwedd tua chanol tiriogaeth yr Unol Daleithiau—tua'r un pellder oddiwrth làn orllewinol y Werydd a glàn ddwyreiniol y Taweltôr. Mesura ychydig dros 200 o filldiroedd o lêd o ogledd i ddê, a 600 medd rhai, ychydig dan 500 medd eraill, o hŷd, o ddwyrain i orllewin. Dywed Bacon's *Hand-book to the United States*, yr hwn a rydd ei mesur yn 600 milldir o hŷd, ei bod yn cynnwys 80,000 o filldiroedd ysgwâr o arwynebedd. Mesur arwynebedd Lloegr a Chymru yw 57,676 o filldiroedd ysgwâr; felly gwelir fod talaeth Kansas yn fwy na Lloegr a Chymru ynghyd o ychwaneg na'r bedwaredd ran o'u maint. Mae gwyneb y wlad yn wahanol i'r un arall o daleithiau yr Undeb. Mae yn wlad fryniog bob yn ail â dyffrynoedd a gwastadeddau. Ceir fod y dyffrynoedd hyn weithiau yn filldiroedd o lêd, ac afonydd yn rhedeg ar hyd-ddynt. Mae hefyd nentydd culion, dyfnion, yn tòri y bryniau ar eu traws. Yn y nentydd hyn y mae clogwyni, a ffrydiau, neu *springs*, o ddwfr yn rhedeg o honynt i'r afonydd. Cyfyd y

bryniau yn rheolaidd, y naill goruwch y llall, rhai o honynt ar wêdd tŷrau. Mae y tir yn dywodglai *(loam)*, o droedfedd i chwe' throedfedd o ddyfnder, a'r ail haen *(subsoil)* o natur mor ffrwythlawn â'r uchaf. Caed allan, wrth gloddio ffynnonau dyfnion i osod dwfrsugnedyddion *(pumps)*, fod y pridd a godid o waelodion y tyllau dyfnion hyny mor effeithiol i beri tyfiant â phridd y wyneb. Dywedir hefyd fod y tir o'r fath natur ag sydd yn gollwng y gwlaw i lawr pan ddaw llawer o hóno, ond ei fod yn cael ei sugno i fyny trwyddo ar sychder, trwy rinwedd deddf attyniad, nes y mae y tir wedi ei gyfaddasu yn nodedig i ddal sychder. Nid oes coed yn y wlad, oddigerth yn y dyffrynoedd a'r nentydd, ond y mae coed yn tyfu yn fuan ar ol eu plànu ar y bryniau.

Yr *hinsawdd*. Dyma y peth yr ofnir fwyaf rhagddo gan y Cymry o bob peth perthynol i America. Ofnwn nas gallwn ddal gwrês yr hâf nac oerni y gauaf. Mae yn wir fod pob un o'r taleithiau hyn yn fwy eithafol o ran gwrês ac oerni na Phrydain. Ond yn ol Bacon, ac awduron eraill, y pum' talaeth sydd oreu o ran cymedroldeb yr hinsawdd ydynt Ohio, Kentucky, Gogleddbarth Missouri, Kansas, ac Arisona; ac o'r pump rhoddir y flaenoriaeth i'r ddwy olaf. Mae Arisona i'r dê-orllewin o Kansas, ond nid yw eto yn ddigon cyfleus mewn ystyr fasnachol, nac, hwyrach, yn ddigon gwareiddiedig i ffurfio sefydliad Cymreig ynddi. A ganlyn yw desgrifiad Bacon o hinsawdd Kansas: "Mae ei hinsawdd yn nodedig o hyfryd, gydag awyr bur a sech, ac awelon iachusol. Mae yr awyr mor glir fel y gwelir gwrthddrychau yn eglur nad ellid eu canfod oll mewn manau eraill. Mae y gauaf yn arferol o fod yn dyner ac agored, heb bron ddim eira; mor dyner, fel na arferir rhoddi y gwartheg i fewn o gwbl. Dywedir na fydd y gauaf yn dechreu hyd o ganol i ddiwedd Rhagfyr, a bod y gwanwyn yn dechreu yn Chwefror." Ceir gan awdwr arall, fod gwrês yr hâf yn cael ei leddfu gan awelon trwy gydol y dydd o'r dê-orllewin; ac er y tawela yr awelon tua machludiad yr haul, fod y nosweithiau yn nodedig o hyfryd, heb y gwrês sydd yn y taleithiau dwyreiniol. Nid yw y darfodedigaeth bron byth yn y wlad; ac y mae enghreifftiau o rai yn dyfod i'r dalaeth o wledydd eraill, er ymhell yn ngafael yr afiechyd difäol hwn, eto yn llwyr wella o hóno yn awyr Kansas. Ofnid gynt nad oedd digon o wlaw yn Kansas i beri tyfiant; ond wedi gwneyd prawf dros rai o'r blynyddoedd diweddaf rhwng dwyreinbarth Kansas a gorllewinbarth New York, caed fod ar gyfartaledd yn y gwanwyn, ddeuddeg modfedd o wlaw yn Kansas, a deg yn New York; yr hâf, deuddeg modfedd yn y naill a'r llall; Hydref, wyth modfedd yn Kansas, a deg yn New York; gauaf, saith modfedd, rhwng gwlaw ac eira, yn New York, a dim ond tair modfedd yn Kansas. Gwelir fod yno ddigon o wlaw y rhan o'r flwyddyn y mae angen am dano.

Gyda golwg ar *gynnyrch*, y mae Kansas yn un o'r gwledydd blaenaf yn y byd. Mae felly yn benodol am wartheg, defaid, a cheffylau; ac y mae cadw anifeiliaid yn hynod o ddidraul yma, gan fod y gauaf mor fŷr. Yr un modd am y gwahanol fathau o ŷd, pytatws, a llîn. Mae yn un o'r rhai blaenaf o daleithiau yr Undeb hefyd am ffrwythydd—afalau, eirin, gwinwydd, &c. Gan fod ynddi lai o rew nag odid un o'r taleithiau eraill, mae y ffrwythydd yn sicrach o beidio cael eu niweidio.

Un o gyfleusderau pwysig y dalaeth tuag at ymsefydlu ynddi yw y

*ffyrdd haiarn* sydd yn cael eu gweithio trwyddi. Y benaf o'r rhai hyn yw yr *Union Pacific Railroad*. Dyma y ffordd haiarn fwyaf yn y byd. Cyrhaedda ar draws y cyfandir Americanaidd o New York i San Fransisco, yr hyn sydd yn 3000 o filldiroedd o hŷd. Rhaid y bydd cyfleusderau masnachol y ffordd haiarn hon yn gwneyd y wlad yr â drwyddi yn un dra manteisiol i gael marchnad i'w chynnyrch. Teimlwyd y diffyg o hyn flynyddau yn ôl yn fawr gan Gymry America. Ond nis gall fod y diffyg hwn bellach yn y dalaeth hon. Bydd y ffordd haiarn hon yn fanteisiol hefyd i farchnadyddiaeth Kansas, am fod rhyngddi a'r Tawelfôr diriogaethau mŵnawl ëang iawn, ïe, y rhai mwyaf gwerthfawr eu trysorau mŵnawl yn y byd; yn aur, arian, copr, haiarn, &c. Ac fel y cynnydda nifer y gweithwyr yn y rhai hyny, bydd y gofyn yn fwy bywiog ar gynnyrch y taleithiau cyfagos. Ond heblaw y brif-ffordd, mae amryw ffyrdd haiarn pwysig eraill yn y dalaeth, yn enwedig yr un sydd yn rhedeg yn ddeheuol trwy ddwyreinbarth y dalaeth i Galveston Bay, yn nghulfôr Mexico. Mae hon yn amryw gannoedd o filldiroedd o hŷd, ac yn fantais arbenig i farchnadyddiaeth y gwledydd cyfagos iddi. Ceir yn y dalaeth hefyd amryw ffyrdd haiarn eraill bŷrach na'r ddwy a nodwyd, rhai wedi eu gorphen, ac eraill ar ganol eu gwneyd; fel y mae ei rhagolygon masnachol cystal â'r un wlad ar y ddaear. Gan ei bod yn wlad nodedig o fanteisiol i gadw defaid o ran hinsawdd a natur y tir, mae y cyflawnder o afonydd a'r cyfleusderau oddiwrth arwynebedd y wlad i gael rhediad *(fall)*, yn ei gwneyd yn fanteisiol iawn i godi *factories* i drîn gwlân. Y gwir yw fod yno rai wedi eu codi yn barod. Gallai felly y rhai hyny o'r Cymry sydd yn dwyn y gweithfëydd hyn ymlaen, yn gystal â'u brodyr amaethyddol, gyfranogi o'r fantais o ymfudo iddi.

Mae prysurdeb cynnydd America hefyd bron yn gymaint syndod i ni ag ydyw ehangder ei thiriogaethau. Cymerer, er enghraifft, Chicago, yn nhalaeth Illinois. Yn y flwyddyn 1845, nifer y trigolion oedd 12,088; yn 1850, yr oedd wedi cynnyddu i 28,269; yn 1855, i 80,023; erbyn 1860, yr oedd wedi cynnyddu i 109,963; ac yn 1865, cyfrifid fod y trigolion yn 180,000; a chan y dref ieuanc hon y mae y farchnad anifeiliaid fwyaf yn y byd. Ond y mae un dref yn Kansas y gellir ei chyferbynu, o ran prysurdeb cynnydd ei phoblogaeth, i Chicago, sef Leavenworth. Yn 1860, nifer ei thrigolion oedd 7,500; ond erbyn hyn y maent yn 30,000! Mae yn y dalaeth hefyd amryw drefydd eraill sydd yn cynnyddu yn hynod o gyflym, megys Lawrence, Wyandotte, Topeka, &c., yr hyn sydd yn brawf ychwanegol pa mor addawol yw Kansas fel gwlad i ymsefydlu ynddi.

Mantais arall yw y cyflawnder o *lô* sydd yno. Dywedir fod glô dan y tir yn holl ddwyreinbarth Kansas, ac yn dyfod i'r golwg yn nglànau yr afonydd a'r ffrydiau yn wythenau o 18 i 20 modfedd o drŵch. Gerllaw Leavenworth caed gwythïen yn dair troedfedd o drŵch, ac un arall yn bedair troedfedd yn agos i Elsworth, yn y rhan orllewinol o'r dalaeth: ac nid yw ond peth cyffredin fod glô yn cael ei ddarganfod yma ac acw ynddi. Ceir hefyd gyflawnder o gèryg at adeiladu yn y clogwyni sydd ymhob rhan o hóni. A'r fath yw cefnogaeth y Llywodraeth i welliannau amaethyddol, fel y rhydd wobr i ba ffarmwr bynag a wna waliau cèryg, neu wrychoedd, ar ei ffarm. Mewn rhai manau hefyd ceir math o gèryg sydd newydd eu codi o'r chwarel, yn llifio fel coed, ond wedi hyny yn

caledu, ac yn gwneyd adeiladwaith ardderchog. Codir llawer o'r rhai hyn gerllaw Junction City, a chludir hwy gyda'r rheilffordd i wahanol barthau y dalaeth.

Y mae un fantais eto yn perthyn i Kansas fel gwlad i'r Cymry ymsefydlu ynddi, sef ei sefydliadau at *addysg*. Mae yr Unol Daleithiau yn rhagori yn hyn ar un wlad yn y byd, ac nid yw Kansas yn ôl i'r un o'r taleithiau eraill. Mae 3,000,000 o erwau o dir y dalaeth wedi eu neillduo at wasanaeth addysg. Mae yn perthyn i'r Brifysgol, yr hon sydd wedi ei hadeiladu ar fryn gerllaw Lawrence, mewn gwlad nodedig am ei phrydferthwch, 48,080 o erwau o dir, ynghyda 15,000 o ddoleri: gadäwyd yr arian gan gyfoethogion. Eto; mae gerllaw Manhattan, tref ar fîn y brif ffordd haiarn, ac yn agos i ganol y dalaeth, Goleg Amaethyddol, i ddysgu bechgyn ffarmwyr pa fodd i drîn y tir. Mae at gynnal y sefydliad hwn 90,000 o erwau o dir! Onid yw y ffaith ryfedd a phwysig hon yn gymhelliad i fechgyn ffarmwyr Cymru adael eu gwlad er mwyn cyfranogi o'r manteision hyn? Hefyd, mae yn Emporia, tref boblog ag sydd yn ganolbwynt i amryw ffyrdd haiarn, a lle hefyd y mae cryn nifer o Gymry, Goleg Normalaidd, a 37,760 o erwau o dir yn perthyn iddo Heblaw y rhai hyn, a'r ysgolion cyffredin sydd trwy y dalaeth, y mae gan y gwahanol bleidiau crefyddol, sef y Presbyteriaid, yr Annibynwyr, y Wesleyaid, yr Esgobaethwyr, a'r Pabyddion, eu colegau duwinyddol.

Yn awr gofynwn, Beth a ddywed y Cymry wrth y pethau hyn? A fydd iddynt ddim ymddeffroi a phenderfynu meddiannu rhan o'r wlad dda hon? Hysbyswyd i ni yn ddiweddar o Kansas, fod tua phedwar cant o deuluoedd Germanaidd wedi ymuno i feddiannu darn mawr o dir yn un o'r dyffrynoedd, dan yr *Homestead Act*. Mae nifer mawr o deuluoedd Swedaidd hefyd wedi ymsefydlu mewn rhan arall o'r wlad. Ac ond i'r Cymry beidio colli amser, gallant wneuthur yn gyffelyb; ond gadawer i'r flwyddyn hon a'r nesaf fyned heibio, a bydd yn rhy ddiweddar i ddysgwyl cael darn mawr o dir da yn Kansas. Dywedir fod y trigolion yn y tair blynedd diweddaf hyn wedi *dyblu*. Pwy o feibion cyfoethog a gwladgarol ein cenedl a ymeifl yn ei llaw i'w thynu ymlaen? Diammheu na chawsom gynnyg ar y fath fantais o'r blaen; ac os esgeulusir y cyfle, nid yw yn debyg y cawn gynnyg ar ei fath eto.

# GLO.

## II.

**Some traced the footsteps of Old Time long fossilized.**

Yn ein hysgrif flaenorol, sylwasom ychydig ar y glô mewn ystyr wyddorol a daearegol, ac hefyd ei ddefnyddioldeb mewn ystyr gelfyddydol. Ac yn yr ysgrif hon bwriadwn sylwi ychydig ymhellach ar y glô-feusydd, a'i gysylltiadau masnachol a chymdeithasol. Dywedasom eisoes, ac yr ydym yn ail ddywedyd, fod y glô i'w ganfod, mewn rhyw ffurf arno, ymhob cyfnod daearegol—o'r mawn sydd yn ymgasglu yn bresennol ar wyneb y tir, a'r *lignites* sydd yn y *tertiary,* trwy y cyfnod prïodol iddo ei hun i'r dyfnder yn y creigiau cyntefig, er ei fod yn yr olaf mewn ystâd ormodol o fwneiddiad i fod yn wasanaethgar fel cynnud. Ond er y ceir ef ymhob cyfnod perthynol i'r grawen, eto, yn y gyfundrefn losgiannol, yr hon a berthyn i'r cyfnod cyntefig, y ceir ef yn ei le prïodol ei hun, ac wedi ei ddadblygu helaethaf, ac y ceir y cyflawnder o hóno i amcanion masnachol. Yr achos o alw y creigiau hyn yn y gyfundrefn losgiannol yn "*Coal Measures,*" y "*Coal Formation,*" neu y "*Coal Beds,*" ydyw, mai yma y mae ei gartrefle, ac mai yma y ceir ef yn ei holl amrywiaeth a'i gyflawnder. Er mwyn i'r darllenydd allu ffurfio rhyw syniad am yr hyn a ddywedir, rhoddwn ger bron daflen ddaearegol o'r holl greigiau yn eu trefn a'u gorweddiad, a gwelir y glô yn sefyll yn agos i ganol y rhestr mewn llythyrenau brasach. Yr ydym yn eu rhoddi yn anghyfiaith, gan na byddai ceisio eu cyfieithu i'r Gymraeg ond eu gwneyd yn fwy dirgeledig ac annealladwy:—

| | |
|---|---|
| Cainozoic<br>Recent Life | Quaternary.<br>Tertiary. |
| Mesozoic<br>Middle Life | Cretaceous.<br>Oolitic or Jurassic.<br>Triassic or New Red. |
| Palaeozoic<br>Ancient Life | Permian Lower New Red.<br>CARBONIFEROUS COAL MEASURES.<br>Old Red Sandstone.<br>Silurian. |
| Esozoic<br>Dawn of Life | Cambrian.<br>Laurentian. |

Gwelir oddiwrth y daflen uchod fod y glô yn perthyn i gyfnod yr hen fywyd (palaeozoic), ac yn gorwedd rhwng plygion trwchus y gyfundrefn Garbonifferaidd. Yn Mhrydain ceir ef yn gorwedd ar yr hen dywodfaen goch, ac odditan y newydd; ac felly, yn ol dosbarthiad amseryddiaeth ddaearegol, y mae yn hynach na'r creigiau sydd yn gorwedd arno, ac yn ieuengach na'r rhai sydd islaw iddo, megys yr Old Red, y Silurian, a'r Cambrian. Ond er y ceir ef yn achlysurol yn y creigiau isaf hyn, eto bydd bob amser wedi colli ei ddefnyddioldeb fel cynnud. Y mae yr elfen bŷgaidd oedd yn ei gymhwyso yn danwydd wedi colli, trwy ei fod wedi troi yn gâreg galed, yr hon a elwir y *plumbago,* neu, mewn iaith gyffredin, "*blacklead.*" Yn fynych defnyddir *lignites* y tertiary fel

tanwydd; gelwir hwy weithiau y Brown Coal of Germany, a'r tertiary Coal of Borneo, ac y mae yn ddefnyddiol mewn amryw barthau fel cynnud; a cheir hwy yn doreithiog yn Sutherland, Yorkshire, ac India. Fel y crybwyllwyd, yr unig ddefnydd a wneir o'r sylwedd fel y ceir ef yn y creigiau cyntefig, ydyw yr un celfyddydol a theuluaidd, a chanfyddir ef yn yr ithfaen yn Siberia a Greenland, ac yn y creigiau Siluraidd yn yr Iwerddon, Scotland, a Russia. Pan y ceir ef yn iselderau y ddaear, bydd wedi colli yr arwydd gweledig o'i darddiad llysieuol, a bydd yn rhy fwnaidd i neb allu ei adnabod ond trwy archwiliad a dadansoddiad. Ond fel y sylwyd eisoes, yn y creigiau carbonaidd y ceir y glô-feusydd mewn ystyr arbenig a phrïodol, a gelwir y creigiau islaw iddynt yn "*Farewell Rocks*," gan na ddysgwylir ei gael yn ei gymeriad defnyddiol ei hun, unwaith y deuir atynt. Unwaith y gwelir y Silurian a'r Cambrian yn ymrithio yn y dyfnderau, *farewell* byth i'r glô, fel y cyfryw, yn yr ardaloedd pellenig hyny. Y mae iddo ei le a'i amser, ac y mae yn rheolaidd yn cadw ei le a'i amser; ac y mae yn bwysig er attal gwastraff mewn amser ac arian,—fod y rhai sydd yn myned allan i gloddio am y trysorau cuddiedig yn deall ychydig ar egwyddorion daeareg, rhag ofn eu bod yn cloddio ac yn myned yn ddwfn mewn lleoedd nad ydyw y trysor i'w gael. Y mae anwybodaeth o'r wyddoreg hon wedi esgor ar ganlyniadau gofidus lawer gwaith mewn anturiaethau ac archwiliadau.

Y mae prif gyfoeth Prydain yn drysoredig yn y gyfundrefn garbonaidd, a thebyg ydyw ei bod yn derbyn mwy o elw oddiwrth yr un hon na'r holl gyfundraethau eraill gyda'u gilydd. O hon yn benaf y cloddir allan y *freestones*, ag ydynt mor werthfawr i amcanion celfyddydol ac addurniadol; yma y ceir llawer o'r clai sydd mor ddefnyddiol yn ngwneuthuriad y priddfeini, ac offerynau teuluaidd; yma y ceir yr haiarn a'r galchfaen, pa rai sydd yn rhan bwysig yn ngwareiddiad a chyfoeth Prydain; a thynir allan o'r creigiau hyn lawer o blwm, zinc, antimony, ac arian. Ac ymhlith y pethau hyn, y mae y "*trysor du*" yn cartrefu, yr hwn sydd mor wasanaethgar i'r gymdeithas ddynol. Y mae y fasnach a ddygir ymlaen ynddo yn anferth, ac y mae yn cynnyddu yn flynyddol, nid yn unig yn Lloegr ond hefyd yn America, ac ar y Cyfandir. Y mae yr ymberffeithiad sydd ar gelfyddyd yn symbyliad pwysig i ychwanegiad yn y fasnach. Y mae y glô yn ddefnyddiol i, ac yn rhan bwysig yn, llwyddiant pob gallu celfyddydol; allan o hóno y dygir y goleuni hyfryd a chlir sydd yn goleuo ein dinasoedd mawrion, ein treflànoedd, a'n haddoldai; ef sydd yn rhoddi nerth yn y peiriant, a chyflymder i'r gerbydres a'r agerlestri mawrion sydd yn rhodio ar ymchwydd y tònau. Y mae y caffaeliad o hóno wedi peri chwyldröad ymhob gallu a masnach, ïe, byddai yn brïodol ei alw yn ysgogydd mawr diwylliant a gwareiddiad. Y mae ansawdd dda y sylwedd, ac hefyd ei radlonrwydd, yn rheswm dros gynnydd y fasnach. Y mae glô *Wallsend*, neu, fel y gelwir ef ar lafar gwlad, *glô Llundain*, Cannel Wigan, ac agerlô Aberdâr, yn gyfryw nad ellir ymgystadlu â hwy yn y farchnad, ac y maent bob amser yn sicr o fod yn farchnadwy. Erbyn hyn cludir ef yn rhwydd a rhad gyda y rheilffordd, ac y mae rhadlonrwydd a rhwyddineb ei gludiad yn elfen bwysig yn nghynnydd y fasnach. Y mae llawer oedd ychydig amser yn ôl yn defnyddio briwydd, mawn, a thywyrch yn gynnud, o herwydd ei radlonrwydd, a chyfleusdra ei gludiad, wedi troi at y glô,—rhaid cael ymdwymno

bellach wrth dân glô. Yr hen ddull o gludo y sylwedd oedd gyda yr hwyllestri, a byddai y rhai hyny, trwy ddylanwad gwyntoedd croesion, ac ystormydd geirwon, yn "*wind bound*" am wythnosau; ac erbyn y cyrhaeddai y llestr yr "*hafan ddymunol*," hwyrach y byddai y gauaf oer wedi pasio, a'r gwanwyn tyner wedi ymddangos yn ei le, a'r trigolion wedi colli yr hyfrydwch o eistedd wrth ei wrês. Pe buasai pob peth yn ffafriol, nis gallasai y llestr fach ond gwneuthur ychydig siwrneuon mewn blwyddyn; ond mewn amgylchiadau fel y rhai a nodwyd, bu raid i lawer dinas a thref gynnilo eu tanwydd, ïe, o herwydd fod y *cellar* wedi myned yn wâg, bu raid i'r trueiniaid droi i'r gwinllanoedd a'r corsydd i geisio ymwared, gan nad oedd yn bosibl aros gan ei oerni ef, nes y deuai y llestr hirddysgwyliedig i mewn. Ond yn bresennol, cludir ef gyda'r gerbydres i bob dinas a man, yn annibynol ar y gwynt a'r tònau, ïe, dygir ef mewn ychydig oriau o enau y *colliery* i ganol y ddinas. Y mae y gerbydres wedi ymlid y "*crafts bychain*" allan o wynt yn y fasnach, ac nid peth anhawdd ydyw gweled cynifer o honynt wedi eu gadael ar y traeth fel pethau diwerth a dielw. Nid yn unig y mae y fantais o du y rheilffordd mewn amser, ond hefyd mewn pris; y mae hi yn gallu ymgystadlu a gorchfygu yn y pris. Y pris am ba un y trosglwyddir y glô ganddi ydyw ceiniog y dunell am bob wyth milldir, ac felly tua 2s. 9c. y dunell a gostia y cludiad o'r pyllau gogleddol i'r brifddinas. Y mae cludiad y glô yn ychwanegiad dirfawr yn *returns* y gwahanol *railways*. Y mae symudiad ymaith y doll arforawl (*export duty*) ar y sylwedd yn ychwanegiad pwysig yn y *demand* am dano; byth wedi i Mr. Cobden fod yn foddion i sefydlu y "*French Treaty*," y mae y fasnach dramor wedi cynnyddu yn rheolaidd a chyflym. Swm y glô a godwyd yn y Deyrnas Gyfunol yn 1863 oedd 86,292,215 o dunelli; yn y flwyddyn 1864 yr oedd wedi cynnyddu i 92,787,873 o dunelli; ac yn 1865 i 98,150,587; ac yr oedd hyny yn werth, wrth enau y pwll, tua 24,537,646 o bunnoedd; a digon tebyg ei fod erbyn hyn yn cyraedd i 100,000,000 o dunelli yn flynyddol. Nifer y pyllau glô yn y flwyddyn 1866 oedd 3400. Dengys y daflen isod gynnydd y fasnach mewn dwy flynedd, i wledydd tramor, o'r deyrnas hon:—

| | 1864. | | 1865. | |
|---|---|---|---|---|
| | Tunelli. | £ | Tunelli. | £ |
| Russia ............ | 472,844 | 206,260 | 488,356 | 223,991 |
| Sweden ......... | 245,894 | 103,418 | 261,171 | 116,265 |
| Denmark ......... | 598,282 | 242,942 | 695,606 | 301,187 |
| Prussia ......... | 355,722 | 131,361 | 597,801 | 227,392 |
| Hanse Towns ... | 576,590 | 239,529 | 604,039 | 259,095 |
| Holland ......... | 241,332 | 104,329 | 237,963 | 108,869 |
| France ........... | 1,447,494 | 623,139 | 1,609,453 | 731,598 |
| Spain ............ | 546,029 | 287,242 | 475,951 | 258,040 |
| Italy—Sardinia | 345,418 | 155,683 | 295,962 | 133,327 |
| United States ... | 202,763 | 129,470 | 199,225 | 119,208 |
| Brazil ............ | 186,992 | 108,436 | 224,495 | 131,772 |
| British India ... | 364,038 | 201,611 | 359,407 | 195,127 |
| Other Countries | 3,226,510 | 1,632,353 | 3,159,592 | 1,625,621 |
| | 8,809,908 | 4,165,773 | 9,189,021 | 4,431,492 |

Y mae yr ystyriaeth o'r cynnydd a'r draul yn peri i'r meddylgar a'r ystyriol ofyn amryw gwestiynau mewn perthynas iddo, a phryderu ynghylch y dyfodol, megys, Ai tybed fod digon o'r trysor llosgadwy yn mynwes y ddaear i wasanaethu anghenion y ddynoliaeth hyd ddiwedd amser? Ai tybed nad oes berygl i'r maesydd glô gael eu dyhysbyddu a'u treulio allan, ac na welir Prydain Fawr, trwy afradloni ei da yn bresennol, wedi ei dwyn i'r fath ddarostyngiad, fel na bydd y "*coal basins*" mawrion ond *relics* gweigion o'r lleoedd y bu y trysor unwaith yn aros? Rhaid addef fod yr holiadau hyn a'u cyffelyb yn bwysig, ac yn meddu grym neillduol, ac y maent yn tŷnu sylw arbenig Gwyddonwyr yn y dyddiau hyn. Ychydig amser yn ôl, teimlai y Llywodraeth bwysigrwydd hyn, a phenodwyd *commission* i edrych i mewn i'r achos. Pe byddai hyn yn wirionedd, gwelid gogoniant Prydain wedi gwywo, a'i haul wedi machludo. Diammheu, fel rheol, mai gwell ydyw peidio blino ynghylch amseroedd draw, y rhai o bosibl byth ni ddaw, ond ofnir oddiar seiliau têg a chasgliadau cyfreithlawn fod rhyw gymaint o wirionedd yn y brophwydoliaeth, ac y mae hyn yn taflu prudd-der ar ragolygon dyfodol ein teyrnas. Pe dygwyddai hyn rywbryd, byddai yn helynt flin ar fyd; byddai y llaw-weithfëydd wedi peidio o eisieu y *force* i'w gweithio, y ffwrneisiau wedi eu chwythu allan, y gerbydres wedi sefyll, llongau hwyliau wedi adfeddiannu *stations* yr agerlestri buain, *gas* ein trefi a'n tai cyhoeddus wedi diffoddi, a'r lampau olew hen ffasiwn wedi cymeryd eu lle, a'r grât yn wâg o ddim ond mawn neu ysglodion fel tanwydd. Byddai hyn yn gyfnewidiad pwysig, ac yn taflu ein teyrnas yn ôl i'w dinodedd a'i barbareidd-dra cyntefig. Y mae gwahanol farnau yn cael eu coleddu ynghylch yr amser y cymer y trychineb hwn le; dywed rhai ei fod wrth y drŵs, mae eraill yn taflu y dydd drwg dipyn ymhell. Tybia Syr William Armstrong y dygwydd hyn ymhen tua dau cant o flynyddoedd eto; eraill yn dyweyd pedwar neu bum' cant o flynyddoedd; ac y mae eraill yn cyfrif na ddaw y trychineb i ben hyd ddeuddeg cant o flynyddoedd eto. Y mae yr amrywiaeth yma i'w briodoli i'r gwahanol olygiadau a fabwysiedir am gynnwys a maintioli y glô-feusydd, a safon cynnydd y fasnach; cymerir golwg ehangach neu gyfyngach ar gynnwys y creigiau carbonaidd, a golwg gyfyngach neu ehangach ar raddeg gynnyddol y fasnach; a dyna y rheswm dros fod cymaint o amrywiaeth yn y cyfrifiad. Ond nid oes dim amlycach na'r ffaith y daw terfyn i'r meusydd glô presennol; yr ydys wrth eu hyspeilio mor ddidrugaredd bob blwyddyn, yn nesâu at y "*farewell rocks,*" pan y bydd yr haen olaf wedi ei chodi, a'r trysor wedi ei ddihysbyddu. Nid ydyw y glô yn ei ddinystr, fel llawer o bethau eraill a ddinystrir, yn adgynnyrchu ei hun, ond y mae yr hyn a dreulir yn darfod; hyny yw, fel y cyfryw sylwedd, ac yn ymgolli yn yr ehangder diderfyn yn allu, goleuni, a gwrês. Canfyddir gwêdd ddarfodedig ac yspeiliedig ar amryw o'r gweithfëydd glô. Y mae y gwaith sydd yn Sir Amwythig wedi newid ei safle o un man i'r llall, o herwydd ei fod yn y fan hono wedi ei dreulio allan; y mae haenau cynnyrchiol a bydenwog Dudley yn treulio ymaith yn gyflym, ac ni bydd y Wallsend, yn ol y dinystr presennol sydd arno, ymhen ychydig flynyddoedd eto ond mewn hanes ac adgof yn unig; a gellir gofyn pa le y bydd glô Wigan, ac agerlô Aberdâr, ymhen ychydig flynyddoedd eto, os parhëir i'w hafradloni

fel y gwneir yn awr. Rhaid ateb na byddant i'w cael fel y cyfryw sylweddau; bydd y fflam wedi eu difa, a'r ystafelloedd lle y gorphwysent yn wâg ac yspeiliedig. Diammheu y dylid dwyn y mater i fwy o sylw, yn enwedig i sylw ein Seneddwyr, ein Gwyddonwyr, a'n *Political Economists.* Dylid mabwysiadu rhyw gynllun er cael mwy o drefn a chynnildeb yn ngweithiad y glô; y mae llawer o *stwff da* yn cael ei daflu heibio fel *waste* wrth ei godi; dylid bod yn ofalus iawn gydag ef, "fel na choller dim." Os oes gwirionedd yn y daroganiad, dylid, ar bob cyfrif, osod rhyw ddeddf mewn gweithrediad er cymedroli yr allforion hefyd; nid oes un rhith o reswm mewn *supplio* gwledydd eraill, ac ymhen ychydig amser gorfod myned ar eu gofyn hwythau am yr un peth drachefn. Y mae yn ddyledswydd arnom tuag at ein holynwyr i drefnu a gwneyd ein goreu er gadael iddynt hwy yr un etifeddiaeth ag a gawsom ninnau gan ein tadau. Ond er dywedyd fel hyn, credu yr ydym yn Rhagddarbodaeth a Rhagluniaeth y Brenin Mawr: "Efe a wnaeth bob peth yn dêg yn ei amser," ac hefyd y "naill beth ar gyfer y llall;" ei drefn ydyw rhoddi digon a gweddill i'w grëaduriaid. Erbyn y daw y weledigaeth bell hon i ben, hwyrach y bydd meusydd newyddion wedi eu darganfod yn Mhrydain, neu ryw sylwedd newydd wedi ei ddarganfod fel cynnud yn ei le; ac ni raid i Brydain farw o newyn ac oerni, oblegid y mae digon o gyflawnder yn yr America hyd ddiwedd amser. Y mae yno tuag ugain waith fwy o lô nag sydd yn holl Ewrop, a chymeryd i fewn Prydain, gyda'u gilydd. "*Fe gyfyd ymwared o le arall.*"

Bellach, sylwn ychydig eto yn frysiog ar y *Meusydd Glô;* ac yn gyntaf oll ar feusydd glô Gogledd Cymru. *(a) Glô-faes Ynys Môn.* Saif hwn yn ardal Malltraeth, oddeutu tair milldir oddiwrth yr afon Menai. Hŷd y gwely ydyw oddeutu naw milldir, sef o Hirdrefaig i borthladd Malltraeth, a'i lêd tua milldir a hanner; ac yn y lle olaf a nodwyd, y mae yn ymestyn ac yn ymgolli odditan y tywod i'r môr. Dywed *Professor* Ramsay, o herwydd nad oes cyfrif cyson wedi ei gadw am weithrediadau pyllau glô Ynys Môn, fod yn anmhosibl tŷnu casgliad têg am hanes a natur y meusydd. Y rhai sydd fwyaf hysbys ydyw pyllau Berw a'r Penrhyn. *(b) Glô-faes Siroedd Dinbych a Fflint.* Gorphwysa yr haenau hyn yn erbyn y galchfaen, a chyfeiriant oddiwrth Groesoswallt trwy Ruabon, yr Wyddgrug, hyd Mostyn, ar làn yr afon Dyfrdwy, am y pellder o ddeg ar hugain o filldiroedd. Nid ydynt i'w cael yr holl ffordd yn barhäol a chyson, nac yn llïosog; ond pan yr ymddangosant, hynodir hwy gan eu trwch: mesurant mewn amryw fanau tua phymtheg troedfedd o drwch. Hefyd y mae gwely toreithiog o'r *Cannel Coal* newydd ei ddarganfod ger llaw yr Wyddgrug, yr hwn sydd o ansawdd ragorol. Ac awgrymir y posiblrwydd a'r tebygolrwydd o fod glô yn nghyffiniau Mostyn eto heb ei ddarganfod yn ychwanegol at yr hyn sydd eisoes wedi ei ddarganfod.

II. *Meusydd Glô Deheudir Cymru.* Y mae y maes hwn yn agos i gan' milldir o hŷd, ac ar y cyfan o bymtheg i ugain milldir o lêd. Ymestyna o Bontypool yn y dwyrain, i St. Brides yn y gorllewin. Ceir ef a'r haiarn yn y rhanau hyn yn gorwedd ar y galchfaen, ac y mae y ddau nwydd gwerthfawr hyn wedi codi Deheudir Cymru yn uchel mewn ystyr fasnachol. Y mae cryn wahaniaeth ac amrywiaeth yn nghyflawnder yr haenau trwy yr holl bellder a nodwyd; ond y mae bob amser yn cadw ei gymeriad ei hun, yn rhagoroldeb ei

ansawdd, ac yn enwedig yn y cŵr ddwyreiniol i'r maes, yr hwn sydd yn hynod yn rhagoroldeb ei gynnyrch. Y mae glô Aberdâr erbyn hyn wedi dyfod yn fydenwog fel cynnud. O herwydd ei fod yn cynneu mor gyflym, ac yn rhoddi allan mor lleied o fŵg, rhoddir iddo y flaenoriaeth i ddybenion ageraw1. Y mae *Steam Coal* Aberdâr yn sicr bob amser o fod mewn *demand* yn y farchnad, ac y mae y meusydd hyn yn llawer o elw i'w perchenogion. Cyfrifir mai cynnyrch blynyddol holl *gollieries* y Deheudir ydyw 7,000,000 o dunelli.

III. *Glô-feusydd yr Iwerddon.* Nid ydyw yr Ynys Werdd yn rhyw gynnyrchiol iawn mewn glô; cyfrif ei chynnyrch blynyddol ydyw tua 125,000 o dunelli. Y mae wedi ei ddarganfod, er yn brin, mewn dwy ar bymtheg o Siroedd. Y maes ehangaf o honynt ydyw yr un sydd yn ymestyn trwy Carlow, Kilkenny, a Tipperary; ac y mae ansawdd y maes hwn yn peri i'r daearegwr dŷnu y casgliad fod natur wedi rhoddi unwaith yn helaeth i'r Iwerddon, ond ei bod wedi cymeryd hyny yn ôl drachefn. Nid ydyw y glô feusydd bychain ac unigol a welir yno ond gweddillion o waddodiadau éang a chyflawn a ddinystriwyd trwy amnoethiad *(denudation)*, hyny yw, trwy gael eu treulio allan gan allu dwfr. Y mae maes lled helaeth yn Limerick, Kerry, a Cork; a cherir masnach lled helaeth yn mhyllau Dromagh, pa rai ydynt braidd yn hynod yn eu ffurfiad. Credir pe archwilid yr Iwerddon yn brïodol y gellid dyfod o hyd mewn amryw ardaloedd i feusydd toreithiog. Nid ydyw cynnyrch y chwaer-ynys yn y nwydd hwn ond cyfyng, ac nid yw yn ddigon i gyflenwi ei hangenrheidiau ei hun, ac felly rhaid iddi ymddibynu am *supply* y tu allan iddi ei hun, ac y mae yn hollol gyfleus iddi gael hyny o amrywiol fanau. Ond os nad ydyw yr ynys wedi ei bendithio â helaethrwydd o lô, y mae yno helaethrwydd o fawn; y mae yno gorsydd toreithiog, ac y maent o ansawdd rhagorol fel cynnud.

IV. *Glô Lloegr.* *(a) Durham a Northumberland.* Ceir yn y Siroedd hyn amryw fathau o lô ag ydynt yn hysbys yn y farchnad; yma y ceir y "Wallsend," yr hwn sydd hynod yn rhagoroldeb ei ansawdd. Y mae y gwely yn ymestyn o'r Tyne i Castle Eden, hyd i gyffiniau Bishop Auckland. Hefyd yn agos i'r Tyne, yn ardaloedd Wylam, Ryton, a Raby Park, y ceir y "*White Ash Steam Coal,*" yr hwn sydd o natur ragorol. Cynnyrch y manau hyn yn 1854 oedd 15,920,615 o dunelli; yn 1864, 23,284,307 o dunelli. *(b) Cumberland.* Y mae yr haenau perthynol i'r lle hwn yn rhedeg trwy Whitehaven, Wakington, ac yn terfynu yn agos i St. Bees. Y mae masnach y Sîr hon wedi cynyddu o 887,000 yn y flwyddyn 1854, i 1,380,795 yn 1864. *(c) Swydd York a Derby.* Y mae glô y Siroedd hyn yn dwyn amrywiol enwau, megys y "*top hard,*" y "*Barnsley thick bed;*" y "*clod;*" y "*Black shale of Derbyshire,*" a'r "*Kilburn Coal.*" Hwn ydyw y maes ehangaf yn Lloegr; y mae yn sefyll ar 800 o filldiroedd ysgwâr. *(d) Lancaster.* Cerir masnach ëang ymlaen yn Wigan, St. Helens, Bolton, Manchester, a Burnley. Y mae amryw haenau gwerthfawr yn y Sîr hon, ac yn eu plith ceir Cannel Wigan, a'r *King's Coal.* Y mae arwyneb y maes tua 217 o filldiroedd ysgwâr. *(e) Sir Gaer.* Y mae y maes hwn yn ddilyniad o'r glô-faes yn Swydd Lancaster. Hynodir y gwaith hwn, am mai ynddo ef y ceir y *shaft* ddyfnaf yn Lloegr, yr hon a fesura 686 o droedfeddi. *(f) Swydd Stafford.* Yn

y gogledd ceir haenau toreithiog, yn mesur dros 500 o droedfeddi o drwch. Enw cyffredin a roddir ar yr ochr ddeheuol i'r Sîr hon ydyw y "*Black Country,*" am ei bod yn ganolbwynt y llaw-weithfëydd, ac felly treulir yma gyfran helaeth o lô. Ceir meusydd helaeth yn Dudley, Bilston, a Wolverhampton. Y mae mwy o wastraff yn ngweithiad y pyllau hyn, mewn eiddo a bywyd, nag odid yr un arall. *(g) Sir Amwythig.* Yr un mwyaf cynnyrchiol yma ydyw y "*Coalbrookdale,*" yr hwn a fesura dros fil o droedfeddi. *(h) Swydd Warwick a Leicester.* Codir y sylwedd, i raddau mwy neu lai, yn y Siroedd hyn. *(i) Bristol a Bath.* *(j) Forest of Dean.* Y mae y pwll hwn, heblaw ei fod yn un toreithiog, yn hynod hefyd yn nhrefnusrwydd ei ffurfiad. Y mae yn mesur tua 3.4 o filldiroedd o hŷd. Cynnyrch y maes hwn, yn 1854, oedd 420,866 o dunelli; yn 1865, 739,840 o dunelli.

IV. *Glô Scotland.* Y mae amryw haenau toreithiog i'w cael yn y lle hwn, yn enwedig yn Fifeshire, Lanarkshire, Ayrshire. Yma y ceir yr enwog "*gas or parrot coals;*" ïe, codir llawer o haiarn hefyd yn y Siroedd hyn. Yn y flwyddyn 1854, cynnyrch y glô oddiwrth 367 o *collieries* oedd, 7,448,000 o dunelli; yn y flwyddyn 1864, oddiwrth 497 o *collieries*, 12,400,000 o dunelli.

V. *Glô America.* Y mae y Byd Newydd yn gyflym yn profi ei hun yn gynnyrchiol yn y sylweddau hyny ag ydynt bob amser yn codi cymdeithas i safle uchel mewn masnach a gwareiddiad; ac un o'r sylweddau hyny ydyw y glô. Y mae hyn yn addaw dyfodol dysglaer i'r America; a diammheu mai y wlad hon fydd canolbwynt yr holl fyd gwareiddiedig, mewn ystyr fasnachol a moesol. Hyd ganol y ddeunawfed ganrif, yr oedd glô-feusydd ëang America, i raddau, yn anadnabyddus, a phreswylid y dyffrynoedd hyn gan yr Indiaid brodorol. Trwy gyttundeb 1768, daeth holl feusydd toreithiog a chyfoethog Pennsylvania i feddiant William Penn, am y *swm bychan o* 10,000 *o ddoleri;* a dyna'r adeg y darganfyddwyd y glô mewn amryw fanau yn y parthau hyn. Ac o hyny hyd yn bresennol, y mae cyfoeth y meusydd hyn yn raddol yn cael ei ddadblygu a'i ddadguddio. Pe cymharem holl lô-feusydd y Byd Newydd a'r Hen â'u gilydd, fel y ceir hwy mewn mapiau daearegol, deuem i'r casgliad nad ydyw gwaddodiadau glöawl holl Ewrop yn sefyll ond yn y cyfartaledd isel o 1 yn erbyn 21; neu, mewn geiriau eraill, y mae meusydd America un ar hugain fwy o weithiau na holl feusydd Ewrop. Y maent yn yr Unol Daleithiau, yn ol cyfrif Rogers, yn gorchuddio yr arwynebedd o 196,850 o filldiroedd ysgwâr. Dosberthir y prif feusydd i bump o nifer. *(a) Appalachian field.* Y mae hwn yn ffurfio cyfres o haenau toreithiog yn Pennsylvania, Ohio, Maryland, Virginia, Kentucky, a Tenessee, ac yn ymestyn yn nghyfeiriad y dê-orllewin yn ddidòr a rheolaidd am dros 875 o filldiroedd. *(b) Indiana ac Illinois.* *(c)* Iowa, Missouri, ac Arkansas. *(d)* Texas. *(e)* Michigan. Y mae glô hefyd yn New Brunswick, ac yn Nova Scotia, ac mewn amryw ranau eraill. Ceir ef hefyd yn Australia Vandieman's Land. Ceir y sylwedd hefyd yn Ffrainc, Spaen, Rwssia, Belgium, ac yn Awstria.

Yr ydym yn ddyledus am ddefnyddiau yr ysgrif hon, yn enwedig y ffigyrau, i Smyth, Page, Ramsay, ac eraill.

# LIDDON AR DDWYFOLDEB CRIST.

[THE DIVINITY OF OUR LORD AND SAVIOUR JESUS CHRIST, *being the Bampton Lectures for* 1866; by HENRY PARRY LIDDON, M.A., Student of Christ Church, &c. Second Edition. Rivingtons, 1868.]

CYDNABYDDIR yn gyffredinol fod Mr. Liddon yn un o bregethwyr mwyaf yr oes. Y mae gwresogrwydd a difrifoldeb ei deimlad, coethder ei iaith, treiddgarwch ei lais, bywiogrwydd ei lygad, y zêl gyda pha un y pregetha athrawiaethau y blaid ucheleglwysyddol i'r hon y perthyna, ac, uwchlaw y cwbl, y bywyd a gerdda trwy y gynnulleidfa gan yr elfen annesgrifiadwy ac anmhrisiadwy hono a elwir yn eneiniad, yn ei wneyd yn hyawdl dros ben. Anhawdd fyddai i neb synied yn wahanol am dano a'i gwelodd yn mhulpud *St. Mary's* yn Rhydychain, gyda llïaws mawr o wŷr dysgedicaf y Brifysgol o'i amgylch, megys yr athronyddol Mansel, y meddylgar Pattison, y Dëon boneddig Liddell a'i gydweithiwr geiriadurol Scott, yr ieithwr medrus Max Müller, a'r beirniad craffus Goldwin Smith, ynghyda llawer eraill nad yw eu henwau yn adnabyddus y tu hwnt i rodfëydd prydferth glànau yr Isis. Y mae yn wir fod Pusey a Jowett yn "*conspicuous by their absence.*" Anfynych y gwelir y cyntaf yn gwrando pregeth yn eglwys y Brifysgol, ond yn unig o'r pulpud; rhag i neb dybied, mae'n debyg, ei fod yn dyfod yno fel noddwr i'r efengyl. Am y dysgawdwr hereticaidd sydd yn eistedd yn y gadair Roegaidd, nid cysurus i'w deimladau na di-berygl ychwaith a fyddai iddo ddyfod i oedfa; oblegid y mae yn ddigon tebyg, yn enwedig os dygwydda mai cyhoeddiad offeiriad o ganol gwlad fydd y Sabbath hwnw, fod y pregethwr wedi llenwi ei gawell â saethau o'r llymaf i'w hanelu ato. Llenwir yr oriel ehangfawr ar gyfer Mr. Liddon gan ddynion ieuainc, wedi cydgyfarfod o bob parth o'r deyrnas, yn dal syniadau gwahanol iawn i'w gilydd ac yn arwain, ysywaeth, wahanol fucheddau, llawer o honynt yn gwybod ond ychydig ac yn gofalu llai am dduwinyddiaeth, ond rhai yma a thraw o'r gwŷr a wnant eu hôl ar eu hoes mewn amser a ddaw, ac yn awr yn ymdoddi fel y cŵyr o dan ddylanwad y pregethwr. Pregetha yntau fel dyn wedi ei orlenwi gan bwysfawredd ei athrawiaeth a'r pwysigrwydd o argyhoeddi yr ieuenctyd yn neillduol sydd ger ei fron o'i gwirionedd a'i gwerthfawrogrwydd. Gellid meddwl ei fod wedi credu mai at wŷr ieuainc y Brifysgol yr anfonwyd ef, gan mor ymroddgar ydyw i'w maethu a'u haddysgu trwy ymddyddanion personol, trwy bregethu, a thrwy gyfarfod llïaws o honynt bob nos Sabbath i ddarllen ac esbonio epistolau Paul; ac y mae effeithiau daionus tiriondeb, pryder ac arweiniad o'r natur yma yn nghanol unigrwydd a pheryglon y lle yn annhraethadwy. Er mai darllen ei draethawd a wna, fel pawb arall yn *St. Mary's*, efe ydyw bron yr unig bregethwr yn y lle hwnw a gwyd ei lygaid oddiar ei lyfr ac a edrycha yn fynych yn wyneb ei gynnulleidfa, tra y dylifa ei frawddegau coethedig a thryloewon fel afon lifeiriol. Llefara mewn llais uchel a threiddgar a hollol naturiol, heb ddim o'r cânu swynol a glywir o bulpudau Cymru na dim

o'r llais chwyddedig a'r *declaiming* anhyfryd sydd mor gyffredin gyda'r Saeson. Os oes diffyg yn y traddodiad o gwbl, fe allai fod y wên hanner chwerw a welir weithiau ar y gwefusau yn rhwystro i'r gwrandäwyr anghofio y pregethwr, a bod hyny yn awgrymu nad ydyw y pregethwr wedi llwyr anghofio ei hunan yn ei bwnc. Ond, yn wir, onid cyfuniad prydferth o hunanfeddiant a hunananghof ydyw un o anhawsderau penaf pob gwir fawredd yn gystal âg un o'i brif neillduolion? Pa fodd bynag, cydgyfarfydda yn Mr. Liddon i fesur helaeth y rhagoriaethau a gyfansoddant wir fawredda, a hyny heb y gormodedd hwnw mewn un rhagoriaeth ag sydd yn fynych yn attal y dyn mawr i fod yn bregethwr poblogaidd. Yn y cydgordiad hyfryd hwn o amrywiol ragoriaethau nis gwyddom am neb yn Lloegr a barai i ni feddwl cymaint, wrth wrando arno, am y pregethwr mawr ag y mae Cymru heb sychu ei dagrau eto o herwydd ei golli. Ac hyd yn nôd yn ffurf y bregeth a gwresogrwydd cyson ei areithyddiaeth tybiem ein bod yn canfod ryw gymaint o debygolrwydd, er fod pellder y pegynau rhwng athrawiaeth y ddau, ac er na fêdd Mr. Liddon ddim o'r *humour* a ymgodai i'r wyneb ambell dro er holl ymdrechion Mr. Rees i'w gadw i lawr, nac ond ychydig o'r naws farddonol â'r hon y cyd-dymherai efengylydd Cymru ei dduwinyddiaeth, na'r oslef dyner a wnai lygaid ei wrandäwyr mewn mynydyn yn ffynnon o ddagrau.

Rhagoriaethau dysglaer Mr. Liddon fel pregethwr a hynodant hefyd ei "Ddarlithiau ar Berson Crist." Ar yr un pryd, er mai hwn ydyw un o'r prif achosion o'u poblogrwydd anghyffredin yn y wlad hon ac America, ymddengys i ni mai o'r rhagoriaethau hyn eu hunain y tardd ei brif ddiffygion fel ysgrifenydd duwinyddol. Dadleuwr ydyw pan y dylai fod yn farnwr Gesyd fwy o bwysau ar rai o'i ymresymiadau nag y gallant yn hawdd eu dwyn. Pâr ei frwdfrydedd iddo edrych yn fynych ar ei ddarllenwyr fel gwrthwynebwyr i'w gorchfygu yn hytrach nag fel ymchwilwyr didwyll ac awyddus i wybod y gwirionedd; a dygwydda braidd yn anhyfryd mai cerydd neu rybudd sydd bron bob amser yn dilyn pan y cyfarcha hwynt wrth yr enw tyner "fy mrodyr." Tra y golygwn fod y Darlithiau hyn yn ystorfa werthfawr o wybodaeth dduwinyddol, a'u bod yn cynnwys digonedd o brofion diymmod o wirionedd athrawiaeth sylfaenol Cristionogaeth, cyfaddefwn eu bod, i'n teimlad ni, yn rhy areithyddol yn eu harddull ac yn enghraifft o wirionedd y dywediad mai nid y pregethau mwyaf effeithiol yn y traddodiad a wna bob amser y traethodau mwyaf arhosol a dwfn eu dylanwad.

Nid cyfiawnder âg unrhyw awdwr a fyddai edrych ar ei bwnc oddiar safle gwahanol i'r hwn a fabwysiedir ganddo ef ei hun. Er hyny nis gallwn lai na meddwl fod yr ymrysonfa ynghylch canolbwnc ein crefydd yn gorwedd yn ddyfnach na'r anhawsderau a drinir mor rhagorol yn y gyfrol hon. Prif amcan Mr. Liddon ydyw profi fod yn annichonadwy i'r neb a dderbynio yr Ysgrythyrau fel mynegiadau anffaeledig o'r gwirionedd wrthod yr athrawiaeth o Ddwyfoldeb Crist; a diammheu fod dangos hyn yn orchwyl pwysig ac anhebgorol. Oes yr esbonwyr mawr ydyw hon, yn enwedig yn yr Almaen; a rhoddem groesaw calonog i'r Darlithiau hyn, pe na bae ynddynt ddim mwy na golwg gryno a thêg ar ffrwythau addfetaf ymchwiliadau dyfnddysg, myfyrdod treiddgar a barn gydwybodol gŵr fel Meyer, neu Olshausen, y rhai y mae yn annichonad-

wy, ni a dybygem, i ddyn ieuanc meddylgar eu hastudio am ychydig amser heb ddyfod i wybod fod llygad newydd megys wedi ei blânu yn ei enaid i edrych yn fwy sefydlog a gweled yn ddyfnach i wirioneddau y dadguddiad Dwyfol nag o'r blaen. Mae yn wir fod Dr. Owen, ddwy ganrif yn ôl, wedi ysgrifenu yn gadarn yn erbyn y Sociniaid ar dir yr Ysgrythyr,—pe bae o bwys i ni adgoffa enw y mwyaf o'r Puritaniaid mewn cysylltiad â llyfr sydd yn deilliaw o Rydychain; ond y gwir digalon ydyw fod yr un culni ag sydd yn gwahardd i Ddëon rhyddfrydig *Christ Church* osod darlun Owen ymhlith darluniau ei gyd-ddëoniaid ar bared y llyfrgell, yn rhwystro i dduwinyddion Rhydychain gydnabod hyd yn nôd bodolaeth duwinydd yr hwn sydd o'i ysgwyddau i fyny yn uwch na neb o honynt! Ond, er fod hyn yn ddigon gwir, rhaid cyfaddef, cadarned ydyw Dr. Owen fel esboniwr, mai mewn eglurhadaeth ysgrythyrol y mae efe wanaf, o herwydd cloffni achlysurol yn ei ysgoleigdód ac am mai ymladdwr oedd efe o'i febyd, a'i fod trwy hyny yn dueddol, weithiau, i ŵyro, yn ddiarwybod iddo ei hun, eiriau yr Ysgrythyr o'u hystyr naturiol a'u curo yn arfau rhyfel. Pa fodd bynag, os tueddai Dr. Owen i weled mwy nag a ddylai mewn rhai o ymadroddion y Bibl, pa beth a ddywedwn am ymdrechion y fyntai wrthwynebol i ddyhysbyddu yr Ysgrythyrau o bob dyfnder ac ysbrydolrwydd? Mor arwynebol, mor ffôl, mor annhêg yr ymddengys erbyn hyn esboniadau Socinus a hyd yn nôd Grotius o ddadganiadau eglur y Bibl am Ddwyfoldeb Crist! Nid ydynt bellach ond testynau gwawd gan ddynion didwyll ac anmhleidgar eu barn. Ni fabwysiedir hwynt gan Undodiaid dysgedig, ac y mae yn hawdd canfod mai tuedd y rhai a ammheuant yr athrawiaeth uniongred yn ein dyddiau ni ydyw, nid ymdrechu cysoni eu golygiadau â'r Testament Newydd, ond gwadu ei anffaeledigrwydd, o herwydd nas gallant eu cysoni. Ni raid wrth brawf sicrach o hyn na'r ymgais a wneir ganddynt yn yr oes hon i brofi mai yn yr ail ganrif, ac nid gan y dysgybl anwyl, yr ysgrifenwyd yr efengyl a adwaenir wrth ei enw. Pâr hyn oll fod yr olwg ëang a thrwyadl a gymer Mr. Liddon o'r profion Ysgrythyrol o wirionedd yr athrawiaeth am Berson Crist yn werthfawr iawn.

Ar yr un pryd buasai yn dda genym pe buasai yr awdwr dysgedig wedi treiddio yn ddyfnach i athroniaeth y pwnc; oblegid yno y llecha y prif anhawsderau. Y mae yn ofyniad o'r pwysicaf, a ydyw yn ddichonadwy i ni dderbyn yr athrawiaeth uniongred am Berson Crist heb fyned yn wrthwyneb i rai o'r egwyddorion athronyddol ag y tybir yn gyffredin fod eu sylfaeni yn ansymudol. I egluro ychydig ar hyn, fe allai mai y gair "ymwybyddiaeth" a ddengys oreu y gwahaniaeth dirfawr rhwng athroniaeth yr oesoedd diweddaraf a syniadau yr hynafiaid; hyny yw, maen prawf pob gwirionedd gan athronwyr yn awr ydyw ei gysondeb âg ymwybyddiaeth y dyn ei hun, ond yn athroniaeth yr hynafiaid, yn arbenig y Groegiaid, maen prawf gwirionedd oedd ei brydferthwch cynhenid fel syniad a'i gysondeb âg arglwyddiaeth y wladwriaeth. Y mae yn deilwng o sylw hefyd mai Cristionogaeth ei hunan a fu un o'r prif achosion o'r gwahaniaeth hwn, trwy symud gwraidd a chanolbwynt pob dyn o'r wladwriaeth oddiallan i'w ysbryd anfarwol ef ei hunan oddifewn; ïe, mwy na hyny, effeithiwyd y cyfnewidiad mawr hwn yn safle gwirionedd yn arbenigol gan yr athrawiaeth neillduol hon, mai nid mewn

cymdeithas yr ymddangosodd y Dwyfol, fel elfen dreiddiol, yn unig, ond mai yn nheml y ddynoliaeth yr ymddangosodd, fel Duw-ddyn. Ond er mai ymwybyddiaeth ydyw y syniad sydd yn gorwedd wrth wraidd holl gyfundraethau athronyddol ein hoes, eto mawr ydyw y gwahaniaeth rhwng y naill gyfundraeth a'r llall. Dywed dilynwyr Locke, ar y naill law, mai yn yr ymwybyddiaeth y mae hanfod personoliaeth. Os felly, daw y gofyniad yn bwysig, a all fod ymwybyddiaeth deublyg mewn un person? Anhawsder cyffelyb i hwn a ddyrysai y Monotheliaid yn y bummed ganrif, y rhai ni fynent gydnabod fod yn ddichonadwy i Grist fod yn un person a meddu, ar yr un pryd, ddwy ewyllys, ewyllys Ddwyfol ac ewyllys ddynol. Yr ydym yn barod iawn i dderbyn hyn fel dirgelwch i'w gredu ac nid i'w amgyffred. "It is indeed a great mystery," medd Hodge yn ei *Outlines*, "that the unity of personality should remain in the God-man, *while there are two centres of consciousness*, an infinite knowing on the one hand, and a finite knowing on the other, and two distinct though ever harmonious wills." Ar yr un pryd, byddai yn foddlonrwydd i ni gael eglurhâd ar y golygiadau athronyddol hyny am natur personoliaeth, yn gystal a sicrwydd am eu cywirdeb, ag sydd yn peri i hyn fod yn ddirgelwch heb beri iddo fod yn groesddywediad. O'r hyn lleiaf eglur yw mai amcan Locke ei hun oedd symud ymaith bob dirgelwch a dangos yn hytrach mai yr unig wahaniaeth rhwng y gwirioneddau a ddarganfyddir gan ddynion a'r dadguddiad Dwyfol ydyw fod dyfnion bethau Duw yn llawer basach a haws i'r werin gyffredin eu hamgyffred na dyfnion bethau meddwl dyn. Yr oedd Locke ei hunan, o angenrheidrwydd, yn Undodwr; ac ni phetrusem olrhain i ysbryd, er nad i lythyren, ei ddysgeidiaeth ef y duedd a amlygir gan y Deistiaid yn y ganrif ddiweddaf i ymdrechu profi nad oes dim newydd mewn Cristionogaeth, ond fod y cwbl "càn hyned â'r grëadigaeth" yn nealltwriaeth dynolryw; a cham bychan oedd yn ofynol o'r gosodiad nad ydyw gwirioneddau y Bibl yn newydd, i'r gosodiad arall fod newydd-deb yn y Bibl, ond nad ydyw ei bethau newydd yn wirionedd. Ië, effeithiai athrawiaeth Locke yn rhyfedd ar olygiadau rhai o'r duwinyddion a amddiffynent yr athrawiaeth o Ddwyfoldeb Crist. Pa beth a dybyga ein darllenwyr o'r ymadroddion a ganlyn? "We do not divide the substance," meddai Sherlock, "but unite these three persons in one numerical essence; for we know nothing of the unity of mind but self-consciousness; and therefore, as the self-consciousness of every person to itself makes them distinct persons, so the mutual consciousness of all three divine persons to each other makes them all but one infinite God; as far as consciousness reaches, so far the unity of a spirit extends, for we know no other unity of a mind or spirit but consciousness." (Gwêl *Fairbairn's Appendix to his Translation of Dorner*. Vol. III., p. 354). Hawdd canfod ffolineb geiriau o'r natur yma, ac eto ni chynnwysant ddim ond yr hyn yr arweinia athrawiaeth Locke yn naturiol iddo. Yn un peth, dywed Sherlock mai ymwybyddiaeth sydd yn gwneyd personoliaeth, yr hyn sydd yr un peth a dyweyd mai yr achos o bersonoliaeth unrhyw ddyn ydyw fod y dyn hwnw yn gwybod ei fod yn berson! Drachefn y mae Sherlock yn gwrthddyweyd ei hun, pan y dywed, ar y naill law, mai ymwybyddiaeth sydd yn gwahaniaethu y person ei hun oddiwrth bob peth nad ydyw yn

rhan o'i bersonoliaeth ac o'r hyn nas gall feddu ymwybyddiaeth, ac, ar y llaw arall, fod yn ddichonadwy i un person feddu ymwybyddiaeth person arall. Y mae yr anghysonderau hyn a'u cyffelyb yn myned ymhell i brofi i ni mai ofer ydyw ceisio egluro y dirgelwch trwy gymhorth athrawiaeth Locke. Fe allai, wedi y cwbl, mai nid ymwybyddiaeth yn ystyr Locke, ond rhywbeth annhraethol ddyfnach, sydd yn cyfansoddi personoliaeth. O herwydd y mae ymwybyddiaeth yn y crëaduriaid direswm; hyny ydyw, fe ŵyr y ceffyl ei fod ac fe ŵyr mai nid efe ydyw y càr a lusgir ganddo; ond ni phrïodolir personoliaeth iddynt. Y gwir yw, fod yr athroniaeth enwog hon yn cau allan y posiblrwydd o undeb personol rhwng Duw a'r natur ddynol, ac, ar yr un pryd, yn symud ymaith bob canolfur rhwng dyn a'r anifail; ac, yn sicr, os myn wneyd yr olaf, da yw ei bod yn gwneyd y cyntaf hefyd. Ni chaniatâ amser i ni olrhain y pwnc ymhellach ar hyn o bryd. Ond pe tröem ein golwg at feddylwyr dwfn yr Almaen, ni a ganfyddem yn fuan nad ydyw dadleuon Locke a'i ganlynwyr ynghylch ymwybyddiaeth ond chwareu plant. Haera rhai o honynt hwy fod pob ymwybyddiaeth personol, nid yn unig yn gwahaniaethu y dyn ei hun oddiwrth yr aneirif wrthddrychau o'i amgylch, ond hefyd, tra yn ei wahaniaethu oddiwrth yr aneirif, yn ei uno â'r anfeidrol, a bod pob dyn yn meddu ymwybyddiaeth o'r meidrol a'r anfeidrol, ac nas gall y naill fod heb y llall. Y mae anffyddwyr wedi gwneyd defnydd mawr o'r athroniaeth hon hefyd. Dadleua yr anffyddwyr hyny a fabwysiadant athroniaeth Locke na ddichon ymwybyddiaeth o'r meidrol gydsefyll âg ymwybyddiaeth o'r anfeidrol, ac, os felly, fod athrawiaeth yr ymgnawdoliad yn anghredadwy. Dadleua y blaid wrthwynebol fod ymwybyddiaeth o'r meidrol yn tybied ymwybyddiaeth o'r anfeidrol, ac, o ganlyniad, fod yr undeb rhwng y Dwyfol a'r dynol, yr hwn a brïodolir gan dduwinyddion i Grist yn unig, yn bod yr un mor wirioneddol ymhawb arall. Nid ein gorchwyl ydyw dadleu yn erbyn nac o blaid. Ond dylid cofio fod gwahaniaeth eglur rhwng yr ystyr a brïodolir i'r gair "ymwybyddiaeth" gan Locke a'r ystyr a roddir iddo yn yr Almaen. Yn athroniaeth Locke "ymwybyddiaeth" ydyw gwybodaeth dyn o hóno ei hun. Ond yn ol dull yr Almaenwyr o ddefnyddio y gair, y mae gan ddyn ymwybyddiaeth o'r hyn nad ydyw ef ei hun, a hyny mewn trefn iddo feddu ymwybyddiaeth o'r hyn ydyw ef ei hun. Os gwir hyn, nid Pantheistiaeth ydyw dyweyd fod gan bob dyn ymwybyddiaeth o'r anfeidrol, ac nid yw yn annichonadwy ychwaith i'r anfeidrol ymuno â'r meidrol mewn un person. Mae yn wir fod y duedd at Bantheistiaeth yn cryfhâu fwyfwy yn Lloegr y dyddiau hyn. Ac y mae yr un mor sicr fod ffrŵd gref yn rhedeg i lawr i gorsydd yr anianol a'r anifeilaidd, diwedd yr hyn ydyw gwadu fod yn bosibl i ddyn wybod dim am Dduw, heb son am yr hyn sydd yn fwy annichon na hyny, sef undeb personol rhwng dyn a Duw yn yr ymgnawdoliad. Ond o herwydd y pethau hyn y dymunasem weled Mr. Liddon yn ymaflyd o ddifrif yn yr anhawsderau athronyddol ar bob llaw ac yn dwyn yr athrawiaeth a goleddwn i fuddugoliaeth. Ar yr un pryd, ymddengys i ni, er ei fod yn feddyliwr galluog a chlir, ei fod yn ddiffygiol yn yr hyn y gellir ei alw yn dreiddgarwch athronyddol. O'r hyn lleiaf, hyny a gasglwn oddiwrth wendid amryw o'i ymresymiadau, megys anmhrïodoldeb y gymhariaeth a dynir ganddo rhwng y ddwy ewyllys yn Nghrist â'r ddwy anian yn y cristion. Barned y darllenydd drosto ei hun:—

"Eto, pan y cymerodd ato ei hun ewyllys ddynol, ni chymerodd y Gair Tragywyddol ail ffynnonell gweithrediad yr hon oedd yn dinystrio undod gwirioneddol ei Berson. O fewn cyffiniau un enaid dynol onid allwn ganfod dwy ffynnonell o ewyllysiad, y naill yn uwch a'r llall yn is, y naill yn cael ei bywhâu yn gwbl gan reswm, y llall yr un mor hollol gan nwyd? Desgrifia St Paul y dwyoliaeth moesol (*the moral dualism*) y tu fewn i un ewyllys, yr hwn a neillduola y ris gyntaf yn y bywyd adgenedledig, mewn rhai ymadroddion rhyfedd yn ei Epistol at y Rhufeiniaid. Y mae y gwir hunan yn deyrngarol i Dduw; eto gwel y cristion ynddo ei hun ail hunan, yn rhyfela yn erbyn deddf ei feddwl, ac yn ei ddwyn yn gaeth i'r hyn y mae canolbwynt ei hanfod, yn ei deyrngarwch i Dduw, yn egnïol yn ei wrthod. Eto yn y frwydr fawr hon rhwng yr hen hunan a'r hunan newydd yn y dyn adgenedledig, nid oes, ni a wyddom, un ymraniad o'r person anwahanol, er am y foment fod elfenau gwrthwynebol yn yr enaid yn ymdrechu â'u gilydd yn y fath fodd ag i ymddangos megys galluoedd gwahanol mewn ymladdfa. Nid yw natur is y dyn yn berson gwahanol, eto y mae ganddi yr hyn sydd bron yn ewyllys wahanol, ac yn gysgod o'r ewyllys greëdig a gymerodd Crist ynghyda'i natur ddynol," (tud. 262).

"*Bron* yn ewyllys wahanol"—"*almost* a distinct will!" Gwna y gair "*almost*" y gymhariaeth yn hollol ddiwerth yn yr ymresymiad. Ni pherthyn graddau i'r pwnc o gwbl. Un ai y mae yn y cristion ddwy ewyllys, yr hyn ni fynai Mr. Liddon ei haeru, neu ynte nid oes ynddo ond un ewyllys, yr hyn a ddinystria y cyffelybrwydd rhwng y ddwy anian yn y cristion a'r ddwy ewyllys yn Nghrist. Y mae yn eglur fod gwahaniaeth dirfawr rhwng cydnabod fod mewn un ewyllys lawer ewyllysiad gwahanol a chroes i'w gilydd, a dyweyd fod mewn un person ewyllysiau gwahanol, er nad ydynt yn groes i'w gilydd. "Yn ol dull yr henafiaid o lefaru," medd Klee, yr hwn a ddyfynir gan Mr. Liddon, "y mae ewyllysiad *(voluntas)* deublyg yn hollol gydweddol âg un ewyllys *(volitio)*."* Digon gwir; ond a ydyw yr awdwr yn barod i fabwysiadu y geiriau hyn a'u cymhwyso at yr athrawiaeth sydd ganddo dan ystyriaeth? Mewn gwirionedd nid yw y gymhariaeth rhwng y ddwy ewyllys yn Nghrist a'r ddwy anian yn y cristion ond anghraifft o gyfatebiaeth ymddangosiadol a phrawf ychwanegol o'r perygl y gesyd dyn ei hunan ynddo pan y dychymyga weled cysgod o wirioneddau ysbrydol ymhob cyfeiriad ac yr anturia ddehongli y sylweddau oddiwrtho.

Os nad ydym yn camgymeryd, ceir enghraifft arall o ddiffyg diysgogrwydd i ddal gafael yn y gwahaniaeth rhwng syniadau cyfochrog, yn yr hyn a ddywed yr awdwr ar "gymundeb y priodoleddau" Dwyfol a dynol yn Mherson Crist. With yr ymadrodd hwn y golygir, yn unol â darnodiad eglur Mr. Liddon, "fod yr hyn oll a berthyna i'r Arglwydd Iesu, yn y naill neu y llall o ddau gylch ei hanfodiad, yn perthyn iddo fel Un Crist, yr Hwn sydd a'r Hwn y dylid llefaru am dano fel Duw a Dyn; mewn geiriau eraill, fod priodoleddau ei ddwy natur yn briodoleddau ei Berson," (tu dal. 258). Yn hollol felly; ac fel hyn y mae yn rhaid iddi fod. Ond pa beth ydyw y casgliad a dynir gan Mr. Liddon oddiwrth y darnodiad eglur hwn?

"Yn yr un ystyr, gan hyny, ag y priodola St. Paul 'groeshoeliad' a 'thywalltiad ei waed' [Act. xx. 28] i Dduw, hyny yw i'r Gwaredwr Dwyfol yn ei ddynoliaeth, gallai yr Eglwys briodoli iddo enedigaeth o fam ddynol. Cyfreithlonir yr ymadrodd θεοτόκος ['mam Duw'] gan yr ymadrodd αἷμα θεοῦ ['gwaed Duw']."

* Dywed Nolten mai yr ewyllys fel cyneddf ydyw *volitio*, ac mai gweithrediad y gyneddf hono ydyw *voluntas*. Gair a ffurfiwyd gyntaf gan athronwyr y canoloesau ydyw *volitio*. Nid oedd gan yr henafiaid un syniad clir am yr ewyllys fel cyneddf.

Nid ydyw o bwys genym sylwi, er ei fod yn argoeli rhywbeth, nad ydyw yr awdwr yn defnyddio y geiriau moelion Saesoneg am y gair Groeg *θεοτόκος*. Ac nid Mr. Liddon ydyw yr unig un a betrusa ynghylch yr ymadrodd "mam Duw." Dywed yr Esgob Pearson ("*On The Creed*," Art. III.) fod yr ysgrifenwyr Groegaidd eu hunain, y rhai oeddynt gyntaf i alw y Forwyn wrth yr enw *θεοτόκος*, ystyr llythyrennol yr hyn ydyw "yr hon a esgorodd ar Dduw," yn ochelgar rhag ei galw hi yn "fam Duw." Ac eto yr unig wahaniaeth, mewn gwirionedd, rhwng y ddau ymadrodd ydyw fod y cyntaf, fel y mae geiriau celfyddydol yn gyffredin, yn hanner guddio yr ystyr, tra y mae yr olaf yn ei ddadguddio. Derbynir llawer athrawiaeth ddyeithr os gellir ei gwisgo mewn iaith ddyeithr. Yr hyn sydd yn bwysig i'w ystyried ydyw fod gwahaniaeth dirfawr rhwng dyweyd "fod Mair y Forwyn wedi rhoddi genedigaeth i Dduw," a dyweyd "fod Duw wedi prynu ei eglwys â'i brïod waed." Ar y naill law, y mae yr ymadrodd "gwaed Duw" yn hollol brïodol, oblegid fod holl ranau dynoliaeth Crist, yn gystal a'i ddynoliaeth yn y cyfanswm o hóni, yn feddiant i Fab Duw trwy undeb personol. Gan ei fod ef yn Dduw, "Dwyfol ddwfr a Dwyfol waed" a dywalltwyd ar y groes. Ar yr un pryd, y mae yn deilwng o sylw fod Athanasius ei hun, amddiffynydd mawr yr athrawiaeth uniongred am Berson Crist yn y Brif Eglwys, yn gwrthod yr ymadrodd "gwaed Duw" fel yn anysgrythyrol ac yn darllen "eglwys yr Arglwydd," yn lle "eglwys Dduw," yn Act. xx. 28. A phan ystyriwn gymaint o bwys a rydd Mr Liddon ar eiriau Athanasius mewn manau eraill, meddyliwn y dylasai grybwyll hyn hefyd. Ar y llaw arall, nid diberygl ydyw arfer yr ymadrodd "mam Duw;" o herwydd golyga y geiriau "tad" a "mam," os oes ystyr iddynt c gwbl, ffynnonell hanfodiad y neb a genedlir neu a enir. Heblaw hyny, y mae gwahaniaeth rhwng gweithredoedd Crist ei hun a'r gweithredoedd a wnai eraill tuag ato. Mae yn wir fod pob gweithred a wnaeth Crist yn tarddu o'i bersonoliaeth Ddwyfol, hyd yn nôd y gweithredoedd hyny nad oedd yn ddichonadwy i'w natur Ddwyfol eu cyflawni; yn ngeiriau Cynghor Chalcedon, "gweithredai y naill natur yr hyn a berthynai iddi mewn cymundeb â'r llall." Ond yr oedd yn bosibl i weithred gael ei gwneyd gan eraill tuag at ei natur ddynol, yr hon ni chyrhaeddai hyd at ei Berson Dwyfol. Er enghraifft, gallai dynion rwygo ei gnawd â'r fflangell a lladd ei gorff sanctaidd, "heb fod ganddynt ddim mwy i'w wneuthur." Ond ar yr un foment, yr oedd ei Berson Dwyfol yn rhoddi ei einioes i lawr ac yn marw, er na pherthyna marw ond i'w ddynoliaeth. Er na chyrhaeddai gweithred ei elynion ymhellach na marwolaeth ei ddynoliaeth, yr oedd y farwolaeth hon ar yr un pryd yn weithred o eiddo y Person Dwyfol. Nid Person Mab Duw, drachefn, a gladdwyd mewn bedd, ond rhan o'i ddynoliaeth; ac eto yr oedd yr undeb personol rhwng Mab Duw â'i ddynoliaeth yn ei dwy ran yn parhâu yn ddigyfnewid, pan yr ysgarwyd corff ac enaid oddiwrth eu gilydd. Yn gyffelyb i hyn, ar ei ddynoliaeth yr esgorodd y wyryf, er fod y Person Dwyfol mewn undeb personol â'r ddynoliaeth hono o'i ffurfiad cyntaf yn y brû. Nid "mam Duw" ydoedd hi; ond eto Duw oedd "yr Hwn a ymddangosodd yn y cnawd."

Gwneir defnydd arall o'r un athrawiaeth, hollol afreidiol ac anghyson

i'n tyb ni, gan Mr. Liddon yn ei esboniad ar 1 Cor. xv. 28. Ei olygiad ydyw mai dynoliaeth Crist, nid Person Crist, a "ddarostyngir." Fel hyn y dywed:—

"'A phan ddarostynger pob peth iddo, yna y Mab ei hun hefyd a ddarostyngir i'r hwn a ddarostyngodd bob peth iddo ef, fel y byddo Duw oll yn oll.' Barna St. Augustine, St. Jerome, a Theodoret mai dynoliaeth Crist a ddarostyngir. Os ydyw y geiriau 'y Mab ei hun' yn golygu yn fwyaf naturiol y Mab Dwyfol, y mae yr hyn a ddywedir am dano, y caiff ei 'ddarostwng,' yn enghraifft o 'gymundeb y prïodoleddau;' gan nas *gellir* prïodoli hyny ond yn unig i natur grëedig. Nis gallai awdwr, yr hwn a gredai (Rhuf. ix. 15) fod ein Harglwydd yn llythyrenol yn Dduw, dybied y bydd perthynas newydd yn cael ei ffurfio, yn niwedd ei deyrnasiad gyfryngol fel dyn, rhwng Personau y Duwdod. Y mae israddoliaeth y Mab (o ran trefn) yn ffaith dragywyddol yn hanfodiad tufewnol Duw. Ond bydd darostyngiad *gweledig* ei ddynoliaeth i uchafiaeth Duw yn cael ei sylweddoli yn niwedd yr oruchwyliaeth bresennol," (tud. 306.)

Sylwer fel y mae yr awdwr yn newid ystyr yr ymadrodd "cymundeb y prïodoleddau." Rhoddodd ddarnodiad eglur a chywir o'r geiriau hyn o'r blaen, sef fod prïodoleddau y naill neu y llall o'r ddwy natur yn brïodoleddau y Person Dwyfol. Ond erbyn hyn yr ystyr, dybygid, ydyw fod prïodoleddau y naill natur yn cael eu trosglwyddo, trwy "ddull o ymadroddi," i'r natur arall.* Os nad yr hyn a ganlyn ydyw ymresymiad Mr. Liddon, nis gwyddom beth ydyw: gan fod yn annichonadwy i natur ddwyfol Crist gael ei darostwng i Dduw yn niwedd y byd, y mae yn rhaid mai ei natur ddynol a olygir yn yr adnod hon; ac os ei natur ddynol a feddylir, nid ydyw yr Apostol yn cyfeirio at ei *Berson* o gwbl, ond yn galw ei ddynoliaeth yn "Fab" trwy ddull anmhrïodol, ond arferol, o lefaru! A hyn oll, pan y mae Mr. Liddon ei hunan wedi dyweyd eisoes yn hollol gywir fod yr hyn oll a wnaeth Crist yn ei ddynoliaeth yn cael ei wneyd gan y Person Dwyfol, er nad gan y natur ddwyfol. Mae yn wir nas gellir ffurfio perthynas newydd oddifewn i'r hanfod ddwyfol. Ond y mae yr un mor wir mai Person Mab Duw ydyw y Cyfryngwr; nid ei ddynoliaeth, ond Efe ei hun yn ei ddynoliaeth. Ac os oedd yn ddichonadwy i'r Person gogoneddus hwn waghâu ei hun o'i ogoniant ac ymostwng i gymeryd ffurf gwas ac wedi hyny ymostwng yn îs drachefn trwy fod yn ufudd hyd angeu, y mae yr un mor ddichonadwy iddo eto ymostwng i roddi ei deyrnas gyfryngol i Dduw a'r Tad. Yn wir nis gallwn ni ffurfio un syniad am ddarostyngiad ei ddynoliaeth, ar wahân oddiwrth y Person, oddigerth ei dinystriad. Ond gallwn synio am ymostyngiad y Person fel Cyfryngwr a Duw-ddyn, yr hwn a fyddo, nid yn ddinystr, ond yn ddyrchafiad ac yn adennilliad o'i ogoniant cyntaf.

*Y mae yn bwysig i ni gofio fod gwahaniaeth rhwng prïodoli i'r Person Dwyfol, yr Hwn oedd yn Dduw a dyn, yr hyn a berthyna i'r naill neu y llall o'r ddwy natur, a throsglwyddo i'r naill natur yr hyn a berthyna yn unig i'r llall. Y gwahaniaeth hwn a ddengys mor gyfeiliornus ydyw athrawiaeth y Lutheriaid fod dynoliaeth Crist yn hollbresennol. Cofier hefyd nad ydyw golygiad y Lutheriaid ond casgliad a dynir ganddynt hwy oddiwrth yr athrawiaeth a elwir yn "gymundeb y prïodoleddau" (*κοινοποίησις, communicatio idiomatum,*) yr hon a dderbynir gan dduwinyddion yn gyffredinol; ac fel casgliad yn unig oddiwrthi y desgrifir y golygiad yn "*Formula Concordiæ*" y Lutheriaid eu hunain. (Francke: "*Libri Symbolici Ecclesiæ Lutheranæ,*" P. III. CH. VIII.) Gan fod "*Outlines*" Mr. Hodge bellach yn nwylaw ein darllenwyr yn Gymraeg, a chan ei fod yn teilyngu y fath ymddiried am gywirdeb, cyfeiriwn yn y lle hwn at gamgymeriad bychan a wneir gan yr awdwr yn Pen. XX. Gof. 16, lle y cyfyngir yr enw "cymundeb y prïodoleddau" i olygiad y Lutheriaid. Ond yr oedd Calvin ei hunan, a Hooker a Dr. Owen hefyd (er mwyn i ni enwi un o bob plaid) yn credu y cyntaf, er eu bod yn gwrthod yr olaf. Yn yr un man darllener "Melanchthon" yn lle "Melancthon," a "1580" yn lle "1850."

Gyda golwg ar esboniad Mr. Liddon o'r adnod hon, goddefer i ni ddyweyd nad ydym yn tybied y buasai yn bosibl i'r awdwr, pe buasai wedi astudio ychydig ar Dr. Owen, yn enwedig ei Draethawd ar Berson Crist, syrthio i'r fath anghysondeb a mabwysiadu esboniad mor gloff o eiriau mor gryfion. Ond un o ddiffygion y duwinyddion Arminaidd ydyw aneglurder eu golygiadau am natur cyfryngdod y Duw-ddyn yn ei eiriolaeth dros ei bobl a'i arglwyddiaeth ar bob peth i'w eglwys.

Y mae ysgoleigdod Mr. Liddon yn ëang a manwl. Yr unig gŵyn sydd genym i'w wneyd ydyw fod yr awdwr yn arddangos tuedd weithiau i anghofio yr hyn sydd yn wrthwyneb, ac i ofalu crybwyll yr hyn sydd yn ffafriol, i'w olygiadau ef ei hun. Gwelsom enghraifft o hyn yn yr hyn *na* ddywed am Athanasius. Yn y darlun hyawdl a dynir ganddo o sefyllfa foesol y paganiaid pan ddechreuodd Cristionogaeth lefeinio y byd, dywed "fod deall y Pagan yn llefaru mewn areithiwr fel Cicero, yr hwn a wawdia ar gyhoedd y syniad fod gwobr a chosb i fod ar ol hyn, ac a wâd ymyriad un Gallu uwch yn helyntion dynion." Ond prin y mae hyn yn dêg. Dylasai Mr. Liddon grybwyll mai yn ngenau personau dychymygol, y rhai a ddesgrifir fel yn ymddyddan â'u gilydd ar bynciau moesoldeb, y gesyd Cicero y rhan fwyaf o'r ymddyddanion anffyddol y cyfeiria atynt. Cyfiawnder a fuasai iddo gyfeirio hefyd at ymadroddion Cicero yn y *De Officiis* neu y *Tusculanæ*. Tra yr haera Mr. Liddon fod Cicero yn atheist, sylwa Mr. Maurice ei fod, er y gellid dychymygu ar y wyneb mai atheist ydyw, mewn gwirionedd yn meddu crediniaeth fwy diysgog mewn gallu Dwyfol a llywodraeth Ddwyfol na llïaws ag sydd yn mwynhâu annhraethol well manteision nag oedd ganddo ef.*

Ond yr ydym wedi beïo gormod, ac yn awyddus bellach i gyfeirio ein darllenwyr at rai o ragoriaethau y llyfr, yr hyn nis gallwn ei wneyd yn well na thrwy ddyfynu rhanau o hóno.

A ganlyn ydyw cynnwysiad y Darlithiau: I. Y Pwnc dan ystyriaeth. II. Awgrymiadau o Ddwyfoldeb Crist dan yr Hen Destament. III. Gwaith ein Harglwydd yn y byd yn dystiolaeth i'w Ddwyfoldeb. IV. Ymwybodolrwydd Crist yn dystiolaeth i'w Ddwyfoldeb. V. Yr athrawiaeth o Ddwyfoldeb Crist yn ysgrifeniadau St. Ioan. VI. Yr athrawiaeth o Ddwyfoldeb Crist fel y dysgir hi gan St. Iago, St. Pedr, a St. Paul. VII. Yr Un-hanfodiad *(Homoousion)*. VIII. Canlyniadau yr athrawiaeth o Ddwyfoldeb ein Harglwydd. Bydd y braslun cryno a gawn yn y Ddarlith gyntaf o'r gwahanol olygiadau ar Berson Crist yn newydd i rai, ac yn addysgiadol i lïaws, o'n darllenwyr:—

"Pe gallesid gwthio Crist o'r neilldu, gwnelsid hyny yn Almaen Brotestanaidd, pan yr ysid ffydd Gristionogol o galon y wlad hono gan y dosbarth henaf o'r Rhesymolwyr. Ac eto prin y gellir enwi un 'meddyliwr' Germanaidd o enwogrwydd, yr hwn ni chynnygiodd ffurfio athrawiaeth am Grist *(what is termed a Christology)*. Yn ol Kant, esiampl ddychymygol o berffeithrwydd moesol ydyw Crist, ac, fel y cyfryw, dywedir wrthym y dylid ei wahaniaethu yn ofalus oddiwrth yr Iesu hanesyddol; gan mai am yr esiampl ddychymygol hon yn unig y mae mynegiadau y credo uniongred yn wir. Yn ol Jacobi, dychymyg crefyddol i ymgyrhaedd ato ydyw Crist, a gwaherddir addoliad i'r Iesu

*Traethawd a dâl yn ddauddyblyg am y drafferth o'i ddarllen ac a gynnwysa sylwadau cyrhaeddgar ar y mater hwn ydyw "*Bentley's Remarks on Free-thinking.*" Hynod mor wahanol yw y desgrifiad a roddir gan ysgrifenwyr gwahanol oesau o sefyllfa foesol a syniadau crefyddol prif feddylwyr Groeg a Rhufain. Dyddorol a fyddai olrhain y gwahaniaeth hwn.

hanesyddol fel eilunaddoliaeth digymysg, ond i'r graddau y canfyddir ac yr anrhydeddir yr esiampl ddychymygol o dan yr ymddangosiad dadguddiedig. Yn ol Fichte, i'r gwrthwyneb, yr unig wir ddyddordeb a deimla athroniaeth yn yr Iesu hanesyddol ydyw, nid arddansoddol; yr Iesu oedd y cyntaf i ganfod yr undeb perffaith rhwng hanfod dyn a hanfod Duw, a thrwy ddadguddio y canfyddiad tufewnol hwn efe a gyfranodd y wybodaeth uchaf y gall dyn ei feddu. Ymhlith yr athronwyr pantheistaidd diweddaf, haera Schelling fod duwinyddiaeth Gristionogol yn anobeithiol gyfeiliornus, pan y dysga fod Duw wedi dyfod yn y cnawd ar adeg neillduol mewn amser, gan fod Duw 'y tu allan' i bob amser, a chan fod ymgnawdoliad Duw yn ffaith dragywyddol. Ond myn Schelling mai y dyn Crist Iesu ydyw y pwynt neu y cyrhaeddnod uchaf yn yr ymgnawdoliad tragywyddol hwn, a dechreuad y dadguddiad gwirioneddol o hono i ddynion: 'ni ddadguddiodd neb yn flaenorol yr Anfeidrol yn y fath fodd i ddynion.' Ac nid ydyw Crist Hegel ychwaith yn ymgnawdoliad gweithredol ar ran Duw yn yr Iesu o Nazareth, ond yn arwyddlun o'i ymgnawdoliad mewn dynoliaeth yn gyffredinol. Er fod y syniadau hyn yn gwahaniaethu yn hanfodol mewn llawer modd oddiwrth gredo Eglwys Crist, eto cynnrychiolant gynifer o ymdrechion ar ran meddylwyr gwrthgristionogol i dalu hyny o deyrnged ag sydd yn ddichonadwy i Wrthddrych mawr Cristionogaeth; y maent yn gynifer o brofion o'r dyddordeb a gynnyrcha Iesu Grist o angenrheidrwydd yn y byd yn bresennol, hyd yn nôd pan fyddo y byd leiaf parod i gydnabod ei wir uwchafiaeth," (tud. 12).

Wedi rhoddi brâsolwg o ddysgeidiaeth yr athroniaeth bantheistaidd am Grist, dosrana yr awdwr yr athrawiaethau theistaidd am ei Berson fel y canlyn:—

"Yn awr rhaid i bob theist difrifol, yr hwn a grêd fod Duw yn Fôd personol a gwahanol yn ei hanfod oddiwrth waith ei ddwylaw, roddi un o dri ateb, mewn geiriau neu mewn sylwedd, i'r gofyniad, pwy yw Iesu Grist?

"1. Haerai yr Ebioniaid gynt, fel y Sociniaid yn awr, nad ydyw Iesu Grist ond dyn yn unig, pa un ai (fel y dysgai Faustus Socinus ei hun) wedi ei eni yn oruwchnaturiol o'r Forwyn, ai ynte (fel y golyga Rhesymolwyr yn gyffredinol erbyn hyn) yn ddarostyngedig ymhob ystyr i ddeddfau cyffredin natur, er ei fod mor hynod o ddyrchafedig mewn ystyr foesol fel y galler, yn iaith frwdfrydig edmygwyr ei gymeriad, ei alw yn Ddwyfol. A phan y ceisia Sabelliaeth ddianc oddiwrth anghysonderau aneirif patripassiaeth, collai hithau olwg, mor llwyr âg Ebioniaeth ei hun, ar bob peth ond y dynol yn Mherson Crist. . . . Ac yn y dyddiau hyn, dyndodiaeth ymarferol ydyw athrawiaeth ysgrifenwyr mor adnabyddus â Schleiermacher ac Ewald, er eu bod hwy yn ei orchuddio, ond nid yn ei wrthod, â llawer ymddiheurad cryf ag sydd yn ymddangos megys yn ei gondemnio. Arferant ymadroddion weithiau ag y gellid tybied eu bod yn gwneyd cyfiawnder hollol â'r gwirionedd o ddwyfoldeb Crist; cydnabyddant ynddo y dadguddiad perffaith o Dduw, gwir Ben ac Arglwydd dynolryw; ond gwadant fod Trindod oddifewn i'r hanfod ddwyfol; ni chydnabyddant yn Nuw Ffurf Bersonol yn hanfodi yn flaenorol fel sail i'r dadguddiad o hono ei hun i ddyn; nid ydynt mewn gwirionedd ond Unbenaethwyr fel Praxeas. . . . Nid oes gwir wahaniaeth rhwng Crist, yr hwn sydd yn 'ddadguddiad perffaith o Dduw,' ond 'heb fod yn Dduw personol,' a Christ dynol Socinus.

"2. Golyga yr Ariaid fod ein Harglwydd Iesu Grist yn hanfodi cyn ei ymgnawdoliad, mai trwyddo ef, fel offeryn, y gwnaeth y Duw Goruchaf y bydoedd, ac y dylid ei addoli, fel yr henaf a'r uwchaf o fodau crëedig; ond fod i Grist ddechreuad hanfodiad (ἀρχὴν ὑπάρξεως), fod amser pan nad hanfodai (ἦν ὅτε οὐκ ἦν): ei fod yn derbyn ei hanfodiad o'r hyn nad oedd o'r blaen yn bod (ἐξ οὐκ ὄντων ἔχει τὴν ὑπόστασιν) ac am hyny nas gellir ei alw yn Dduw yn yr ystyr yn yr hwn y priodolir yr enw hwn gan Theistiaid i'r Bod Goruchaf.

"3. Mewn gwrthgyferbyniad i'r ddwy ffurf arbenig hyn o heresi saif credo holl Eglwys Gatholig Crist, o'r dechreuad hyd yr awr hon: 'Credwyf mewn un Arglwydd Iesu Grist, unig-anedig Fab Duw, a genedlwyd o'i Dad cyn yr oesoedd, Duw o Dduw, Goleuni o Oleuni, Gwir Dduw o Wir Dduw, a genedlwyd ond na wnaethpwyd, yn Fod o'r Un Hanfod â'r Tad, trwy yr Hwn y gwnaethpwyd pob peth; yr Hwn erom ni ddynion ac er ein hiachawdwriaeth a ddisgynodd o'r nef, ac a ymgnawdolodd trwy yr Ysbryd Glân o Fair y Forwyn, ac a wnaethpwyd yn Ddyn,'" (tud. 15.)

Ymresyma Mr. Liddon, yn y Drydedd Ddarlith, fod bodolaeth a chymeriad yr Eglwys Gristionogol yn profi Dwyfoldeb ei Sylfaenydd. Mewn dadl âg Undodiaid ni fynem, o'n rhan ni, osod cymaint o bwys ar yr ymresymiad hwn, gan fod yn anmhosibl i neb benderfynu terfynau dylanwad dyn; ac, ar y llaw arall, pe buasai Cristionogaeth hyd yma yn fethiant llwyr, fel yr haera anffyddwyr ei bod, ni chydnabyddasem mewn un modd fod hyny yn profi nad oedd ei sylfaenydd yn Berson Dwyfol. Ië, ni a awn ymhellach na hyny ac a ganiatäwn i anffyddwyr fod Cristionogaeth, os dewisant y gair, yn fethiant; hyny ydyw, nad oes neb eto ymhlith Cristionogion wedi cyraedd hyd at ei nôd uchel, sef mesur cyflawnder Crist, a bod perffeithrwydd yn cael ei ddysgu yn y Bibl na welwyd mohóno hyd yma yn cael ei sylweddoli yn yr Eglwys. Ond yr ydym yn hŷf i ddyweyd, os ydyw llwyddiant Cristionogaeth yn rhyw gymaint o brawf o Ddwyfoldeb yr Hwn a greodd y drychfeddwl mawreddog, fod aflwyddiant Cristionogaeth yn brawf cadarnach eto. Y mae yn sicr fod Crist wedi dylanwadu mwy ar wareiddiad y byd na neb arall; ac onid llwyddiant ydyw hyn? Y mae yn sicr, ar yr un pryd, fod yr Eglwys Gristionogol hyd yma yn annhraethol bell oddiwrth y perffeithrwydd a orchymynir gan ei Harglwydd; ac onid methiant ydyw hyn? Ond, os nad allasai neb llai na Pherson Dwyfol wedi ymgnawdoli ennill y fath ddylanwad dwfn ar ddynion, pwy ond Person Dwyfol a allasai osod esiampl mor ddyrchafedig yn ei fywyd a'i farwolaeth ger bron dynion fel y mae pob dyn difrifol a diragrith yn anobeithio gallu ei efelychu, ïe, esiampl mor berffaith fel nad ydyw perffeithderau yr holl Eglwys ynghyd, o'u cymharu â hi, ond megys llusern wrth oleuni yr haul. Ond yr oedd dylanwad Iesu Grist ar galonau dynion yn argyhoeddi un o goncwerwyr y byd ei fod yn rhywun mwy na dyn. Pan yr oedd Napoleon y cyntaf yn alltud yn St. Helena, gofynodd i un o'i gymdeithion, "A ellwch chwi ddyweyd wrthyf pwy oedd Iesu Grist?" Yna dechreuodd ddyweyd ei hunan beth oedd ei syniad ef yn ei gylch:—

"Y mae Alexander, Cæsar, Charlemagne, a Minnau, wedi sylfaenu ymherodraethau mawrion; ond ar ba beth y gorphwysai creadigaethau ein hathrylith? Ar ormes. Yr Iesu yn unig a sylfaenodd ei ymherodraeth ar gariad, ac hyd heddyw byddai miliynau yn barod i farw er ei fwyn. Yr wyf yn meddwl fy mod yn deall y natur ddynol i ryw fesur; ac yr wyf yn dyweyd i chwi mai dynion oedd y rhai hyn oll, ac mai dyn ydwyf finnau; nid oes neb cyffelyb iddo ef; yr oedd Iesu Grist yn fwy na dyn. Yr wyf fi wedi llenwi byddinoedd â'r fath ymgysegriad brwdfrydig i mi fel yr oeddynt yn barod i farw erof; ond tuag at i mi allu cynnyrchu hyn, yr oedd yn rhaid i mi fod yn bresennol ac yn weledig gyda dylanwad trydanol fy edrychiad, fy ngeiriau, a fy llais. Crist yn unig sydd wedi llwyddo i ddyrchafu meddwl dyn at yr Anweledig, fel nad yw yn ddarostyngedig mwyach i gadwyni amser a lle. Ar draws cyfwng o ddeunaw can' mlynedd y mae Iesu Grist yn gofyn yr hyn sydd anhawsaf gan ddyn ei roddi, yr hyn a ofyna athronydd yn fynych yn ofer gan ei gyfeillion, a thad gan ei blant, a phriodasferch gan ei phriod, a brawd gan frawd. Gofyna efe am galon dyn; a myn ei chael yn gyfangwbl iddo ei hun. Hawlia hi yn ddiammodol, ac ar unwaith cyflwynir hi iddo. Rhyfeddol yn wir! Er pellder amser a lle, daw enaid dyn, gyda'i holl alluoedd a'i gynneddfau, yn rhan o ymherodraeth Crist. Teimla pawb ag sydd yn credu ynddo y cariad goruwchnaturiol hwn tuag ato. Pa gyfrif a roddir o hyn? Y mae hynyma y tu hwnt i allu creadigol dyn. Dinerth ydyw amser, y dinystrydd mawr, i ddiffodd y fflam gysegredig hon. Hyn sydd yn fy argyhoeddi o Ddwyfoldeb Iesu Grist," (tud. 147.)

Anhawdd peidio teimlo grym y geiriau hynod hyn. Ond i'n meddwl ni y mae y ddadl oddiwrth gymeriad Crist ei hun yn llawer cadarnach

na'r ymresymiad oddiwrth gymeriad yr Eglwys. "Christus, si non Deus, non bonus." Os nad ydyw Crist yn Dduw, y mae yn rhaid mai twyllwr ydyw. Wedi profi y gosodiad hwn yn y modd egluraf, diwedda Mr. Liddon un o'r Darlithiau gyda'r geiriau hyawdl a nerthol a ganlyn:—

"O Iesu tragywyddol! Tydi dy hunan a orchymynaist i ni dy ddirmygu neu dy addoli. Ti a fynit i ni dy ddirmygu fel ein cyd-ddyn, os na fynwn ni dy addoli fel ein Duw. Pan syllwn ar dy brydferthwch dynol ac y gwrandäwn ar dy eiriau, nis gallwn wadu mai Tydi ydyw Unig Fab y Duw Goruchaf; pe gwadem dy Ddwyfoldeb, nis gallem mwyach gydnabod yn ddibetrus dy berffeithderau dynol. Ond os gwrandawa ein clustiau ar yr hyn a ddadguddiaist o'th fawredd, ennillwyd ein heneidiau eisoes atat gan dy eirwiredd, dy ostyngeiddrwydd, a'th gariad. Wedi ein hargyhoeddi gan y gogoniant moesol hwn, a chan fawrhydi y gallu a ddefnyddiaist i grëu ac i iachâu, yr ydym yn credu ac yn gwybod yn sicr mai gyda thi y mae geiriau y bywyd tragywyddol. Er dy fod, pan yn dadleuu dy hunan o flaen dy greaduriaid, yn sefyll o oes i oes ger bron brawdle gelynion ac anffyddwyr; eto yn sicr, o oes i oes, trwy ymosodiadau dy elynion yn gystal â thrwy ffydd dy eglwys grediniol, ti a gyfiawnhëir pan leferych ac ydwyt bur pan y'th farner. Yn wir, Tydi yw Brenin y gogoniant, O Grist; Tydi ydyw Mab tragywyddol y Tad," (tud. 205.)

Ond buasai yn hawdd dyfynu tu dalenau cyfain o hyawdledd pur. Ond rhaid ymattal. Gobeithiwn y bydd y gyfrol ei hunan yn nwylaw ein darllenwyr. Y mae y wybodaeth Dduwinyddol y gall yr efrydydd diwyd ei gasglu a'i wneyd yn feddiant iddo ei hun o'r gyfrol hon yn gynauaf toreithiog. Y mae gan yr awdwr feddwl llawn, os nad ydyw yn treiddio yn ddwfn iawn nac yn arddangos gwreiddioldeb anghyffredin. Caiff y darllenydd olwg ar olygiadau Duwinyddion ar Berson Crist, a'r rhai hyny wedi eu trefnu yn y modd goreu o'i flaen, o dadau yr Eglwys i lawr hyd at feddylwyr mawr y ganrif hon yn Lloegr a'r Almaen. Yr unig ddosbarth a esgeulusir ydyw yr Ariaid, megys Dr. Samuel Clarke. Ond y mae yn debyg fod Mr. Liddon yn ystyried fod Waterland wedi gorphen ei waith ar y cyfeiliornwyr hyny ac nad oes eisieu trywanu lladdedigion. Er fod yr awdwr yn cynnyg llawer golygiad nas gallwn ei dderbyn, yr ydym yn rhydd i ddywedyd y byddai astudiaeth manwl o'r llyfr hwn yn foddion rhagorol i wneyd dyn ieuanc yn gyfarwydd â chynnwysiad y Testament Newydd; ac o fod yn ysgrythyrwr da nid oes ond cam i fod yn dduwinydd da. Teimlwn yn ddiolchgar i'r awdwr parchedig am ddwyn ail argraffiad allan am bris ag sydd yn ychwanegu un "wyrth o radlonrwydd" yn rhagor at holl wyrthiau yr argraffwasg yn y dyddiau hyn.

# MR. GLADSTONE.

[A CHAPTER OF AUTOBIOGRAPHY. By the Right Hon. W. E. GLADSTONE, M.P. Eleventh Thousand. London: Murray. 1869.]

GAN ddosbarth mawr a phwysig o'r boblogaeth nid oes yr un enw yn cynnyrchu dirmyg mwy dwfn a chasineb mwy angerddol y dyddiau hyn nag enw Mr. Gladstone. Tra y mae mwyafrif dirfawr yn ei edmygu fel un sydd yn anad pobpeth yn ffyddlawn i'w gydwybod, ac yn ymroddedig i wasanaeth ei genedl yn yr hyn oll sydd gyfiawn a thêg, y mae y Toryaid a'r Eglwyswyr cyfyng yn boddhâu eu zêl trwy bentyru arno eu dirmyg a'u dygasedd. Ac nid ydyw yn rhyfedd fod y gwladlywiaeth a amddiffyna, erbyn hyn, yn ennyn y fath deimladau cyffröus. Ychydig amser yn ol fe deimlai gwŷr urddasol fod y cri am gyfiawnder i holl ddeiliaid ei Mawrhydi yn ddiwahaniaeth, ac yn enwedig y gwrthdystiad a wneid yn erbyn y gormes o waddoli trwy gyfraith un enwad crefyddol ar draul yr holl enwadau crefyddol eraill, yn bethau mor hollol ddibwys, fel nad oedd yn werth iddynt ymdrafferthu gymaint ag i sylwi arnynt. Teimlent fod eu craig â'i sylfaeni yn nghadernid y ddaear, ac nad oedd o un gwahaniaeth fod y tònau yn dewis ymguro yn ei herbyn. Mae yn wir nad ellid lai na goddef i'r ymosodiadau gael eu gwneyd, yn gymaint a bod y deyrnas wedi mynu ysgrifenu ar ei deddflyfrau yr egwyddorion y bu Milton yn ei *Areopagitica* a Jeremy Taylor yn ei *Liberty of Prophesying* yn dadleu drostynt, sef rhyddid y wasg a rhyddid llafar; ond er hyny fe olygid fod y fath "gryfder yn eu mynydd" fel nad oedd berygl y buasai y fath eiddilwch yn aflonyddu arnynt byth. Ymhen yspaid deuwyd i weled fod y bobl lawer mwy o ddifrif nag y dychymygid, ac os parhâu a wneid yn y diofalwch uchel hwnw "fod yn enbyd iddynt ddyfod y rhan hon i ddirmyg." Yna dechreuwyd ysgrifenu, a siarad, a ffurfio cymdeithasau diffynol, ac ymhob modd argyhoeddi y wlad mai diogelwch mawr yr orsedd a'r wladwriaeth oedd fod genym bendefigaeth a olygai fod ganddi hawl i bob rhagorfraint, tra uwchlaw pob rhwymedigaeth,—eglwys wladol oedd trwy hawl Ddwyfol yn tynu iddi ei hun frasder y wladwriaeth, ond heb amcanu at ei hefengyleiddio,—a gwerin a orweddai fel asyn asgyrnog rhwng dau bwn, heb ymgodi at y rhyfyg annuwiol o gymaint a gofyn cwestiwn. Ond yn anffodus yr ydoedd yr egwyddorion eraill hefyd yn parhâu i gael eu dysgu, ac yn treiddio yn ddyfnach ddyfnach bob dydd i galon y genedl. Yn lle bod ambell ddyn yma a thraw yn anturio siarad ynghylch cyfiawnder, a hawliau cyffredin y deiliaid, ac am ei boen yn cael y cymeriad o fod yn derfysgwr, fe ddaeth ein Rhyddfrydwyr yn lleng, a phob un o honynt â'i wraidd yn erbyn gormes; ac yn lle bod un Edward Miall, fel "llêf un yn llefain yn y diffaethwch" wrth bregethu cydraddoldeb crefyddol, a'i frodyr a'i gyfeillion, hyd yn nôd yn methu ei oddef, tra yr oedd yr Ymneillduwyr yn gyffredin, yn gystal â'r Eglwyswyr, yn ei ystyried fel bonffaglydd peryglus, dyma yr egwyddor hono erbyn hyn wedi meddiannu y deyrnas ymron, a'n gwladweinwyr mwyaf, yn Eglwyswyr ac Ym-

neillduwyr, yn cydymgais mewn chwilio am y ffyrdd mwyaf effeithiol o'i chario allan. Ac erbyn hyn, mae y rhai oedd ychydig yn ôl yn annhraethol uwchlaw cydnabod perygl o gwbl,—ac ychydig wedi hyny, yn teimlo mor hyderus yn eu rhesymau fel y credent nad allai y wlad lai na gwrandaw arnynt, yn gorfod teimlo fod y drwg wedi eu goddiweddyd, ac fod holl nerth eu hamddiffynfëydd yn annigonol i'w gadw draw. Druan o berson Ll——. "Pe bawn i Lord Penrhyn," meddai yn ddiweddar wrth gymydog iddo, un o flaenoriaid parchus y Methodistiaid Calfinaidd yn yr ardal, "mi ddygwn i yr holl wlad yma yn ôl i fynwes yr Eglwys, pe costiai i mi fil o bunnau yn y flwyddyn." "A pheth a wnaech, Mr. ——," ebe y blaenor, "pe byddai genych fil o bunnau yn y flwyddyn i'w gwario?" "Mi dd'weda i chwi," meddai yntau, "mi gyhoeddwn bapyr newydd wythnosol, mi gwerthwn o mor râd fel y gallai pawb ei brynu, mi gwnawn o cystal ag y byddai modd, a phob wythnos mi gymerwn i fyny holl ymosodiadau yr holl bapyrau Cymreig ar yr Eglwys, ac mi a'u hatebwn yn gyflawn bob yn un ac un." "A ydych chwi yn meddwl y byddai hyny yn ddigon i ddwyn y wlad yma yn ôl i'r Eglwys?" "Ydwyf, yn sicr; o achos nid oes eisieu dim ond goleuo y bobl na ddeuent oll yn ôl i fynwes yr Eglwys." O berson Ll——, mawr yw dy ffydd! Mae uchelwyr ein gwlad ac urddasolion y Sefydliad yn dangos llawer o ffwdan y dyddiau hyn yn eu hawydd am ddychwelyd y bobl, nid at Gristionogaeth, fel y sylwa yr Aelod anrhydeddus dros Ferthyr Tydfil, y mae hyny wedi ei wneyd, ond at yr Eglwys. Ond fel y dywedai offeiriad craff yn ddiweddar, y maent "yn cau drŵs yr ystabl wedi i'r march ddïanc." Y mae arwyddion yr amserau erbyn hyn yn dangos yn lled eglur i'r neb a fŷno weled, nid yn unig ei bod wedi myned yn rhy ddiweddar i dŷnu Ymneillduaeth i'r Sefydliad trwy ymresymu, &c., ond fod yr arfogaeth yr ymffrostid cymaint ynddi yn annigonol i amddiffyn y Sefydliad ei hunan. Mae yr Eglwyswyr sydd yn gweled hyn, wedi eu darostwng i ddychymygu y gallant wneyd ryw help i'w hachos trwy ddarostwng Mr. Gladstone. "No case; abuse the plaintiff's attorney." Ac mae hyd yn nôd y rhai nad ydynt yn gweled dim, yn cael blâs neillduol ar y gorchwyl yma. Clywsom y dydd o'r blaen am offeiriedyn yn Sir Fôn, hen Ymneillduwr,—rhyfedd fod Sefydliad mor gyfoethog mor fynych yn gorfod cuddio ei noethni â'r dillad y mae Ymneillduaeth yn droi heibio!—wedi iddo hysbyddu yr holl eiriau isel y gwyddai am danynt—ac fe aeth ar eu hôl i holl gwterydd y Gymraeg wèn—wrth ddarostwng Mr. Gladstone, a ddirwynodd ei araeth i'r *climax* gogoneddus yma,—"O ran hyny rhaid fod y dyn wedi gwallgofi: 'does dim arall i'w ddywed am dano; y mae wedi gwallgofi!" A sonia Mr. Gladstone ei hun yn y llyfr sydd ger ein bron am hysbyslen a gyhoeddwyd yn Berwick, lle y lleferid am dano yn yr ymadroddion grasol hyn,—"Nid oes dim angen mae yn amlwg, ar yr achlysur presennol sut bynag, i estyn y rhestr yma o gamweddau yr achgyffröydd hwn, yr hwn gan hyny a allwn adael wedi ei sybedu ac yn siglhongian yn ngwyntoedd paradwys y ffyliaid! yn wrthddrych dirmyg a gwawd i'r rhai hyny o leiaf sydd yn dal na ddylai uniondeb amcan a chysondeb gael eu halltudio o fywyd cyhoeddus."

Ergyd y bennod hon o hunan-fywgraffiad ydyw awgrymu y gallai fod esboniad arall i'r hyn a ymddengys yn anghysondeb yn Mr. Gladstone,

heblaw yr hyn a haera ei "anwyl gariadus frodyr." "Nid wyf fi yn ynfydu, O ardderchocaf Ffestus." Dyfyna ar wynebddalen ei lyfr arwyddair tra phwrpasol o'r Apocrypha, o'r ail bennod o lyfr Ecclesiasticus: "Na feïa nes i ti chwilio y gwirionedd: dealla yn gyntaf, ac yna cerydda." Adnod dda iawn i bobl yn eu pwyll; ond y mae yn rhy araf o ddim rheswm i bobl mewn tymher mor ddrwg â'r eiddo gwrthwynebwyr Mr. Gladstone yn y dyddiau hyn. Y mae efe yn ammheus o brïodoldeb a chwaeth cyhoeddi bywgraffiad i ddyn yn ei ddydd, a llawer mwy felly, wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun. Ond tybia, a hyny yn eithaf rhesymol, y gallai fod weithiau gydgyfarfyddiad mor neillduol o amgylchiadau ag a'i gwnelo yn brïodol i ddyn, er mwyn ei gyfeillion ac er mwyn ei achos, gymeryd cyfle i'w esbonio ei hunan. Ac am ei amgylchiad ef, teimla os gall edrych arno fel amgylchiad eithriadol, ei fod yn rhwym o wneyd hyny.

Yr anghysondeb y cwynir mor fawr o'i herwydd ydyw fod Mr. Gladstone yn awr yn cymeryd rhan flaenllaw mewn dadsefydlu yr Eglwys Wladol yn yr Iwerddon, ac yntau yn y llyfr a gyhoeddodd yn 1838, *The State in its Relations with the Church*, wedi ysgrifenu yn hyawdl a difrifol o blaid Eglwysi Gwladol yn gyffredinol, ac Eglwys Wladol yr Iwerddon yn neillduol. Dyna y ffaith; ac nid oes un esboniad yn bosibl iddi, meddant hwy, ond fod y dyn oedd yn 1838 yn ffyddlawn i'w gydwybod ac i'w Dduw, erbyn hyn, wedi myned mor galed â gwneyd aberth o bobpeth ar allor uchelgais politicaidd. Deled a ddelai, yr oedd yn rhaid disodli Mr. Disraeli, a dyfod yn Brifweinidog Prydain Fawr: er mwyn hyny, nid oedd yn ormod ganddo fwrw ei goelbren gyda therfysgwyr a gwrthryfelwyr!

Ar yr olwg gyntaf, mae y fath gasgliad yn ymddangos yn dra gwyllt, ac yn gwbl anghyson â phobpeth buchedd flaenorol Mr. Gladstone. Yn wir, ni fuasai raid i ni wrth y bennod hon o hunan-fywgraffiaeth er gweled fod y gwir esboniad yn dra gwahanol. Yr oeddym yn edrych arno fel gŵr yn teimlo "nad allai ddim yn erbyn y gwirionedd, ond o blaid y gwirionedd." Ac i'r graddau y byddai y gwirionedd yn ei ddadguddio ei hun iddo, fod yn rhaid iddo yntau ymostwng iddo. Ond bellach y mae yn ammheus a ydyw Mr. Gladstone wedi newid ei farn. Ymbwylla, ddarllenydd tirion, yr ydym lêd y pegynau oddiwrth awgrymu fod y gŵr mwyaf cydwybodol yn Mhrydain yn awr yn rhagrithio; yn hytrach, y cwestiwn y dymunem dy arwain i'w wynebu ydyw hwn, Ai nid allai fod gwladlywyddiaeth Mr. Gladstone y dyddiau hyn, wedi y cwbl, heb fod yn anghyson â'i olygiadau yn 1838?

Beth ydyw yr egwyddor ar ba un y seiliai y pryd hyny ei athrawiaeth am ddyledswydd y wladwriaeth i waddoli crefydd? Egwyddor arbenig y llyfr ydoedd, Fod gan y wladwriaeth gydwybod, ac fel y cyfryw ei bod yn rhwym o amddiffyn y gwirionedd. Am y rhan gyntaf o'r gosodiad hwn, nid oes unrhyw ddadl yn meddwl neb nad ydyw y wladwriaeth yn rhwym o weithredu cydwybod; mae hyny yn ddealledig yn yr holl rwymau sydd yn ei dal wrth ei gilydd fel gwladwriaeth. Ond y mae y cwestiwn am y graddau i ba rai y gall cydwybod y wladwriaeth ymyryd â chydwybod y deiliaid, yn gofyn ystyriaeth dra difrifol. Mae yn wir i ni glywed lawer gwaith fod y brenin yn dad ei bobl, ac fel tad y dylai ofalu am danynt, ac yn arbenig gofalu am eu crefydd. Ond mae y

ffugyr yma, fel llawer ffugyr arall, yn dra phell o allu dal yr holl bwysau a osodir arno. Mae gwahaniaeth dirfawr rhwng teulu a'r wladwriaeth. Nid all brenin fod yn dad ond i bobl sydd o ran oedran, gallu, a phob addfedrwydd, mor abl i ymdaro drostynt eu hunain ag y mae yn bosibl iddo yntau fod. O ganlyniad y mae braidd yn ormod i frenin, yr hwn, weithiau, a all fod o gynneddfau llawer israddol i eiddo lliaws o'i ddeiliaid, gymeryd arno ei hun yr anffaeledigrwydd o ddewis crefydd iddynt. Mae yn wir fod yr afresymoldeb yma, fel pob afresymoldeb arall, wedi cael ei amddiffyn gan lïaws o ysgrifenwyr y gallasem oddiwrthynt ddysgwyl pethau gwell. Dywedai yr athronydd Hobbes, wrth gyflwyno llyfr i Charles II., "na wyddai efe paham y gelwid ef yn anghrefyddol, oddieithr am ei fod yn gosod awdurdod yr Eglwys i ymddibynu yn llwyr ar y gallu brenhinol; yr hyn, mi obeithiaf, nad ystyria eich Mawrhydi nac yn atheistiaeth nac yn heresi." Ac yn yr un llyfr, dywed; "Y bobl a'r Eglwys ydynt un peth, ac nid oes ganddynt ond un pen, sef y Brenin;" ac mewn lle arall, "Cyfreithiau y Brenin ydynt gyfreithiau Duw." A dywed yr Archesgob Parker, yn ei *Ecclesiastical Polity;* "Mae gan y swyddog gwladol allu i lywodraethu cydwybodau ei ddeiliaid; nid oes gan bersonau neillduol hawl i farnu; nid ydynt yn feistriaid ar eu gweithrediadau eu hunain; ac ni ddylent gael eu llywodraethu gan eu barnau eu hunain: ond dylid eu harwain gan gydwybod gyhoeddus eu llywodraethwr. Os ydyw y swyddog gwladol yn arosod unrhyw beth pechadurus, efe, ac nid y bobl sydd yn ufuddhâu iddo, sydd yn gyfrifol i Dduw am dano." Dyma athroniaeth pob gormes eglwysig a phob erlidigaeth a fu yn y byd erioed; y gallu llywodraethol yn dychymygu fod ganddo hawl Ddwyfol i arglwyddiaethu ar gydwybodau ei ddeiliaid. "The imaginary right of ruling the conscience," ebai Robert Hall, "has been the earliest assumed, and the latest relinquished" Pe dygwyddai fod y gallu llywodraethol yn annhraethol uwchlaw yr holl ddeiliaid mewn doethineb a daioni, ac yn enwedig pe dygwyddasai y Llywodraethwr Mawr ei wneuthur ef yn gyfrifol am olygiadau crefyddol y deiliaid oll, a threfnu eu bod hwythau, fel plant mewn teulu, i ymwrthod ymhob peth â'u barn bersonol eu hunain er mwyn ymostwng i'r eiddo ef, fe fuasai rhyw synwyr yn yr ymgais a ddangoswyd mor fynych gan lywodraethau gwladol i arglwyddiaethu ar gydwybod y deiliaid. Ond fel y mae pethau yn bod, y mae yr holl ammodau a allai, ar unrhyw dir, gyfreithloni y fath beth, yn eisieu yn yr helynt yma. A pheth y gellid meddwl am dano a allai beri y fath anferth niwed i'r deiliaid eu hunain, pe byddai yn bosibl eu perswadio i ymddarostwng i'r fath drefniant? Gwrandewch eiriau y Dr. Owen ar hyn. Y mae y Puritan mawr yn taflu y fath ffrwd o oleuni ar y mater fel y mae holl ymgais cynffonwyr gallu i gael genym feddwl yn wahanol yn ymddangos yn rhyfeddol o ysmala. "Rhyddhewch y gydwybod," meddai, "oddiwrth ddibyniaeth hollol, uniongyrchol, gyffredinol, ar awdurdod, ewyllys, a barn Duw, yn ol y ddirnadaeth sydd ganddi am danynt, ac yr ydych yn dyrysu holl gynghanedd Rhagluniaeth Ddwyfol yn llywodraethiad y byd, ac yn tòri dolen gyntaf y gadwen fawr wrth yr hon y mae pob crefydd a phob llywodraeth yn y byd yn crogi. Pysgwch ddynion i fod fel Naaman y Syriad, i gredu yn unig yn Nuw Israel, ac i'w wasanaethu Ef yn ol ei drefn a'i ewyllys ei hun ac oddiar deimlad o ddyledswydd, eto, ar yr un

pryd i ymgrymu yn nhŷ Rimmon yn wrthwyneb i'w oleuni a'i argyhoeddiad, o gydsyniad â'i feistr; neu gyda gwŷr Samaria, i ofni yr Arglwydd, ond i wasanaethu eu heilunod; ac ni fethant rywbryd neu gilydd yn hytrach i geisio gorphwysdra mewn atheistiaeth ddiorphwys na byw mewn ymrysonfa barhäus â hwy eu hunain, neu feithrin terfysg tragywyddol yn eu mynwes eu hun."

Ond chware têg i Mr. Gladstone, ni feddyliodd efe am amddiffyn Eglwys Wladol ar y tir yma, sef hawl oruchaf y brenin i ddewis crefydd i'w ddeiliaid. Gwyddai i ba dryblith o anghysonderau y buasai hyny ar unwaith yn ei arwain. "Os nad ellir dyfeisio ffordd i amddiffyn ein Sefydliad," meddai Scott, yr esboniwr, "na fyddai iddi, o'i chymhwyso yn dêg, amddiffyn sefydliad Pabyddiaeth, Mahometaniaeth, neu eilunaddoliaeth Baganaidd, trwy awdurdod brenhinoedd a llywodraethwyr, rhaid i ni gydnabod fod yr achos yn anobeithiol. Eto, os ydyw yn *hawl* brenhinoedd a llywodraethwyr i benodi credo a dull gwasanaeth, gyda phobpeth perthynol i hyny, i'w deiliaid, ac i orfodi eu cydsyniad, rhaid ei fod yr un modd yn hawl *pob* brenin; canys y maent oll yn meddwl, neu yn proffesu meddwl, mai eu crefydd hwy eu hunain yw y wir grefydd. Eto, os ydyw yn *ddyledswydd* ar frenhinoedd a llywodraethwyr i benodi y pethau hyn i'w deiliaid, y mae yr un modd yn ddyledswydd ar yr holl frenhinoedd, ac am yr un rheswm. Dyma ddadl fawr y rhai sydd yn gwrthwynebu Sefydliadau; a pha fodd y gallwn ei gwrthbrofi?" Y tir y safai Mr. Gladstone arno oedd y gwirionedd: y tir uchaf y gellir amddiffyn Eglwys Wladol o gwbl. Cydnabyddid hyn gan Macaulay yn ei erthygl enwog ar y llyfr yn yr Edinburgh Review am Ebrill, 1839. "Mae holl gyfundrefn Mr. Gladstone yn gorphwys ar y gosodiad sylfaenol, mai lledanu gwirionedd crefydd ydyw un o brif ddybenion llywodraeth fel llywodraeth."

"Yr oedd hyn," meddai Mr. Gladstone ei hun yn y llyfr, "yn gwbl dêg. Yn yr ymddiheurad a anfonais at yr Adolygydd enwog ar bwynt neillduol, ni chwynais oll oblegid hyn. Nid oedd fy ngwaith wedi defnyddio (cân belled ag yr wyf yn credu ac yn cofio) yr un o'r rhesymau cyffredin dros gadw i fyny Eglwys yr Iwerddon. Ni ddywedais, 'deliwch hi i fyny, rhag i chwi aflonyddu perchenogaeth meddiannau.' Ni ddywedais, 'Deliwch hi i fyny, rhag i chwi gael eich gorfodi i ddiddymu yr Undeb.' Ni ddywedais, 'deliwch hi i fyny, rhag i chwi dramgwyddo a chreuloni y Protestaniaid.' Ni ddywedais, 'deliwch hi i fyny, o herwydd fod gan y Corff a adwaenir fel yr Eglwys Wyddelig deitl annyddimadwy i'w feddiannau.' Ni ddywedais, 'deliwch hi i fyny er mwyn bûdd ysbrydol lleiafrif bychan.' A llai fyth y dywedais, 'deliwch hi i fyny, ond sefydlwch gydraddoldeb crefyddol, trwy osod i fyny ar draul y cyhoedd sefydliadau eraill yn gyfochr â hi, neu trwy gyfranu tamaid yma a thamaid acw, i fudo y Pabyddion a'r Presbyteriaid i fath o gydsyniad ar iddi gael ei dal i fyny.' Y pethau hyn nid oeddwn erioed wedi eu gwneyd yn eiddo i mi fy hun. Prin y darfu i mi erioed, yn ymgeisiadau cyntaf dadleuaeth, gyfeirio at un o honynt. Yr oedd fy udgorn, pa mor feinsain ac egwan bynag, o leiaf wedi seinio ei nodyn yn glir. A fy nhir, pa un bynag ai cam ai cymhwys nid yw o ddim gwahaniaeth i'r amcan presennol, oedd hyn: rhaid dal Eglwys yr Iwerddon i fyny er lles holl bobl yr Iwerddon, a'i dal i fyny fel y gwirionedd, neu nid ellir ei dal i fyny o gwbl."

Yn gyson â'r argyhoeddiad hwn, fe safodd yn ddiysgog yn erbyn gwaddoli Maynooth. Dywedodd yn Nhŷ y Cyffredin yn 1838, y flwyddyn y cyhoeddid y llyfr, ei fod "yn gwrthwynebu y Gwaddol am ei fod yn ddinystriol i'r brif egwyddor ar ba un y sylfaenesid yr Eglwys Sefydledig." A phan gynnygid yr *Appropriation Clause*, egwyddor yr hwn

ydoedd fod arian gweddill yr Eglwys Wyddelig, ar ol gwneyd darpariaeth ddigonol ar gyfer anghenion ysbrydol y Protestaniaid, i gael eu defnyddio at addysg y bobl,—mesur oedd yn y lle cyntaf yn gofalu am foddion crefyddol i'r Protestaniaid, gwrthwynebwyd ef gan Mr. Gladstone, ar y tir mai arian y gwirionedd oedd yr arian, ac i gael eu defnyddio er bûdd holl bobl yr Iwerddon. Bydd yn dda gan ein darllenwyr ddeall ei fod y pryd hyny wedi llefaru yr ymadroddion canlynol: diolch i "Hansard" am eu bod ar gael:—

"Mae Sefydliad Eglwysig yn cael ei gynnal er mwyn ei aelodau neu ei athrawiaethau; er mwyn y rhai a ddysga, neu er mwyn yr hyn a ddysga. Ar y tir cyntaf nid ellir mewn cyfiawnder ei ddal i fyny am fynyd.

"Paham y rhoddid unrhyw flaenoriaeth i mi ar gyd-ddeiliad arall, neu pa hawl sydd genyf fi yn bersonol i gael cynnal fy nghrefydd, pan y mae un arall yn cael gommedd ei chydnabod gan y Wladwriaeth? Dim hawl oll o'm rhan fy hun. Yr wyf yn cydweled yn hollol â boneddigion gyferbyn, sydd yn wrthwynebol i Sefydliad, na ddylid yn y fath achos ganiatâu unrhyw fraint bersonol.

"Ond os ydwyf, i'r gwrthwyneb, yn credu, fel y mae mwyafrif mawr y Ddeddfwrfa Brydeinig [yr oedd hyny yn 1835], fod athrawiaeth a chyfundrefn y Sefydliad yn cynnwys ac yn arddangos gwirionedd yn ei ffurf buraf a mwyaf effeithiol, ac os ydym hefyd yn credu fod gwirionedd yn dda i'r bobl yn gyffredinol, yna y mae genym sail glir a diysgog i ddal i fyny Sefydliad; ond canlyna fel mater anocheladwy oddiwrth yr egwyddor, y rhaid ei ddal i fyny, nid ar raddeg a fyddo wedi ei chyfaddasu yn fanwl i nifer presennol ei aelodau ei hun, ond ar y fath raddeg fel y gallo gynnyg i eraill y lleshâd a weinydda yn barhäus iddynt hwy.

"Am hyny yr ydym yn dymuno gweled y Sefydliad yn yr Iwerddon yn cael ei ddal i fyny; nid er mwyn y Protestaniaid, ond y bobl oll, fel y gallo y gweinidogion ddefnyddio dylanwad eu sefyllfa, eu caredigrwydd a'u cymydogaeth, y gwahanol achlysuron a rydd bywyd cymdeithasol iddynt ymgymysgu â hwynt yn feunyddiol; ie, ac nid wyf yn petruso ychwanegu dylanwad perswadiad hefyd, yn cael ei gymhwyso gyda sêl wedi ei thymheru â gwybodaeth a doethineb, yn lledaniad yr hyn sydd wir, a'r hyn, gan ei fod yn wir, sydd yn gystal i'r rhai sydd eto heb ei feddu, ag i'r rhai y mae ganddynt. Cynnygiad yr arglwydd anrhydeddus sydd mewn gwirionedd yn agored i'r cyhuddiad o ddallbleidiaeth, anoddefgarwch, a thueddrwydd mympwyol oblegid gan ommedd cydnabod cynnaliad a lledaniad y gwirionedd, y mae yn parhâu mewn ffordd o fraint bersonol i'r Protestaniaid gydnabyddiaeth gyfreithiol eu Heglwys, yr hyn a wrthoda i Eglwys y Pabyddion."

Yn y flwyddyn 1844, yr oedd Mr. Gladstone yn aelod o weinyddiaeth Syr Robert Peel, pan yr amlygodd y prifweinidog, wrth yr hwn y teimlai yr ymlyniad cryfaf, ei farn iddo, y byddai yn ddymunol adsefydlu a chynnyddu y Gwaddol i Maynooth. Ac er mai efe oedd yr aelod ieuengaf o'r Weinyddiaeth hono, ac y teimlai fod ei bobpeth yn glymedig wrthi; eto ni phetrusodd ymryddhâu oddiwrthi, gan olygu fod yn anmhosibl iddo fod yn gyson âg ef ei hun wrth gymeryd rhan mewn gwaddoli cyfeiliornad, ac yntau yn credu nad oedd dim a gyfreithlonai waddoliad y Llywodraeth oll ond yr ystyriaeth mai gwirionedd Duw ydoedd yn cael ei waddoli ganddi. Cam neu gymhwys yn ei olygiad, yr ydoedd yn ffyddlawn iddo, ac yn barod i wneyd aberth er ei fwyn. Nid oedd ei gyfeillion yn ôl o'i gynghori i beidio rhoddi ei le i fyny yn y *Cabinet*. Cynghorai Arglwydd Derby ef i beidio gwneyd y fath beth, gan ddangos y byddai raid iddo mewn canlyniad wrthwynebu mesur y Llywodraeth, ac y byddai mewn perygl o gael ei dynu i ganol cyffröad crefyddol gwyllt. Ond golygai efe nad allai, un ffordd arall, fod yn rhydd i ystyried beth a ddylasai wneyd heb fod yn agored i ddrwgdybiaeth ar y tir o ystyried ei lês personol. "A gwerth mawr," yn sicr, y prynodd

"y ddinasfraint hono." "Yr oedd y cysylltiadau politicaidd y safwn ynddynt," meddai, "i mi y pryd hyny yn alpha ac omega bywyd cyhoeddus. Golygid fod Llywodraeth Syr Robert Peel o nerth anorchfygol. Yr oedd fy lle fel Llywydd Bwrdd Masnach yn nghewyllyn ei gweithrediadau mwyaf dyddorol; oblegid yr ydoedd yn myned rhagddi o flwyddyn i flwyddyn gyda gwroldeb cynnyddol, tuag at ryddhâd llafur, a thrwy hyn at ddwyn oddiamgylch waith mawr a bendigedig arall o gyfiawnder cyhoeddus. Wrth roddi i fyny yr hyn a werthfawrogwn, teimlwn fy mod yn agored i'r cyhuddiad o fod yn fympwyol, ac yn ddiffygiol mewn ymostyngiad i awdurdodau gwirioneddol uchel; ac nid allwn lai na gwybod yr ystyrid fi yn gymhenus a dychymygol, yn gymhwysach i fod yn freuddwydiwr, neu, fe allai, yn un o'r ysgolwyr, nag i amcanion gweithgar bywyd cyhoeddus mewn oes brysur ac yn myned rhagddi. Mewn effaith felly yr ydoedd. Yn mis Ionawr, 1845, os nad cynt, gwnaeth y Cyfringyngbor ei benderfyniad; a rhoddais innau fy lle i fyny. Nid oedd y farn gyhoeddus yn cymeradwyo y weithred. Yr wyf yn cofio fod y *Daily News*, y pryd hyny fel yn awr yn bapyr tra enwog am anmhleidgarwch cyson ymron, yn gystal ag am ehangrwydd golygiadau a dirnadaeth uchel, yn sylwi ar yr amgylchiad fel un anfynych, ymha un yr oedd dyn cyhoeddus wedi ei niweidio ei hun gyda'r cyhoedd trwy weithred yr oedd yn rhaid mewn tegwch ei chymeryd fel gweithred o hunanymwadiad." Ymhen ychydig, galwai Arglwydd John Russell yn ei le yn y Senedd am eglurhâd ar yr achos o'i waith yn cilio o'r weinyddiaeth. "Atebais," meddai Mr. Gladstone, "fod a fynai â bwriadau y Llywodraeth gyda golwg ar Maynooth; fod y bwriadau hyny yn cyfeirio at 'fesur gwrthwynebol i'r golygiadau yr oeddwn i wedi eu maentumio,' 'yn y ffurf fwyaf cyflawn a phwyllog,' 'mewn traethawd argraffedig;' ac er nad oeddwn erioed wedi gosod ger bron unryw gyfundrefn o helyntion politicaidd fel 'dan bob amgylchiad yn anmhlygadwy a digyfnewid,' eto yr oeddwn yn meddwl na ddylai rhai oedd wedi dwyn y fath dystiolaeth ddifrifol i olygiad neillduol ar gwestiwn cyfansoddiadol mawr, 'fod yn gyfrifol am gynnygiadau a olygent ymadawiad pwysig oddiwrthynt.' Ac amcan fy ymneillduad ydoedd 'gosod fy hun, càn belled ag yr ydoedd yn fy ngallu, mewn sefyllfa i ffurfio barn, nid yn unig onest, ond hefyd annibynol ac uwchlaw drwgdybiaeth' ar y cynllun oedd yn debyg o gael ei gynnyg gan y Llywodraeth."

Dyna yr unig egwyddor ynte ar ba un y golygai efe y gallai y Llywodraeth gynnal crefydd, sef ei bod yn cynnal y wir grefydd. Yn ol hyn yr oedd gwaddoli Maynooth yn dinystrio yr unig dir iddo ef ar ba un y gallasai Eglwys Wladol yr Iwerddon hanfodi. Yr oedd noddi celwydd yn dinystrio eu hawl i noddi y gwirionedd. Nid ydoedd heb deimlo pan yn ysgrifenu y llyfr fod anhawsderau mawrion yn cylchynu yr Eglwys Sefydledig, ac y gallai yr anhawsderau hyny ddyfod mor fawr fel ag i alw am symudiad Sefydliadau. Ond wrth weled fod bywyd newydd y dyddiau hyny yn ymweithio yn y fath ddifrifwch o'i amgylch, a theimlo fod gwirionedd Duw gan yr Eglwys, ac heb wybod ond ychydig am nerth Ymneillduaeth yn y deyrnas, nid oedd yn rhyfedd ei fod yn ysgrifenu o blaid yr Eglwys Wladol fel un a deimlai y byddai iddi yn fuan ddwyn i'w mynwes yr holl boblogaeth.

Ond yn nghwrs blynyddoedd fe ddysgwyd iddo wersi newyddion. Nid profedigaeth fach i ŵr o syniadau mor uchel ydoedd canfod nad oedd neb ond efe ei hunan a feiddiai amddiffyn Eglwys Wladol ar y tir ei bod yn pregethu gwirionedd Duw. Yr oedd holl wladweinwyr y deyrnas yn edrych ar ei *ideal* ef fel rhywbeth llawer rhy uchel i fyd mor gyffredin â hwn. "Prin yr oedd fy ngwaith wedi dyfod allan o'r wasg na ddeuais i weled nad oedd un blaid, yr un adran o blaid, na dim un person, mae yn debyg, yn Nhŷ y Cyffredin, ag oedd yn barod i weithredu yn ei ôl. Mi gefais mai myfi oedd y dyn olaf ar y llong oedd yn myned i lawr." Ond gan na fŷnai ei gyfeillion weithredu ar ei egwyddor ef, yr oedd efe, o hyny allan, yn rhydd oddiwrth bob cyfrifoldeb i weithredu ar unrhyw egwyddor arall. Gan fod y Wladwriaeth yn mŷnu gweithredu oddiar *expediency*, yr oedd pethau yn cael eu symud i gylch nad oedd efe erioed wedi ei gydnabod, er nad allai fod yn ddibwys ganddo, wedi i bethau gael eu symud i'r cylch hwnw, eu bod yn cael eu cario ymlaen yn y ffordd fwyaf manteisiol i ddaioni y deiliaid. A chyda golwg ar Eglwys yr Iwerddon yn neillduol, nid allai lai na gofidio wrth weled mor aflwyddiannus yr ydoedd yn parhâu, a hyny yn nghanol pob manteision i lwyddiant.

"Canys y mae yr Eglwys Wyddelig, er terfyniad rhyfel y degwm yn 1830-2, nid yn unig wedi cael chware têg—hyny yw y fath chware têg ag yn yr Iwerddon a ganiatâ y Sefydliad i'r Eglwys—ond chware têg a rhywbeth mwy. Y mae wedi mwynhâu cyfleusdra, am ysbaid dros genedlaeth o ddynion, gyda'r fath amgylchiadau ffafriol ag nad ellid ymron ddysgwyl iddynt ddychwelyd. Beth fu ei hachos? Y mae wedi cael gwaddoliadau helaeth; diogelwch hirfaith; rhyddid na chafodd ymron aflonyddu arno o gwbl oddiwrth yr anghydfyddiaethau tufewnol sydd wedi bod yn ceryddu (er wrth geryddu, fel yr wyf fi yn credu, yn gwellhâu) Eglwys Loegr. Y mae y wybodaeth o'r Wyddelaeg wedi ei chyraedd yn helaeth gan ei chlerigwyr. Y mae wedi cael yr holl gefnogaeth a allesid roddi iddi gan bobl y wlad hon; canys y bobl, ac nid plaid yn unig, oedd y rhai, yn 1835 8, a wrthodasant ac a fwriasant ymaith yr *Appropriation Clause*. Y mae ei chydymgeisydd, Eglwys Rhufain, wedi gweled ei phobl yn cael eu darostwng i'r llawr gan newyn; ac wedi hyny eu teneuo o flwyddyn i flwyddyn, wrth y cannoedd o filoedd, gan nerth anwrthwynebol ymfudiad. Ac yn olaf, a phenaf o'r cwbl, yn nghanol yr ymweliad ofnadwy hwnw yn 1847-8, fe ddaeth y clerigwyr Protestanaidd at y boblogaeth Babyddol wedi eu dilladu yn ngwisg angelion y goleuni; oblegid, heblaw eu haelioni eu hunain (helaeth iawn, yr wyf yn credu ac ystyried eu gallu), fe ddaethant yn elusenwyr neillduol y genedl Brydeinig. A phan, ar ol hyn oll, y deuwn at gyfrifiad newydd o grefydd yn 1861, yr ydym yn canfod nad oes dim ond yr argraff wanaf wedi ei gwneyd ar nifer cymhariaethol y ddau gorff; argraff lawer ysgafnach, dybygaf, nag a ellid briodoli i arbediad cymhariaethol yr Eglwys Sefydledig oddiwrth ddyhysbyddiad ymfudiaeth; ac, os felly, yn arddangos mewn gwirionedd, nid ennill, ond colled o ryw ran o'r tir cyfyng a feddiennid o'r blaen gan grefydd fabwysiedig y Wladwriaeth."

A chofiwn safle neillduol Mr. Gladstone byth er pan yr enciliodd o weinyddiaeth Syr Robert Peel gyda golwg ar yr achos hwn. Yr oedd yr unig dir ar ba un y gallai efe gydsynio i waddoli crefydd wedi ei dòri ymaith o dan ei draed. A byth wedi hyny, ni ddarfu iddo, yn yspaid pum' mlynedd ar hugain, yngan gair i ddangos ei fod yn gallu cymeryd golwg wahanol ar y peth. Yn wir, ar ail ddarlleniad y *Maynooth College Bill*, dywedodd yn y Senedd, ei fod "yn ystyried yr hyn a wnaent yn dra phwysig, ac yn bwysicach oll wrth ystyried yr egwyddor a olygid yn y peth. Yr wyf yn dra phell, yn wir, oddiwrth ddyweyd ei bod mewn gwirionedd yn penderfynu ar dalu i offeiriaid Pabaidd yr Iwerddon gan y Wladwriaeth; ond nid ydwyf yn gwadu ei bod

yn gwneyd i ffwrdd â'r dadleuon crefyddol yn erbyn y mesur hwnw. Dyna wyf yn feddwl, na fyddwn ni, sydd yn cydsynio â'r *Bill* hwn, yn ol fy marn i, mewn sefyllaf mwyach i ddadleu rhesymau crefyddol yn erbyn y fath amcan" Drachefn yn 1846, awgrymid ar iddo wrthwynebu aelod o weinyddiaeth Arglwydd John Russell; yr hon ar y pryd oedd newydd ei ffurfio, ac wrth iddo wrthod gwneyd hyny, ysgrifenai: "Gyda golwg ar yr Eglwys Wyddelig, nid allaf fi fyned i ryfel â hwynt ar y tir na fydd iddynt wystlo eu hunain i ddal i fyny ddefnyddiad presennol eiddo Eglwysig yn yr Iwerddon." Peth cyfrinachol oedd hyn, ond y flwyddyn nesaf, 1847, cyfarfu â phrawf cyhoeddus o nerth ei argyhoeddiadau. Yr oedd Mr. Estcourt yn cilio o Rydychain, a chynnygid Mr. Gladstone yn ei le i gynnrychioli y Brifysgol. Nid allai edrych yn ddifater ar anrhydedd mor fawr. Edrychai Mr. Canning ar gynnrychioli y Brifysgol fel anrhydedd penaf bywyd politicaidd. Ac nid allai fod yn llai yn ngolwg Mr. Gladstone. Ond yn yr ymdrech, yr hon oedd yn un galed, gofynid beth oedd ei olygiad ar bwnc yr Eglwys Wyddelig. Gallesid meddwl, os buasai rhywbeth yn peri iddo gelu ei olygiad, y buasai y perygl o golli cynnrychiolaeth y Brifysgol yn gwneyd hyny. Yn ffodus y mae Syr John Coleridge, yr hwn oedd ar y pryd yn Rhydychain, ac yn ysgrifenydd pwyllgor Mr. Gladstone, wedi dyweyd yn un o'i areithiau yn Exeter yn Awst y flwyddyn ddiweddaf, sut y bu hi:—

"Foneddigion, rhaid i mi gael cenad—gan fod ymosodiad wedi ei wneyd ar Mr. Gladstone, a'i fod wedi cael ei awgrymu mai peth diweddar ydyw ei droedigaeth i'w egwyddorion presennol—i grybwyll yr hyn sydd o fewn fy ngwybodaeth a fy mhrofiad i fy hun mewn perthynas iddo. Yn 1847, pan oeddwn ar ymadael o Rydychain, mi gefais yr anrhydedd mawr o fod yn ysgrifenydd ei bwyllgor etholiadol cyntaf am y Brifysgol hono, ac yr wyf yn cofio yn dda fel, ar yr amgylchiad hwnw, yr oedd rhai o'i gefnogwyr hynaf a mwyaf cymedrol yn awyddus dros ben am dynu oddiwrtho ryw ymrwymiad y byddai iddo sefyll o blaid yr Eglwys Wyddelig. Fe wrthododd yn bendant i rwymo ei hun i ddim o'r fath."

Yn 1851 daeth yn wawch wyllt trwy y deyrnas ar bwnc y *Papal Aggression*, a dygwyd i'r Senedd yr *Ecclesiastical Titles Bill.* Gallesid dysgwyl i'r aelod dros Brifysgol Rhydychain ymuno â'r lliaws o Geidwadwyr a Rhyddfrydwyr i bleidleisio dros y mesur hwnw. Ond fe anturiodd ei wrthwynebu, ac fe siaradodd fel y canlyn:—

"Nis gallwn gyfnewid gogwyddiadau dyfnion ac anwrthwynebol yr oes at ryddid crefyddol. Ein gorchwyl ni ydyw eu harwain a'u llywodraethu. Hyn a ellwch wneuthur. Ond ymdrechu eu troi yn ôl sydd chware plant. yn cael ei gyflawni gan ddwylaw dynion; a phob ymgais a wnewch yn y cyfeiriad yna a ymdeifl yn ôl arnoch mewn trychineb a gwaradwydd."

Fel yr oedd amser yn myned rhagddo, yr oedd gorchwylion pwysig eraill yn cymeryd i fyny amser y Senedd, a chwestiwn yr Eglwys Wyddelig yn cael ei adael "fel un yn nghwsg, ond cwsg yr hwn sydd yn cael aflonyddu arno gan freuddwydion blin." O bryd i bryd, dygid mesurau i fewn ar yr achos, ac edrychid ar y neb a'u dygai fel *vox clamantis in deserto*, llef un yn llefain yn y diffaethwch, ac nid allai Mr. Gladstone lai na theimlo parch i'r cyfryw, ond pleidleisiai yn erbyn y mesurau, am ei fod yn eu hystyried gan mwyaf yn rhy anmherffaith i ateb nemawr ddyben o'u pasio, ac nad oedd yr amser eto wedi dyfod i ymwneyd â'r cwestiwn yn ei gyfanrwydd. Ond yr oedd pob ymgais o'r

fath yn gwneyd ei ran tuag at addfedu meddwl y deyrnas at fesur a sefydlai berffaith gydraddoliaeth crefyddol yn yr Iwerddon. Gadewid y peth mewn dystawrwydd hyd farwolaeth Arglwydd Palmerston; ond yn y cyfamser yr oedd yn hawdd gweled nad oedd teimlad yr Iwerddon at Brydain yn gwella dim, a chyn hir iawn fod yn rhaid i gwestiwn yr Eglwys Wyddelig ddyfod ger bron drachefn, a'r pryd hyny, fel yr ydoedd yn dra thebygol, i'w lwyr benderfynu. Ei feddwl cyntaf ef ydoedd, beth am ei etholwyr. Mae Syr Roundell Palmer yn yr achos hwn wedi gwneyd yr un gwasanaeth ag a wnaethai Syr John Coleridge gyda golwg ar amgylchiad ei etholiad dros y Brifysgol, sef egluro i'r wlad beth oedd teimlad Mr. Gladstone ar y peth yn 1863. Dywedodd wrtho ef y pryd hyny, pan nad oedd neb yn son am ddwyn yr achos ger bron, ei fod ef wedi gwneyd ei feddwl ei fyny ar bwnc yr Eglwys Wyddelig, ac nad allai ymgadw rhag amlygu ei argyhoeddiad; dymunai hefyd i'w gyfeillion yn y Brifysgol ystyried a ddymunent rhyw gyfnewidiad yn ei chynnrychioliad.

Yn 1865, pa ddygwyd cynnygiad ar yr achos gan Mr. Dillwyn, gwnaeth Mr. Gladstone araith yn y Tŷ ymha un y dywedai fod gweithredu y pryd hyny yn anmhosibl, ar unrhyw adeg y byddai anhawsderau mawrion i'w gwynebu, ond ei fod yn "gwestiwn y dyfodol." Ond rhoddodd ei resymau mewn dull cryno ond tra effeithiol yn erbyn yr Eglwys fel yr ydoedd, ond heb wneuthur unrhyw awgrymiad ei fod yn dymuno iddi barhâu fel Eglwys Sefydledig yr Iwerddon. Cwynai Mr. (yn awr *Chief Justice*) Whiteside yn fawr yn erbyn yr araeth hono, fel un a brofai, pan ddeuai yr amser, yn dra niweidiol i Eglwys yr Iwerddon. "Ond yr ydwyf yn cwyno," meddai, "fod Gweinidog, yr hwn ei hunan sydd yn awdwr llyfr mewn amddiffyn i Eglwys a Gwladwriaeth, sydd, pan mae un gangen o'r Eglwys Gristionogol dan ymosodiad ac mewn perygl, yn traddodi araeth, pob gair o ba un sydd yn elyniaethus i'w bodolaeth pan ddêl yr adeg i ymosod arni." Taenwyd yr araeth hon gan ei wrthwynebwyr ymhlith ei etholwyr, ac ysgrifenodd Dr. Hannah at Mr. Gladstone i ofyn am eglurhâd a leddfai ammheuon ar y pwnc. Baich ei atebiad oedd ei fod yn teimlo fod yn rhaid rywbryd wynebu y cwestiwn, ond yn ei olwg ef fod yr amser, y pryd hyny, yn ymddangos mor bell fel nad oedd yn dymuno ceisio "cario ei *feddwl ei hun* at gwestiwn a orweddai mewn pellder nad allai ei fesur."

Fe'i beïwyd yn fawr am yr araeth a'r llythyr, ac yn enwedig am ei fod yn siarad am y pwnc fel yn y fath bellder, ac yntau wedi hyny mor fuan yn ei ddwyn ymlaen ei hunan. Sut bynag, y mae gwaith ei wrthwynebwyr yn ei feïo am siarad felly, yn gydnabyddiaeth mai felly yr ydoedd yn siarad y pryd hyny, ac nad drychfeddwl newydd a ymsaethodd i'w feddwl fel cynllun i ddisodli Mr. Disraeli yn 1868 ydoedd dadsefydliad yr Eglwys Wyddelig, ond ei fod yn hen olygu y rhaid iddo rywbryd gael ei ddwyn ger bron, a'i benderfynu. Ac am y pellder, pwy, atolwg, sydd yn gallu mesur y dyfodol? "Yr oedd cwestiwn yr Eglwys Wyddelig," meddai, "yn fy ngolwg i yn y flwyddyn 1865, yr hyn, cofier, a ymddangosai cwestiwn Diwygiad Seneddol yn yr hanner gyntaf o'r flwyddyn 1830—sef yn gwestiwn pell. Pe gofynasai rhywun i mi, 'Pa mor fuan y daw ymlaen?' Atebaswn, 'Y nefoedd a ŵyr; fe allai mewn pum' mlynedd, fe allai y bydd yn ddeg.'" Ac a fuasai rhywun yn meddwl pan oedd y

Toryaid yn gwrthwynebu mesur Diwygiadol cymhedrol Mr. Gladstone yn 1866, ein bod ar drothwy *household suffrage*, a hyny yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan y dynion hyny, yn anad pawb, ag oedd yn siarad am y mesur dïogel arall fel chwyldroad, ac yn rhoddi ar ddeall i ni os byth y pasid ef, nad allem ddysgwyl dim llai na'r diluw i ganlyn? Os bu erioed aberth yn cael ei wneyd er mwyn lle a phoblogrwydd, fe ellid meddwl fod Mesur Diwygiadol y Toryaid yn 1867 felly, pan yr oedd y dynion oedd trwy y blynyddoedd, a hyd y fynyd olaf, yn condemnio pob cynnyg at y fath beth yn yr ymadroddion cryfaf oedd yn bosibl, yn ildio eu tir ac yn rhoddi i'r deyrnas y peth gwylltaf ymron y bu Siartiaeth erioed yn ddigon beiddgar i'w ofyn.

Yr unig reswm a allasai Mr. Disraeli roddi am ei waith yn ildio gyda y *Reform Bill*, oedd fod y wlad yn ymddangos yn benderfynol o'i gael, a'i fod yntau os eid i ymyraeth â'r achos hwnw o gwbl, yn awyddus i wneuthur hyny yn y fath fodd ag i roddi terfyn arno byth wedi'n. Rhesymau da; ond garw fel y gorfodwyd ef a'i gyfeillion wrth eu defnyddio i fwyta yr holl eiriau caledion yr oeddynt ar hyd y blynyddoedd wedi bod yn lefaru yn erbyn pobpeth o'r fath! Ac eto fe ddywedir nad oes dim anghysondeb yn hyn oll? Ond am Mr. Gladstone rhaid rhygnu yn dragywyddol am ei anghysondeb ef, a dyma ei eithaf wedi y cwbl: Ni ynganodd erioed air yn dangos ei fod yn gweled fod yn bosibl amddiffyn yr Eglwys Wyddelig gan nad oedd neb a ddadleuai dros wneyd hyny ar y tir o amddiffyn y gwirionedd; yr ydoedd yn gweled fod aflwyddiant hollol yr Eglwys hono, a hyny yn wyneb pob manteision i lwyddiant, yn galw am ystyriaeth a oedd yn werth ei dal i fyny yn y fath sefyllfa yn wyneb yr holl wrthwynebiad a deimlid iddi yn y wlad, ac ai nid oedd yn bosibl y byddai ei llwyddiant hi ei hunan yn fwy, pe diarfogid y gwrthwynebiad hwnw, ac y gosodid hi i ymddibynu ar ei hadnoddau ei hun; yr ydoedd sefyllfa neillduol yr Iwerddon, wedi ei chadw gymaint o amser heb yr *Habeas Corpus Act*, deddf fawr rhyddid personol y deiliaid, a chynhyrfiadau Ffeniaeth, a drygau cyffelyb, yn ei chadw mewn berw parhäus o anfoddlonrwydd, yn peri iddo ymofyn ai ni ddylid cyfarfod y Gwyddelod gyda mesurau o gyfiawnder a thegwch a roddai derfyn ar eu hanfoddlonrwydd, ac yn enwedig, dadsefydlu yr "*alien Church*," chwedl Mr. Disraeli—

I thank thee, Jew, for teaching me that word,—

oedd trwy yr oesoedd yn chwerwder enaid iddynt; ac yn olaf, yn gymaint â'i fod ef er ys blynyddoedd, fel yr ydym wedi gweled, yn teimlo y dylai pa fesur bynag a gynnygier gyda golwg ar yr Eglwys Wyddelig fod yn derfynol,—nid fel Mr. Disraeli yn nwylaw ei wrthwynebwyr, y rhai a dynent Fesur Diwygiadol "fel careïau o'i groen,"—a oedd yn rhyfedd ei fod, pan yn gweled fod yr amser wedi dyfod i benderfynu y pwnc, ac nad ellid aros dim yn hŵy, yn teimlo nad oedd yn bosibl bellach ymwrthod â'r cyfrifoldeb o ddadsefydlu Eglwys Wladol yr Iwerddon? Nid yn unig nid ydym ni yn gweled yn hyn oll ddim anghysondeb, ond yr oedd cysondeb a chydwybodolrwydd uchel cymeriad Mr. Gladstone yn ei arwain yn anocheladwy i'r fath benderfyniad. Nid oes ddadl nad ydoedd yn rhwymedig i ymdrechion rhai eraill am lawer o'r goleuni oedd yn ei arwain i hyn; ac nid oes ddadl nad i ymdrechion rhai eraill y mae y wlad gan mwyaf o lawer yn rhwymedig am y goleuni a dderbyniodd

mewn trefn i ffurfio y teimlad sydd erbyn hyn yn ei meddiannu, fod yn rhaid dadsefydlu yr Eglwys Wyddelig; ond wedi y cwbl, rhaid i ni addef fod darllen y llyfr yma o eiddo Mr. Gladstone wedi ein galluogi i'w ddeall yn well nag erioed o'r blaen, ac o'i ddeall yn well, i'w barchu ac i'w garu yn llawer mwy.

Am y Mesur a gynnygiodd yn Nhŷ y Cyffredin y cyntaf o Fawrth, nid oes dim i'w ddyweyd ond ei fod yn bobpeth a ellid ddymuno. Y ganmoliaeth benaf yn wir a ellir roddi iddo ydyw fod ei wrthwynebwyr wedi methu gwneuthur unrhyw argraff ar feddwl y deyrnas wrth geisio sefyll yn ei erbyn. Mae y ddadl am y pedair noson y bu cwestiwn yr ail ddarlleniad ger bron y Tŷ yn un enwog iawn. Yr areithiau pwysicaf o'r ochr Geidwadol oedd yr eiddo Mr. Disraeli, Syr Roundell Palmer, a Mr. Gathorne Hardy. Wedi darllen yr areithiau hyn fe welir yr oll sydd yn bosibl ei ddyweyd yn erbyn y mesur. A, gŵyr dyn, nid ydyw hyny yn llawer! Fe siaradodd Mr. Disraeli am dros ddwy awr o amser, ac mae yn debyg na thraddodwyd erioed ar amgylchiad pwysig araeth salach. Nid am nad oedd digon o a'lu yn cael ei ddangos, ond yr oedd y gallu hwnw yn cael ei wastraffu mewn chwareu ynfyd, pan oedd ei blaid yn dysgwyl ei weled, fel Samson, yn ymaflyd yn y colofnau yr ymgynnaliai y Mesur arnynt, ac yn tŷnu y cyfan i lawr yn ddymchweliad ac yn ddystryw ar y weinyddiaeth. Cymerai i fyny gyda pharodrwydd eiriau Mr. Gladstone fod yr achos oedd o'u blaen yn aruthrol fawr a phwysig, a safai fel amddiffynwr trefn yn erbyn tryblith chwyldröad; ond er hyn oll fe wastraffai ei amser i ymgywreinio gyda chwestiynau nad oedd fwy a fynent â'r achos ger bron nag â gwleidyddiaeth pobl y lleuad, ac mewn araeth a broffesai fod yn ymdrech ddifrifol i droi draw yr hyn a ymddangosai yn deyrnasiad annhrefn, fe deimlai y gallai oglais ei wrandäwyr i chwerthindod parhäus. Yr oedd yn dra difyrus i'w gwrando, ac y mae yn darllen yn eithaf difyrus; nid ydym ni ychwaith yn cweryla â Mr. Disraeli os ydoedd yn canfod nad oedd yn bosibl iddo wneyd yn wahanol ar y fath achos ag oedd ganddo; ond nid allem wrth ddarllen ei araeth lai na thosturio wrth y rhai sydd eto yn credu yn yr Eglwys Wyddelig, ac oeddynt yn ymddiried ei hamddiffyniad, ar awr ei pherygl, i ddwylaw y fath ddadleuydd. Yn lle rhyfelwr yn dyfod i'r maes, wedi ymwisgo âg arfogaeth annhreiddiadwy, ac yn dal yn ei law gyhyrog y waewffon a ddymchwelai y cadarnaf a anturiai ei wynebu, y cwbl a gaed ydoedd chwareuwr mewn ysnodenau, i beri i'r Philistiaid chwerthin. "Flimsiness relieved with spangles—the definition of a columbine's skirt," meddai y *Times* bore drannoeth, "is a too apt definition of Mr. Disraeli's speech last night." Yr ydoedd yn credu yn ddiysgog mewn Sefydliadau Eglwysig, bid siwr. Yr oedd yr athronyddion yn dyweyd wrtho ef—ac yr oedd yn falch ganddo ei fod wedi mwynhâu cymdeithas y rhai enwocaf o'r cyfryw—fod eu hymchwiliadau oll yn terfynu yn fuan yn yr anesboniadwy. Yr oedd yn rhaid wrth yr athronyddion enwocaf i ddwyn y fath wirionedd pellenig a dyeithrol i gyffyrddiad â meddwl y fath ŵr â Mr. Disraeli? Ond dyma yr ymresymiad: mae yr athronyddion enwocaf wedi darganfod fod eu hymchwiliadau goreu yn terfynu yn yr anesboniadwy; lle mae athroniaeth yn terfynu y mae crefydd yn dechreu; am hyny y mae gan Mr. Disraeli ffydd gref fod llwyddiant

mawr yn fuan i fod ar grefydd; ac am hyny y mae yn gysegrysbeiliad, &c., &c.,—pobpeth drwg—i ni yn y dyddiau hyn ddadwaddoli Eglwys y lleiafrif dyddim yn yr Iwerddon, er fod ei bodolaeth yn asgwrn cynen parhäus, ac yn feithriniaeth i'r teimladau mwyaf gwrthgrefyddol mewn bod. Carem wybod a oes rhyw ddynsawd o fewn "cylch bodaeth" a deimlai fod y fath ymresymiad yn meddu un math o gymhwysder i ddylanwadu er argyhoeddi ei feddwl? Fe fyddai hanes y cyfryw feddwl yn gaffaeliad ag y teimlai yr "athronyddion" yn ddiolchgar i Mr. Disraeli am dano. Ond y mae ei hanesyddiaeth braidd yn gyfoethocach na'i athroniaeth. "Yn ei farn ef am fod Eglwys Sefydledig yr oeddym wedi ennill rhyddid crefyddol ac yn mwynhâu goddefiad. Yr oedd y Pabyddion a'r Ymneillduwyr yn gwrthod breintiau eu heglwys i'r rhai nad oeddynt mewn cymundeb â hwynt. Gailai y pabydd gael ei esgymuno gan ei eglwys, a gallai y sectwr gael ei geryddu a'i ddiarddel gan ei gynnulleidfa; ond os dygwyddai hyny yn y wlad hon, ni fyddai dyn, er ei esgymuno, ei geryddu a'i ddiarddel, ddim yn wrthodedig,—yr ydoedd eglwys, o ba un yr oedd y Frenhines yn ben, na chydnabyddai egwyddor Ymneillduaeth, ac na feiddiai wrthod i'r dyn hwnw y breintiau oedd yn gysur i holl ddynolryw; gan hyny daliai efe mai y cysylltiad rhwng Eglwys a Gwladwriaeth oedd mewn gwirionedd y dïogelwch am ryddid crefyddol a goddefiad." Nid rhyfedd fod Mr. Bright yn dyfynu er adeiladaeth y boneddwr gwir anrhydeddus y dywediad ynghylch Voltaire, y gallai efe ysgrifenu hanesyddiaeth heb ffeithiau yn well na chyda hwynt. Oni buasai Eglwysi Sefydledig, fe fuasai y gair erlidigaeth—yr hwn sydd yn llanw y fath le ofnadwy yn hanes y byd—yn ddyeithr i ddynolryw; ac oni buasai fod gan Loegr ei Heglwysi Sefydledig fe fuasai y gwrthuni cableddus sydd ynglŷn â'r ymadrodd goddefiad crefyddol, yn beth na fuasai ein clustiau byth yn cael eu sarhâu wrth glywed son am dano. A pha fodd, atolwg, y mae Eglwys Sefydledig y wlad hon yn amddiffyn i ryddid crefyddol a goddefiad? Ai am ei bod yn cadw Pabyddiaeth draw, ac yn dïogelu rhag merthyrdod, fel y byddai ein tadau diniwed yn arfer meddwl? Dim o'r fath beth. Mae y gŵr mawr hwn yn rhy wybodus o lawer i geisio ein perswadio i gredu pethau felly. Mae drwy ei araeth yn siarad yn barchus iawn am Babyddiaeth, ac fe fuasai yn dda ganddo ei gwaddoli trwy y "lefelu i fyny;" a gŵyr yn eithaf da fod y Sefydliad yn y deyrnas hon mewn llïaws mawr o fanau yn myned yn Babyddol gyda'r cyflymder mwyaf: fe ŵyr hefyd,—mae y ffaith yn tremio yn rhy amlwg o flaen ei lygaid hyd yn nôd iddo ef ei gwadu, fod pob merthyrdod, yn gystal â phob graddau o erlidigaeth, a brofwyd erioed yn Mhrydain wedi codi o'r Eglwys oedd ar y pryd yn Sefydledig. Y mae anoddefgarwch yn elfen mor hanfodol mewn Sefydliadau Eglwysig fel nad oes yr un blaid mor bur fel ag i allu ymgadw rhagddo. Ond pan aiff Mr. Disraeli i son am ryddid crefyddol a goddefiad, fe wna hyny mewn modd mor ddeheuig fel ar un law y gochela yn gwbl yr holl anhawsder sydd ynglŷn â'r geiriau, ac ar y law arall y tery ddau aderyn âg un ergyd: yn gyntaf fe ddefnyddia eiriau y teimlai llïaws o'i ganlynwyr eu bod yn *watchwords*, ac yn dangos mor gyfoethog ydynt *hwy*, bid sicr, mewn gwir ryddfrydigrwydd, ac felly mor afresymol ydyw yr anfoddlonrwydd a ddengys yr Ymneillduwyr i'w gwladweiniaeth; ac yn ail, wedi taflu tamaid fel yna

i'r *country gentlemen* a'r llïaws Toryaid nad ydynt yn gallu fforddio ond ychydig iawn o'r peth costus hwnw a elwir meddwl, y mae yn ceisio dênu i'w rwyd y llïaws ymhlith y Pabyddion a'r Ymneillduwyr sydd erioed a byth yn ceisio cael allan y dirgelwch pa fodd i gadw iddynt eu hunain y cymeriad o fod yn grefyddol, ac ar yr un pryd byw yn ol eu chwantau pechadurus. Cewch fyw fel y mynoch, foneddigion! Diystyrwch bob dysgyblaeth. Dryllîwch eu rhwymau hwynt, a theflwch eu rheffynau oddiwrthych. Pe diarddelent chwi, y mae yr Eglwys barchusaf yn y wlad, Eglwys y Frenhines! yn barod i'ch derbyn. Fe allai y bydd rhai o'r dynionach hyn yn ddiolchgar i Mr. Disraeli am ei awgrym, ac yn derbyn y cyfryw "ryddid crefyddol a goddefiad;" ond pa mor ddiolchgar bynag fyddant hwy, fe fydd y bobl y maent yn flino yn bresennol yn llawer mwy diolchgar: fe fydd Ymneillduaeth lawer yn fwy nerthol o'u colli; a mawr groesaw i'r Eglwys Sefydledig o'r holl fantais a ennilla o gwmni dynion nad oes arnynt ei heisiau ond er mwyn yr enw a rydd iddynt eu bod yn fyw, tra y maent mewn gwirionedd yn ddrewedig farw. Fe'n sicrhëid gan Mr. Disraeli, os pesid y *Bill*, y byddai *revolution* yn canlyn, ac nad allai Lloegr fforddio *revolution*. "Mi dora' dy ben di, Robin," meddai mam unwaith pan wedi ei chythruddo gan hwyrfrydigrwydd ei gobeithiol ieuanc i wneyd ei harchiad, "os na wnei'r peth 'wy'n geisio gen' ti!" "Oh mam," meddai yntau yn gwbl hunanfeddiannol, "mi glywais i y siarad mawr yna o'r blaen." Yr ydym ninnau yn y deyrnas hon wedi clywed cymaint o siarad mawr Mr. Disraeli a'i gyfeillion Ceidwadol, fel y gallwn wrando yn dra hamddenol ar eu bygythion i gyd. Rhyw ddwy flynedd cyn pasio y Mesur Diwygiadol, pan oedd Mr. Baines yn cynnyg mesur digon diniwed yn y cyfeiriad hwnw, yr oedd *Old England* i fyned o'r golwg am byth os derbynid y fath beth. Clywsom bethau tebyg laweroedd o weithiau ar yr un mater, ac nid o gwbl yn fwy tanllyd nag yn amser *Reform Bill* Mr. Gladstone: ond ymhen ychydig ddyddiau dyma y boneddwr anrhydeddus ei hun yn rhoddi yr etholfraint i bawb, ac yn chwerthin yn galonog yn wyneb pryder ac ofnau y rhai a ddychymygent fod sŵn y diluw gerllaw. Yr un modd am bob mesur o ddiwygiad a ddygir ger bron y Senedd; tra yn ymladd ei ffordd i sylw a nerth, y mae y blaid Geidwadol yn gwneyd ei goreu i'w lethu, ac yn bygwth pethau ofnadwy os cerir ef trwy y Tŷ. Ond wedi i hyny gymeryd lle, y maent, yn enwedig dan "*education*" Mr. Disraeli, yn troi oddiamgylch ac yn galw ar yr holl deyrnas i ddiolch iddynt hwy am y fath fesur. Ni synem na wêl Mr. Disraeli ei ffordd cyn pen nemawr i brïodoli i'w graffder a'i ddoethineb ryfedd ef ei hun ddadsefydliad yr Eglwys Wyddelig.

Buasai yn dda genym pe buasai ein gofod yn caniatâu i ni adolygu yr holl ddadl. O'r ochr Geidwadol, yr araeth oreu oedd eiddo Syr Roundell Palmer, Rhyddfrydwr. Ni agorodd Arglwydd Stanley ei enau. Am areithiau Mr. Gladstone, Mr. Bright, Mr. Lowe, Mr. Miall, Mr. Henry Richard, ac eraill, o blaid y Dadgysylltiad, yr oeddynt uwchlaw canmoliaeth. Y mae yr achos hwn yn awr wedi ei benderfynu. Pleidleisiodd 250 yn erbyn y Mesur, a 368 o'i blaid: mwyafrif o'i blaid, 118.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

## DELW Y DUW ANWELEDIG.

"* * * yr hwn yw delw Duw."—2 Cor. iv. 4.
"Yr hwn yw delw y Duw anweledig, cyntaf-anedig pob crëadur."—Col. i. 15.
"Yr hwn, ac efe yn ddysgleirdeb *(dysgleiriad allan)* ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei berson (ei *hanfod)* ef."—Heb. i. 3.

Y MAE yn hysbys fod yr ymadroddion hyn oll yn golygu yr Arglwydd Iesu Grist—yr Ail Berson yn yr Hanfod Dragywyddol. Ac y maent nid yn unig yn cyfeirio ato Ef yr hwn yw yr Ail Berson, ond y mae sylfaen y cwbl a ddywedir am dano yma i'w chael yn neillduolrwydd ei Berson fel Mab Duw. Am ei fod yn *Fab* Duw, y mae yn *ddelw* Duw; ac am ei fod yn "ddelw Duw," y mae yn "gyntaf-anedig yr holl grëadigaeth"—yn hanfodol gymhwys i fod yn gyfrwng pob dadguddiad o'r Duwdod mewn natur a gras. Y mae y geiriau uchod yn wir am dano mewn dwy ystyr—fel y mae yn Berson Dwyfol, ac hefyd fel y mae yn Gyfryngwr. Ond nis gallasent fod yn wir am dano fel Cyfryngwr, oni buasai eu bod yn wirionedd am dano fel Person yn y Drindod Fendigaid. Mewn geiriau eraill, y mae y Bibl yn ein dysgu mai Duwdod y Mab ydyw sylfaen ei gyfryngdod; ac nid hyny yn unig—nid y cymhwysder ydyw ei fod *yn* berson dwyfol yn unig, ond ei fod *y* person neillduol ag ydyw, sef yr *ail* Berson—y *Mab,*—y mae trefn ogoneddus y gweithrediadau dwyfol, mor bell ag y rhoddwyd i ni i'w canfod yn ngoleuni dadguddiad, yn rhoddi ar ddeall i ni mai *hyn* ydyw gwreiddyn ei gymhwysder i fod yn "Gyfryngwr rhwng Duw â dynion;" fel ag y mae ei fod "y dyn Crist Iesu," wedi ei fedyddio â bedydd gwaedlyd y groes, yn berffeithiad ar y cymhwysder hwnw. Yr oedd tragywyddol rinweddau yn ei Berson ag ydoedd yn ei gymhwyso i fod yn Iachawdwr i'r crëadur hunan-ddinystriedig; ac eto yr oedd yn rhaid ei "berffeithio yn Dywysog Iachawdwriaeth trwy ddyoddefiadau." Sylfaen ei gymhwysder i'w waith fel yr Adferwr Mawr oedd ei fod yn *Fab;* ni fuasai neb ond Duw, na neb ychwaith ond *Mab* Duw, yn addas i'r swydd hon: ond "er ei fod yn Fab," yr oedd yn rhaid iddo yntau "ddysgu ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd," mewn trefn i'w "berffeithio" yn "Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo." Ond yr ydym yn tybied fod y gwirionedd yna yn cael ei addef a'i ddeall yn fwy cyffredinol na'r gwirionedd cyferbyniol yn y gosodiad, sef—na buasai yn bosibl ei "berffeithio yn Awdwr iachawdwriaeth," na'i "wneuthur" yn Waredwr trwy unrhyw oruchwyliaeth mewn amser, oni buasai am y tragywyddol gymhwysder oedd yn hanfodol yn ei Berson i ymgymeryd yn llwyddiannus â'r holl waith. Er mwyn ceisio dwyn y gwirionedd pwysig a

gogoneddus hwn i sefyll mewn goleuni mwy clir i rywrai o'n darllenwyr, ni a amcanwn edrych arno trwy ddrych y ddau ymadrodd—"delw y Duw anweledig," a "chyntaf-anedig yr holl grëadigaeth." Ac y mae yr ymadrodd olaf hwn, fe allai, yn dyfod yn fwy dealladwy wrth ei esbonio â'r ymadrodd arall a ddefnyddia y Person mawr am dano ei hun yn llyfr y Dadguddiad: "dechreuad crëadigaeth Duw."

Rhag i neb gamsynied yn y cychwyn, a meddwl na fydd yn y sylwadau hyn ddim i ateb unrhyw ddyben ymarferol, fe allai y dylem grybwyll fod i'r gwirionedd sydd dan sylw y cymhwysiad ymarferol mwyaf pwysig sydd mewn bod. Y mae yn debyg yr addefa pawb nas gall dim fod yn meddu mwy o bwys ymarferol na gwaith pechadur yn chwilio am *sylfaen* ddïogel i adeiladu arni ei obaith am fywyd tragywyddol. Nid oes yr un ddyledswydd ymarferol o gymaint pwys i ni âg ydyw "cloddio a myned yn ddwfn" i gael gafael ar y graig; ac un o'r ffyrdd mwyaf effeithiol i hyny ydyw myfyrdod ar Grist yn ngoleuni y dadguddiad am dano, ac mewn ysbryd gweddi. Dyma y ffordd i ddechreu sylfaenu ar y graig: a thrwy ddal i gloddio mewn myfyrdod sanctaidd, dygir ni i weled ac i deimlo mwyfwy o gadernid y sylfaen, a thrwy hyny i adeiladu arni yn barhäus. Dyna y mae y gwirionedd sydd dan ein sylw yn yr ysgrif hon yn ei wneyd—ein dwyn i olwg cadernid sylfaen iachawdwriaeth yr Eglwys; ehangu ein meddyliau am fawredd yr Arglwydd Iesu, trwy ddangos fod yr hyn oll ag ydyw Iesu Grist i bechadur fel Cyfryngwr yn sylfaenedig ar yr hyn ydyw Efe ei hunan yn ei Berson tragywyddol —fod y Person yn gyfaddas i'r swydd, ac oblegid hyny y swydd yn gyfaddas i'r Person—fod addasrwydd hanfodol a thragywyddol yn yr Ail Berson i'r holl waith yr ymgymerodd Efe â'i gyflawni fel Cyfryngwr. Ond i ni ystyried y mater hwn yn deilwng, ni a gawn weled fod ein hiachawdwriaeth wedi ei sylfaenu mewn lle cadarn—yn nyfnderoedd y natur Ddwyfol ei hunan. Nid oes dim yn fwy o gefnogaeth i ffydd nag i ni olrhain ein hiachawdwriaeth i'w gwreiddiau; oblegid po bellaf yn ol yr äwn, cadarnaf yn y byd y mae y drefn yn myned yn barhäus. Y cymhwysder sydd yn Iesu Grist i fod yn Waredwr i ni fel y mae yn awr yn cael ei gynnyg yn yr Efengyl, nid cymhwysder diweddar ydyw —nid cymhwysder a ddaeth i fod yn ngwlad Judæa ddeunaw cant o flynyddoedd yn ol: na, yr oedd yna ryw addasrwydd gwreiddiol a thragywyddol yn ei Berson mawr i fod yn Waredwr i bechadur. Y mae yn wir fod yn rhaid iddo ddyfod i natur a sefyllfa pechaduriaid—cael ei "wneuthur o wraig a'i wneuthur dan y ddeddf," byw ac ufuddhâu, dyoddef a marw,—mewn trefn i'w "berffeithio yn Dywysog Iachawdwriaeth." Ond yr oedd yr holl gymhwysderau swyddol yn gorphwys ar gymhwysderau hanfodol. Yr oedd y Person mor gymhwys i'r swydd fel yr eneiniodd ei Dad Ef iddi er tragywyddoldeb, "er y dechreuad cyn bod y ddaear!" Y fynyd y mae pechadur yn credu yn Iesu Grist, y mae ei enaid o'r fynyd hono allan yn gorwedd ar *graig o Dduwdod.*

Ond i ddychwelyd at y ddau ymadrodd sydd dan sylw:—"delw y Duw anweledig" a "chyntaf-anedig pob crëadur," neu fel y dylid yn hytrach gyfieithu—"cyntaf-anedig yr holl grëadigaeth" (πάσης κτίσεως). Y mae yn ddïau fod yr ymadroddion hyn i'w deall am yr Arglwydd Iesu yn yr ystyr fwyaf ëang—*yn ei holl Berson ac yn ei holl waith—yr hyn ydyw yn hanfodol ac yn swyddol—cyn ac wedi ei ymgnawdoliad—fel Tragywyddol*

*Fab Duw yn gystal âg fel Cyfryngwr rhwng Duw a dynion:* yr Arglwydd Iesu Grist yn yr ystyr ëang yna, fel cyfrwng pob dadguddiad—fel Pen pob crëadigaeth.* Ac fel y dywedwyd, y maent yn gymhwys ddarluniad o hóno fel Cyfryngwr am fod eu cynnwys eisoes ac erioed yn rhinweddol ynddo fel Person. Cyfyngwn ein sylw yn yr ysgrif hon i'r ymadrodd blaenaf yn unig: sef

DELW Y DUW ANWELEDIG. Y mae yma dri syniad y gallwn eu defnyddio fel graddfa, y naill yn gymhorth i esgyn i'r llall.

1. *Yr Anweledig.* Y mae cysylltiad anwahanol rhwng y gweledig â'r anweledig. Pe byddai modd i ni yn ein meddyliau wahanu y grëadigaeth oddiwrth yr anweledig, fe gollai ei mawredd ar unwaith. Ni byddai yma ddim mwyach i gynnyrchu ysbryd addoli. Dyna y mae yr anffyddiwr yn geisio wneyd. Pan y mae efe yn edrych ar y nefoedd, nid ydynt iddo ef yn waith bysedd Duw, ac nid yw y lloer a'r sêr yn ordeiniadau Crëawdwr. Defnydd ydyw y cwbl—cydymgrynhöad damweiniol gronynau:—corff heb enaid. Neu, os ceisia eu bywhâu, nid oes ganddo ond ffug-fywyd: dwyfoli deddfau dan yr enw Natur, neu ddwyfoli mater drwy y breuddwyd o Bantheistiaeth. Y mae hyn yn yspeilio y grëadigaeth o'i hystyr a'i gogoniant. Fel y dywedodd un, y mae yr anffyddiwr yn troi y grëadigaeth o fod yn deml i fod yn *warehouse*—ystorfa nwyddau; cysegr-yspeiliad nid annhebyg i eiddo yr Iuddewon gynt a dröent deml Dduw yn dŷ marchnad, ac a'i gwnaent trwy hyny yn "ogof lladron." Ond y gwirionedd ydyw, nis gall y gweledig sefyll am foment ond ynglŷn â'r anweledig.

Ar y llaw arall, ni fuasai yn bosibl i'r anweledig gael ei adnabod ond drwy y gweledig. Fe fuasai y Duw anweledig yn aros byth heb ei adnabod na'i addoli, oni buasai iddo ddadguddio ei hunan trwy y pethau a welir. Ond, yr awrhon, "ei anweledig bethau ef, er crëadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg, sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod."

Y mae *eisteddle* pob gallu ac ysgogiad yn yr anweledig. "*Cuddiad* ei gryfder." Y mae "cuddiad" yn perthyn i bob cryfder. Y mae pob gallu yn ymguddio. Y mae cartref gallu o'r golwg. Hynod fel yr ydym wedi ein hamgylchynu gan y byd anweledig! Yn myd pethau anweledig yr ydym ni hyd yn nôd yn awr yn byw ein bywyd mwyaf *real.* Nis gallwn feddwl yn hir neu yn ddwys ar ddim, nis gallwn olrhain dim i'w achosion, nad ydym ar unwaith yn cael ein cario i'r anweledig. Dyma ddyn yn siarad uwchben cynnulleidfa. O ba le y mae y geiriau yn dyfod? Ymha le y maent yn cael eu bod? Yr ateb ydyw—yn y *meddwl.* Y meddwl sydd yn crëu corff o eiriau iddo ei hunan, i amlygu ei hunan trwyddo i feddyliau eraill. Ond ymha le y mae y meddwl drachefn? Y mae hwnw o'r golwg: byd anweledig ydyw byd y meddwl. Dyma fi yn codi fy mraich: y mae eisieu gallu i hyny. O ba le y mae y gallu yn dyfod? Yr ateb ydyw—"rhyw ddylanwad o'r ymenydd sydd yn gweithredu ar y gewynau a'r cyhyrau i beri yr ysgogiad." Ond o ba

*εἰκών (image) must not be restricted to Christ corporeally visible in the Incarnation, but understood of Him as the manifestation of God in His whole Person and work—pre-existent and incarnate. It is obvious, that in this expression, the Apostle approaches very near to the Alexandrian doctrine of the *logos.*—*Alford.*

le y mae y dylanwad hwnw yn cychwyn? O ba le hefyd ond o'r ewyllys —o'r meddwl—o'r anweledig? Beth sydd yn cadw gwrthddrychau ar wyneb y ddaear, ac yn cadw y ddaear ei hunan i droi yn ei chylch yn lle gwibio drwy yr ehangder? Cynnyrchir rhai o'r effeithiau hyn fel y mae yn hysbys gan ddeddf syml attyniad; cynnyrchir eraill o honynt gan y ddeddf hono yn gwrthweithio ac ar yr un pryd yn cydweithio â deddf arall—mantoliad prydferth rhwng y *force* sydd yn ceisio y canolbwynt a'r llall sydd yn ffoi oddiwrtho, a hyny yn peri fod yr ysgogiad gwreiddiol yn cymeryd y ffurf o dro parhäus a rheolaidd mewn cylch. Ond ymha le y mae y deddfau hyn? Pwy all eu dangos—pwy all roddi ei fŷs arnynt? Y mae y deddfau o'r golwg; eu gweithrediadau yn unig sydd yn y golwg. Y mae yr un peth yn wir am holl nerthoedd y grëadigaeth: yr effeithiau yn unig sydd i'w gweled, y mae yr achosion yn ymguddio. Y mae pob gallu ac ysgogiad mewn natur yn gwreiddio yn yr anweledig.

2. *Y* Duw *anweledig.* Dyma ni yn awr wedi dyfod at enaid y cwbl, bywyd yr holl grëadigaeth naturiol ac ysbrydol—y *Duw* anweledig. Yr ydym wedi dyweyd fod geiriau dyn wedi cael eu bôd yn ei feddwl. Ond ymha le y cafodd y *meddwl* ei fôd? Ymha le hefyd ond yn yr Hwn sydd yn "Dad yr ysbrydoedd?" Y mae gweithrediadau natur yn cael eu bôd yn neddfau a galluoedd natur. Ond ymha le y cafodd y *deddfau* a'r *galluoedd* eu hunain eu bôd? Ymha le hefyd, ond ynddo Ef "*o'r* hwn y mae pob peth"—yn yr Hwn y mae yr holl grëadigaeth "yn byw, yn symud, ac yn bod?" Y mae *deddf* a *gallu* yn eiriau diystyr heb eu cysylltu â *Duw.* Y mae pob ysgogiad yn ffrwyth deddf; nis gall deddf hanfodi heb allu y tu cefn iddi; y mae gallu i'w olrhain i ewyllys; ac y mae ewyllys yn ffynnoni mewn Bôd Personol. Y mae y byd gweledig i gyd yn pwyso ar y byd anweledig; ond ar ba beth y mae *hwnw* yn pwyso? Ar y *Duw* anweledig. Y mae y *byd* anweledig yn ei ddeddfau, ei nerthoedd, ei egwyddorion, a'i wirioneddau, yn cael ei gynnwys erioed yn y *Duw* anweledig. Nis gellir byth fyned yn ddim pellach yn ôl na hyn. Dyma Achos yr achosion, yn bod erioed o angenrheidrwydd gogoneddus—gwreiddyn pob hanfodiad.

3. Delw *y Duw anweledig.* Yr ydym wedi gweled fod pob peth wedi gwreiddio yn Nuw—nerthoedd anfeidrol o allu, nerthoedd anfeidrol o ras—pobpeth crëadigaeth a phobpeth iachawdwriaeth; y maent yn bod erioed yn y Duw anweledig. Ond dyma y cwestiwn mawr:—Pa fodd y gall y cyfoeth diderfyn yma *ddyfod allan—ddyfod i'r golwg?* Oblegid ei "*anweledig* bethau Ef" ydyw y cwbl. Y maent wedi eu cuddio am byth allan o olwg pob crëadur yn nyfnderoedd y natur Ddwyfol. Y mae y gair "anweledig" yn yr adnod sydd uwchben ein hysgrif yn meddwl mwy na bod allan o'r golwg: y mae yn cynnwys bod *allan o'r cyraedd;* nid yn unig yr hyn sydd anweledig, ond yr hyn sydd yn *anghyfranogol* hefyd.* Y mae yna gyflawnder anfeidrol yn Nuw—i grëu, i achub, i bobpeth; ond yn y "Duw anweledig" y mae y cwbl. Yn ei gysylltiad â Pherson y Tad fel gwreiddyn a chynnrychiolydd y Duwdod, y mae y cyflawnder mewn ffurf mor oruchel a Dwyfol, nes bod yn *anghyfranogol.* "Y peth sydd bell a dwfn iawn," meddai

* ἀόρατος includes in it not only the *invisibility*, but the *incommunicability* of God. —*Alford.*

Solomon, "pwy a'i caiff?" Felly y mae pethau Duw: y maent yn "bell" ac yn "ddwfn iawn;" "Dwfn iawn yw dy feddyliau;" uwch na'r nefoedd, dyfnach nag uffern, cyhyd â thragywyddoldeb—anfeidrol yn eu holl fesurau. "Pwy a'u caiff?" Ni a allwn ateb,—ni chaiff *neb* mo honynt; hwy a fyddant yn gorwedd am byth yn nirgelwch y natur Ddwyfol, heb yr un crëadur i'w gweled na'u mwynhâu, os na cheir hyd i ryw GYFRWNG cyfaddas—*cyfrwng* trwy ba un y gellir eu dadguddio a'u cyfranu.

Ond ymha le y mae y cyfrwng hwnw i'w gael? Gwelir oddiwrth natur y peth nad yw i'w gael yn unman, os na cheir ef *yn Nuw ei hunan.* Ond fe'i cafwyd yno: do, fe'i cafwyd! Fe gaed Cyfrwng anfeidrol gyfaddas i'r Duw anweledig ddadguddio ei hunan drwyddo, fel Crëawdwr ac Achubwr. "Duw a edrychodd *iddo ei hun*" am y Cyfrwng hwn:—"yr hwn yw *delw* y Duw anweledig." O air gogoneddus! gair o bedair llythyren, ond gair ag y mae holl ryfeddodau y grëadigaeth naturiol yn cael eu cynnwys ynddo, ac nid yn unig hyny, ond gair a'i lon'd o iachawdwriaeth i bechadur:—"*delw*—DELW y Duw anweledig." Y mae pob dadguddiad o'r Duw anweledig mewn natur a gras yn cael eu gwneyd trwy y *ddelw;* y mae y grëadigaeth naturiol ac ysbrydol wedi cael eu bôd trwyddo Ef, fel y dengys yr Apostol yn yr adnodau dilynol i'r un sydd dan sylw:—"Canys trwyddo ef y crëwyd *pob dim* a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac yn anweledig, pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddiannau; pob dim a grëwyd trwyddo ef, ac erddo ef. Ac y mae efe cyn pob peth, ac ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll. Ac efe yw pen corff yr eglwys: efe yr hwn yw y dechreuad, y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw; fel y byddai efe yn blaenori ymhob peth. Oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef."

Y mae addasrwydd gwreiddiol yn yr Ail Berson i fod yn gyfrwng pob dadguddiad o'r Duwdod, mewn crëadigaeth ac iachawdwriaeth,—a hyny oblegid ei fod yn *Fab* Duw. Nid fel Cyfryngwr y mae Iesu Grist yn Fab Duw, ond fel Person: ac am ei fod yn gymhwys o ran ei berson yr ordeiniwyd ef i fod yn Gyfryngwr o ran swydd. Y mae yn dragywyddol Fab Duw, ac oblegid hyny y mae yn dragywyddol ddelw Duw. Fe'i gwnaed Ef yn ddelw swyddol o hóno fel Cyfryngwr, am ei fod yn ddelw hanfodol o hóno fel Person: "Yr hwn *yw* delw y Duw anweledig." Onid yw y *Mab* o angenrheidrwydd yn ddelw o'r Tad? —ac oblegid hyny, pwy mor gymhwys a'r Mab i "hysbysu" y Tad? Ynddo Ef yr oedd y Tad yn ei weled ei hun, ac am hyny trwyddo Ef y mae y Tad yn ei amlygu ei hun. Efe yw delw Duw, ac am hyny Efe sydd yn hysbysu Duw.

Rhag i ni yn y fan yma gymysgu pethau sydd â gwahaniaeth rhyngddynt, y mae yn angenrheidiol i ni gofio mai nid yn undod yr Hanfod Ddwyfol, ond yn *neillduolrwydd gwahaniaethol ei berson,* y mae y Mab yn ddelw o'r Tad. Y mae ystyr yn bod yn yr hon nad oes dim a ellir ei fynegi am y Tad nas gellir ei fynegi yr un modd am y Mab. Yn yr ystyr hon y dywedir fod y Mab "yn y Tad," a'r Tad "yn y Mab:" "Onid wyt ti yn credu fy mod i yn y Tad, a'r Tad ynof finnau?" "Fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti:" (Ioan xiv. 10, a xvii. 21). Yn yr ystyr yma, y mae yr hyn oll sydd

eiddo y Tad yn eiddo y Mab hefyd, canys y mae Efe a'r Tad "yn *un*" —yn un mewn [illegible] pe buasai y gair "cyfranogiad" yn brïodol i'w gymhwyso at undod perffaith ac anranadwy) o'r un natur Ddwyfol, ac o holl [illegible] goruchel y natur hono. Gyda golwg ar yr undod hanfodol hwn, a'i ystyried ynddo ei hunan neu mewn ystyr *absolute*, fel y mae y Mab yn y Tad yn gystal â'r Tad yn y Mab, nis gellir dyweyd fod y naill yn ddelw o'r llall. Yn yr ystyr hon y dywed Crist "Myfi a'r Tad un ydym:" ac (fel y sylwa Dr. Owen) nis gall yr hyn sydd yn *un* fod yn ddelw o hono ei hunan yn yr un peth (neu yn yr un ystyr) ag y mae yn un.

Ond y mae y gwirionedd mawr sydd genym dan sylw yn cynnwys, ac yn seiliedig ar, wahaniaethiad personol yn gystal ag undod hanfodol. Gwelir hyn yn yr adnodau cyntaf o Efengyl Ioan: "Duw *oedd* y Gair"—dyna undod hanfod; y Gair oedd *gyda* Duw"—dyna wahaniaethiad personol. Yn ei fodolaeth personol, gwahaniaethol, y mae Crist yn "ddelw y Duw anweledig;" ac eto, wrth gwrs, nid yn ngwahaniaethiad y person ar wahân oddiwrth undod yr hanfod. Rhaid cael y ddau gyda'u gilydd i gydsefyll yn ein syniad ni am y Person Mawr sydd yn ddelw Duw, megys ag y maent yn cydsefyll yn wirioneddol a thragywyddol ynddo ef ei hunan. Cydgyfarfyddiad y ddau—ond yr ydym yn teimlo, newydd ysgrifenu y gair "cydgyfarfyddiad," ei fod yn air anmhriodol i'w gymhwyso at fater mor oruchel, am ei fod yn air sydd yn gwreiddio mor llwyr o fewn cylch yr amserol a'r meidrol—yn hytrach *cydhanfodiad* tragywyddol ac angenrheidiol y ddau, sef undod natur a gwahaniaethiad personau, sydd yn cyflawni y drychfeddwl o ddelw Duw. Heb y gwahaniaethiad personol, nis gallasai efe fod yn ddelw Duw *o gwbl;* ac heb yr undod natur, nis gallasai fod yn ddelw *gywir* o hóno. Ond am fod y naill gyda'r llall, neu yn hytrach y naill *yn* y llall, y mae yma *ddelw*, a hono yn ddelw *berffaith*. Y mae Efe fel hyn yn "llun," ac yn "*wir* lun" (χαρακτὴρ) ei "berson"—ei "hanfod" Ef;—y mae tebygolrwydd person y Mab i berson y Tad mor berffaith—tebygolrwydd yn gwreiddio mewn undod hanfod, neu gydfeddiant o'r un natur Ddwyfol,—fel ag y mae y Mab yn "ddysgleirdeb"—yn "ddysgleiriad allan"—yn ymbelydriad tragywyddol o'i ogoniant Ef.

Peth arall angenrheidiol i'w gofio tuag at i'n syniad fod yn gywir mor bell ag y mae yn cyraedd (er y rhaid iddo fod o angenrheidrwydd yn fŷr ac yn dra anmherffaith) am y gwirionedd mawr hwn, ydyw—*ffurf neu natur y berthynas rhwng person y Tad a pherson y Mab.* Dywedasom o'r blaen mai fel person gwahaniaethol, ac eto yn undod yr hanfod, y mae yr Ail Berson yn "ddelw y Duw anweledig." Yr ydym yn awr yn chwanegu mai fel y mae y Person goruchel hwnw yn *Fab*, mewn modd arbenig, y mae Efe yn ddelw Duw. Tuag at synio yn gywir am dano fel "delw Duw," rhaid i ni gadw mewn cof, nid yn unig ei fod yn berson gwahaniaethol, ond *pa fath* berson ydyw; neu ffurf y berthynas sydd rhwng y Person Cyntaf a'r Ail Berson, yr hon a osodir allan trwy yr enwau *Tad* a *Mab*. Y mae y drychfeddwl am Grist fel delw Duw yn cynnwys o angenrheidrwydd y ddau wirionedd cyferbyniol y galwyd sylw atynt yn y paragraph o'r blaen: sef, yn gyntaf—ei fod yn meddu yr un prïodoliaethau Dwyfol â'r Tad, mewn undod hanfod; yn ail—ei fod ar yr un pryd, er yn un mewn natur, eto yn berson gwahaniaethol

oddiwrth y Tad. Ond y mae hanfod y syniad o *ddelw* yn gwreiddio mewn gwirionedd arall—sef, yn neillduolrwydd yr Ail Berson fel MAB. Am ei fod yn Fab Duw, ac fel y mae yn Fab, y mae Efe yn ddelw hanfodol o'r Tad. Oblegid (fel y mae Dr. Owen yn sylwi), er fod y Tad yn meddu yr holl brïodoliaethau Dwyfol hanfodol sydd yn eiddo y Mab, eto ni ddywedir fod y Tad yn ddelw o'r Mab. "Y mae y syniad hwn o ddelw yn golygu nid y pethau eu hunain, ond dull y cyfranogiad o honynt. Yn awr y mae y Mab yn derbyn yr oll oddiwrth y Tad, a'r Tad nid yw yn derbyn dim oddiwrth y Mab. Pa beth bynag sydd yn perthyn i berson y Mab, fel person y Mab, y mae Efe yn ei dderbyn oll oddiwrth y Tad trwy dragywyddol genedliad: 'Canys megys y mae gan y Tad fywyd ynddo ei hunan, felly y rhoddes efe i'r Mab hefyd fod ganddo fywyd ynddo ei hun,' Ioan v. 26. Efe gan hyny ydyw delw hanfodol y Tad, oblegid y mae holl brïodoliaethau y natur Ddwyfol yn cael eu cyfranu iddo ef ynghyda phersonoliaeth—oddiwrth y Tad."* Fel hyn, y mae perthynas naturiol ac angenrheidiol rhwng y ddau syniad o "Fab" a "delw." Ac eto, y mae gwahaniaeth rhyngddynt; ac nis gallwn ddeall y berthynas yn iawn ond yn ngoleuni y gwahaniaeth. Y mae y ddau ymadrodd yn dïogelu ac yn deffinio eu gilydd. Pan ddywedir fod Crist yn Fab *Duw*, nid y natur Ddwyfol a olygir, ond Duw yn mherson y Tad. Ac ar y llaw arall, pan ddywedir fod Crist yn ddelw y *Tad*, nid fel person y Tad y golygir ef, ond fel Duw. Fel hyn y mae yr ymadroddion ysgrythyrol yn ei osod ef allan: "Fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw *Duw*;" "Yr hwn yw delw y *Duw* anweledig;" "*Duw* * * a lefarodd yn ei Fab * * * yr hwn ac efe yn ddysgleirdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei berson ef, &c." Y mae Efe yn Fab Duw, ond Duw fel *Tad*. Y mae Efe yn ddelw y Tad, ond y Tad fel *Duw*. Rhoddwn yma ychydig eiriau ar y mater hwn o lyfr ardderchog Liddon ar Dduwdod Crist, ar yr hwn y cawsom adolygiad mor alluog a meistrolgar yn y rhifyn diweddaf o'r TRAETHODYDD. Cyferbynu yr enwau "Mab Duw" a "Delw Duw" y mae yr awdwr, mewn brawddeg neu ddwy:—

"The expression εἰκὼν τοῦ Θεοῦ supplements the title of 'the Son.' As 'the Son' Christ is derived eternally from the Father, and He is of One Substance with the Father. As 'the Image,' Christ is, in that One Substance, the exact likeness of the Father, in all things except being the Father. The Son is the Image of the Father, not as the Father, but as God: the Son is 'the Image of God.' The εἰκὼν is indeed originally God's unbegun, unending reflection of Himself in Himself; but the εἰκὼν is also the Organ whereby God, in His Essence invisible, reveals Himself to His creatures."†

Y mae yr un awdwr, mewn rhan arall o'r llyfr (tu. dal. 233—235), yn cyferbynu yr enwau y "Gair" a'r "Mab," ymadroddion ag y darfu i'r gwahaniaethiad rhyngddynt gael dylanwad mor bwysig yn nadleuon yr Eglwys Gristionogol, mewn ffordd o fantoli eu gilydd, a dïogelu y gwirionedd yn y pen draw rhag ymosodiadau Sabelliaeth ar y naill law, ac Ariaeth ar y llaw arall.

Y mae y ddwy ffurf gyferbyniol yma o gyfeiliornad—Sabelliaeth ac

* *The Works of* JOHN OWEN, D.D., *(The Person of Christ)*: Vol. I. pp. 71, 72.
† *The Divinity of our Lord and Saviour Jesus Christ*: LIDDON'S BAMPTON Lectures for the year 1866. New Edition, p. 317.

Ariaeth, os nad yn wir yr holl gamolygiadau o bwys ar athrawiaeth Person Crist a ymddangosodd yn yr Eglwys, yn cyfodi, dybygem, o ddiffyg dal mewn cydsafiad prïodol y gwirioneddau y ceisiwyd galw sylw atynt yn y ddau baragraph blaenorol. Y mae yn amlwg fod Sabelliaeth yn cyfodi oddiar yr anhawsder a deimlid i gymeryd i mewn i'r syniad am Dduw y ddau wirionedd cyferbyniol o undod hanfod, ac ar yr un pryd gwir fodolaeth personol a gwahaniaethol; ac felly yn myned i wadu yr olaf er mwyn dal i fyny y blaenaf. Y mae Ariaeth drachefn yn tramgwyddo wrth ddau wirionedd cyferbyniol arall, sef—bodolaeth wir a gwahaniaethol y personau Dwyfol, ac ar yr un pryd gwir a phrïodol Dduwdod y Mab a'i ogyfuwchedd â'r Tad; ac felly yn myned i wadu yr olaf mewn ymgais i ddal ac egluro y blaenaf. Fel y dywed Hagenbach:—

"From the very nature of the controversy in question, it followed, that the difficult task of steering clear both of Sabellianism and Arianism devolved on those who were anxious to preserve orthodoxy in all its purity. In maintaining the sameness of essence, they had to hold fast the distinction of persons; in asserting the latter, they had to avoid the doctrine of subordination." *

Y mae yn ddïau fod yr holl gyfeiliornadau hyn, ymhob ffurf arnynt, i'w holrhain yn y pen draw i ymgais ofer y meddwl meidrol i gwmpasu a chynnwys yr Anfeidrol—y duedd gref sydd mewn dyn i esbonio dirgelion anhydraeth y natur Ddwyfol wrth safonau bychain y ddaear. Ac ymhlith y dirgelion hyny, nid oes yr un, fe allai, yn fwy dwfn na'r *berthynas rhwng y Tad a'r Mab* yn y Drindod Fendigaid. Ac megys nad oes yr un yn fwy dirgeledig na'r berthynas hon, ar yr un pryd nid oes yr un ag sydd yn cynhyrfu ein hymofyniad yn fwy effeithiol i chwilio iddi; nid yn unig o herwydd y cysylltiad bywiol sydd rhyngddi â holl drefn ein hiachawdwriaeth, ond hefyd o herwydd y lle mawr ag y mae y berthynas sydd yn gysgod o hôni yn ei ddal yn ein trefniant daearol ni. Oddiyma y mae llawer o'r perygl yn cyfodi—ymresymu oddiwrth y berthynas ddaearol rhwng y tad a'r mab at yr un Ddwyfol. Y mae rhyw radd o debygolrwydd rhyngddynt, y mae yn ddïau, onidê ni fuasai yr ymadroddion "tad" a "mab" yn cael eu cymhwyso at y Personau Dwyfol, neu, yn hytrach, ni fuasent wedi cael eu benthyca o gwbl i wasanaethu y berthynas ddaearol. Oblegid yn y Duwdod "sydd yn trigo yn y goleuni nas gellir dyfod ato" y mae sylwedd y berthynas yn bod erioed—adlewyrchiad gwan o hôni sydd yn disgyn ar lawr llwyd-dywyll ein byd ni. Yno y mae y gwir DAD, ac yno y mae y gwir FAB—cysgodau o honynt sydd yma. Y maent yn rhedeg i'w gilydd yma, a'r ddwy berthynas yn cael eu llanw gan yr un person ar adegau olynol; y mae yr hwn sydd yn awr yn dad wedi bod unwaith yn fab, a'r hwn yw y mab heddyw a gaiff ei hun rywbryd yn dad. Ond yn y Duwdod y mae y perthynasau hyn yn berffaith ac yn sefydlog—tragywyddol Dadolaeth, a thragywyddol Fabolaeth. Fel y dywedai Athanasius yn ei ymresymiadau yn erbyn yr Ariaid:—

"Perfect resemblance to the Father does not require that the Son be the Father, *i. e.*, it does not require identity. The Son is perfectly like the Father, in virtue of His immutability, because He remains what He is, even as the Father remains what

*HAGENBACH'S *History of Doctrines.* (Clark's Edit. Vol. I., p. 272).

He is. Amongst men we see only imperfect copies of fatherhood and sonship; for the same person stands successively in both relations: he who is now a father was once a son, and he who is now the son will one day himself be a father. Instead of the mutability and mobility which characterize men, in the deity the Father represents Fatherhood absolutely and eternally, and the Son Sonship. Indeed, this absolute Fatherhood and Sonship in heaven are the archetype of all fatherhood and sonship on earth." *

Arweiniwyd ni i ymhelaethu cymaint ar hyn, am fod cysylltiad mor agos a bywiol rhwng y syniad am Grist fel delw Duw, â'r gwirionedd am neillduolrwydd ei berson fel Mab Duw. Y mae yn ddiammheu nad oes yr un testun a ddylai ein meddiannu â gwylder mwy dwfn pan yn anturio ymdrin âg ef, na pherthynasau goruchel y Personau Dwyfol â'u gilydd, fel y maent yn dyfod i'r golwg yn nhrefn ein hiachawdwriaeth; ond ar yr un pryd dylem gofio nad parch i'r gwirionedd, ond anmharch arno, ac ar y Duw a'i llefarodd, ydyw ein gwaith yn esgeuluso llafurio am wybodaeth o hóno mewn ysbryd teilwng, ac o fewn y terfynau priodol—sef, terfynau y dadguddiad ei hunan, a therfynau ein galluoedd ninnau uwchben y dadguddiad hwnw. Fel y byddai Dr. Chalmers yn arfer dyweyd yn fynych,—"Os na ddylem fod yn ddoeth uwchlaw yr hyn a ysgrifenwyd, ni a ddylem fod yn ddoeth i fyny at yr hyn a ysgrifenwyd;" ac y mae yn ddïau fod i ni oll dir lawer i'w feddiannu ymhell y tu fewn i'r terfynau hyny. Tybiem nas gallwn ddiwedd-gloi y sylwadau uchod ar y berthynas rhwng y Tad a'r Mab yn well na thrwy y dyfyniad canlynol o Dorner, yn yr hwn, feddyliem, y mae y gwirionedd ar hyn yn cael ei gyflëu mewn dull cynnwysfawr, ac mewn ymadroddion hynod o fanwl *(exact)*. Maddeuer i ni am adael yr ychydig ddyfyniadau a roddasom yn yr erthygl hon yn yr iaith Saesoneg, gan fod rhyw fath o Saesoneg mor anhawdd ei gyfieithu i Gymraeg dealladwy:—

"The Son is not * * * of the nature of a mere attribute, as the Sabellians affirm; nor is He an efflux of God, which would involve the division of the essence of God, but the entire (ὁλόκληρον) divine essence, which, wherever it is present, is present in its entirety or not at all, and in this aspect is simple, indivisible, uncompounded, is in the Father and in the Son, though in each after a peculiar manner: to wit, in the Father prototypically, as the living archetype, the primal source; in the Son antitypically, as the absolute image, which reflects the Father." †

Ar y sylfeini dyfnion, gogoneddus hyn yn y natur Ddwyfol, yr adeiladwyd gwaith ein prynedigaeth. Dyma yr Hwn oedd erioed fel hyn yn ei berson yn ddelw hanfodol o Dduw, wedi dyfod bellach yn ddelw *weithredol* o hóno mewn swydd, ac mewn amser. "Ni welodd neb Dduw erioed"—ac nid allasai neb byth ei weled, oni buasai yr Hwn sydd yn ddelw o hóno: ond yn awr, "yr Uniganedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad—*hwnw a'i hysbysodd Ef.*" Efe a ddywedodd y "pethau nefol" i drigolion y ddaear. Fel y dywedai Efe ei hunan wrth ddysgu Nicodemus: "Ni esgynodd neb i'r nef, oddieithr yr hwn a ddisgynodd o'r nef, sef Mab y dyn, yr hwn sydd yn y nef." Fe fu dynion mawr yn y byd mewn gwahanol oesoedd:—athronwyr dyfnddysg y byd

* *History of the Development of the doctrine of the Person of Christ.* By Dr. J. A. DORNER. (Clark's Edit). Div. I., Vol. II., pp. 296, 297. † DORNER *on the Person of Christ.* Div. I., Vol. II., p. 299.

paganaidd, ac yn enwedig beirdd a phrophwydi ysbrydoledig yr Hen Destament; yr oedd rhai o honynt yn ehedeg yn uchel ar adenydd ffydd a myfyrdod i gymundeb â gwirioneddau ysbrydol. Ond "ni esgynodd *neb* i'r NEF"—i ddirgelion arfaeth y Jehofah—i ystafell y Cyfrin-gynghor Tragywyddol. "Ni esgynodd neb i'r nef—oddieithr *yr hwn a ddisgynodd o'r nef.*" Nid oedd dadguddiad ddim i'w gael trwy *esgyn*, ond trwy *ddisgyn*. Yr oedd yn rhaid i rywun oedd *yn* y nef—yn y gyfrinach dragywyddol, ddisgyn *o'r* nef, i hysbysu *secrets* y nefoedd i drigolion y ddaear. Ac fe wnaed hyny gan "Fab y dyn." Efe yw y "Gair," trwy yr hwn y mae y Dystawrwydd Tragywyddol yn llefaru. Efe yw y "dysgleirdeb—y dysgleiriad allan," trwy yr Hwn y mae y Gogoniant Digrëedig yn tywynu. Efe ydyw y "gwir lun," trwy yr hwn y mae "y Person," neu yr Hanfod Dragywyddol yn cael ei dadguddio. Gwerthfawrogwn Grist fel *delw Duw!* Trwy y "ddelw" yma, y mae dyfnion bethau y Duw anweledig wedi dyfod i olwg ac i gyraedd pechadur. Trwy y "ddelw" yma, y mae y Duw anweledig yn ei ddadguddio ei hunan, ac yn ei gyfranu ei hunan. Trwy y "ddelw" yma, gall pechadur gael y Duw anweledig yn yr hyn oll ag ydyw, yn yr hyn oll a fedd, yn yr hyn oll a all, yn eiddo iddo ei hunan mewn cyfammod dros byth! Tywyned i'n meddyliau ac i'n calonau "lewyrch Efengyl gogoniant Crist, yr Hwn yw DELW DUW."

---

# JOHN OWEN, D.D.

## III.

YMHA le yr oeddym arni, ddarllenydd? Y dydd o'r blaen yr oeddym yn darllen hanes Aelod Seneddol mewn byd rhyfeddol yn ceisio anerch ei etholwyr, trwy fod y naill a'r llall o honynt yn gofyn cwestiynau ar y mater yma a'r mater arall iddo, a thrwy hyny, ys dywedai yntau, yn tòri edefyn ei ymresymiad. Digon câs ydyw peth felly. Rhywbeth digon annymunol hefyd ydyw fod dim wedi tòri edefyn ein *hanes* ninnau; ond felly y bu trwy fod llawer cwestiwn yn cael ei ofyn i ni y dyddiau a aethant heibio heblaw—Beth am Dr. Owen? Ond wele egwyl i ni fyned rhagom. Wedi brys-edrych ar fywyd a llafur ein gwron eisoes càn belled â'r ymadawiad â Rhydychain, ein gwaith bellach fydd edrych arno yn gorphen ei yrfa, ac yn cadw ei ffydd yn nghanol ing, erlid, ac enbydrwydd ei brydnawnddydd terfysglyd.

Tra yr oedd y fyddin a'r llynges, mawrion y tir yn y Senedd ac allan o hóni, ac yn wir, yr holl deyrnas o gŵr bwy gilydd, yn un berw aflonydd, fel môr mewn tymhestl; yntau ei hunan wedi ei ddiswyddo yn Rhydychain yn hynod ddireswm a diddiolch, yr hyn a gymerodd le Gorph. 18fed, 1657, eto, cyn diwedd y flwyddyn hono, cawn Owen

yn cyhoeddi un o'i weithoedd mwyaf duwiolfryd—"*Communion with God the Father, Son, and Holy Ghost, each Person distinctly, in Love, Grace, and Consolation, &c.*" Os ydoedd y ddaear yn crynu, a'r mynydd-oedd yn ymdreiglo i ganol y môr, beth waeth o hyny oedd yr angel a ehedai ynghanol y nef? Pa fodd y gallai gymaint a gwybod ei fod wedi colli ffafr Cromwell, tra yr oedd yn profi mor helaeth o "gariad Duw?" Pa fodd y gallai deimlo dim o'i amddifadrwydd o anrhydedd ac urddas Rhydychain, tra yr oedd ei enaid yn ymddigrifo yn nghyflawnder "gras yr Arglwydd Crist?" Os oedd y gwenieithwyr a geisient ei wyneb o'r blaen yn pallu ei adnabod yn awr, a'r gwênau a welai gynt ar wynebau ei gyfeillion erbyn hyn wedi troi yn drem o ddifrifwch a thosturi, pa fodd y gallai efe gymaint a sylwi ar hyny tra yr oedd ei galon yn llawn o "ddyddanwch yr Ysbryd?" Cymundeb â Duw! Dyma y ffynnon fawr o'r hon y tarddai y tangnefedd a'r boddlonrwydd a'i cadwai ef yn Nghrist Iesu, ac a'i gwnai mor dawel a siriol, ac mor ddiymdawr â'r graig mewn ystorm, yn nghanol rhuthr profedigaethau. Yn wir, y mae y ffaith iddo eistedd i lawr i fyfyrio ac ysgrifenu y fath waith dan y fath amgylchiadau, mae tawelwch ei feddwl yn nghanol y fath gyn-hwrf ac ymsymud, yn wyrth sydd yn profi gwirionedd ei athrawiaeth.

Tybiwyd gan rai fod y duwinydd mawr, am unwaith, wedi gŵyro oddiwrth yr athrawiaeth uniongred yn y traethawd hwn,—ei fod wedi cario allan y syniad o gymundeb rhwng y credadyn â phob un o'r Personau Dwyfol ar wahân, i eithafoedd anwarantedig gan un ran o'r Ysgrythyrau. Ond gyda'r eglurhâd canlynol gan Dr. Goold, yr ydym yn tybio nad oes berygl i neb gael ei arwain ar gyfeiliorn wrth ei ddarllen:—"Mae y gair cymundeb, fel yr arferid ef gan Owen, yn cael ei ddefnyddio mewn ystyr ehangach nag sydd yn gyson â'r ystyr a roddir iddo yn gyffredin gan dduwinyddion. Y mae yn dynodi, nid y cymundeb, neu y cydymdeimlad sydd rhwng Duw yn ei gymeriad grasol âg enaid mewn cyflwr o ras, ond y *berthynas rasol* hono, ar yr hon y mae y cyfryw gymundeb wedi ei sylfaenu. Wrth sôn am yr Arglwydd Iesu, er esiampl, desgrifir ei holl waith a'i ganlyniadau, o'r Iawn hyd nes y mae yn cyraedd ei effaith yn nghyfiawnhâd gweithredol y pechadur." Pwy bynag a rodia gyda'r awdwr hyd y porfëydd gwelltog, gyda glànau y dyfroedd tawel hyn, enaid hwnw a wneir yn frâs.

Yn y flwyddyn ganlynol, Medi 3ydd, 1658, bu farw Cromwell; ac ymysg y rhai a welent yn ei farwolaeth drychineb cenedlaethol, a dechreuad gofidiau nad allai neb byw ddyfalu eu diwedd, ac a arswydent oblegid hyny, yr oedd Dr. Owen. Oedd, yr oedd ei graffder ef, neu ynte ei galon, yr hon oedd yn ddofn yn nghyfrinach yr Arglwydd, wedi rhag-ganfod, fel mewn gweledigaeth, er fod cryfder dirfawr yn mynydd Cromwell ar y pryd, fod amseroedd enbyd gerllaw. Yr oedd Cromwell ei hun hefyd fel yn ymwybodol y dilynid y "gwynt mawr a chryf" a rwygodd y mynyddoedd ac a ddrylliodd y creigiau yn ei ddyddiau ef, gan "ddaeargryn" a "thân," cyn y clywid y "llef ddystaw fain." Meddai ryw ddiwrnod, pan yn anterth ei rym,—"Bydd iddynt ddwyn pobpeth eto i annhrefn!" Wel, y mae "dirgelwch yr Arglwydd gyda'r rhai a'i hofnant Ef." "Ni wna yr Arglwydd ddim a'r nas dangoso ei gyfrinach i'w weision y prophwydi." Cynnyrchwyd gwagder dirfawr yn awyrgylch y llywodraeth, pan sugndynodd y nefoedd Cromwell iddi ei hun; ac yn ddisymwth

clywyd twrf elfenau brochus yn ymryson brysiaw tua'r fan, rhuthrai galluoedd eiddigus o bob cyfeiriad fel corwyntoedd gwallgof, gan ymdywallt yn ddylif i'r gwagle mawr. Gwelwyd yn ebrwydd nad oedd Richard Cromwell, yr hwn a ddilynodd ei dad fel Diffynydd, ond brwynen egwan o flaen y lleiaf o'r galluoedd agwrdd oedd yn ymguro arno; a chyn pen ychydig fisoedd, gwelwyd ef yn cilio o'r ffordd, ac yn ymneillduo i fywyd dystaw ac anghyhoedd, yr hyn oedd yn llawer mwy cydnaws â'i dueddfryd a'i alluoedd. Wedi hyny galwyd ynghyd drachefn weddillion y Senedd Hir, yr hon a chwalwyd gynt gan Cromwell; ond oblegid na fynent ymostwng i gario allan amcanion y fyddin, gorfodwyd hwynt unwaith eto i ymwasgaru. Ymranodd y fyddin yn bleidiau blinion ac eiddigeddus, a daeth y llywodraeth, fel llong mewn tymhestl, heb lyw nac angor, i'r fath enbydrwydd ag a grëai ddychryn yn mynwes pob gwladgarwr. Yn y cyfwng hwn, cychwynodd y Cadfridog Monk, gyda byddin gref o'r Alban, gan ddyfod rhagddo tua Llundain. Ymdrechwyd cael gan y fyddin fyned a'i wrthsefyll; ond oblegid yr ymraniadau a'r annhrefn oedd yn ei hanrheithio, ni wnaed dim; cafodd Monk y ffordd yn rhydd, a mynediad helaeth i mewn i Lundain. Ni wyddai neb eto beth a geisiai; eithr yn fuan cynnullwyd y Senedd; cyflwynodd Monk lythyrau oddiwrth Charles Stuart; ac yn ddiymaros cyttunwyd ar adferu yr hen gyfansoddiad o Frenin, Arglwyddi, a Chyffredin, a gwahoddwyd Charles i adfeddiannu gorsedd ei dad. Wedi blino ar ryfeloedd gwaedlyd, ymbleidiau ac ansefydlogrwydd, croesawai y miloedd y cyfnewidiad hwn gyda llawenydd. Ond och! yn y symudiad disyfyd, yn ngwylltnwyfiant y foment wallgof, ni chymerwyd pwyll i ystyried beth oeddid yn ei wneuthur;—aberthwyd yr holl iawnderau a ennillwyd drwy yr ymdrechfa hirfaith i adferiad y brenin; oblegid yr oedd y weithred oedd yn adferu Charles II. yr un pryd yn adferu y gyfraith wladol ac eglwysig, heb unryw gyfnewidiad o'r hyn ydoedd cyn dechreu y rhyfel yn amser Charles I. Nid oedd gan y Puritaniaid bellach yr un sicrwydd am eu rhyddid ond gair noeth y brenin, y byddai iddo "barchu cydwybodau tyner;" ac ychydig iawn o amser a fu yn ddigon i ddangos nad oedd ei air ond siglen dwyllodrus i neb bwyso arni.

Ymneillduodd Owen i fyw i'w hen gartref genedigol—Stadham, lle yr oedd ganddo etifeddiaeth fechan wedi dyfod yn eiddo iddo erbyn hyn. Byddai yn arfer pregethu yn achlysurol yn y lle hwn yn ystod ei arosiad yn Rhydychain, ac yn awr ymroddodd i weinidogaethu yno yn gyson; casglodd gynnulleidfa ynghyd, a chanlyniad hyny fu ffurfio eglwys fechan, ond llewyrchus, yn y lle. Diammheu iddo ddysgwyl y cawsai lonyddwch mewn pentref dinôd, anghyhoedd felly, i weithio yn ddirwystr. Ond na; nid dynion cysglyd a difater, eithr dynion â'u llygaid yn gwylio pawb a phob peth ymhob man, ac na adawent yr un blewyn i orwedd yn groes heb wneyd pob ymdrech i'w gribo i'w le, oedd y llywodraethwyr prysur a amgylchynent orsedd Charles II. Cafwyd mesur drwy y Senedd yn erbyn y Crynwyr *(Quakers)*, yr hwn a wnai gynnulliad o fwy na phump o bersonau mewn unrhyw adeilad "anghysegredig" i addoli, yn anghyfreithlawn; a buwyd yn ddigon cyfrwys wrth ddeddfu y mesur i'w gael i ffurf y gallesid ei gymhwyso at bawb oedd yn ymneillduo oddiwrth yr Eglwys Sefydledig. Trwy y

ddeddf hon cafodd Owen gilgwth o'i esgobaeth yn Stadham, a'i ddeadell ddiniwed ei gwasgaru. Eithr eto nid oedd pobpeth wrth fodd y llywodraethwyr eglwysig oedd wrthi mor ddiwyd yn crëu eu nefoedd newydd; yr oedd Puritaniaid luoedd yn y Sefydliad, yr oedd yn rhaid dystewi y lleisiau cryfion, trymion hyny rywfodd; ond nid oedd modd ond trwy ystryw a thrais; gan hyny, dyfeisiwyd Gweithred yr Unffurfiaeth, yr hon a daflodd allan y "Ddwy Fil" o fendigaid goffadwriaeth, o Eglwys Loegr, ac a'u dygodd hwy, eu gwragedd, a'u plant, i drallod, gorthrymder, a thlodi.

Er yn y sefyllfa ddarostyngol a dirmygedig hon, yr oedd dylanwad Owen yn annhraethol fawr, a gwnaeth y defnydd goreu o hóno i geisio cysgodi rywfaint ar ei frodyr erlidiedig. I'r dyben o geisio lleddfu rhywfaint, os oedd modd, ar y gorthrymder yr oedd yr Ymneillduwyr ynddo, meddyliwyd am ryw foddion i'w gael ef i gyfarfyddiad âg Arglwydd Clarendon, yr hwn, ar y pryd, oedd yr Arglwydd Ganghellydd, a'r aelod mwyaf dylanwadol yn y weinyddiaeth. Cafwyd hyny oddiamgylch; ond ni fynai y gwladweinydd uchelfryd wrando ar neb. Cymhellai Owen i ymattal oddiwrth bregethu; ar yr un pryd, annogai ef i ddefnyddio ei ddysgeidiaeth a'i dalentau i ysgrifenu yn erbyn Pabyddiaeth. Parhâu i bregethu i gynnulleidfäoedd dirgel mewn cilfanau anhysbys wnaeth Owen er hyny; ond cafodd achlysur cyn hir i gydsynio â'r cais arall. Ar adferiad Charles, ailennynwyd gobaith y Pabyddion y caent weled eu heglwys eto wedi adfeddiannu ei lle a'i dylanwad yn Mhrydain. Yr oedd amryw bethau yn peri iddynt obeithio hyny; megys yr anghydwelediad a'r ymraniadau ymhlith y Protestaniaid; y gorthrymder a'r creulonderau yr oedd yr Ymneillduwyr wedi eu darostwng iddynt; a'r hyn a'u calonogai yn fwy na dim oedd, fod y brenin yn Babydd yn ei galon, ac yn barod i broffesu hyny pa bryd bynag y goddefai amgylchiadau; a'r Duc o York yntau, yn Babydd trwyadl. Yn y cyfwng hwn, ysgrifenwyd llyfr tra hynod gan Babydd o'r enw John Vincent Cane, yn dwyn y teitl—"*Fiat Lux; or, A Guide in Differences of Religion betwixt Papist and Protestant, Presbyterian and Independent.*" Yn gyfrwys iawn, cymerodd Cane, fel testun, baragraff o un o areithiau Arglwydd Clarendon, a chymerai arno mai ei amcan yn ysgrifenu oedd cynnyrchu cymedroldeb a goddefgarwch; ond mewn gwirionedd, yr hyn oedd yn ei ddysgu oedd hyn:—"Yr ydych yn dadleu â'ch gilydd ynghylch pethau nad oes pwys yn y byd ynddynt, y gwahaniaethau sydd rhyngoch, nid ydynt ond ysgeifn ynddynt eu hunain, ac nis gall neb fod yn sicr iawn yn eu cylch. Y coll mawr ynoch oll ydyw diffyg undeb â Rhufain; yn unig ymostyngwch i'r Pab, a chaiff pawb o honoch ei ffordd ei hun heb na digter na dadl." Yn y cyflwr yr oedd cymdeithas ynddo ar y pryd, yr oedd y fath athrawiaeth yn cael derbyniad awyddus. Daeth y llyfr ar unwaith yn boblogaidd, a'i bleidwyr yn lliosog. Aeth oddeutu blwyddyn heibio wedi cyhoeddi "*Fiat Lux*" cyn iddo ddyfod i law Owen; a thybir mai Clarendon oedd y "person anrhydeddus" a'i hanfonodd ef iddo, pan y cafodd ef. Wedi ei gynhyrfu gan ddichell ystrywgar Cane, y mae Owen yn gafaelyd yn ei bin, ac yn ysgrifenu ei "*Animadversions on Fiat Lux,*" yn yr hwn y mae yn dadguddio twyllresymiad ac amcan maleisus y Pabydd yn y fath fodd, nes peri iddo golli pob llywodraeth ar ei dymherau. Ysgrifenodd Cane

drachefn ei "*Vindication of Fiat Lux;*" ond nid oedd ganddo ddim i w ddyweyd ond pentyrn enllib a chabledd ar ei wrthynebydd, ac edliw iddo y rhan oedd efe wedi ei chymeryd dan Cromwell, gan amcanu drwy hyny yn ddïau gynhyrfu y llywodraethwyr i'w sarnu ef a'r Ymneillduwyr yn gyffredinol, yn fwy eto. Ysgrifenodd Owen eilwaith,—"*A Vindication of the Animadversion on Fiat Lux,*" ac yn y gwaith hwn y mae yn cymeryd gafael yn y ddadl rhwng y Protestaniaid a'r Pabyddion yn ei ehangder a'i phwysigrwydd. Ni ddaeth dyn erioed allan o ddadl yn fwy o orchfygwr nag y daeth Dr. Owen o'r ddadl hon; yr oedd holl resymau ei wrthwynebwyr wedi eu chwalu i'r pedwar gwynt, a'r gelynion oll naill ai wedi cywilyddio neu golli eu tymherau.

Ond dylem ddyweyd yr helbul y bu Owen ynddo gyda chyhoeddi ei ail draethawd. Wedi cael y gwaith yn barod i'r wasg, gommeddid iddo ei gyhoeddi wedi'r cwbl; ac o ba le, dybyget ti, ddarllenydd, yr oedd y gwrthwynebiad yn codi? Oddiwrth esgobion Protestanaidd Eglwys Loegr! Yr oedd yr esgobion wedi eu hawdurdodi gan y Senedd i gymeryd gofal y wasg; nid oedd unrhyw waith duwinyddol i gael ei argraffu heb eu trwydded hwy; a methodd traethawd Puritanaidd Owen a myned trwy y porth cyfyng hwn. A pha beth, dybygech, oedd ganddynt yn ei erbyn? Ha, wŷr anwyl, gwrandewch; edryched pob un yn ddifrifol, os gall,—"Oblegid ei fod ar bob achlysur pan yn crybwyll enwau yr efengylwyr a'r apostolion, ïe, hyd yn nôd St. Pedr ei hun, yn gadael allan y teitl *sant* ynglŷn â'u henwau!" ac hefyd, "am ei fod yn ceisio profi nas gellid bod yn sicr i St. Pedr fod erioed yn Rhufain!" Atebodd y Doctor y gwrthwynebiadau aruthrol hyn trwy ddyweyd nad oedd ganddo ef un gwrthwynebiad mawr i *seintio* yr efengylwyr a'r apostolion; ond ei fod ef wedi dygwydd meddwl fod "apostol" yn deitl uwch na "sant;"—fod holl deulu Duw yn saint, ond fod apostol nid yn unig yn sant, ond yn swyddog yn meddu awdurdod ac anrhydedd uwchlaw seintiau cyffredin; ac am y gwrthwynebiad arall, y rhoddai efe hwnw hefyd i fyny yn rhwydd càn gynted ag y gwnai un o honynt brofi i Pedr fod yn Rhufain; eithr hyd hyny, nis gallai, ar un cyfrif, gyfnewid dim ar yr hyn a ysgrifenodd. Nid oes o fewn ein llênyddiaeth, gyda'r eithriad o waith Barrow, hwyrach, ddynoethiad mor onest ac mor feistrolgar o dwyll a geudeb Pabyddiaeth, â'r traethawd hwn; eto, digon tebyg na welsai oleuni dydd, oni buasai i Syr Edward Nicholas, un o Ysgrifenyddion y Wladwriaeth, ymyryd yn y mater, ac ennill iddo ryddid i fyned drwy y wasg. Fel hyn, daeth y gwaith allan o'r diwedd; a daeth allan ar un o'r adegau y bu y deyrnas hon mewn mwyaf o berygl oddiwrth Babyddiaeth er dyddiau y Diwygiad. Nid oes dyn a ŵyr beth fuasai llwyddiant ymdrechion Jesuitiaid Rhufain ar y pryd, na pha beth fuasai effeithiau eu llwyddiant ar y deyrnas y dydd hwn, oni buasai am y rhan a wnaeth yr ysgrifeniadau hyn, dan fendith Duw, tuag at ddyrysu ac attal eu hamcanion. Anfonodd Arglwydd Clarendon gyda Syr B. Whitelock am i'r Doctor ei gyfarfod. Pan gyfarfyddwyd, rhoes y gwleidyddwr y ganmoliaeth uchaf i'r llyfr, a dywedodd i'r awdwr "wneyd mwy i achos Protestaniaeth nag un dyn yn Lloegr!" Yr adeg hon, cymerwyd mantais i geisio hûd-ddenu Owen i adael Anghydffurfiaeth, trwy roddi ar ddeall iddo fod meitr esgobol wrth law, ac nad oedd eisieu dim ond iddo ef ddyfod i'r Sefydl-

tuag at ei gyraedd; i'r hyn yr atebodd y Puritan annhyblyg, nad eisieu anrhydedd clerigol, nac unrhyw ddyrchafiad, yn yr Eglwys Sefydledig, oedd arno ef; ond eisieu rhyddid i addoli Duw oddiallan iddi.

Eto, er llafur llwyddiannus Owen, a gweddïau taerion cyfeillion Anghydffurfiaeth, nid oedd dim yn effeithiol i ennill iddynt eu rhyddid. Ymddengys yn eglur mai amcan ac uchelgais Clarendon a'i gynghreiriaid oedd perffeithio y gyfraith yn ei pherthynas â chrefydd ar gynllun yr Archesgob Laud. Gwesgid yr Ymneillduwyr i dŷnach caethiwed yn barhäus. Eisoes nid oedd yn gyfreithlawn i fwy na phump o honynt ymgynnull i un capel i addoli; gan hyny ymgynnullent mewn ysguboriau, murddynod, a chonglau dirgel. Drachefn, pasiwyd mesur drwy y Senedd *(the Conventicle Act)* i'w rhwystro i gyfarfod hyd yn nôd mewn lleoedd felly; a chynnygid gwobrau uchel i bwy bynag a achwynai arnynt. Tua'r adeg hyn torodd y "pla mawr" allan yn Llundain, yr hwn a gariodd ymaith gynifer â 100,000 o'r trigolion megys â llifeiriant. Gwelwyd yn fuan yn yr enbydrwydd hwn pwy oedd y gwir fugeiliaid, a phwy oedd yr "eilun fugeiliaid." Tra yr oedd y gorthrymwyr yn ffoi am y cyntaf o gyraedd yr haint, gan adael i'r blaid hon ysglyfio eu defaid, heb geisio gwneyd dim i'w hattal, na gweinyddu i'r trueiniaid a ofwyid ganddo, daeth y Puritaniaid allan o'u cuddleoedd i weini i'r adfydus, a chyfranu iddynt air y bywyd. Parodd yr amgylchiadau hyn i ddau beth gael eu gwneyd yn eglurach nag erioed, sef y dylanwad mawr oedd gan y gweinidogion Ymneillduol ar y bobl, ac ymlyniad cryf y bobl wrthynt hwythau fel eu hathrawon. Yr oedd yn ddirgelwch i'r awdurdodau pa fodd yr oedd y gweinidogion tlodion hyn yn gallu byw, a hwythau wedi eu diswyddo o bob man. Ond deallasant cyn hir nad oedd berygl yn y byd i'r un o honynt fod mewn eisieu cyhyd ag y byddai gan eu hen wrandäwyr foddion i'w helpu. Nid cynt y deallasant hyny nag y bu iddynt ddwyn mesur i'r Senedd, yr hon yn awr a gyfarfyddai yn Rhydychain, am fod y pla yn para i anrheithio yn Llundain, amcan yr hwn oedd alltudio y gweinidogion Ymneillduol bum' milldir oddiwrth bob dinas, tref, a bwrdeisdref, oedd yn anfon cynnrychiolwyr i'r Senedd, a phum' milldir oddiwrth ba ardal bynag y buont ryw amser yn gweinidogaethu ynddi. Yr oedd amcan melldigedig y ddeddf hon yn eglur—anfon y gweinidogion truain yn ddigon pell o gyraedd y rhai o gariad atynt hwy a'u Meistr Mawr a'u cynnorthwyent yn eu tlodi—eu gwneyd yn alltudion, a'u llewygu, os oedd modd, yn eu gwlad eu hunain! Ceir un hanesyn am Owen a berthyn, mae yn debyg, i'r adeg hon, sydd yn dangos enbydrwydd sefyllfa y Puritaniaid. Yr oedd efe wedi myned i ymweled â'i hen gyfeillion yn nghymydogaeth Rhydychain; ac yn ochelgar, dysgwyliodd am y nos cyn myned i'w lettŷ. Modd bynag, er ei ymochel, gwelwyd ef gan rai o'i achwynwyr gwylgar, a rhoddwyd hysbysrwydd i'r awdurdodau ymha le y llettyai. Drannoeth, yn blygeiniol, daeth myntai o filwyr at y lle, gan guro y drws. Agorwyd gan wraig y tŷ; a gofynwyd iddi,—"A oes yma lettŷwyr gyda chwi?" "Ai eisieu Dr. Owen sydd arnoch?" gofynai y wraig. "Ië;" oedd yr ateb. "Y mae wedi gadael yma er yn bur foreu." Gan gymeryd ei gair, prysurodd y milwyr ymaith. Yn y cyfamser, cododd y Doctor, yr hwn y tybiai y wraig oedd mewn gwirionedd wedi gadael y tŷ er ys oriau, fel y bwriadai y nos o'r blaen, ac aeth i gae cyfagos, lle y dygwyd ei geffyl iddo, a

marchogodd càn gynted ag y gallai ar hyd ffordd anhygyrch tua Llundain.

Eithr os amddifadwyd eglwysi y dyddiau hyny o ddoniau gweinidogaethol Owen a'i gymrodorion teilwng, bu hyny, hwyrach, yn fendith i ni; mae eu prinder hwy wedi cyflawni diffyg eglwysi y saint genedlaeth ar ol cenedlaeth o hyny hyd yn awr; ac yn debyg o wneuthur hyny hyd ddiwedd y byd. O'r cuddleoedd dystaw lle llechai y dynion sanctaidd hyny rhag cynddaredd a bâr y creuloniaid a sychedent am eu gwaed, daeth allan gyfrolau o dduwinyddiaeth, os cymerir i ystyriaeth ddyfnder a nerth eu hamgyffredion, ehangder eu dysgeidiaeth, ac iachusrwydd eu hysbryd, na chynnyrchwyd eu cyffelyb gan unrhyw oes na gwlad. Dyma y pryd y cafwyd traethawd gwerthfawr ein hawdwr ar "*The Nature, Power, Deceit and Prevalence of Indwelling Sin in Believers;*" ac esboniad profiadol ar y ddegfed Salm ar hugain ar ol y cant. Dyma hefyd y pryd yr ymddangosodd y gyfrol gyntaf o'i esboniad dieilfydd ar yr epistol at yr Hebrëaid, yr hwn, oblegid yr adnabyddiaeth gyffredinol o hóno, a'r lle uchel y mae wedi ei ennill yn marn ac edmygedd bron yr oll o dduwinyddion yr oesoedd, nad ydyw desgrifiad o hóno, na chanmoliaeth iddo, ond dianghenrhaid ac ofer. "Fe allai," meddai Dr. A. Thomson, "nad eisteddodd un gweinidog yn Mhrydain Fawr nac America, yn ystod y can' mlynedd a hanner diweddaf, i egluro y rhan hon o'r gwirionedd ysbrydoledig, heb ymgynghori âg esboniad Dr. Owen."

Wedi iddynt ddyoddef llawer, darfu i'r brenin, oddiar ddybenion ammhëus, mae yn wir, lacâu rywfaint ar rwymau caethiwed yr Anghydffurfwyr a'r Pabyddion. Gwnaeth hyn ar ei awdurdod ei hun, heb gydsyniad y Senedd; ond gan na welai yr Ymneillduwyr yn hyn ond adferiad o iawnderau na ddylesid erioed eu difeddiannu o honynt, gwnaethant y defnydd goreu o hóno; daethant allan yn llû o'u dirgelfanau, gan bregethu yr hen athrawiaethau mor hŷf a diamwys âg erioed yn y cylchoedd mwyaf cyhoeddus. Casglodd Owen gynnulleidfa ynghŷd yn Llundain. Yn fuan wedi cyhoeddiad y goddefiad uchod, bu farw yr hybarch Joseph Caryl; ac ymunodd ei gynnulleidfa ef â chynnulleidfa Owen, ac ymffurfiasant yn eglwys reolaidd, dan ei weinidogaeth ef, yn nghapel Leadenhall Street. Ar lyfr yr eglwys hon ar y pryd gwelid enwau amryw o brif Anghydffurfwyr yr oes, megys Fleetwood, Wesborough, teulu Abney, &c., ac ymysg y rhai a'i gwrandawent, er nad oeddynt yn aelodau o'r eglwys, yr oedd Iarll Orrery, Iarll Môn, Arglwydd Berkley, Syr John Trevor, &c. Trwy ei gydnabyddiaeth â'r mawrion hyn, gwahoddwyd Owen i gyfarfod â'r brenin, a'r Duc o York. Yn Tunbridge Wells y cyfarfyddasant. Siaradai y brenin yn rhydd âg ef ynghylch rhyddid crefyddol, gan ddadgan ei ddymuniad o weled yr Ymneillduwyr wedi eu gwaredu yn gwbl o'u rhwymau; ac yn y diwedd anrhegodd Owen â mil o bunnau i'w defnyddio er lleddfu dyoddefiadau ei frodyr tlodion yn eu gorthrymderau. Ymysg y rhai a lònwyd gan Owen drwy y moddion yma, yr oedd yr anfarwol John Bunyan, yr hwn oedd ar y pryd yn ngharchar Bedford.

Tua'r flwyddyn 1677, gwelwyd arwyddion eglur fod nerth ac iechyd Dr. Owen yn pallu; yr oedd llafur dirfawr, ac effeithiau chwyldröadau a phryder ei oes ryfeddol yn brysio dadhoelio y babell hono a welwyd gynt mor dêg a chadarn. Galwyd y ffyddlawn David Clarkson i'w gyn-

northwyo yn y weinidogaeth yn Leadenhall Street; a gorfu iddo gael ysgrifwyr *(amanuenses)* i barotôi y gweddill o'i weithoedd i'r wasg. Er mewn nychdod a phoenau, parhäodd i weithio yn egnïol drwy ei hwyrddydd; ni noswyliodd nes ei ddal yn llwyr gan y "nos pryd na ddichon neb weithio."

Y mae ei ysgrifeniadau ar derfyn ei fywyd yn dadguddio dau beth yn eglur iawn: yn gyntaf, ei fod yn gwylio yn ddyfal arwyddion yr amserau. Beth oedd y gelynion yn ei gylch? O ba gyfeiriad yr ymosodid nesaf ar yr eglwys? Beth oedd diffyg mwyaf yr eglwysi? Pa fodd y gallent yn fwyaf effeithiol wrthsefyll yr ymosodiadau a ragwelid? Gwelai ef fod y wlad mewn perygl dirfawr oddiwrth Babyddiaeth; a phrofodd dygwyddiadau y blynyddoedd dilynol fod y gwyliwr craffus wedi gweled y gelyn o bell. Gan hyny gafaelodd yn ei bin, ac ysgrifenodd, "*The Church of Rome no safe Guide;*"—"*Brief and Impartial Account of the Protestant Religion;*" ac hefyd, "*Humble Testimony to the Goodness of God in his dealing with Sinful Churches and Nations.*" A thrachefn, gan amcanu cael gan yr eglwysi Protestanaidd ymarfogi i'r frwydr, ysgrifenodd ei "*Union among Protestants,*" a'i "*Inquiries into the Origin, Nature, Institution, Power, Order and Communion of Evangelical Churches.*" Yn ail, dengys ei weithoedd eraill yr adeg hon mai gwirioneddau sylfaenol yr efengyl oedd yn meddiannu ei galon, yn ei ddysgu i adnabod dichellion diafol, ac yn ei wneuthur yn gryf fel llew i'w gwrthwynebu. Drwy ei ysgrifwyr y mae yn parotôi i'r wasg ei "Χριστολογία, *or Declaration of the Glorious Mystery of the Person of Christ, God and man, with the Infinite wisdom, love, and power of God in the constitution thereof.*" Pe byddai yr eglwysi yn deall y wir athrawiaeth am berson Crist fel y profir ac y dysgir hi yn y gwaith hwn, ac yn ei chredu, gallem fod yn berffaith ddïogel nas gallai *unrhyw* gyfeiliornad mawr eu drygu mewn un modd. Gall twyll a chyfeiliornad drigo yn ymyl ambell wirionedd, heb fod y gwirionedd *hwnw* yn alluog i'w diddymu na'u hymlid ymaith. Gorfodir ni yn lled fynych yn y dyddiau hyn i ddarllen traethodau a arddelwir yn dduwinyddol, yn y rhai y gwelir gwythïen o wirionedd yn rhedeg drwyddynt, ond yn rhedeg yn gyfochrog âg ef gwelir twyll a chyfeiliornad; y maent fel rhaff deircainc, un gainc yn wirionedd gwerthfawr, ond wedi ei gordeddu âg ef, mor dêg ag y gall y dwylaw mwyaf cyfarwydd wneuthur hyny, y mae geudeb a chelwydd; ac nid yn hawdd y gellwch bob amser eu dadrys a'u gwahanu. Ond dyger cymysgbeth felly i oleuni y gwirionedd am berson Crist, a cheir gweled y twyll a'r cyfeiliornad yn diflanu fel tywyllwch o flaen yr haul, a'r gwirionedd yn aros, ac yn ymddangos yn decach ac yn gryfach nag erioed wrth ymddyrchafu ac ymddysgleirio yn y goleuni hyfryd. Y mae y traethawd hwn yn agoriad i holl dduwinyddiaeth Owen, ac ar yr un pryd yn agoriad i ystafelloedd bywyd ysbrydol yr awdwr. Yn ebrwydd ar ol hyn, ymddangosodd y traethawd anmhrisiadwy, "*The Grace and Duty of being Spiritually Minded;*" wrth ddarllen pa un y mae pob cristion profiadol yn darllen ei galon ei hun, ac yn darganfod ynddi dryblith o annhrefn a drygioni na ddychymygodd am dano o'r blaen, ac ar yr un pryd, calonogir ef i ymdrechu yn fwy penderfynol yn erbyn pechod, ac i obeithio yn fwy perffaith am fuddugoliaeth, wrth weled y fath raddau uchel o ysbrydolrwydd sydd yn gyrhaeddadwy i bechadur hyd yn nôd

yn y fuchedd hon. Cynnyrch olaf galluoedd nefoladdfed Owen oedd ei "*Meditations and Discourses on the Glory of Christ.*" Yma ceir myfyrdodau duwiol ei ddyddiau olaf am ddedwyddwch y nefoedd, pan oedd efe ei hun eisoes yn ngoleuni ei phyrth grisialaidd hi. Erbyn hyn yr oedd ei nerth yn pallu yn gyflym. Symudwyd ef am ychydig i Woburn, at ei gyfaill ffyddlawn Arglwydd Wharton, gan ddysgwyl y buasai newid awyr yn cael effaith ddymunol arno; ond yn lle gwellâu, gwaethygu yn gyflym yr ydoedd; a symudwyd ef i Kensington; ac yn ddiweddaf oll äed âg ef i Ealing, lle yr oedd ganddo dŷ o'i eiddo ei hun. Yr oedd yn ymwybodol fod angeu yn ymyl; a chyda hyder digryn, a gobaith na fynai ei gywilyddio, y mae yn ymbarotôi i'w gyfarfod. Bore y diwrnod y bu farw, galwodd y Parch. William Payne, gweinidog Ymneillduol yn Saffron Waldon, gydag ef, gan ei hysbysu fod y rhan gyntaf o'i "*Meditations on the Glory of Christ*" wedi dyfod trwy y wasg; ac ebai yntau, â'i ddwylaw i fyny, a'i lygaid yn syllu tua'r nef, "Yr wyf yn falch o glywed hyny; ond, O, fy mrawd Payne! y mae y dydd yr awyddus ddysgwyliais am dano mor hir o'r diwedd wedi dyfod, pryd y câf weled y gogoniant hwnw mewn dull gwahanol i'r hyn a gefais, ac mewn dull nad oeddwn yn alluog i'w ddal yn y byd hwn." Dygn a phoenus oedd dyoddef goruchwyliaeth angeu yn datod y babell gadarnwedd hono, ond daliodd hyny yn dawel a dyoddefgar. O'r diwedd, ar y 24ain dydd o Awst, 1683, tra yr oedd ei lygaid a'i ddwylaw yn ddyrchafedig tua'i gartref tragywyddol, ehedodd ysbryd Owen i edrych ar ogoniant ei Brynwr yn ddilèn. Claddwyd ef yn Bunhill-fields—ogof maes Machpelah y Puritaniaid.

---

## CYMDEITHAS GENADOL LLUNDAIN.

Nid yw yn bosibl i un dyn ag sydd wedi ei ddysgu i uno gyda mesur o wresogrwydd yn y deisyfiad "Deled dy deyrnas," lai na theimlo y boddhâd mwyaf wrth feddwl am y lliaws Cymdeithasau Cenadol sydd yn awr ar waith mewn gwahanol wledydd, gyda'r amcan o ennill y byd cyfan i'r Gwaredwr. Hysbysir i ni fod o leiaf DDWY AR HUGAIN o'r fath Sefydliadau yn Mhrydain Fawr yn unig; a phan y cofiom fod y rhai hyn, gyda'u gilydd, yn awr yn gwario uwchlaw HANNER MILIWN o bunnau bob blwyddyn er lledaenu egwyddorion crefydd Mab Duw ymhlith cenedloedd estronol a phaganaidd, nid oes genym ond synu at yr afael gref y mae yr achos cenadol wedi ei gael ar serchiadau torfëydd lliosog o'r boblogaeth ymhob cŵr o hóni. Ac onid yw y ffaith o hyn yn dra annogaethol i fyned ymlaen â'r gwaith o sefydlu eglwysi mewn gwledydd paganaidd, oblegid gwyddom i amser fod pan yr oedd Prydain ei hun yn hollol yn meddiant y tywyllwch? Ychydig a feddyliodd yr hyawdl Chrysostom, tua diwedd y bedwaredd ganrif, pan y diweddai un o'i

areithiau godidog yn Constantinople, gyda chyfeiriad at lwyddiant yr efengyl yn ei amser ef, gan ddywedyd, "Ac y mae hyd yn nôd Prydain wedi clywed Gair y Bywyd,"—ychydig a feddyliodd ef y deuai adeg pryd, wedi i ogoniant Caercystenyn ddiffoddi, y byddai i Air yr Arglwydd fyned allan oddiyma i fendithio y cenedloedd mewn *cant a thriugain* o ieithoedd, ac yr amlhëid Cymdeithasau Biblaidd a Chenadol o'i mewn, nes gwneuthur Prydain mewn gwirionedd yn fath o oleudŷ i'r byd oll.

Yr ydym yn cyfrif mai peth hyfryd i deimladau dyn crefyddol fydd edrych dros derfynau plaid yn awr ac eilwaith, er gweled beth y mae pobl dda o gyfundebau eraill yn ei wneyd tuag at ddwyn y byd i'w le. Y mae pob ymarferiad o'r natur yma yn rhwym o greu o'i ddeutu ryw ddylanwad, a fydd yn adfywiol iawn, megys awelon y mynydd-dir ganol hâf i wŷr y trefydd. Od oes i'w cael yn ein mysg ddynion nad allant gydlawenhâu â llwyddiant y gwirionedd, drwy weinyddiadau pobl sydd yn dygwydd gwahaniaethu ychydig mewn barn oddiwrth yr eiddynt hwy ar ryw fater bychan yn dal cysylltiad â ffurflywodraeth eglwysig, yna goreu po gyntaf yr elo hi yn dro ar y fath bobl â hwynt-hwy. Yr ydym yn dal fod ynglŷn âg anianawd calon Gristionogol i ddymuno "Duw yn rhwydd" i bawb a'r sydd yn pregethu efengyl Crist mewn purdeb, ymhob man drwy y gwledydd. Byddai yn beth mawr pe llwyddid i gael gan grefyddwyr Cymru yn gyffredinol i dalu sylw mwy arbenig i hanes gweithrediadau Cenadol y cyfnod presennol. Nis gwyddom am ddim a dueddai yn fwy effeithiol at ddystrywio rhyw fân ragfarnau enwadol na hynyma. Rhoddid cryfder yn mynydd aml un hefyd sydd yn fynych ar lawr gan ofnau rhag fod teyrnas Dduw ar fin diflanu allan o'r byd. Newidid tôn y weddi mewn llawer amgylchiad ar y nos Lun cyntaf o'r mis, pe byddai mwy o ddarllen Adroddiadau Cenadol yn bod. Fel y saif pethau yn bresennol, sain ochain a chwyno a glywir uchaf mewn llawer man, nes bod diflasdod câs yn cael ei daflu ar bob peth. Ceidw llaweroedd eu hunain drwy y blynyddoedd yn y fath dywyllwch am wir ansawdd achos crefydd drwy y byd, fel y daw eu heneidiau o'r diwedd yn grebachlyd iawn, ac yna, os adroddir ychydig ffeithiau cenadol lled ddyddorol i'w clywedigaeth gan rywun, derbyniant y cwbl fel pe baent hanesion o ryw fyd arall, neu ynte, meddyliant fod y cyfryw adroddiadau yn rhy dda i'w credu yn ddibetrus! O! y mae eisieu ehangu pobl fel hyn, neu, ynte, eu cadw rhag bod yn eneuau cyhoeddus, fel na laddont ysbrydoedd y bobl ieuainc sydd o'u deutu. Am ddynion sydd wedi dysgu cymeryd golwg ëang ar gynnydd teyrnas gras ar y ddaear, fe welir y gallant hwy fforddio bod yn galonogol a diolchgar, pryd y bydd eraill mewn terfysg parhäus o herwydd "arwyddion yr amseroedd." Dywedir i ddyn fyned at Dr. Adam Clarke, unwaith, pan oedd aml un o weiniaid Sïon mewn cryn bryder o achos düwch awyrgylch y byd moesol, gan ofyn iddo, gyda llais torcalonus iawn, "Doctor, doctor, beth fydd y diwedd?" "Y diwedd," ebe yntau, gyda gwên a ymdònai dros ei holl wynebpryd ardderchog, "dyna fydd y diwedd, 'Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da.'" Y fath fantais i grefydd fyddai fod ein heglwysi yn llawn o ddynion cyffelyb o ran ysbryd a nodwedd i'r gwron parchedig a atebai yn y modd hyny!

Gan fod yn hyderus y llwyddwn i gyraedd rhai o'r amcanion y cyf-

eiriasom yn frysiog atynt, ac yn arbenig y bydd i ni wneuthur rhyw-beth yn effeithiol tuag at feithrin mwy o *ysbryd cenadol* yn meddyliau y dosbarth ieuanc o ddarllenyddion y TRAETHODYDD, nyni a äwn rhagom yn y rhifyn hwn i gofnodi ychydig o hanes un arall o'r Cymdeithasau Cenadol penaf, sef yr un y canfyddir ei henw uwchben ein herthygl bresennol.

Sefydlwyd Cymdeithas Genadol Llundain yn y flwyddyn 1795, sef oddeutu pedair blynedd yn ddiweddarach na phan y sefydlwyd Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr. Er ys talm yr oedd lliaws o ddynion da perthynol i wahanol bleidiau crefyddol drwy y deyrnas wedi dyfod i deimlo mai peth tra angenrheidiol ydoedd ymgyrhaedd at gychwyn y fath sefydliad. O'r diwedd, yn Medi, 1794, ymddangosodd anerchiad bywiog a chyffröus yn yr "*Evangelical Magazine*," wedi ei ysgrifenu gan yr enwog Dr. Bogue, yn galw sylw y cyhoedd at yr achos. Yr effaith o hyn ydoedd, prysuro dygiad yr amcan oddiamgylch. Dylasem grybwyll enw Melville Horne, hefyd, oblegid bu ei ysgrifau yntau o ddirfawr wasanaeth yn yr un cyfeiriad. Unai Esgobaethwyr, Annibynwyr, Henaduriaethwyr, a Wesleyaid, gyda chalon ewyllysgar yn sefydliad y Gymdeithas. Bu y Methodistiaid Calfinaidd yn gefnogwyr aiddgar iddi hefyd am lawer blwyddyn. Yn mlynyddoedd cyntaf ei hanfodiad, cyrchai amryw o dadau anrhydeddusaf y Cyfundeb i gymeryd rhan arbenig yn ei chylchwyliau cyhoeddus. Deallwn i'r anfarwol John Elias barotôi rhai o'i bregethau mwyaf gorchestol, a'u traddodi hefyd, wrth gwrs, yn y fath fodd ag nas gallai neb arall ond efe eu traddodi, gyda'r amcan o grëu teimlad ffafriol yn mynwesau y bobl tuag ati. Nid oedd dim yn sectaraidd oddeutu y Gymdeithas ar y cychwyn, a cheidw yn dda at yr un nodwedd yn barhäus, oblegid nid ei hamcan ydyw anfon Esgobyddiaeth, Henaduriaeth, neu Annibyniaeth, na dim felly i'r byd, ond efengyl ogoneddus ein Harglwydd, gan adael i'r bobl a ddygir i adnabod Crist trwy lafur ei Chenadon, i ddewis iddynt eu hunain y ffurf-lywodraeth eglwysig a ymddangoso iddynt yn fwyaf unol â threfn y Testament Newydd. Dyma egwyddor fawr wahaniaethol y Gymdeithas, yr hon y cyttunwyd arni yn y dechre, er mwyn sicrhâu cydweithrediad Cristionogion o bob plaid yn ei dygiad ymlaen. Hyn hefyd sydd i fod yn rheswm paham y galwyd hi Cymdeithas Genadol *Llundain*, sef, fel na byddai dim byd tebyg i sawyr plaid hyd yn nôd yn ei henw hi.

Er fod y Gymdeithas ardderchog hon wedi ei gadael er ys llawer o flynyddoedd bellach mor lwyr a hollol yn nwylaw yr Annibynwyr, fel mai eu cymdeithas hwy ydyw hi, mewn gwirionedd, eto arddengys ei Hadroddiadau, y naill flwyddyn ar ol y llall, mai yr un ydyw ei hegwyddorion sylfaenol yn barhäus. Ac hyd y gwyddom ni, nid oes neb a chwennychai weled newidiad ar y rhai hyn; ond deallwn fod amryw o'r Annibynwyr mwyaf zelog wedi bod yn dadleu yn frwd rai troion dros newid ei *henw*, fel y deallai pobl yn well yn ei chylch, pan eid atynt i ofyn am eu cyfraniadau, ynghyda rhyw resymau tebyg i hyny. Yr hen enw, pa fodd bynag, sydd yn cael ei arfer hyd yn hyn, ac hwyrach mai cystal yw iddi fod felly, yn gymaint ag na byddai newid enw *rhosyn* yn effeithio dim tuag at beri iddo arogli yn bereiddiach. Gyda yr *hen enw*, fe welir fod y Gymdeithas fawr hon wedi llwyddo i anfon allan rai

o'r cenadon ardderchocaf a welodd y byd erioed, a sicrhâu iddi ei hun anrhydedd o herwydd ehangder a ffÿniant ei gweithrediadau a fydd yn sicr o aros tra yr erys dynoliaeth. A yw yn angenrheidiol i ni ddyweyd gair yma, tybed, ar y modd y bu iddi gael ei gadael, megys y soniwyd, mor lwyr yn meddiant yr enwad Cynnulleidfäol? Ai dyma y bobl a flaenorent yn benaf yn ei sefydliad hi? Clywsom ddyweyd hyn fel ffaith; ond nid dyna paham y bu i ddynion da o gyfundebau eraill dÿnu yn ol eu cefnogaeth oddiwrthi, eithr yn hytrach am eu bod yn argyhoeddedig y byddai yn well er mwyn yr achos oedd mor agos at eu calonau oll, fod i bob cyfundeb Cristionogol feddu cymdeithas genadol iddo ei hun. Ac i ni fyned dipyn yn farddonol am dro, dywedwn fod llong Cymdeithas Llundain yn meddu *gormod* o ddwylaw profiadol ar ei bwrdd; a chan y gwelid fod môr y byd yn ddigon ëang i gymeryd "llongau eraill hefyd" ar ei ddyfroedd, ymadawodd llïaws o honynt, mewn teimlad da, i gymeryd arolygiaeth y rhai hyny, fel y byddai i drafnidaeth teyrnas gras ymledu dros y ddaear yn gynt. Gan nad faint o 'stormydd a fuont yn curo ar yr hen lestr dan sylw, hyfryd yw meddwl na fu dim *mutiny* ar ei bwrdd hi eto. Ymadawai yr hen ddwylaw oddiwrth eu gilydd, yn eithaf cyfeillion, ac yn debyg i bobl y llongau hyny gynt ar fôr Tiberius, parod iawn oeddynt ar bob adeg i gynnorthwyo eu gilydd yn ol fel y byddai yr eisieu. I adael y ffugyr heibio, yr oedd y drychfeddwl o ffurfio *llïaws* o gymdeithasau cenadol yn Mhrydain, yn un hapus odiaeth. Boddhëid teimladau arbenig pob plaid yn y modd hwn, heb niweidio neb na dim, ond y diafol a'i deyrnas. Ni raid i'r darllenydd ond edrych ar ddarlunlen o'r ddaear, a chraffu ar ehangder y gwledydd sydd eto yn meddiant paganiaeth, na chenfydd efe fod yno ddigon o le i genadon pob plaid weithio, heb fod perygl iddynt am rai oesoedd, dybygid, i sangu dim ar derfynau eu gilydd, hyd yn nôd pe byddent ddengwaith yn fwy eu rhif nag y ceir eu bod yn bresennol.

Ymhlith tadau a sylfaenwyr Cymdeithas Genadol Llundain, yr ydym i restru y Doctoriaid Bogue, Haweis, a Waugh; a'r Parchedigion Scott, Horne, Tomlinson, Hill, Eyre, Wilks, Bennett, ynghyda llu mawr o weinidogion a boneddwyr dylanwadol, nad yw yn bosibl i ni gofio eu henwau ar hyn o bryd. Erbyn heddyw, y maent oll yn nhawelwch tir cysgod angeu; a thra y teimlwn foddhâd wrth gofio eu bod yn gorphwys oddiwrth eu llafur, anmhosibl yw i ni beidio edmygu eu gweithredoedd, a sÿnu at fawredd a dianwadalwch eu ffydd, drwy ystod blynyddoedd mabandod y gymdeithas dan sylw. Gan gofio, y mae yr un sylw yn dal yn dda yn ei berthynas â sylfaenwyr yr *holl* gymdeithasau cenadol a gychwynwyd yn niwedd y ganrif ddiweddaf, a thua dechreu yr un bresennol. Amgylchid ein tadau gan fyddinoedd o anhawsderau nas gwyddom ni ddim oll am danynt. Yr oedd egwyddorion anffyddaidd y chwyldröad Ffrengig yn y dyddiau hyny wedi ymledu gyda chyflymdra rhyfeddol, gan lygru a gwenwyno awyrgylch y byd moesol i raddau dychrynllyd. Yn canlyn, wele ryfel na bu ei fath yn tòri allan, sef yr ymrysonfa fawr a derfynodd yn nymchweliad gormesdeyrniaeth Napoleon y Cyntaf, ar wasteddau rhuddgochion Waterloo. Yn amgylchiadau allanol eu sefyllfa, nid oedd ond yr ychydig lleiaf o galondid iddynt tuag at fyned ymlaen. Yr oedd yr arian yn brin, yr eglwysi yn anaml, a'r bobl oedd mewn gallu heb ddysgu rhoddi at deyrnas Dduw eto, megys

y dylasent, a chyda hyny yr oedd y byd, *agos oll*, yn gauedig yn eu herbyn hwy. Yr oedd ynysoedd y Môr Tawelog braidd yn anadnabyddus iddynt, er mai yno y gobeithient gael y drysau yn fwyaf agored. Am yr India Orllewinol, ymddangosai yn dywyll iawn yno. "Os pregethwch chwi i'r caethion," ebe Llywydd Demerara wrth genadwr, "ni chaniateir i chwi aros yma o gwbl." Digysur iawn oedd agwedd pethau tua deheudir Affrica hefyd, oblegid gwyddid am Schmidt, cenadwr enwog yn perthyn i'r Morafiaid, ei fod wedi ei gau allan oddiyno er ys llawer blwyddyn. Nid oedd ond ychydig o India y Dwyrain eto yn meddiant Prydain; ac am China, hi barhäodd i fod yn glöedig yn erbyn pob gweithrediadau cenadol am gryn ddeugain mlynedd wedi adeg sefydliad y Gymdeithas dan sylw. Ychydig a wyddai y tadau a'i sefydlent am arferion a choelgrefyddau y paganiaid; dyeithr iawn oeddynt i'w llênyddiaeth; ac am eu hieithoedd, prin y gellir dyweyd eu bod yn gwybod dim oll. Megys y sylwyd aml waith gyda phrïodoldeb, yr oedd meusydd llafur y cenadon cyntaf a anfonid allan ganddynt, heb eu parotôi ar eu cyfer. Os mŷnent gael geiriaduron a llênyddiaeth, annedd-dai, capelau, ac eglwysi, rhaid oedd iddynt anturio dros y tònau, a chynnyrchu y cyfan, trwy rad Duw, neu fod hebddynt.

Trôdd sylw Cyfarwyddwyr y Gymdeithas i ddechreu yn nghyfeiriad Ynysoedd Môr y Dê; neu os dewisir yn well, y Môr Tawelog, am y credid mai yno yr oedd y rhagolygon goreu am lwyddiant i'w cenadaeth y pryd hwnw. O holl dadau y sefydliad, y mwyaf aiddgar dros Genadaeth Môr y Dê, o bosibl, ydoedd yr hyglod Dr. Haweis, periglor All Saints, Aldwinkle, a chapelydd yr Arglwyddes Huntingdon. Gan hyny, rhoddwyd arno ef y gorchwyl o barotôi cofeb ar y mater, pa un a draddodwyd yn Nghapel Surrey. Yn ystod ei anerchiad dywedai, "Y mae y maes sydd ger ein bron yn ddirfawr! O nad allem fyned i mewn drwy fil o wahanol byrth! ac na fyddai pob aelod yn dafod, a phob tafod yn udgorn i wasgaru hyfryd-sain yr efengyl!" Wedi iddo gyfeirio at anhawsderau y cwestiwn oedd i'w benderfynu, dygodd ymlaen ei resymau dros fod iddynt ddechreu ar eu gwaith o drugaredd ymhlith ynysoedd lliosog y cefnfor deheuol. Y canlyniad fu, i gyfarwyddwyr a chyfeillion y Gymdeithas benderfynu gweithredu yn unol â'r cynnygiad a osodasid, gyda'r fath fedr a hyawdledd gan Dr. Haweis, ger eu bron. Ennillodd yr anturiaeth sylw a ffafr nodedig ymhob cyfeiriad. Mor fawr oedd haelioni y cyhoedd fel y casglwyd deng mil o bunnau mewn bŷr amser. Yr oedd cymaint o ysbryd gweddi hefyd yn cael ei deimlo gan gefnogwyr yr amcan ar y pryd, fel y credid fod dylanwadau Ysbryd y Gras yn eglur o'u tu, ac y dybenai yr anturiaeth mewn dwyn gogoniant lawer i enw y Goruchaf trwy ddirfawr ehangu terfynau teyrnas y Gwaredwr mawr. Yr oedd yr hanesion a gyhoeddasid ychydig cyn hyn o barthed i hinsawdd hyfryd, yngbyda thlysineb paradwysaidd yr ynysoedd dan sylw, wedi effeithio cymaint ar feddyliau pobl, fel y gresynid yn gyffredinol, os oedd yn rhaid eu cyfrif ymhlith "tywyll-leoedd y ddaear" yn hir iawn eto. Ymhlith y rhai hyny o fawrion y deyrnas ag oedd yn teimlo dyddordeb arbenig yn llwyddiant yr anturiaeth, yr ydym i enwi yr Arglwyddes Huntingdon, coffa da am dani; canys yn ei siars olaf i'w chaplan parchedig, Dr. Haweis, hi erfyniai arno beidio byth a cholli golwg ar yr amcan hwn.

Gan fod tadau a sylfaenwyr Cymdeithas Genadol Llundain bellach yn wrol o ran ysbryd, ac yn gryfion o ran adnoddau, hwy ddechreuasant eu gweithrediadau ar raddfa ehangach na dim y clywsid sôn am dano o'r blaen. Prynasant long, ymha un yr anfonasant allan tua phump ar hugain o lafurwyr gyda'u gilydd. Adwaenid y llong genadol yma wrth yr enw "DUFF." Ar foreu clir, tawel, yn mis Awst, 1796, ac yn ngolwg torf aiddgar o gefnogwyr y Genadaeth, hi ollyngid yn rhydd o'i hangorfa yn yr afon *Thames;* ac fel y dechreuai ymlithro gyda y llif, clywid y cwmni gwrolfrydig ar y bwrdd yn dechreu cânu—

Jesus, at thy command,
We launch upon the deep, &c.

Ychydig o longau a droisant allan i'r môr gyda llwyth gwerthfawrocach na hwn er y pryd y cychwynai o borthladd Alexandria y llong a ddygai yr arwydd, "*Castor* a *Pholux.*" Cwhwfanai y faner Brydeinig ar un o'r hwylbrenau, ac yr oedd ganddi faner arall briodol iddi ei hun, yn addurnedig â lluniau tair o golomenod gyda changhenau olewydd yn eu cylfinod, er dynodi mai *heddwch* oedd dyben cenadaeth yr anturiaethwyr hyn. Wedi mordaith hynod o lwyddiannus, daethant i olwg ynys Tahiti, a glàniwyd yno y cenadon cyntaf, os ydym yn cofio yn dda, yr un dydd, sef Mawrth 6ed, yn y flwyddyn 1797. Ar ol anfon a gweled sefydlu yr holl lafurwyr yn y manau a benodasid iddynt, dychwelodd y "*Duff*" yn ôl, er llawenydd nid bychan i bawb o gyfeillion yr achos cenadol. Buasai cyfarwyddwyr y Gymdeithas yn dra ffodus yn eu gwaith yn sicrhâu gwasanaeth Cadben Wilson i fyned allan i'r fordaith, oblegid heblaw ei fod yn ddyn crefyddol iawn, yr ydoedd hefyd yn forwr o fedr anghyffredin. Ac yn debyg i John Newton, yr oedd iddo hanes pur ryfedd, gan mai pentewyn ydoedd a achubasid o'r tân, megys yn wyrthiol.

Ond beth a ddaeth o'r Cenadon, druain, y rhai a adawsid fel ŵyn ymhlith bleiddiaid, yr ochr arall i'r byd yn rhywle? Cyn ateb o honom yr ymofyniad hwn, erfyniwn amynedd y darllenydd tra y mynegom beth oedd yn myned ymlaen tua'r brifddinas, er hyrwyddo Cenadaeth Môr y Dê ymlaen, ac yna fe ddaw i'r golwg bennod go dywell yn llyfr rhagluniaeth y Nef. Penderfynasai y cyfarwyddwyr anfon y *Duff* allan eilwaith, gyda deg ar hugain o lafurwyr ar ei bwrdd, i gyfnerthu y rhai a anfonasid allan o'r blaen. Dengys hyn faint eu hyder yn haelioni y wlad, ynghyda mawredd eu hawydd am wneyd rhywbeth yn effeithiol tuag at Ynysoedd Môr y Dê. Cychwynodd y *Duff* i'w hail fordaith, gan ddwyn gyda hi, fel o'r blaen, ddymuniadau goreu myrdd o galonau. Ond ni bu iddi y fath rwydd hynt y waith hon, oblegid daliwyd hi gan ryfellong Ffrengig; a'r diwedd fu i'r holl eiddo oedd ynddi fyned i gerdded, ac i'r cenadon a'u teuluoedd, ar ol goddef blinfyd ac anhawsderau lawer, gael eu trosglwyddo yn ol i Loegr, i wneyd fel y mynent; a da, yn ddiau, oedd cael cyraedd yno rywsut. Gyda hyn, wele newyddion anffodus eto yn cyrhaeddyd o'r Ynysoedd pell. Yr oedd y Genadaeth i'r *Marquesan Islands* wedi profi yn fethiant. Yn Tongatubu, collodd rhai o'r cenadon eu bywydau; ac o herwydd dygwyddiadau adfydus eraill, bu raid ildio, a rhoddi y cwbl i fyny yno hefyd. Dygwyddodd yn lled

debyg drachefn yn Tahiti, lle y dechreuasid ar y gwaith gyda chymaint hyder am lwyddiant. Gorfu ar y cenadon braidd oll ddïanc i New South Wales rhag eu dinystrio gan y preswylwyr anwar. Arosodd rhai, pa fodd bynag, er gwaethaf pob enbydrwydd, a dychwelodd eraill yn ôl yn bur fuan, er ail-ddechreu ar eu llafur.

Hir iawn y buwyd yn dysgwyl am i wawr llwyddiant dòri ar y Genadaeth yma yn Polynesia, a'r cyfan yn troi allan yn siomedig. Eto, nid oedd raid meddwl am hyn fel pe buasai beth newydd wedi dygwydd ar y ddaear. Oni fu Hans Egede, tua dechreu y ganrif ddiweddaf, yn llafurio am ddeuddeng mlynedd yn Greenland heb fod cymaint âg un enaid yn troi at y Gwaredwr? Ac wedi i genadon y Morafiaid fyned yno ato i lafurio, wele y *frêch wèn*, am y waith gyntaf erioed, yn dechreu medi y trigolion i lawr wrth y cannoedd, a'r anffawd yn cael ei brïodoli, yn afresymol ddigon, i waith y cenadon yn dyfod i ymsefydlu yn eu plith. Am bum' mlynedd yn rhagor bu raid iddynt ddilyn ymlaen cyn i ddyddiau bendigaid y tywalltiad mawr ddyfod. A'r un modd yn union y bu yn amgylchiad Tahiti. Un mlynedd ar bymtheg o lafurio egnïol, eto y ddaear odditanodd megys haiarn, a'r nefoedd uwchben fel prês! neb yn edifarhâu, neb yn credu yr efengyl! O'r diwedd, wele y wawr yn tòri, a gwaith iachawdwriaeth yn dechreu myned rhagddo, a hyny yn y fath fodd ag i sicrhâu y clod yn unig i Dduw. Mewn adeg pan oedd y cenadon oll wedi gorfod encilio o Tahiti, o herwydd ei bod yn rhyfel erchyll rhwng yr ynyswyr â'u gilydd, clybu rhywun lais gweddi yn ymddyrchafu rhyw ddiwrnod o un o'r coedwigoedd. Erbyn i bethau ddyfod i'r amlwg, yr oedd dau o'r brodorion, a fuasent gynt yn ngwasanaeth y cenadon, yn anwybodus iddynt hwy, wedi derbyn argraffiadau da, ac yn awr wedi ymgyfammodi â'u gilydd i gyfarfod yn awr ac eilwaith i weddïo. Cyn hir daeth llawer eraill i ymuno â hwy; fel erbyn i'r cenadon ddychwelyd yn ol at eu gwaith, yr oedd yn Tahiti dorf o bobl yn weddïwyr! Dydd dedwydd yno oedd hwnw, pan ddechreuwyd cadw cofrestr o enwau ymofynwyr am iachawdwriaeth! Ond beth am y diwrnod pan y gwelwyd fod yn rhaid rhoddi y llyfr o'r neilldu, am fod enwau y gweddïwyr wedi dyfod yn rhy lïosog i'w cofnodi oll! Yr oedd sefydlu eglwys yn waith hawdd yno erbyn hyn. Pwy all ddirnad maint gorfoledd y cenadon pan welent hwy fel yr oedd yr Arglwydd wedi cyfodi a thrugarhâu wrth ei bobl yn Polynesia? A theilynga goffâd yma fod cyfarwyddwyr y Gymdeithas gartref wedi bod yn meddwl o ddifrif, ychydig amser cyn hyn, am roddi i fyny y Genadaeth yn hollol, yn y fath le anobeithiol â hwnw. Gwrthwynebid hwynt yn hyn, pa fodd bynag, gan yr hybarch Dr. Haweis, ac ychydig gyfeillion ffyddiog eraill. Er mwyn parhâu yno am ychydig ymhellach, rhoddai y Doctor parchedig 200p. yn ychwanegol at y rhoddion tywysogaidd a roddasai efe aml waith cyn hyn. Oddeutu yr un adeg, daeth i feddiant o 1000p. yn annysgwyliadwy, trwy garedigrwydd rhyw un o'i gyfeillion, a chyflwynodd y rhai hyn hefyd oll at yr un amcan! Deuddeg Cant o Bunnau o gwbl! Unai y Parch. Matthew Wilks, gweinidog y Tabernacl, sef Tabernacl Whitfield, gyda Dr. Haweis yn y modd mwyaf calonog, i gefnogi y Genadaeth dan sylw. Ar un achlysur, dywedai y buasai yn well ganddo fod i'w ddillad gael eu gwerthu oddiam ei gefn na bod iddi gael

ei rhoddi i fyny. Cynnygiai hefyd ar fod i dymmor o weddi neillduol yn ei hachos gael ei appwyntio ganddynt ar fyrder. Wrth gyttuno ar hyn, penderfynwyd hefyd anfon llythyrau i'r cenadon, er rhoddi iddynt gysuron ac annogaethau i ddyfalbarhâu yn eu gweinidogaeth. Ac fel y mae yn rhyfedd adrodd, pan oedd y llong a ddygai y llythyrau hyn ar ei mordaith i Tahiti, yr oedd llong arall yn dyfod heibio iddi yn rhywle ar y môr yn dwyn oddiyno newyddion bendigedig, sef y newyddion am gwymp eilunaddoliaeth, a dychweliad yr eilunaddolwyr i ffydd Crist wrth y miloedd. Pan gyrhaeddai y fath newyddion i'r wlad hon, oni theimlid gan aml un eu bod, yn wir, fel "dyfroedd oerion i enaid sychedig?" Ond beth am ei deimladau *ef*, yr hwn gyda phrïodoldeb a allem alw yn dad ac yn sylfaenydd Cenadaeth Môr y Dê? Mewn llythyr argraffedig sydd ger ein bron, crybwylla un Taylor, gweinidog enwog o Bradford, iddo ddygwydd bod yn Bath ar y pryd, ac iddo, yn nghwmni y Parch. W. Jay, droi i mewn i'r *news-room* yno, lle y cyfarfuasant â'r hybarch Dr. Haweis, yn llawen fel pe buasai wedi adfeddiannu holl höewder ei ieuenctyd. Anghofio y boddhâd sanctaidd gyda pha un yr adroddai efe iddynt y newyddion gogoneddus o Polynesia, nid oedd yn ddichonadwy i'r naill na'r llall o honynt byth. Y noswaith hono yr oedd cyfarfod o ddiolchgarwch cyhoeddus am hyn i fod yn nghapel yr Arglwyddes Huntingdon, yn Bath, i ba un y daeth y Doctor parchedig, er gwaethaf llesgrwydd ei henaint. Pan y safodd i fyny i ddyweyd gair, ymddengys fod yr effaith yn gyfryw ag a orchfygai bob teimlad. Yr oedd ei ddagrau yn llifo i lawr dros ei ruddiau yn ffrydiau glöewon, fel y soniai am yr holl ing meddyliol a gostiasai y Genadaeth hon iddo, yn ystod y pymtheng mlynedd a mwy a aethent heibio. Ac yn awr, gan fod dydd ei llwyddiant hi wedi dechreu, parod ydoedd, yn debyg i Siméon gynt, i ymadael o'r byd hwn mewn tangnefedd.

Tros yr Ynysoedd lawer a ymddysgleiriant fel gèmau heirdd ar fynwes y Môr Tawelog, fe ymledai dylanwad yr efengyl ar ol hyn gyda chyflymdra hynod. O fewn holl gylch hanesyddiaeth eglwysig, ni ddeuir o hyd i ffeithiau mwy tarawiadol na'r ffeithiau a adroddir am ei llwyddiant hi yno. Yn ei "Anturiaethau Cenadol," a ysgrifenid gan yr anfarwol JOHN WILLIAMS, yn y flwyddyn 1841, efe a ddywed, gan gyfeirio at adeg dechreuad y llwyddiant:—"O'r amser hwnw hyd yn awr, y mae rhyw un gyfres barhäol o lwyddiannau wedi bod yn dilyn ein llafur, fel y dygwyd ynys ar ol ynys, a'r naill dŵr o ynysoedd ar ol y llall, dan ddylanwad yr efengyl; yn gymaint felly, yn wir, fel nas gwyddom, ar hyn o bryd, am unrhyw dŵr nac ynys sengl o ddim pwysigrwydd, o fewn 2,000 o filldiroedd i Tahiti, mewn unrhyw gyfeiriad, a'r nas cyflwynwyd iddynt y newyddion da am iachawdwriaeth Duw."

Yn fuan ar ol cychwyn y Genadaeth i Polynesia, denwyd sylw cyfarwyddwyr Cymdeithas Llundain at sefyllfa pethau yn Neheubarth Affrica. Yr oeddynt eisoes yn argyhoeddedig mai eu dyledswydd oedd ymgyrhaedd at sefydlu cenadaeth yno hefyd. Yr oedd yno faes pwysig a deniadol, a neb yn llafurio ynddo oddeithr dau neu dri o genadon perthynol i'r Morafiaid, neu, Frodyr Unedig Germany, fel yr arferir eu galw weithiau. Yn y flwyddyn 1736, anturiasai yr enwog George Schmidt, aelod o'r un frawdoliaeth, yno, gyda'i einioes megys yn ei

law, a bu yn offerynol i sefydlu gorsaf mewn un man a addawai ddyfod rhagddi i bwysigrwydd mawr. Ond yn 1743, dirgymhellid ef i ddychwelyd yn ol i Ewrop; a chan yr ofnai awdurdodau Holland i'w waith ef yn addysgu yr Hottentotiaid o fewn eu trefedigaeth hwy brofi yn niweidiol iddi yn y pen draw, gwaharddwyd y cenadwr gweithgar ac ëofn hwn i ddychwelyd yn ol i faes ei lafur yn Affrica. Ceisiwyd ailymgymeryd â'r genadaeth aml waith, eithr yn hollol ofer hyd y flwyddyn 1792, pryd yr hwyliodd y Brodyr Marsveldt, Schwinn, a Kuchnel, tua Phenryn Gobaith Da. Erbyn cyraedd o honynt i'r fan lle y buasai Schmidt yn llafurio hanner can' mlynedd yn ol, a chwilio ychydig o amgylch, hwy gawsant eu sỳnu a'u llòni drwy ganfod fod peth o'r hâd a hauasid gan eu rhagflaenydd eto yn aros yn y tir. Ryw saith mlynedd yn ddiweddarach, sef yn 1799, cyrhaeddai myntai o genadon perthynol i Gymdeithas Llundain i'r drefedigaeth, yr hon fỳntai a flaenorid gan Dr. Vanderkemp, un o'r cenadon mwyaf llafurus a diofn y clybuwyd am dano mewn oesoedd diweddar. Yr oedd ef gyda hyny yn ddyn o athrylith gref, o ddysgeidiaeth ëang, ac o dduwioldeb diffuant. Bu yn ymberffeithio at droi mewn cylchoedd pwysig yn Mhrifysgolion Leyden ac Edinburgh. Bu yn dal swyddi uchel yn y fyddin, ac yr oedd tebygolrwydd y deuai yn y man i fod yn hynod ymysg ei llywyddion. Ond gan fod ei galon, rywfodd, wedi dyfod yn ddarostyngedig i ddylanwadau cariad y Groes, trôdd ei sylw i gyfeiriad hollol wahanol. O hyn allan, ewyllysiai ennill yr anrhydedd o fod yn "weinidog da i Iesu Grist," ac ymenwogi drwy fyned i bregethu yr efengyl i rai o dylwythau anwar y diffeithwch. Gan ei fod yn enedigol o Holland, naturiol iawn oedd iddo feddwl am fyned i Cape Colony i ddechreu, yn gymaint a bod y drefedigaeth hono, ar y pryd, megys yr awgrymwyd yn barod, yn meddiant Holland.

Yn fuan ar ol i'r cwmni gyraedd y Cape, ymwahanasant, yn ol eu bwriad, gan droi i wahanol gyfeiriadau. Penderfynodd Vanderkemp fyned rhagddo ar unwaith tua *head quarters* y gelyn, sef i Kaffirland, lle yr ydoedd yn sicr o gyfarfod âg anwariaeth o'r nodwedd ffyrnicaf. Rhyw "*Herculean task*" ydoedd hon, megys y sylwa Robert Moffat, gan y byddai yn rhaid iddo weithio ei ffordd drwy ganol peryglon dihafal; sef peryglon a godent, nid yn unig oddiwrth lewod a gwylltfilod y diffeithwch, ond hefyd oddiwrth y Bushmen a'r Hottentotiaid, y rhai oeddynt greulonach a mwy ofnadwy fyth. Ar ol cyraedd i Kaffirland, yr oedd ef i ddysgwyl cael ei hun yn nghanol poblogaeth ddirfawr o farbariaid, a'r rhai hyny yn ffurfio un o'r llwythau mwyaf rhyfelgar, galluog, ac annibynol, o fewn holl Affrica. Aeth allan i'r daith ryfedd, pa fodd bynag, heb ofni dim, gan gymeryd gydag ef y cenadwr Edmonds, ynghyda nifer o bobl fel arweinyddion. Cyrhaeddasant i le eu harfaethiad yn ddïogel; ond nid hir yr arosodd Edmonds yn y wlad, am y teimlai duedd anorchfygol i fyned i'r India Ddwyreiniol i lafurio ymhlith yr Hindŵaid. Felly fe adäwyd y Doctor yno ei hunan yn un o'r sefyllfäoedd rhyfeddaf y bu dyn gwareiddiedig ynddi erioed. Ar ol bod yno am ychydig gyda blwyddyn o amser, gorfodwyd yntau gan amgylchiadau i ddychwelyd yn nghyfeiriad y Cape, a phenderfynodd aros, am gryn enyd o leiaf, i lafurio ymhlith yr Hottentotiaid. Er fod hanes Vanderkemp yn rhamantus tu hwnt i bob peth drwyddo oll,

eto rhaid i ni osgoi y brofedigaeth o'i dilyn ymhellach; yn unig ni a grybwyllwn iddo gael y fraint o gyflawni y fath wasanaeth i'r achos cenadol yn Neheubarth Affrica, fel *pioneer*, fel nad yw yn bosibl y derfydd byth ei goffadwriaeth o blith dynion.

Dechreuodd Cymdeithas Genadol Llundain ar ei gweithrediadau yn yr *India Ddwyreiniol* o fewn yr un flwyddyn ag y bu iddi ddechreu ei chenadaeth yn Affrica, drwy anfon Mr. Forsyth i sefydliad a berthynai i'r Dutch y pryd hwnw, sef i Chinsurah, a saif o fewn talaeth Bengal, oddeutu deng milldir ar hugain oddiar dref Calcutta. O fewn y ganrif bresennol y bu iddi sefydlu ei chenadaethau bendithfawr yn China, a'r India Orllewinol, ynghyda Madagascar. Dechreuodd y bythglodfawr Dr. Morrison ar ei lafur yn China yn y flwyddyn 1807; aeth Dr. Milne yno i'w gynnorthwyo rywbryd yn 1813; ac yn ystod y flwyddyn ddilynol y gwelwyd cyhoeddi y Testament Newydd am y waith gyntaf yn iaith y Chineaid, ac y gwelwyd bedyddio y dysgybl cyntaf a ennillasid i ffydd Crist. Gan fod ymherodraeth fawr China eto yn glöedig yn erbyn yr efengyl, rhaid oedd i'r cenadon gyfyngu eu gweithrediadau yn benaf i Malacca, Penang, a Singapore.

Dechreuwyd Cenadaeth yr *India Orllewinol* yn Chwefror, 1808, gan y Parch. John Wray, yr hwn a lwyddodd yn fuan i gasglu eglwys ynghyd ar etifeddiaeth un Mr. Post, yn Demerara. Yn y blynyddoedd dilynol elai y gwaith da rhagddo yno, mewn gwahanol gyfeiriadau, gyda rhwyddineb mawr. Deng mlynedd yn ddiweddarach, penderfynodd y cyfarwyddwyr agor cenadaeth yn Madagascar. Am ddwy flynedd ar bymtheg buwyd yno yn gweithio yn ddiwyd cyn i nemawr o ffrwyth ddyfod i'r amlwg. Ymhlith y cyn-lafurwyr a fuont yno yn gosod i lawr seiliau llwyddiant dyfodol y Genadaeth, nis gallwn anghofio enwau Griffiths a Johns, y ddau Gymro twymngalon a gwrolfrydig, y rhai a weithiasant yno mor hir, a chydag egni mor ganmoladwy. Yn y flwyddyn 1835, dechreuwyd erlid yr ychydig Gristionogion oedd o fewn y wlad gyda dïaledd. Gwaherddid iddynt gadw y Sabbath, ymarfer â'r ordinhadau, na darllen yr Ysgrythyrau. Nid oedd gan y cenadon ddim i'w wneyd, bellach, ond dïanc am eu heinioes. Parhäodd tymmor yr erlidigaeth am oddeutu chwech ar hugain o flynyddoedd, ac ar adegau, byddai yn ymdòri allan gyda ffyrnigrwydd ofnadwy. Er merthyru llaweroedd, rhagddo yr elai y gwaith da yn barhäus; yr oedd yma megys perth yn llosgi, eto heb ei difa. Prin y mae yn rhaid i ni ddyweyd mai ynys yw Madagascar yr ochr ddwyreiniol i Affrica. O ran arwynebedd, y mae oddeutu cymaint ddwywaith â Phrydain Fawr ac Iwerddon ynghyd, ac felly rhaid mai un o'r ynysoedd mwyaf yn yr holl fyd ydyw. Gan ein bod yn awr wedi ei phuro trwy dân, onid ellir dysgwyl y bydd i'r efengyl gael yno arosiad hir, a theyrnasiad cyffredinol, megys gyda ninnau?

Cydnabyddir yn gyffredin fod Cymdeithas Genadol Llundain wedi bod yn hynod o ffodus yn ei Chenadon. Pan y cofiwn am enwau Vanderkemp, Morrison, Milne, Williams, Moffat, Brownlee, Campbell, Philip, Smith, Ellis, Livingstone, ynghyda llaweroedd heblaw hwynthwy, cawn achos i ystyried pa mor fawr yr anrhydedd a roddwyd ar y Sefydliad gan Ragluniaeth y nef, yn nghyfodiad y fath lu o ddynion ardderchog, i ddwyn ymlaen waith ei chenadaethau pwysig yn yr ynys-

oedd a'r gwledydd mawrion a enwyd genym yn barod. Heblaw bod yn hynod am aiddgarwch a gwroldeb, yr oedd y gwŷr uchod hefyd yn perchenogi athrylith o'r radd uchaf. Pwy erioed gyflawnodd fwy o orchest fel cyfieithydd na Dr. Morrison o China? Pwy wnaeth fwy o aberthau, neu a weithiodd ymlaen drwy ganol mwy o anhawsderau na Vanderkemp? Pa deithiwr ymchwiliadol a ellir ei gymharu i Livingstone? Pwy all gyfeirio at "anturiaethau Cenadol," a ddeuant i fyny o ran amrywiaeth ac ysplenydd-der, âg eiddo John Williams o Ynysoedd Môr y Dê? A fu yn rhyw gyfnod weithiwr mwy dyfalbarhäol, neu awdwr mwy poblogaidd, na Robert Moffat, apostol mawr yr achos cenadol yn Neheubarth Affrica? Ymhlith enwau merthyron rhyddid, a oes enw a ddisgyna yn bereiddiach ar y glust nag eiddo John Smith o Demerara? A chan gofio, fe dywyna llewyrch merthyrdod ar enw un arall o'r rhai y crybwyllwyd am danynt uchod, sef y pur a'r seraphaidd John Williams, am ddiwedd alaethus yr hwn ar erch-draethell Erromanga, nis gallwn byth feddwl, ond gyda chalon fydd yn ymlenwi o alar. Yr oedd galluoedd yr olaf a enwasom mor ëang ac amrywiaethol, a'i lafur mor ryfeddol o lwyddiannus, fel yr oedd ei ymddangosiad yn ddigon i grëu cyfnod newydd yn hanes cenadaethau Cristionogol o fewn y ganrif bresennol. Nid ydym yn meddwl dim diystyrwch tuag at gymdeithasau eraill wrth ddyweyd ddarfod i Robert Moffat ac yntau gyda'u gilydd, trwy gyfrwng eu hysgrifeniadau a'u hareithiau, wneuthur mwy tuag at ennyn zêl pobl Prydain, o bob dosbarth a gradd, yn ffafr cenadaethau Cristionogol, nag a wnaed gan neb rhyw ddau eraill y gallwn feddwl am danynt. Nid fel dynion plaid yr ydym yn eu golygu yn awr, ond fel rhai yn perthyn i Gristionogaeth—fel addurniadau y gall yr eglwys fawr gyffredinol drwy y byd deimlo yn ddiolchgar am danynt, ac yn falch o'u gwasanaeth. Neillduwyd y ddau i'w swydd fel cenadon yn nghapel Surrey, Llundain, yr un noswaith, sef Medi 30ain, 1816. Yr oedd yno naw i gael eu hordeinio o gwbl. Williams a Moffat oeddynt y brodyr ieuengaf o ran dyddiau yn eu plith. Yn ei ragymadrodd i'w "*Missionary Labours and Scenes*," a ysgrifenid yn y flwyddyn 1842, cyfeiria Moffat at rai o'r amgylchiadau rhag-grybwylledig yn y geiriau toddedig a ganlyn:—"O'r rhai a ddechreuent ar eu gyrfa o lafur cenadol yr un pryd â'r ysgrifenydd, y mae y nifer amlaf wedi suddo i'r bedd; ac nid ychydig o'r rhai a ddilynent ymhell wedi hyny, a gasglwyd hefyd at eu tadau." Adgofir ef yn neillduol am un, ag oedd anrhydeddus ac anwyl iawn, marwolaeth alaethus yr hwn, o bawb eraill, oedd wedi effeithio fwyaf arno. "Derbyniwyd John Williams a minnau gan y cyfarwyddwyr ar yr un pryd, a chaem ein neillduo i waith Duw yn nghapel Surrey, ar yr un achlysur. Yr oedd meusydd ein llafur yn hynod dreulfawr, o nodwedd hollol wahanol i'w gilydd. Wedi llawer o brofedigaethau a pheryglon, caniatäwyd i'r naill a'r llall o honom ddychwelyd i'n genedigol wlad, a chyhoeddi adroddiadau am ein llafur. Rhêd ein hanes yn gyfochrog hyd yn hyn, ond yma cymer ymwahaniad le. Y mae 'Merthyr Erromanga' wedi gorphen ei yrfa, ac y mae yn gorphwys oddiwrth ei lafur; tra y mae ei gyfaill boreuol eto yn aros yn nghanol yr ymdrech." Ac yna ychwanega ychydig eiriau, y rhai ydynt rywfodd yn rhy darawiadol i'w gadael allan genym:—"Teimla yr ysgrifenydd yn awr fod ei waith yn Lloegr ar ben, a bod ysbryd y dyeithr

a'r pererin yn dyfod yn gryf iawn drosto. Hiraetha unwaith yn rhagor am anturio y cefnfor llydan, a phryderus ddysgwylia am yr awr, pryd y bydd iddo eto gyraedd glènydd ei wlad fabwysiedig, ac y câ eilwaith ymddangos ymysg plant y diffaethwch." Da genym allu dyweyd fod ein gwron anrhydeddus eto yn fyw, ac yn dilyn ymlaen yr un fath, wedi bod o hóno am ddeuddeg mlynedd a deugain, bellach, yn llafurio i ddênu "plant y diffaethwch" at Waredwr.

Gan i Gymdeithas Genadol Llundain gael ei sefydlu yn 1795, yr oedd blwyddyn ei Jubili hi yn dechreu yn 1844, a mawr oedd y sylw a wneid o hyny gan gefnogwyr y sefydliad ymhob cŵr o'r deyrnas. Hynodid 1844 hefyd gan amgylchiad dyddorol iawn arall ynglŷn â'r Gymdeithas, sef ymadawiad y llong genadol newydd, "*John Williams*," am Ynysoedd Môr y Dê, gyda chwech o genadon ar ei bŵrdd. Yr oedd ei hŷd yn 103 o droedfeddi, a'i thunnelliaeth yn 296 o dunnelli. Prynasid y "*Duff*" gan arian a gymerid o drysorfa y gymdeithas, a'r "*Camden*," wedi hyny, drwy ymdrech neillduol ar ran yr aelodau yn gyffredinol; ond prynasid hon drwy ymdrechion y dosbarth ieuengaf o'i chefnogwyr hi. Cyrhaeddai *ceiniogau y plant* i 6000p.; a chan nad oedd y llong ei hun yn costio ond tua 5000p., fe welir fod gweddill da mewn llaw at ei ffitio allan i'r fordaith. Erbyn rhyw foreu têg, dymunol, yn mis Mehefin, yr oedd pobpeth yn barod, ac wele y cenadon, hwythau, gyda'u gwragedd, a'r hyn oedd ganddynt, ar fwrdd yr agerlong oedd i'w cludo o Lundain i'r "*John Williams*," ag oedd ar y pryd yn gorwedd i ddysgwyl wrthynt yn Greenhithe. Traddodwyd iddynt, yn nghlywedigaeth lliaweroedd, anerchiad ymadawol rymus gan y Parch. Thomas Binney, yna, wedi gweddïo o'r Parch. John Arundel, ffarweliwyd heb obaith cael cyfarfod byth fel hyny mwy ar y ddaear.

Yr oedd ystyriaeth o'r llwyddiant nodedig a fuasai ar weithrediadau y gymdeithas yn y nifer amlaf o'r meusydd cenadol, yn tueddu at beri i'w chefnogwyr mwyaf aiddgar edrych ymlaen at ddynesiad y flwyddyn hon gyda hyfrydwch mawr. Bwriedid cynnal "Cyfarfodydd Jubili" ymhob rhyw le pwysig drwy y deyrnas, a dysgwylid pethau mawr oddiwrthynt. Nid oes le i ammheu na bu y cyfarfodydd hyn o ddirfawr lês ymhob ystyr, er, fe allai, nad oedd swm y *cyfraniadau neillduol* ddim yn ogymaint ymhob man, fe allai, ag y buasid yn dymuno. Cymerodd Llundain y blaen yn yr ymdrech, ac ebrwydd y canfyddid ei bod wedi rhoddi esiampl ardderchog i'r holl ymherodraeth. Cafwyd yno gyfres o gyfarfodydd hyfryd a dylanwadol odiaeth tua diwedd Medi. Sabbath, yr 22ain o'r mis hwnw, traddodid pregethau cyfaddas i'r achlysur yn holl gapelau yr enwad Cynnulleidfäol drwy y ddinas fawr, canys dyna pryd yr ystyrid fod y ddegfed flwyddyn a deugain yn dechreu. Y nos ganlynol, yr oedd capel ëang y Poultry wedi ei orlenwi hyd y drysau, yn benaf, gan bobl ieuainc, er gwrandaw ar y Parch. James Parsons o York yn traddodi ei genadwri iddynt. Ei destun ydoedd y geiriau acw yn Malachi i. 6, "Mab a anrhydedda ei dad—ac os ydwyf fi dad, pa le y mae fy anrhydedd?" Dadleuai hawliau Duw fel Tad ar ufudd-dod a gwasanaeth ei grëaduriaid i ddechreu; ac yna dangosai y manteision a ddeilliai i bobl ieuainc o gydsynio yn llawn ac ar unwaith â'r hawliau hyny, gan gyfeirio mewn modd hyfedr at yr urddas, y defnyddioldeb, ynghyda'r dedwyddwch a sicrhëid iddynt drwy hyny. Yr oedd y bregeth

yn deilwng o'r pregethwr, ac o'r achlysur; ac fel y gallesid dysgwyl, yr ydoedd yn llawn o'r fath appeliadau nerthol a chynhyrfus ag a roddent i weinidogaeth y Parch. James Parsons ryw arbenigrwydd a fydd yn rhwym o aros byth yn nghof ei wrandäwyr. Bore dydd Mawrth drachefn, yr oedd y Parch. W. Jay i bregethu yn Nghapel Surrey. Ymhell cyn i amser y gwasanaeth ddechreu, yr oedd y lle wedi myned yn rhy lawn, a meddylir i rai miloedd orfod troi adref yn siomedig, am nad allent fyned i mewn. Yr oedd golwg batriarchaidd yn awr ar Mr. Jay, gan ei fod yn bymtheg a thriugain oed. Oddiar y gair "Ebenezer," aeth rhagddo i draddodi pregeth a ystyrid yn un o'r rhai mwyaf hapus a tharawiadol a glybuwyd ganddo un amser. Bu agos i ddwy awr yn ei thraddodi, a gwrandewid arno o'r dechreu i'r diwedd gydag astudrwydd a theimlad anarferol. Yn yr hwyr, pregethai Dr. Raffles, o Liverpool, yn nghapel Craven, i dorf anferth, oddiwrth y geiriau, "Dywed wrth feibion Israel am gerdded rhagddynt." Drannoeth yr oedd cyfarfod cyhoeddus i gael ei gynnal yn Exeter Hall, a Syr Culling Eardley Smith, Barwnig, i fod yn gadeirydd. Yr oedd y cynnulliad yn un dylanwadol a gwir fawreddog. Cynnrychiolid y prif bleidiau crefyddol ar yr esgynlawr gan ddynion o'r enwogrwydd mwyaf. Yr areithwyr oeddynt, y Parchn. E. Bickersteth, Dr. Bunting, Dr. Leifchild, J. Hamilton, J. A. James, Joseph Angus, W. L. Alexander, Dr. Dixon, Dr. Harris, ac A. Tidman. Talu diolch oedd gwaith y ddau olaf, felly ar y boneddigion eraill y disgynai pwys y gwaith ar yr achlysur nodedig dan sylw. Gan fod yr areithiau yn dygwydd bod ar y bwrdd o'n blaen, yn gyflawn fel y cawsant eu traddodi, yr ydym yn rhydd i hòni na chynhyrfwyd muriau Exeter Hall erioed gan adseiniau hyawdledd mwy goruchel na'r tro hwn. Nid oedd dim a allasai dueddu i beri attaliad ar y boddhâd cyffredinol a deimlid ynglŷn â holl weithrediadau y dydd, ond yr ystyriaeth fod yr erlid a'r merthyru eto heb ddarfod yn Madagascar, a bod Ffrainc mewn modd gwaradwyddus ddigon wedi trawsfeddiannu Ynys Tahiti, trwy yr hyn y dygid dylanwad Pabyddol i mewn, ac y bygythid difwyno rhagolygon dedwydd Protestaniaeth a chrefydd ddihalogedig yn y lle. Rhoddid y penderfyniad a ddygai gyfeiriad at y materion hyn yn nwylaw y Parch. Dr. Leifchild, ac nid posibl oedd i well trefniad gymeryd lle. Siaradodd gyda nerth a deheurwydd anarferol. Dywedai nad oedd achos Tahiti, na sefyllfa ddifrifol pethau yn Madagascar ddim mewn un modd yn ei ddychrynu ef: credai y goruwchreolid y cyfan er ateb dybenion gogoneddus yn y pen draw. "I am not the man to despond," eb efe, "I have too firm a faith in the accomplishment of the prophesies respecting the final and universal conquests of Christianity, to despond." Ar ei ol ef, cododd y Parch. James Hamilton (wedi hyny Dr. Hamilton), o Lundain, a chafwyd ganddo araeth oedd yn llawn o bertrwydd a thlysineb. Yr oedd yn hyfryd ganddo gofio fod Dr. Waugh, yr hwn oedd Henaduriaethwr fel yntau, i'w restru fel un o sylfaenwyr y gymdeithas. Ac nid efe yn unig chwaith, oblegid yr oedd eraill, gyfoeswyr a brodyr iddo, yn haeddiannol o'r un anrhydedd. Fel cynnrychiolydd y corff hwnw o Gristionogion, hyfryd oedd ganddo gael y fath gyfle i gyflwyno y mynegiadau hyny o barch a serchogrwydd cryf a deimlent tuag at, ynghyda'r dymuniadau da o blaid cymdeithas, y gallai efe gyda phriodoldeb ei galw a'i hystyried fel

"ein mam ni oll." Wedi hyn, gafaelid yn y dorf gan law alluog y Parch. J. A. James o Birmingham. Dadleu hawliau trysorfa y Jubili oedd y gwaith mawr a ymddiriedid iddo ef, ac nid oedd yn Ewrop neb a allasai ei wneyd yn well. Dywedai rywbryd yn ystod ei araeth fod udgorn y Jubili yr oeddid yn awr yn ei seinio, nid yn unig yn galw arnynt i fyned i'w coffrau, ond hefyd i'w dirgel-ystafelloedd, i dywallt eu calonau ger bron Duw. Y fath ffydd oedd ganddo yn nerth gweddi, fel nad ammheuai, os codai pobl Dduw i fyny yn mhrïodol agweddiad a gallu gweddi grediniol, y byddai iddynt eto adennill Tahiti, ac y caent Madagascar yn ol drachefn i'w meddiant. Yr oedd rhywbeth fel yn brophwydoliaethol yn yr ymadroddion hyn, ond i ni edrych arnynt yn ngoleuni dygwyddiadau diweddar yn y manau hyny.

O ran nerth arianol, hyny ydyw, o ran maint ei chyllid blynyddol, saif Cymdeithas Genadol Llundain ymhlith ei chwïorydd Gymdeithasau, y *drydedd* yn y Deyrnas. Er ys llawer o flynyddoedd, bellach, ceidw Cymdeithas yr Eglwys Sefydledig, a'r un Wesleyaidd, ar y blaen iddi; er y bydd hithau, weithiau, megys yn ymbrysuro rhagddi, ac fel am fŷnu bod yn gyfochrog â hwynt. Y mae meddwl am yr helaethiad rhyfeddol sydd wedi bod yn swm cyllidau y Gymdeithas hon, yn gystal âg eraill, o fewn y ganrif bresennol, i'n teimladau ni yn rhywbeth boddhäus dros ben. Wedi i dderbyniadau Cymdeithas y Bedyddwyr, un flwyddyn, gyfodi i'r swm o 1,500p, dywedai Andrew Fuller nad ammheuai ef na chyfodai, rywbryd, i 5,000p. A phan y cyfododd cyllid Cymdeithas Genadol Llundain i fod tua 5,000 neu 6,000p., meddyliai Dr. Bogue y gallai amser ddyfod pan y cyrhaeddai i 20,000p. yn y flwyddyn. Dengys Adroddiadau y Cymdeithasau hyn yn awr, fod yr Arglwydd wedi gwneuthur yn dra rhagorol, y *tu hwnt* i ddim a feddyliodd y tadau parchedig a enwyd genym. Yr oedd derbyniadau Cymdeithas Llundain, yn ystod rhai o'r blynyddoedd a *flaenorent* flwyddyn y Jubili, yn 80,000p. a throsodd. Fel pob sefydliad tebyg, amrywia cyllid y Gymdeithas gryn lawer y naill flwyddyn ragor y llall. Ymddengys mai blwyddyn lled dda, mewn ystyr arianol, oedd yr un y ceir sôn am dani yn yr Adroddiad diweddaf, oblegid yr oedd y casgliadau yn Mhrydain yn fwy o 6,663p. nag oeddynt y flwyddyn cyn hyny. Wrth daflu golwg dros y BALANCE SHEET am y flwyddyn, canfyddir fod cyfanswm y derbyniadau fel y canlyn:—

| | | P. | S. | C. |
|---|---|---|---|---|
| I. | Cyfraniadau at Achosion *Cyffredinol* ... ... | 82,569 | 12 | 0 |
| II. | Cyfraniadau at Achosion *Neillduol* ... ... | 15,049 | 5 | 4 |
| III. | Cynnyrch eiddo a werthwyd yn China a Singapore ... ... ... .. ... | 2,507 | 3 | 8 |
| IV. | Arian Yswiriant yr hen Long Genadol ... | 7,780 | 3 | 6 |
| V. | Wedi eu tŷnu o *Reserves* y Gymdeithas ... | 3,400 | 14 | 10 |
| | | P111,306 | 19 | 4 |

Am y TREULIADAU, nid yw o un dyben i ni fanylu yn eu cylch. Wedi talu pob gofynion oedd yn erbyn y Gymdeithas, nid oedd mewn llaw ond yn unig 1,062 8s. 4c. Fe ddealla y darllenydd hyn, sef, er fod

holl dderbyniadau y Gymdeithas gyda'u gilydd yn cyraedd i 111,306p. a throsodd, nad oedd y cyllid gwirioneddol yn cyraedd i gymaint â hyny. Eto erbyn dodi swm y Cyfraniadau at Achosion Cyffredinol at eiddo y Cyfraniadau ar gyfer Achosion Neillduol ynghyd, er cael allan y gwir gyllid, cantyddir fod yn aros y cyfanswm hardd o 97,618p. 17s. 4c. Holl swm Derbyniadau y Gymdeithas o'r dechre hyd ddiwedd y flwyddyn 1866, ydoedd fel y canlyn:—

| | P. | S. | D. |
|---|---|---|---|
| Cyfraniadau, Cymunroddion, &c., o'r flwyddyn 1795 hyd 1830 ... ... ... ... | 650,121 | 0 | 0 |
| Eto o'r flwyddyn 1831 hyd 1866 ... ... | 2,605,072 | 0 | 0 |
| | P3,225,193 | 0 | 0 |

Oddiwrth y cyfrif uchod, fe welir fod swm y cyfraniadau yn ystod y pymtheg mlynedd ar hugain *olaf* o'r cyfnod yr awgrymir ato, wedi bod gryn *bedair* o weithiau yn fwy na'r hyn a fuasent yn ystod y pymtheg mlynedd ar hugain cyn hyny. Ac os chwanegir at y cyfanswm mawreddog uchod y symau a gasglwyd at y Gymdeithas o 1866 hyd yn awr, yna daw i'r amlwg y ffaith ddyddorol, fod Cymdeithas Genadol Llundain wedi llwyddo i gyfodi yn bur agos i DAIR MILIWN A HANNER o Bunnau, o adeg ei sefydliad hyd yn bresennol, er lledaenu egwyddorion bendigaid Cristionogaeth ar y ddaear.

Ni chaniatâ gofod i ni ymhelaethu fel y dymunasem ar *hanes* yr achos cenadol yn y gwahanol Sefydliadau neu Orsafoedd, a berthynant ar hyn o bryd i Gymdeithas Llundain, yn y parthau hyny o'r byd lle y deuir o hyd iddynt. Ond byddai yn drosedd anfaddeuol ynom, braidd, pe gwnaem ddybenu heb ddwyn ymlaen ychydig ffeithiau er dangos ansawdd gyffredinol pethau ymhob un o'r manau y mae ganddi hi Genadaethau ynddynt.

Yn Ynysoedd y Môr Tawelog, dygir ymlaen weithrediadau y genadaeth, ar yr adeg bresennol, yn y *Groups* hyny sydd yn myned dan yr enwau *Society*, *Herveys*, *Samoa*, a'r *Loyalty Islands*. Y mae yn y cwbl o'r Ynysoedd hyn tua DENG MIL o gymunwyr, ac yn lled agos i HANNER CAN MIL o boblgyda hyny yn ymwneyd yn gyhoeddus â moddion gras. Heblaw saith ar hugain o genadon Seisonig, y mae yno hefyd oddeutu un ar hugain o weinidogion brodorol ordeiniedig, a chant a phedwar ugain a thri o bregethwyr cynnorthwyol. Gyda'u gilydd y maent yn gwneyd gwaith mawr er efengyleiddio preswylwyr Polynesia. Dygir tystiolaeth ddiamwys i hynyma gan fôrdeithwyr lawer, y rhai y gellir ymddibynu yn llawn ar yr hyn a ddywedont. Fel enghraifft o'r hyn sydd yn cymeryd lle yn bur gyffredinol yno, dodwn yma y dystiolaeth ganlynol o eiddo ysgrifenydd doniol yn "*Blackwood's Magazine*," ychydig amser yn ol, mewn cyfeiriad at agwedd pethau yn *Samoa*:—"Dywedasom," ebe efe, "mai gan Gymdeithas Genadol Llundain y mae gofal ysbrydol Ynysoedd Samoa. Sefydlwyd y cenadon cyntaf yno oddeutu deng mlynedd ar hugain yn ol, eithr mynych y buasai iddynt ymweled â'r *group* hyny yn flaenorol i'r dyddiad a nodwyd. Nid yw yn angenrheidiol ymhel-

aethu ynghylch y zêl a'r ymroddiad gyda pha un y llafuriodd y dynion ardderchog hyn; a chyda golwg ar y llwyddiant a ddilynodd eu llafur, digon yw dyweyd fod pob rhyw arferion paganaidd ac anwar wedi eu diddymu, Cristionogaeth wedi ei chadarn sefydlu, bywyd a meddiannau mor ddïogel âg yn Lloegr,—ïe, yn fwy felly, yn gymaint â bod lladrad yno bron yn anadnabyddus,—y mae moesau y bobl wedi gwella yn ddirfawr, ffŷna cyfundrefn gyffredinol o addysg, ac y mae y Bibl wedi ei gyfieithu yn rhagorol, ac yn nwylaw pawb o'r trigolion." A yr ysgrifenydd rhagddo wedi hyn i son am ragoroldeb a gwasanaethgarwch y dysgawdwyr brodorol, y rhai a arddangosant y medr mwyaf yn y cyflawniad o'u gwaith. Ynglŷn â Chenadaeth Môr y Dê, nid oes dim yn fwy hyfryd i feddwl am dano na'r dylanwad ëang a weithredir er daioni gan niferi o'r dychweledigion yno eu hunain.

Yn Neheudir Affrica, y mae gan y Gymdeithas orsafoedd yn Cape Colony, Kaffirland, a Bechuanaland. Yn Cape Colony y mae nifer y gorsafoedd yn *ugain.* Trefedigaeth odidog yw y Cape, ac y mae yn meddiant Lloegr yn eithaf dïogel er rhywbryd yn nechre y ganrif bresennol. Mesura chwe' chant o filldiroedd un ffordd, ac oddeutu pedwar cant a hanner ffordd arall. Diddymwyd caethwasiaeth yno yn y flwyddyn 1834. Nifer y boblogaeth yw 270,000, ac y mae mwy na'u hanner yn dduon eu lliw. Yn ol y cofrestriad crefyddol a wnaed ddiweddaf, yr oedd o ymlynwyr, gan y *Dutch Reformed Church*, 60,000; Eglwys Loegr, 12,000; y Wesleyaid, 10,000; y Morafiaid, 11,000; a Chymdeithas Genadol Llundain, oddeutu 10,000. Llafuria y ddwy blaid flaenaf-ymysg yr Ewropëaid yn benaf; a'r lleill yn benaf ymhlith y tylwythau brodorol. Yn Kaffirland, nifer y gorsafoedd yw *pump;* ac yn y lle arall, *chwech.* Holl nifer y Cenadon yn y cwbl o'r gorsafoedd, yw 35; cymunwyr, 5,507; ac y mae o ymlynwyr brodorol yn agos i 20,000. Pump yn unig o bregethwyr brodorol a geir o fysg yr holl ddychweledigion hyn, a dim ond un gweinidog. Y mae adroddiadau y cenadon a lafuriant yn y gwahanol feusydd uchod, ar y cyfan, yn dra chalonogol. Hyfryd genym weled mor ddyddorol yr ysgrifenai Moffat at y Cyfarwyddwyr y tro diweddaf, mewn cyfeiriad at gynnydd y gwaith da oddeutu y Kuruman. Ymddengys ei fod yn cael torfëydd i'w wrandaw, ac wrth ganfod eu hastudrwydd yn gyffredinol, bydd yn rhyfeddu yn fynych am na chlywai fwy yn gofyn beth i wneyd am fod yn gadwedig. Mewn un rhan o'r Adroddiad, dywed yr hen batriarch, "Mor hynod foddhäus ydyw gweled y niferi o bobl mewn oed, y rhai a ddymunant gael dysgu darllen. Cynnydda y gofynion am lyfrau sillebu oddiwrth ddyeithriaid, wrth y rhai y golygaf, rhyw anifeiliaid garw, anniwylliedig, a dilodrau, a ddeuant o ben-trefydd ac ardaloedd pellenig. Mynych y gofynir pa bryd y daw yr ad-argraffiad o'r Testament Newydd allan. Yr wyf yn sicr y gwnaech wênu pe gwelech, fel y gwelais i yn aml, ddyn neu ddynion, y rhai unwaith a fuasent gyflawn bortreiadau o baganiaeth, yn rhodio o amgylch gyda chlwb, neu waewffon, gan ddeisyf yn ostyngedig am lyfr sillebu."

Yn China, y mae gweithrediadau y Gymdeithas er ys talm wedi dyfod i dynu sylw arbenig. Yn 1842 y caed y cyttundeb gwerthfawr drwy ba un yr agorwyd pump o borthladdoedd perthynol i'r ymherodraeth, nid yn unig i anturiaethau masnachol, ond hefyd i egnïadau Cenadol. Y

flwyddyn ddilynol, sefydlodd Cymdeithas Genadol Llundain orsafoedd yn Hong-kong, Amoy, a Shanghai. Wedi cyttundeb Arglwydd Elgin yn 1858, ail-agorwyd y Genadaeth yn Canton, a sefydlwyd cenadaethau newyddion yn Peking, Tien-tsin, a Hankow. Wrth hyn yr oeddid yn gweithio ymlaen i uchel-leoedd paganiaeth, ac yn dyfod i fyny hyd at rai o brif amddiffynfëydd y gelyn. Dyna Peking yn cynnwys o drigolion tuag 800,000; Tien-tsin, 200,000; Shanghai, 300,000; Amoy, oddeutu yr un faint; Hong-kong, tua 115,000; Canton, uwchlaw 500,000; tra yn y cychod ar y Pearl River gerllaw iddi, y ceir oddeutu 80,000 yn rhagor o fôdau dynol yn trigiannu; ac am Hankow, drachefn, yr hon y mae ei safle ar lènydd yr afon Yangtse, tua saith cant o filldiroedd oddiwrth ei genau, y mae yn cynnwys, meddir, oddeutu 800,000 o drigolion; a chan y saif hi yn nghanol Ymherodraeth sydd â'i phreswylwyr fel locustiaid o ran rhifedi, priodol y gellir ei hystyried fel yr orsaf genadol ardderchocaf yn yr holl fyd. Holl nifer y llafurwyr yn y gwahanol orsafoedd hyn sydd fel y canlyn:—Cenadon Seisonig, 20; gweinidogion brodorol, 4; pregethwyr, 39. Y mae ganddynt dan eu gofal tua 1,200 o aelodau, ac yn agos gymaint â hyny hefyd o wrandäwyr rheolaidd. Cynnyddu yn raddol a wna dylanwad egwyddorion teyrnas yr efengyl yno yn barhäus, er gwaethaf pob gwrthwynebiadau. Y mae yr adroddiad a rydd y Parch. G. John, yr hwn, fel y deallwn, sydd Gymro twymngalon, am sefyllfa pethau yn Hankow, yn ddyddanus odiaeth. Yn 1861 y sefydlwyd y genadaeth yno i ddechre. Craffer ar y ffeithiau, megys eu traethir gan Mr. John:—"Yn 1862, bedyddiwyd deg o bobl mewn oed; yn 1863, deuddeg; yn 1864, tri ar ddeg; yn 1865, un ar ddeg; yn 1866, dau ar hugain; ond yn y flwyddyn hon ychwanegwyd UN AR DDEG A DEUGAIN at ein nifer." Crybwylla ymhellach, "Ond nid gyda golwg ar y nifer yn unig yr ydym yn llawenychu. Llawenychir ni yn benaf gan yr un ar ddeg a deugain dychweledigion hyn ar gyfrif eu nodwedd cyffredinol, eu gwahanol sefyllfäoedd mewn bywyd, a'r amgylchiadau ymha rai, a'r moddion trwy ba rai, y dygwyd hwy i gorlan Crist. Yn yr ystyron hyn y maent i ni yn ffynnonell o ddyddanwch a chalondid annhraethol." Gallesid dyfynu rhagor allan o adroddiadau eraill o eiddo y cenadon, er dangos fel y mae yr efengyl yn cael ei phrofi yn allu Duw er iachawdwriaeth i eneidiau yn China, fel ymhob lle arall, a hyny yn fynych dan amgylchiadau a gyffröant syndod, ac a alwant am ein diolchgarwch mwyaf arbenig. Pwy na ddymunai rwydd hynt i lafur y cenadon o bob plaid yn ymherodraeth ëang China,—ymherodraeth a gynnwysa ddeunaw o daleithiau, a phob un o'r rhai hyny yn ogymaint â Phrydain Fawr—ac ymherodraeth hefyd a gynnwysai, yn ol rhifiad 1844, uwchlaw PEDWAR CAN MILIWN o drigolion! O! mor fawr y cynauaf, ac mor anaml y gweithwyr ar ei gyfer!

Er mwyn bod yn drefnus, dichon y dylasem fod wedi dyfod at genadaethau India y Dwyrain yn gynt; ond ni wna ddim gwahaniaeth o bwys, gan nad ydym yn syrthio i'r amryfusedd o fyned heibio iddynt yn gwbl ddystaw. Yn *Ngogledd* India y mae gan Gymdeithas Genadol Llundain chwech o brif orsafoedd, gyda deunaw o genadon Seisonig; chwech o weinidogion brodorol, a phymtheg o bregethwyr. Nid gwaith hawdd yw denu dynion i arddel Crist yn India. Tua 300 yw nifer yr aelodau eglwysig yn yr holl orsafoedd hyn, a rhyw 1,420 yw

nifer yr ymlynwyr brodorol. Yn perthyn i'r ysgolion cenadol fe geir 2,461 o fechgyn, a dim ond 386 o enethod. Wrth droi ein golygon tua Deheubarth India, gwelwn fod yno DAIR AR DDEG o brif orsafoedd, 23 o genadon Seisonig, naw o weinidogion wedi eu codi o blith y brodorion, ac un ar bymtheg a deugain o bregethwyr felly. Holl nifer yr aelodau eglwysig yma yw 857; ac am yr ymlynwyr brodorol, y maent oddeutu 3,190. Ceir yn y gorsafoedd hyn bedwar ar ddeg a deugain o ysgolion i fechgyn, gyda 2,719 o ysgolorion, a deunaw o rai i enethod, gyda 1,173 o ysgolorion. Yn y parth hwnw o India a elwir Travancore, cawn fod gan y gymdeithas SAITH o orsafoedd, gydag wyth o genadon Seisonig, un ar ddeg o genadon brodorol, a chant ag un ar bymtheg a phedwar ugain o bregethwyr cynnorthwyol. Y mae gwêdd lewyrchus ar yr achos cenadol yn y rhan yma o'r wlad—dim llai na 2,228 o gymunwyr, a thros 32,000 o rai yn gwrando yn rheolaidd ar bregethiad yr efengyl. Ceir yno hefyd yn agos i ddau cant a hanner o ysgolion, gydag 8,240 o ysgolorion yn perthyn iddynt. Wrth weled fod cychwyniad mor dda wedi ei wneyd yn India, a chofio o honom fod cymdeithasau cryfion eraill yno yn gweithio eu ffordd gyda chyffelyb lwyddiant, nis gallwn fod yn ddiobaith ynghylch iachawdwriaeth y wlad ehangfawr hono,—gwlad ag y ceir ynddi gryn ddeg ar hugain o genedloedd, a thros DDAU CAN' MILIWN o drigolion, er yr ymddengys nad yw hi ond dydd y pethau bychain yno eto ar deyrnas yr efengyl. Dylem ychwanegu fod rhai o'r sefydliadau sydd gan Gymdeithas Genadol Llundain mewn rhai lleoedd yn India, er cyfranu addysg o radd uchel i frodorion, yn dra llewyrchus eu hamgylchiadau. Y mae yr "*Institution*" sydd yn nghymydogaeth Calcutta, er enghraifft, yn cynnwys yn agos i 600 o ysgolorion, gyda 67 o fyfyrwyr athrofäol heblaw hyny. Y mae amlhâd y fath sefydliadau yn rhwym o fyned dan wraidd ofergoelion ynfyd a chreulawn India, bob yn dipyn.

Da genym droi ein golygon tua'r India Orllewinol yn awr, oblegid yno hefyd y mae llwyddiant arbenig wedi bod ar weithrediadau cenadon y Gymdeithas dan sylw. Yn *British Guiana*, trefedigaeth a gynnwysa tua 155,000 o drigolion, y mae ganddi lïaws o orsafoedd ffÿnadwy a chysurlawn y wêdd arnynt. Eglwysi Sefydledig Lloegr a'r Alban sydd gryfaf yno o bawb. Y mae ganddynt un ar bymtheg a deugain o gynnulleidfäoedd o fewn y drefedigaeth. Rhifa cynnulleidfäoedd y Wesleyaid yno tua 10,000 o bersonau, ac eiddo Cymdeithas Genadol Llundain, 16,000. Perthyna i gynnulleifäoedd ymneillduol eraill tua 13,000 o bersonau, ac y mae y Pabyddion tua 10,000 o nifer. Yn y rhaniad arall o'r India Orllewinol, sef ynys Jamaica, lle y mae 441,264 o drigolion, nid oes gan Gymdeithas Llundain ond wyth o weinidogion Seisonig, a deugain o rai brodorol, tra y cyfrifir fod yno o gwbl tua dau gant o weinidogion yn perthyn i wahanol bleidiau crefyddol. Tua 2,000 yw nifer cymunwyr y gymdeithas dan sylw yn Jamaica. Am rif y gwrandäwyr, nis gallwn fod yn sicr. Y 1867, holl nifer yr aelodau eglwysig perthynol iddi yn British Guiana a Jamaica ynghyd, ydoedd 4,798.

MADAGASCAR yw y lle olaf i ddyfod dan ein sylw. Y mae yma gyfnewidiadau mawrion er gwell wedi cymeryd lle er y flwyddyn 1861,

pryd y bu farw yr hen frenhines waedlyd hono a ddangosai y fath elyniaeth anghymmodlawn tuag at y Cristionogion. Megys y cofia cyfeillion Cymdeithas Llundain, yr oedd yr erlidigaeth yno yn ffyrnig iawn yn y flwyddyn 1849. Rhoddwyd deunaw o bersonau i farwolaeth, gwnaed tua chant yn gaethion, gyda'u gwragedd a'u plant, a dirwywyd oddeutu dwy fil yn rhagor. Yn y flwyddyn 1857 yr ydoedd yn waeth fyth, yn gymaint ag y llwythid y trueiniaid a osodid yn y ddalfa â chadwyni trymion iawn. Er y pryd y dybenodd tymmor yr erlidigaeth, anfonodd y gymdeithas nifer mawr o genadon yno, ac y mae y Nefoedd wedi gweled yn dda goroni eu hymdrechion â llwyddiant rhyfeddol. Aml waith y dywedwyd fod gwaed y saint yn troi yn hâd i'r eglwys; ac ni chafwyd erioed eglurach prawf o'r ffaith nag a geir ynglŷn â hanes cenadaeth Madagascar. Ymddengys fel pe buasai cenedl wedi cael ei geni yno yr un dydd. Nifer y cenadon Seisonig yn bresennol ydyw *tri ar ddeg*, ond y mae y gweinidogion brodorol yn *gant ac un!* Y mae yno hefyd uwchlaw 80 o eglwysi, 5,005 o aelodau, ac oddeutu 21,000 o wrandäwyr rheolaidd. Am y rhai a ddeuant i wrando yn achlysurol, nid yw yn bosibl rhoddi un amcangyfrif o'u nifer.

Ni pherthyna i'r gymdeithas, ar hyn o bryd, yr un orsaf genadol mor ffŷnadwy a llewyrchus â'r un sydd ganddi yn Antananarivo, prifddinas Madagascar. Ymleda dylanwad yr efengyl oddiyno drwy y wlad oddiamgylch gyda chyflymdra rhyfeddol. Y mae gan y genadaeth yn y brifddinas ei hun yn awr gryn naw neu ddeg o gapelau. Cynnwysa amryw o honynt eisteddleoedd i fwy na mil o addolwyr, ac nid oes yr un o honynt a'r nas cymer i mewn tua phedwar cant yn rhwydd. Er y cwbl, y mae yno ofyn am ragor o leoedd yn barhäus. Yn y flwyddyn 1862, cynnygiodd y Parch. Mr. Ellis, enw yr hwn, ynglŷn â chenadaeth Madagascar, a bery byth mewn bri, ar fod i gyfeillion y gymdeithas yn Mhrydain godi digon o arian i adeiladu yno bedwar o addoldai gorwych, ar gynllun eglwysydd. Meddylid i'r adeiladau hyn hefyd gael eu codi, os byddai modd, yn y lleoedd a hynodasid fwyaf gan ddyoddefiadau y merthyron. Ystyrid y buasai 10,000p. yn ddigonol; ond y fath oedd y brwdfrydedd a deimlid yn Lloegr o blaid y "*Memorial Churches*," fel y casglwyd yn bur fuan uwchlaw 13,000p. Anfonwyd adeiladwyr medrus drosodd i drefnu ac arolygu; llwyddwyd i gael addewid yn bur rwydd gan y diweddar frenin am y *sites* y meddyliasid am danynt, a dechreuwyd adeiladu o ddifrif; ond gan nad ydyw gwareiddiad yno eto ond megys yn ei fabandod, ni lwyddwyd i orphen y gyntaf o'r Eglwysydd Coffadwriaethol hyd ddechre 1867. Diwrnod a hir gofir yn Antananarivo oedd Ionawr 22ain, yn y flwyddyn 1867, pan oedd y deml fawr, na welsid ei chyffelyb yn dyrchafu ei phinaclau i'r làn yn y wlad hono erioed o'r blaen, i gael ei hagoryd drwy gynnal ynddi foddion cyhoeddus. Er na chynnwysai eisteddleoedd ond i 1,100 o bobl, yr oedd 500 neu 600 yn rhagor wedi ymwasgu iddi y boreu hwnw; ac o'r tu allan yr oedd cryn 4,000 o bobl yn dysgwyl yn amyneddgar am y gwasanaeth prydnawnol, i edrych a gaent hwythau ddim cyfle i fyned yno i wrando gair Duw.

O ddechre 1867 hyd yn awr, y mae dygwyddiadau a ymddangosant braidd yn anhygoel wedi cymeryd lle yn Madagascar. Cymerodd coroniad y frenhines bresennol le yno Medi 3ydd, 1868, a hyny dan

amgylchiadau a arddangosant pa mor fawr y dylanwad y mae Cristionogaeth wedi ei ennill ar feddyliau urddasolion y wlad. Yr oedd y defodau eilunaddolgar wedi eu bwrw ymaith yn hollol, a'r gweddusder mwyaf yn ffŷnu ymhob cyfeiriad. Ni ddarfu i deyrn a llywodraeth Madagascar erioed o'r blaen wneyd cydnabyddiaeth gyhoeddus o grefydd yr efengyl. Ar yr esgynlawr a godasid ar gyfer yr achlysur, parodd y frenhines ddodi bwrdd bychan yn ymyl ei gorsedd, ac ar hwn rhaid oedd cyfleu y Bibl ardderchog a dderbyniasai ei rhagflaenydd yn anrheg gan y Gymdeithas Fiblaidd Frytanaidd a Thramor, fel y byddai yn gymhwys ar gyfer y goron oedd i fod ar y llaw arall iddi. Ar y *canopy* a godasid uwchben y sêdd frenhinol, yr oedd yn argraffedig o amgylch y geiriau, "GOGONIANT YN Y GORUCHAF I DDUW, AC AR Y DDAEAR TANGNEFEDD, I DDYNION EWYLLYS DA." "DUW FYDDO GYDA NI." Gwahoddasid y cenadon i'r eisteddleoedd agosaf i'r esgynlawr, a dangosid tuag atynt y parch mwyaf gan bawb. Yr oedd y dorf a ddaethai ynghyd i weled y seremoni yn rhifo tua 400,000 o eneidiau! Yn yr araeth frenhinol, pa un sydd yn ddernyn rhyfedd a chywrain yn ei ffordd, fe gyhoeddir cyflawn ryddid crefyddol i bawb. Dyna fel y dywedid yn yr araeth, "Gyda golwg ar y gweddïo, nid yw yn cael ei ddirgymhell; nid yw yn cael ei wahardd, canys Duw a'ch gwnaeth."

Cynnwysai y *Mail* a gyrhaeddodd Lundain ar y 18fed o Ionawr diweddaf, hanes am agoriad yr *ail* Eglwys Goffadwriaethol, yn y rhan hono o'r ddinas, a elwir Ambohipotsy. Dywedir fod i'r adail safle ardderchog, a bod iddi ymddangosiad gwych. Gwelodd y frenhines yn dda roddi ei phresennoldeb yno yn y gwasanaeth agoriadol, ac anfonodd fenthyg ei Bibl ei hun i fod ar astell yr areithfa, am y tybiai fod yr un a osodasid yno gyntaf yn edrych yn rhy ddrwg. Cyn i'r bregeth gael ei thraddodi, anerchwyd y dorf anferth gan Brif Weinidog y Goron, yr hwn a annogai bawb mewn ychydig eiriau pwrpasol i ddyfod yn Gristionogion, drwy ymddiried yn Nghrist, a derbyn y Bibl fel gair Duw. Mewn oesoedd diweddar, ni chlybuwyd am y fath gyfnewidiadau â'r rhai hyn yn ddïau. Yn nghanol y cyfan, dengys adroddiadau y cenadon nad ydynt yn gallu edrych ymlaen i'r dyfodol heb gryn bryder. Pa fodd nad ydynt yn ymdeimlo oddiwrth beryglon eu sefyllfa? Y mae y tyrfäoedd yno eto heb ymryddhâu oddiwrth ddylanwad ofergoelion paganiaeth, a chyda hyny, wele wedi ymdywallt i'r wlad heidiau o offeiriaid Pabaidd, y rhai a wnânt yr oll a allant i niweidio achosion y Genadaeth Brotestanaidd ymhob lle y deuant iddo. Rhaid cofio hefyd fod llywodraeth Madagascar bob amser wedi arfer ymyryd â phob peth perthynol i hawddfyd y bobl, ac y mae perygl iddi, gyda threigliad amser a chyfnewidiad swyddogion, ymyraeth mwy â hawliau y cynnulleidfäoedd Cristionogol nag y byddai yn weddus. Ond yn wyneb y cwbl, nid oes genym ond ymddiried y bydd i'r Hwn a ofalodd am ei waith yn Madagascar hyd yma, beri i'w amddiffyn fod "ar yr holl ogoniant" yno eto yn yr amseroedd a ddeuant.

Cyn terfynu, rhaid i ni eto daflu golwg i'r Adroddiad, er mwyn gweled y "*General Summary.*" Gwelwn fod y daflen yn rhy fawr i'w dodi i lawr yma yn gyflawn fel y mae; am hyny ni chawn ond rhoddi y *totals* ger bron yn unig:—

| | |
|---|---|
| Cenadon Seisonig ... ... ... ... ... | 159 |
| Gweinidogion Brodorol ... ... ... | 63 |
| Pregethwyr Brodorol ... ... ... ... | 660 |
| Aelodau Eglwysig ... ... ... ... | 29,847 |
| Ymlynwyr Brodorol ... ... ... ... ... | 159,652 |

Y mae hefyd o

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Ysgolion i Fechgyn | 452, | gyda 25,369 | o Ysgolorion. |
| Eto i Lodesi | 162, | " 5,591 | " |
| | 614 | 30,960 | |

Y mae un ffaith arall nas gallwn lai na'i chrybwyll yma gyda boddhâd, sef fod cyfanswm y casgliadau a wnaed tuag at Drysorfa y Gymdeithas, yn y *Gorsafoedd Cenadol* eu hunain, y llynedd, yn cyraedd y swm hardd o 13,746p. 14s. 9c. Dengys hyn tu hwnt i ddadl fod y dychweledigion, yn y gwledydd pell, wedi cyraedd adnabyddiaeth helaeth o "ras ein Harglwydd Iesu Grist."

Erfyniwn faddeuant, os meddylir ein bod yn awr ar y diwedd yn dipyn yn rhy ëon, wrth awgrymu yn wylaidd, y dylai Cynnulleidfäolwyr Cymru wneyd mwy tuag at y Gymdeithas ardderchog hon nag a wnaethant hwy hyd yn hyn. Y mae gan yr enwad yn bur agos i *naw cant* o gynnulleidfäoedd yn y Dywysogaeth. Eto, gyda chael help pobl dda o enwadau eraill yma a thraw, nid oedd cyfanswm casgliadau Cymru y llynedd ond 2,726p. 13s. Dyna ryw *ddau gant* o gapelau Annibynol yn Llundain, fel y dengys yr Adroddiad sydd ger ein bron, yn danfon i drysorfa y Gymdeithas y llynedd, gymaint a 18,300p.—sef, oddeutu saith waith gymaint âg a anfonodd holl Gymru i gyd! Gwir fod mwy o arian yn Llundain nag sydd yn Nghymru; ar yr un pryd, yr ydym yn gwbl argyhoeddedig nad os yr un o'r enwadau crefyddol gyda ni yn cyfranu hanner y peth a ddylent, ag a allent hefyd yn rhwydd eu fforddio, at gynnal a lledaenu Cenadaethau Cristionogol yn y byd. Byddwn yn gwrido wrth weled enwau pobl o'r fan hyn ac arall, yn britho tu dalenau Adroddiadau cyhoeddus, flwyddyn ar ol blwyddyn, am ryw hanner coron gwirion, a hwythau, yn y cyfamser, yn troi arian heibio wrth y cannoedd. Ac os ëir i gwyno yn nghlyw pobl fel hyn wrth fychander y casgliadau at ryw achos da neu gilydd, bydd yr ateb ganddynt yn barod, sef mai gwlad *dlawd iawn* yw Cymru. Nid oes genym yn awr ond cyflwyno y nodiadau hyn i sylw cyffredinol, gan ewyllysio yn dda, nid yn unig i Gymdeithas Genadol Llundain, ond hefyd i bob cymdeithas o gyffelyb natur, amcan, ac ysbryd, ag sydd yn gweithio dros Grist er iachawdwriaeth eneidiau, ymhob rhan o'r byd fel eu gilydd.

Wedi i'r erthygl uchod gael ei hysgrifenu, fe gynnaliwyd yn Exeter Hall bymthegfed cyfarfod blynyddol a thriugain Cymdeithas Genadol Llundain. Dywedai yr Adroddiad fod gan y Gymdeithas yn bresennol 156 o weinidogion Seisonig, 81 o fugeiliaid brodorol ordeiniedig, 1,140 o bregethwyr brodorol, 35,487 o aelodau eglwysig, a 191,798 o wrandäwyr brodorol. Derbyniasid y flwyddyn ddiweddaf, oddiwrth gyfeillion

Seisonig o wledydd eraill, 4,200p.; ac oddiwrth ddychweledigion brodorol, 11,647p. Yr oedd yr ysgol-dâl oddiwrth fechgyn yn 2,101p., ac oddiwrth enethod yn 336p. Mae y 156 o genadon Seisonig mewn gwledydd tramor yn cael eu cynnorthwyo gan rhyw 1,200 o addysgwyr eraill. Yr oedd yr hanes a roddid o Polynesia yn dra chalonogol. Mae yno 2,800 o aelodau eglwysig Protestanaidd; plant mewn ysgolion Protestanaidd, 1,260; tra na chyfrifa y gwrandäwyr a'r ysgoleigion Pabaidd ond 700. Yr oedd derbyniadau y flwyddyn ddiweddaf, gan gymeryd i fewn 504p. at ddybenion neillduol, yn cyraedd 108,847p.; yr hyn, wedi talu y treuliadau, oedd yn gadael mewn llaw 1,168p.

---

# CAETHGLUDIAD Y DEG LLWYTH.

Nid peth dyeithr i'r genedl etholedig oedd *caethiwed*. Mor bell o fod yn wir oedd bôst yr Iuddewon, pan ddywedent, "Hâd Abraham ydym ni, ac ni wasanaethasom ni neb erioed," fel y mae yn amlwg i'r sylwedydd mwy diduedd mai mewn caethiwed y meithrinwyd hwy yn nyddiau eu mabandod cenhedlaethol, ac mai mewn caethiwed y gwanhäwyd eu nerth drachefn yn nghyfnod eu dirywiad. Bachgen oedd Israel pan alwyd ef o'r Aipht, ond yr oedd hyd yn nôd y pryd hyny wedi goddef gorthrymder. Ar ol eu hymsefydliad yn Nghanaan, gorthrymid hwy yn fynych gan y cenhedloedd cylchynol; ond yr oedd dau achos—sef nawdd neillduol Duw drostynt, a gwendid cymhariaethol y cenhedloedd cylfagos—yn peri nad oedd yr iau yn y dechre yn drom arnynt. Anfynych y byddai yr ysgydwad gwladwriaethol mor nerthol yn y cyfnodau boreuol fel ag i luddias i'r teuluoedd yn fuan adfeddiannu eu hetifeddiaethau, a thrigo mewn llonyddwch yn eu dinasoedd. Fel y treiglai amser ymlaen, ymsymudai y ddau achos attaliadol megys gyda'u gilydd. Ennynai digofaint yr Arglwydd o'r diwedd nes ymarllwys ar eu pen yn ol y bygythiad am eu hanufudd-dod, a chyfodai breniniaethau cryfach o amgylch meibion Israel, fel bellach, pan ddarostyngid hwy ganddynt, byddai effeithiau y darostyngiad yn fwy trwyadl a pharhäol. Erbyn i Israel a Judah suddo yn ddwfn i eilunaddoliaeth, yr oedd ymherodraethau Assyria a Babylon yn uchder eu gogoniant: y naill fel y llall yn wialen gref i geryddu cenedl anufudd; ac yn amser mawredd a nerth yr ymherodraethau hyn, y dyoddefodd Israel a Judah yr adfyd cenhedlaethol a ddynodir yn gyffredin wrth yr enw "caethgludiad."

Y mae y caethgludiadau a gymerasant le yn y cyfnod rhwng hanner diweddaf yr wythfed, a hanner cyntaf y chweched ganrif cyn Crist, yn ymranu i ddau brif gaethgludiad; sef caethgludiad y deg llwyth i Assyria, a chaethgludiad y ddau lwyth a hanner i Babylon. Ond cyn manylu ar hanes y ddau ar wahân, neu yn hytrach cyn cyfyngu ein sylw

at y blaenaf o'r ddau ar y pryd presennol, gallai fod yn fuddiol i ni roi caniatâd i'r meddwl edrych arnynt am ychydig fel un dygwyddiad pwysig yn hanes y genedl gyfammodol. Nid yw fod y gwahanol ddygwyddiadau cysylltiol â'r pwnc yn cyraedd dros tua dau gant o flynyddau nemawr o rwystr i ni yn y pellder hwn oddiwrthynt, i edrych ar yr holl amser fel un cyfnod. Wedi ein cludo gan olwynion amser càn belled yn nghyfeiriad terfynau yr oesoedd, bron nad ydym yn teimlo gwrthwynebiad yn ein meddwl i ddosranu amser yn rhy fân pan yn edrych ymhell yn ôl. Heblaw mai yr un achos oedd i'r ddau gaethgludiad, yr oedd y bobl a gaethgludwyd ar y naill law yn un, a'r bobl y caethgludwyd hwy i'w plith, ar y llaw arall, mewn amryw ystyriaethau, yn un. Prin yr oedd y gwahaniaeth daearyddol rhwng teyrnasoedd Israel a Judah yn ddigon amlwg i dŷnu sylw rhai yn edrych o bell. Diammheu fod nodweddau cenedlaethol Ephraim a Judah yn dra thebyg, ac hyd yn nôd eu syniadau a'u hagwedd grefyddol, oddieithr fod Ephraim wedi llwyr wrthgilio oddiwrth Dduw yn gynt na Judah. Yr un modd am Assyria a Babylon, mae tŷnu llinell amlwg o wahaniaeth rhyngddynt yn gofyn o leiaf beth egni meddyliol. Nifer o'r taleithiau a gyfansoddent ymherodraeth Assyria cyn cwymp Ninefeh, a wnaent i fyny ran helaeth o ymherodraeth Babylon ar ol hyny. Ofer yw edrych am y fath wahaniaeth o ran ffurflywodraeth ac egwyddorion politicaidd yma ag sydd yn ymwthio yn gyntaf peth i'n sylw wrth ddarllen hanes Sparta ac Athen. Nid am nad oedd y ffurflywodraeth yn boddhâu gwleidyddwyr yr oes y dymchwelwyd llywodraeth Ninefeh, oblegid un led debyg iddi a osodwyd i fyny yn ei lle. Ymddengys hefyd mai yr un o ran sylwedd oedd y *berthynas* rhwng Israel ac Assyria a'r berthynas rhwng Judah ac Assyria. Yr oedd Judah, yn gystal ag Israel, yn y cyfnod dan sylw, sef cyfnod rhwysg llywodraethol Assyria, yn ddarostyngedig i'r hwn a estynai ei deyrnwïalen dros Asia Orllewinol. Mesur eithafol oedd caethgludo, mewn llïaws o amgylchiadau, i *gadw* y taleithiau gorchfygiedig mewn ufudd-dod. Dyfais ydoedd a arferid tuag at rai fyddent yn gwingo dan yr iau, i wneyd gwrthryfel bron yn anmhosibl. Gosodwyd iau Assyria ar Judah yn gystal âg ar Israel; ac fe allai, ac edrych yn ddynol ar y mater, mai y rheswm paham y cafodd y ddau lwyth a hanner drigo yn eu gwlad pan oedd eu brodyr yn cael eu caethgludo, oedd eu bod yn dawelach dan yr iau. Nid ellir esbonio rhai rhanau o'r hanes ysgrythyrol yn foddhäol heb fabwysiadu y golygiad fod y naill deyrnas fel y llall yn ddarostyngedig i Assyria. Cawn nodi enghraifft neu ddwy i egluro hyn. Yn nyddiau Hezecïah, yspaid maith cyn i Assyria golli ei hawdurdod, cawn frenin Judah yn talu gwarogaeth i frenin Ninefeh: "Ac yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg i'r brenin Hezecïah, y daeth Senacherib, brenin Assyria, i fyny yn erbyn holl ddinasoedd caerog *Judah*, ac a'u *hennillodd* hwy. A Hezecïah, brenin Judah, a anfonodd at frenin Assyria i Lachis, gan ddywedyd, Pechais; dychwel oddiwrthyf; dygaf yr hyn a roddych arnaf." Y mae yr hyn a addawai Hezecïah, os byddai iddo gefnu arno, yn ddigon i ddangos nad oedd Judah mwyach i fwynhâu gwir annibyniaeth; a phrofa yr addefiad a geir yn y gair "pechais" ei fod wedi ymado rywbryd cyn hyn hefyd; o herwydd nid addef wna Hezecïah yma wrth frenin paganaidd iddo bechu yn erbyn yr Arglwydd, ond addef ei fod yn fŷr o gyflawni ammodau yr

oedd eisoes danynt, ac, yn nghyfrif Senacherib, yn rhwym o'u cadw. Cawn yr enghraifft arall a ddygwn ymlaen i ddangos hyn, yn nheyrnasiad Esarhaddon, a theyrnasiad Manasseh, meibion y ddau frenin a nodwyd uchod. Neillduolrwydd perthynol i deyrnasiad Esarhaddon oedd, fod y brenin galluog hwnw yn llywodraethu Babylon yn ei berson ei hun, ac nid trwy raglaw neu frenin o'i appwyntiad ef. Cynnaliai ei lŷs yn mhrif ddinas Assyria, ac hefyd yn achlysurol yn Babylon. Yn 2 Chron. xxxiii. 11, dywedir i dywysogion llu brenin *Assyria* ddal Manasseh mewn dyrysni, a'i rwymo ef â dwy gadwen, a'i ddwyn i *Babylon*. Dyma frenin Judah yn cael ei ddwyn mewn cadwynau o flaen brenin Assyria, yr hwn, mae yn dra thebygol, a gynnaliai ei lŷs yr *adeg hono* yn Babylon. Dŵg yr ysgrifeniadau Assyriaidd hefyd dystiolaeth ddarfod i Esarhaddon gael gweithwyr i weithio ei balasau gan Manasseh, ynghyda chan lïaws o dywysogion eraill. Gwelir oddiwrth hyn fod y gorthrwm a ddyoddefodd Israel a Judah oddiwrth Assyria yn gwahaniaethu mewn gradd yn hytrach nag o ran ei natur. Buasai bron yn gymaint o archoll i deimlad Prydeiniwr, sydd yn rhoi pris uchel ar ei ryddid, fod yn sefyllfa un o ddeiliaid brenin Judah, a bod yn sefyllfa un o ddeiliaid brenin Samaria. Ceir y gwahaniaeth yn llymdostedd yr oruchwyliaeth a ddefnyddiwyd at drigolion Samaria. Y deg llwyth a *gaethgludwyd* i Assyria.

Bellach, bwriadwn gyfyngu y sylwadau at y rhan hon o'r mater.

Dygir hanes teyrnas Israel i gyffyrddiad âg Assyria trwy y côf-ysgrifau Assyriaidd rai blynyddau yn gynt nag y gwneir hyny trwy yr hanes ysgrythyrol, sef, mor foreu â theyrnasiad Jehu, C.C. 880. Ni raid i'r darllenydd a fyddo yn awyddus am weled yr ysgrif wreiddiol, fyned càn belled âg Assyria i gael golwg arni. Os bydd ganddo hamdden yn Llundain i ymweled â'r Amgueddfa Brydeinig, y mae yno bîgadail o *basalt* tywyll, wedi ei ddwyn yno gan Mr. Layard, o Nimroud, yr hwn a godwyd gan Shalmaneser I. i gadw mewn côf ei fuddugoliaethau; ac ymhlith enwau y rhai a dalent deyrnged iddo, ceir enw Yahua mab Kumri (Jehu mab Omri), yn gerfiedig ar y pîgadail Ymhen dros gan' mlynedd, C.C. 771, cawn yn yr hanes ysgrythyrol i Pul, brenin Assyria, ddyfod yn erbyn Israel, ac i Menahem roddi i Pul fil o dalentau arian, fel y byddai ei law ef gydag ef i sicrhâu y frenhiniaeth yn ei law ef. Cymerodd hyn le ddeng mlynedd ar hugain, neu chwaneg, cyn y caethgludiad cyntaf y mae genym hanes am dano.

Cyfnod pwysig yn hanes yr ymherodraeth Assyriaidd oedd y cyfwng hwn. Tybir mai Pul oedd yr olaf o'r deyrnâch uchaf, fel y gelwir hi, ac fod Tiglath-Pilezer, y brenin nesaf a ddaw o dan ein sylw, y cyntaf o'r deyrnàch enwocach, a ddilynodd ac a barhäodd hyd ddymchweliad yr ymherodraeth, sef y deyrnàch isaf. Y mae yr ysgrifeniadau ar y meini coffadwriaethol yn ffafriol i'r golygiad nad oedd Tiglath-Pilezer o hâd brenhinol; o herwydd, yn groes i'r arfer gyffredin, ni wna un crybwylliad am ei henafiaid. Digon cyson â'r dybiaeth iddo drawsfeddiannu yr orsedd yw yr hyn sydd ddiammheuol am dano, sef, ei fod yn frenin cadarn a nerthol. Hwn yw y brenin a symudodd nifer mawr o'r deg llwyth o'u gwlad eu hunain, yr hyn ni wnaethid cyn hyny. "Yn nyddiau Pecah brenin Israel daeth Tiglath-Pilezer brenin Assyria, ac a ennillodd Ijon, ac Abelbethmaachah, a Janoah, Cedes

hefyd, a Hazor, a Gilead, a Galilea, holl wlad Naphtali, ac a'u caethgludodd hwy i Assyria," 2 Bren. xv. 29. Am yr un brenin hefyd y dywedir yn 1 Chron. v. 26, iddo gaethgludo y Reubeniaid, a'r Gadiaid, a hanner llwyth Manasseh, a'u dwyn hwynt i Hala, a Habor, a Hara, ac i afon Gozan, hyd y dydd hwn. Cymerodd y dygwyddiadau pwysig hyn le mor agos i'w gilydd o ran amser—C.C. 740—fel y mae yn gyfleus eu galw yn un caethgludiad, sef y *caethgludiad cyntaf i Assyria*. Ond yr oedd hwn, a siarad yn fanwl, yn ddau gaethgludiad. Credir i Tiglath-Pilezer ddyfod i fyny ddwywaith yn erbyn Israel—yr ail waith ar wahoddiad Ahaz, ac iddo, y waith gyntaf, symud trigolion gogleddbarth y wlad, a'r ail waith, y rhai a breswylient tu hwnt i'r Iorddonen. Gwahaniaetha Esaïah rhwng y ddwy ffangell, a dywed pa un oedd y drymaf: "Eto ni bydd y tywyllwch yn ol yr hyn a fu yn y gofid; megys yn yr amser cyntaf y cyffyrddodd yn *ysgafn* â thir Zabulon a thir Naphtali, ac wedi hyny yn *ddwysach* y cystuddiodd hi wrth ffordd y môr, tu hwnt i'r Iorddonen, yn Galilea y cenhedloedd," Esa. ix. 1.

Hysbysir i ni fel hyn o ba ranau o Palestina y symudwyd mwyaf o'r trigolion y waith hon, a rhoddir i ni enwau y lleoedd y caethgludwyd hwy iddynt gyda gradd o fanylwch. Ond gan na chyfarfyddir â'r enwau hyn mewn lleoedd eraill, fel ag i wneyd yn amlwg pa fanau a olygir wrthynt, yr ydym yn canfod fod amrywiaeth barn yn ffynu gyda golwg ar y cwestiwn, Ymha barth o Assyria y cyflëwyd y rhai a gaethgludwyd gyntaf yno? Os edrychwn i Dr. Smith's *Bible Dictionary*, dan y geiriau, Hala, Hara, a Gozan, &c., gwelwn y gosodir eu safleoedd yn nyffryn Euphrates, gan yr ysgrifenwyr yno; ac y mae yr erthyglau pwysicaf ar Assyria a Babylon, a phynciau cyffelyb yn y gwaith hwn, wedi eu hysgrifenu gan rai o awdurdod mor uchel â Rawlinson, Layard, ac Oppert. O'r tu arall, os ymgynghorwn â Dr. Fairbairn's *Imperial Dictionary*, gwelwn y dilynir yno olygiad Major Rennel, yr hwn a fyntumia mai yr un yw yr afon Gozan â Kizzil Ozan, yr hon sydd yn cyfodi yn Kurdistan, ac yn ymarllwys i'r môr Caspiaidd. Yn ol y golygiad hwn, lleoedd yn Media, yn ngororau y Môr Caspiaidd, oedd Hala a Hara. Wrth ystyried dyben brenin Assyria yn caethgludo, sef ysgaru cyfran helaeth o'r genedl oddiwrth y gweddill o hóni, a thrwy hyny ei gwanhâu, y mae pellder y lle olaf hwn yn ei wneyd yn fwy cyfaddas i'r amcan, ac agosrwydd a dymunoldeb y rhan agosaf i Syria o ddyffryn yr Euphrates, yn rheswm dros ammheu iddo eu cyflëu yno. Os yr un yw Hara â Haran, neu Charan, lle y trigodd Abraham ar ei ffordd o Ur y Caldëaid, nes marw ei dad, onid yw yn rhyfedd na fuasai y rhai a symudwyd yno yn cael cyfle i ddychwelyd ac ymsefydlu yn eu gwlad, ac yn teimlo tuedd i wneyd hyny yn yr oesoedd dilynol?

Heb gymeryd arnom benderfynu y man y danfonwyd y mynteioedd cyntaf iddo, symudwn ymlaen at yr *ail fudiad* i Assyria, yr hwn a gymerodd le ymhen tua deunaw mlynedd ar ol y cyntaf, C.C. 731, yn nyddiau Shalmaneser II., brenin Assyria, a Hosea, brenin Samaria. Ymwelodd Shalmaneser ddwywaith â Phalestina. Pan ddaeth y waith gyntaf, yn agos i ddechre teyrnasiad Hosea, talodd brenin Israel warogaeth iddo; aeth yn was iddo, a dŷg iddo anrhegion; 2 Bren. xvii. 3. Buan y tŷnodd Hosea ddrwg am ei ben trwy dòri yr ammodau. Cafwyd bradwriaeth ynddo. Gan bwyso am gynnorthwy ar So, brenin

yr Aipht, fe beidiodd ag anfon anrheg i frenin Assyria, fel y byddai efe arferol bob blwyddyn. Dyma fu yn achlysur i frenin Assyria gau ar Hosea, a'i rwymo ef mewn carchardŷ, a dyfod i fyny trwy yr holl wlad, a gwarchae ar Samaria. Ar ol gwarchae o dair blynedd, ennillwyd y ddinas, a chaethgludwyd Israel i Assyria. Y mae uwchlaw ammheuaeth mai Shalmaneser II. ddaeth i fyny, ac a ddechreuodd warchae ar Samaria; ond nid yw mor ddiammheuol mai efe a gymerodd y ddinas, ac a gaethgludodd y trigolion ar ddiwedd y tair blynedd. Yr esboniad mwyaf naturiol ar 2 Bren. xvii. 6—"Yn y nawfed flwyddyn i Hosea, yr ennillodd brenin Assyria Samaria, ac y caethgludodd efe Israel i Assyria, ac a'u cyflëodd hwynt yn Halah ac yn Habor, wrth afon Gozan, ac yn ninasoedd y Mediaid,"—fyddai cymeryd mai yr un yw y brenin y cyfeirir ato yma, â'r un y rhoddwyd ei enw—Shalmaneser—yn y drydedd adnod; pe amgen, buasid yn dysgwyl i'r enw gael ei ychwanegu yn y chweched adnod. Ond mewn ysgrifen a géir ar un o'r meini coffadwriaethol, dywedir mai Sargon, olynydd Shalmaneser, a gymerodd Samaria, yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad, ac iddo gaethgludo 27,280 o deuluoedd. Yn ol y dystiolaeth hon, rhaid tybied i Shalmaneser farw yn ystod amser y gwarchae, ac mai nid at yr un brenin y cyfeirir yn y ddwy adnod a nodwyd.

Yr ydym yn ddyledus i'r ysgrifen ar y meini am ychydig o oleuni ar nifer y fyntai a symudwyd y tro hwn, ac i'r "ysgrifeniadau sanctaidd" am hyny o oleuni a feddwn ar y cwestiwn i ba le y caethgludwyd trigolion Samaria. Dywedir iddynt gael eu cyflëu y waith hon eto yn Hala ac yn Habor, wrth afon Gozan, ac yn ninasoedd y Mediaid. Ond y mae yr anhawsder y cyfeiriwyd ato uchod yn ein cyfarfod yma eto. Os lleoedd yn nyffryn yr Euphrates yw Hala a Habor, cyflëwyd y rhai a gaethgludwyd y pryd hwn mewn dau fan; rhan o honynt yn nês i Palestina na phrifddinas yr ymherodraeth, a rhan y tu hwnt i'r brifddinas, yn ninasoedd y Mediaid, gannoedd o filldiroedd ymhellach i'r dwyrain, rhwng Ectabana â'r môr Caspiaidd. Yn ol golygiad arall am afon Gozan, cyflëwyd yr holl fyntai yn yr un parth o'r ymherodraeth, sef yn ngororau pellenig y môr Caspiaidd.

Yn ganlynol i'r mudiad mawr hwn ar y boblogaeth allan o'r wlad, nid yn unig gwanychwyd brenhiniaeth Israel, ond dygwyd hi i derfyniad llwyr, ar ol parhâu am ddau gant a phymtheg a deugain o flynyddau. A pha un bynag a gymerodd caethgludiad arall i *Assyria* le ar ol hyn ai peidio, yr ail gaethgludiad hwn oedd y diweddaf o fysg y deg llwyth. Rhaid ystyried ymgyrchoedd yr Assyriaid i Palestina bellach yn erbyn Judah, ac nid yn erbyn Israel. Ond nid annaturiol fyddai ymofyn a gymerodd caethgludiad i Assyria le o'r rhan ddeheuol o'r wlad? Dyma y deyrnas ogleddol wedi ei tharaw gan fraich nerthol Assyria, ac nid yw y fraich eto wedi dechreu gwanhâu. Dymchwelwyd Samaria pan oedd tri o frenhinoedd Assyria, a dau o honynt ymysg y rhai cryfaf, heb esgyn i'r orsedd. Senacherib, mab ac olynydd Sargon, a symudodd eisteddle y llywodraeth o Calah i Ninefeh; ac y mae gogoniant Assyria, a gogoniant Ninefeh, wedi eu cysylltu â'u gilydd yn ein meddyliau. Tra y gorweddai Assur fel llew, ac fel hen lew, a beidiodd Judah ei godi a'i gythruddo?

Yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg i Hezecïah, wyth mlynedd ar ol cwymp Samaria, cawn Senacherib yn dyfod i fyny yn erbyn holl ddinas-

oedd caerog Judah, ac yn eu hennill hwynt, 2 Bren. xviii. 13. Fel y coffäwyd eisoes, plygodd Hezecïah, a chydsyniodd i dalu iddo deyrnged drom. Creda Rawlinson, ar sail yr Hanesydd Iuddewig, Demetrius, i Senacherib gaethgludo uwchlaw 200,000 o'r Iuddewon y pryd hwn. Ond y mae Josephus yn ddystaw ar hyn; a dywedir nad yw Rawlinson wedi dyfynu ac esbonio Demetrius yn gywir yn yr amgylchiad hwn. Felly nid oes sicrwydd, na chwaith debygolrwydd cryf, i Senacherib gaethgludo y fath nifer; a gellir dyweyd, a chymeryd yr holl wlad i mewn, na feddwn hanes credadwy am fwy na dau brif gaethgludiad i Assyria.

Ni oddef y terfynau y bwriedir ymgadw o'u mewn i ni wneyd mwy na chyfeiriad býr at agwedd y wlad wedi ei dyhysbyddu o'i thrigolion, ac at dynged debygol meibion y gaethglud yn nhir y caethiwed. Mae yr anghyfannedd-dra a adawodd caethgludiad y deg llwyth ar ei ôl, fel drych toddedig yn dangos ei faint a'i bwysigrwydd. Diboblogwyd rhanau helaeth o'r wlad bron yn llwyr trwyddo. Yr oedd yr effeithiau yn ddyfnach yn yr ystyr yma mewn rhai parthau rhagor y lleill. O'r tair rhandir y gorphwysodd y wïalen arnynt, Galilea a ddyoddefodd leiaf. Y mae yr hyn a ellir gasglu am haniad preswylwyr Galilea isaf yn amser yr Iachawdwr, yn ffafriol i'r golygiad eu bod o darddiad Hebrëaidd. Cyhuddai lleferydd a moesau y Galilëad ef o gyfathrach agos â'r Cenhedloedd; ond ni allai Iuddew balch Judea ddannod fod y Galilëad yn îs ei fonedd nag yntau. "Yn ysgafn y cyffyrddwyd â thir Zabulon a Nephthali." Cyffyrddwyd yn ddwysach â'r wlad y tu hwnt i'r Iorddonen, ac â rhanau uchaf Galilea; a gelwid y wlad yn "Galilea y Cenhedloedd," am y rhoddai yr elfen genedlig ei nodwedd ar y boblogaeth. Ond y rhandir a brofodd lymdostedd eithaf yr oruchwyliaeth oedd rhandir Samaria. Gellir tybied fod y wlad o amgylch dinas Samaria bron wedi ei chwbl waghâu. Trawsblanwyd, yn ol Josephus, yr holl bobl o'r parth hwn. Ni ddywedir i Shalmanaser adael y tlodion yn winllanwyr a garddwyr, na dim o'r fath, i leddfu gofid y gwladgarwr wrth ddarllen yr hanes. Dygwyd pobl o Babylon, a chyflëwyd hwy yn *lle* meibion Israel yn ninasoedd Samaria; eto, nid cyn i anghyfannedd-dra y wlad fod yn achlysur i'r llewod amlhâu ynddi Pan deimlwyd angen am un cydnabyddus â defod Duw y wlad i ddysgu crefydd i'r newydd-ddyfodiaid, un o'r offeiriaid a ddygasid oddiyno i Assyria a anfonwyd yn ôl i'w dysgu. Mor isel ydoedd cyflwr Samaria, fel pan fygythid Jerusalem â barn drom, cyfeirid y llygaid at Samaria, fel drych o ddinas dan ŵg y nefoedd. "A mi a estynaf linyn mesur Samaria ar Jerusalem, a phwys tŷ Ahab; golchaf hefyd Jerusalem fel y gylch un gwpan, yr hwn pan olcho, efe a'i try ar ei wyneb," 2 Bren. xxi. 13.

Prin yw y defnyddiau i ffurfio barn oddiwrthynt am sefyllfa gymdeithasol a chrefyddol yr Israeliaid alltudiedig yn Assyria. Mae yn dra thebygol fod yr hir ymwneyd â delwaddoliaeth, er dyddiau Jeroboam, wedi eu hanghymhwyso i wrthsefyll dylanwad dirywiol eilunaddoliaeth Media; ac iddynt, a llefaru am danynt fel cyfangorff, suddo yn fuan yn ddyfnach fyth i eilunaddoliaeth.

Ond dichon fod rhai teuluoedd crefyddol i'w cael ymysg miloedd Israel hyd yn nôd pan yn cael eu chwythu o flaen corwynt llidiogrwydd yr Arglwydd i dir Assyria. Tuedd duwiolion, pan fyddo gwir

grefydd yn isel, yw cymeryd yn ganiatäol ei bod yn îs nag ydyw. Credai Elias, gan mor lygredig oedd y wlad yn nyddiau Ahab, ei fod wedi ei adael ei hunan yn unig i addoli y gwir a'r bywiol Dduw. Ond yr oedd yn gyfeiliornus ei farn; yr oedd y ddawn brophwydol yn hepian ynddo; a phan ennynwyd y ddawn sydd yn gymhwysder i weled yr hyn sydd bell a dwfn iawn, ac anhawdd ei ganfod yn y presennol, yn gystal ag i weled yr hyn sydd tu hwnt i lèni y dyfodol—pan agorwyd ei lygaid ac y parwyd iddo edrych fel prophwyd ar ddynion ei oes, fe welodd Elias fod yno saith mil o wŷr heb gymaint a phlygu eu gliniau i Baal. Er caniatâu mai parhâu i ddirywio wnaeth Israel er dyddiau Ahab hyd ddyddiau Hosea, nid gormod, fe allai, fyddai tybied i rai gael eu cludo i Assyria â pharch yn eu calonau i Arglwydd Dduw eu tadau. Cadarnhëir y dybiaeth uchod i raddau gan hanes Tobit, helyntion yr hwn a'i deulu a adroddir yn llyfr Tobit yn yr Apocrypha. Israeliad crefyddol o lwyth Naphtali, fel y mae yn wybyddus i'r darllenydd, oedd Tobit. Yr oedd y cwbl, medd efe, o lwyth Naphtali, a'i dad yntau yn eu plith, wedi cilio oddiwrth dŷ Jerusalem; ond yr oedd ef ei hunan, yn ol yr ordinhâd tragywyddol, yn myned yn fynych i Jerusalem ar y gwyliau nodedig; ac wedi ei ddwyn i Ninefeh, dywed iddo rodio holl ddyddiau ei hoedl yn ffyrdd gwirionedd a chyfiawnder, ac iddo wneuthur elusenau lawer i'w frodyr ac i'w genedl yn ngwlad Assyria. Yr oedd teulu Raguel hefyd yn Ectabana, o'r hwn y cafodd Tobias Sara ei wraig, yn rhai crefyddol. Heb brïodoli i lyfr Tobit awdurdod hanesyddol uwch nag a berthyna iddo, gall fod yr hyn a adroddir ynddo yn myned ryw raddau i brofi fod nid yn unig deulu crefyddol yn Ninefeh, ac un arall yn Ectabana, ond y gellid cyfarfod âg ambell i deulu o'r fath ar hŷd a llêd y wlad, ac na ddiflanodd gwir grefydd yn hollol ac ar unwaith ymhlith y deg llwyth yn nhir eu halltudiaeth.

Ond, a chymeryd golwg gyffredinol ar y deg llwyth, y mae yr hanes ysgrythyrol a hanesiaeth gyffredinol yn cyd-dystiloaethu mai ymbellhâu yn ddirfawr a wnaethant. Yr oeddent wedi mynu ymdroi mewn eilunaddoliaeth am ddau cant a hanner o flynyddoedd yn eu gwlad eu hunain, yn agos i'r deml lle y trigai y presennoldeb Dwyfol. Prin y codasai brenin yn eu plith, er dyddiau Jeroboam, a ddinystriasai gymaint âg allor i'r eilun, neu a dynasai i lawr un o'r uchelfëydd; dangosir i'r gosbedigaeth fod yn ol mesur eu camwedd: "Canys meibion Israel a rodiasant yn holl bechodau Jeroboam, y rhai a wnaeth efe, *heb gilio* oddiwrthynt; nes i'r Arglwydd fwrw Israel allan o'i olwg, fel y llefarasai trwy law ei holl weision y prophwydi: ac Israel a gaethgludwyd allan o'i wlad ei hun i Assyria hyd y dydd hwn," 2 Bren. xvii. 22, 23. Yr oedd eu gwasgariad yn ganlyniad naturiol eu pechod, yn gystal â chosbedigaeth o'i herwydd. Dylid cadw mewn côf fod pechod Jeroboam mab Nebat yn cynnwys dwy elfen niweidiol: hudodd y bobl i eilunaddoliaeth, a pharodd i'r genedl, h.y., i eglwys yr Hen Destament, ymranu. Ei brif amcan oedd ysgaru y llwythau dan ei lywyddiaeth oddiwrth ganolbwynt undeb yr holl lwythau. Nid oedd yr eilunaddoliaeth a sefydlodd ar y cyntaf ond moddion i dòri yr undeb. Galarus yw meddwl mor llwyr y llwyddodd Jeroboam i wahanu y llwythau. Gwnaeth gais i aduno y deg llwyth â'u gilydd, ond bu yn llawer mwy llwyddiannus i ddinystrio nag y bu i adeiladu—i wahanu y

deg llwyth oddiwrth dŷ Dafydd—nag i ffurfio undeb cadarn rhwng y llwythau gwrthgiliedig. Arweiniodd yr ymneillduad oddiwrth dŷ Dafydd cyn hir i hollol ymddattodiad y rhwymau cenhedlaethol a ddalient y deg llwyth wrth eu gilydd. Cosbwyd Ephraim yn drymach na Judah, nid yn unig am fod y ffrewyll a arferwyd tuag ato yn drymach, ond hefyd am ei fod ef yn wanach i'w ddyoddef. Fel y mae pechod bob amser yn gosbedigaeth ynddo ei hun, felly trôdd pechod Jeroboam, a goleddwyd cyhyd gan y deg llwyth, yn gosbedigaeth arnynt yn nhir Assyria. Tra y daliodd caethglud Judah eu hadfyd heb i'w hundeb gael ei ddinystrio, yr oedd eu brodyr yn Assyria yn cael eu chwalu fel peiswyn, am nad oedd rheffynau iaith carenydd a pherthynas naturiol yn unig yn ddigon cryfion i'w dal ynghyd, a'u bod hwythau yn wirfoddol wedi dryllio y rhwymau cryfach hyny fuasai yn eu cylymu a'u huno yn gadarnach.

Cafodd eu pechod gynnyrchu ei effeithiau naturiol heb un cyfryngiad goruwchnaturiol i wrthweithio ei effeithiau. Nid oes sicrwydd fod yr un prophwyd yn eu plith ar adeg eu caethgludiad, nac i'r un Ezeciel gyfodi yn eu plith yn nhir eu caethiwed. Yr unig un o'r prophwydi yr hònir gan rai ei fod yn cyflawni ei weinidogaeth yn Assyria, yw Nahum yr Elcosiad. Myntumia rhai mai lle yn Assyria oedd mangre genedigaeth y prophwyd hwn. Cymerant yn ganiatäol i'w rieni gael eu cymeryd i gaethiwed gan Tiglath-Pilezer, a'u plànu gydag eraill yn nhalaeth Assyria brïodol (Kurdistan ddiweddar), ac i'r prophwyd gael ei eni yn mhentref Alkust, ar làn ddwyreiniol yr afon Tigris, ddwy filldir i'r gogledd o Mosul; a barna Ewald ei fod yn ysgrifenu ei brophwydoliaeth am gwymp Ninefeh pan oedd byddinoedd Media a Babylon yn bygwth y ddinas ac yn gwarchae arni. Ond cydolygir gan y nifer fwyaf o feirniaid, nad oes dim yn mhrophwydoliaeth Nahum yn profi yn ddiammheuol iddi gael ei hysgrifenu yn nghymydogaeth Ninefeh, ac nad yw yr iaith yn debyg i iaith un wedi ei alltudio o'i wlad, ac yn enwedig un wedi ei eni yn nhir Assyria. Dywed Jerome o'r tu arall, i adfeilion lle genedigaeth Nahum gael eu dangos iddo ef gan ei arweinydd yn Galilea. Amgylchiad arwyddocäol yn ei berthynas â thynged y deg llwyth oedd i bobl o Babylon gael eu cyflëu yn ninasoedd Samaria yn lle meibion Israel. Ceir yn hyn awgrym cryf nad oedd yr Arglwydd ddim yn bwriadu eu dwyn eilwaith fel pobl wahaniaethol i feddiannu y tir. Cyttunir yn lled ddieithriad gan yr haneswyr diweddar â golygiad Milman ar y pwnc hwn yn ei *History of the Jews*. "O'r cyfnod hwn (sef adeg cyflëad y Cuthiaid yn Samaria), y mae hanesyddiaeth yn colli golwg ar y deg llwyth fel pobl wahaniaethol. Tybia Prideaux eu bod wedi hollol ymgolli a chael eu llyncu i fyny yn nghanol y cenhedloedd yr ymsefydlasant yn eu plith; ond hoffa dychymyg eu dilyn i barthau pellenig ac anhygyrch, lle y tybir eu bod yn aros adferiad y deuddeg llwyth i'w gwlad eu hunain." Y mae y dybiaeth y cyfeirir ati yn rhan olaf y dyfyniad uchod yn cael ei gwrthwynebu yn egnïol gan Milman fel yn seiliedig yn unig ar awdurdod dra diffygiol ail lyfr Esdras, y gwanaf ei awdurdod hanesyddol o holl lyfrau yr Apocrypha. Sylwa ymhellach fod y brophwydoliaeth am adferiad Israel yn rhoi ar ddeall na adferid hwy ond mewn undeb â Judah. Gorchymynid i Ezeciel gymeryd un pren ac ysgrifenu arno i Judah, ac

i feibion Israel, ei gyfeillion, a dywedyd wrthynt—"Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Wele fi yn cymeryd pren Joseph, yr hwn sydd yn llaw Ephraim, a llwythau Israel ei gyfeillion, a mi a'u rhoddaf hwynt gydag ef, sef gyda phren Judah, ac a'u gwnâf hwynt yn un pren, fel y byddont yn fy llaw yn un," Ezec. xxxvii. 19. Yr oedd rhoddiad y prenau at eu gilydd i'w gwneyd yn un, yn arwydd fod yr Arglwydd yn myned i gymeryd meibion Israel o fysg y cenhedloedd, a'u gwneyd hwynt yn un genedl.

Nid oes genym arweinydd dïogelach, fe allai, na Josephus er ein cynnorthwyo i benderfynu i ba raddau yr ymunodd y deg llwyth â meibion caethglud Judah, ac i ba raddau yr ymgadwasant ar wahân. Wedi rhoddi cynnwysiad y llythyr y cyfeirir ato yn llyfr Ezra, y 7fed bennod, yr hwn a roddodd Artaxerxes i Ezra, dywed yr hanesydd Iuddewig:—"Felly efe, sef Ezra, a ddarllenodd y llythyr yn Babylon i'r Iuddewon oedd yno, ond efe a gadwodd y llythyr yn ei feddiant, ac a anfonodd gopi o hono i'r holl rai hyny o'i gydgenedl oedd yn Media; a phan ddeallodd yr Iuddewon hyn, y fath barch oedd gan y brenin i Dduw, a'r fath diriondeb a ddangosasai tuag at Ezra, boddhäwyd hwy yn ddirfawr; ïe, cymerodd llawer o honynt eu meddiannau gyda hwynt, a daethant i Babylon yn dra awyddus i fyned i waered i Jerusalem; ond y *pryd hyny* arosodd cyfangorff pobl Israel yn y wlad hono, o ganlyniad nid oes ond dau lwyth yn Asia ac Ewrop yn ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid, tra y mae y deg llwyth, hyd yn awr, y tu hwnt i'r Euphrates, yn dyrfa enfawr na ellir ei chyfrif mewn rhif." (Hynaf., II. 5, § 2).

Er na cheir y deg llwyth yn hanfodi yn yr oesoedd hyn yn gymundeb gwahaniaethol, gwnaed aml i ymgais yn ddiweddar i ddyfalu ymha ranau o'r byd y mae hiliogaeth y rhai a gaethgludwyd yn cyfanneddu. Tybia rhai eu bod yn gallu olrhain nodweddau Iuddewig yn y llwythau Affganistaidd yn India; hònir perthynas â hwy gan Iuddewon Malabar, a cheisiwyd profi yn ddiweddar mai disgynyddion o honynt yw y Nestoriaid yn Armenia. Ond y mae hanesiaeth yn ein cynnorthwyo os nad i'w dilyn i fanylrwydd, o leiaf i wybod ymha gyfeiriadau i edrych am danynt tua diwedd cyfnod yr Hen Destament. Tybygir y gellir eu dosbarthu i ddau brif ddosbarth, pob dosbarth yn ymranu drachefn i ddau îs ddosbarth. I. Y rhai a breswylient Palestina a'r taleithiau cyfagos. Gwneid y dosbarth hwn i fyny o (1) Yr ychydig a adäwyd yn y wlad, ac a ymgymysgasant â'r Samariaid. (2) Y rhai a ymunasant â chaethglud Judah, ac a ddychwelasant gyda hwy. II. Yr ail ddosbarth a wneir i fyny o'r rhai a breswylient wledydd Caldea, Media, a Phersia, sef (1) Y rhai a ymunasant â chaethglud Judah, ond er hyny a arosasant yn y gwledydd yr alltudiwyd hwy iddynt, ac a chwyddent rifedi yr Iuddewon a adnabyddid wrth yr enw—y dyeithriaid ar wasgar. (2) Y rhai a drigent y gwledydd uchod mewn hollol wrthgiliad oddiwrth gyfammod eu Duw, y rhai wedi colli eu henw, eu hiaith, a'u crefydd, er eu bod yn lliosog o nifer, a ddiflanant o'n golwg am na chadwasant y nodweddau hyny a'u gwahaniaethent oddiwrth y cenhedloedd. Yn gymaint ag i fwyafrif y deg llwyth ollwng gafael o'u hegwyddorion crefyddol, nid oeddynt yn meddu nemawr, os dim, grym moesol i ddylanwadu ar y cenhedloedd a'u cylchynent; ac y mae y ffaith mai

mewn undeb â chaethglud Judah yr ydym i gael y rhan grefyddol o'r deg llwyth—y rhan a feddai allu i ddylanwadu er daioni ar y byd—yn peri fod yn fwy prïodol ymofyn i ba raddau y bu iddynt barotôi y ffordd i ledaeniad drychfeddyliau Cristionogol ynglŷn â hanes caethglud Judah nag â hanes y gaethglud i Assyria. Gwelir oddiwrth y dyfyniad a ganlyn o un o'r awduron galluocaf ar y pwnc o ddylanwad syniadau Iuddewig ar opiniwn crefyddol y byd yn y cyfnod blaenorol i ymddangosiad y Messïah, nad oedd dylanwad y gwasgariad ond prin i'w deimlo hyd ar ol y dychweliad o Babylon. Caiff geiriau Mr. Westcott wasanaethu i ddwyn ar gôf i'r darllenydd bwysigrwydd y rhan hon o'r pwnc, a gwasanaethu, ar yr un pryd, fel esgusawd dros beidio myned ymhellach i mewn iddo ar y pryd presennol. Fel hyn y dywed:—"Y mae y gwasgariad fel elfen wahaniaethol yn dylanwadu ar holl gymeriad yr Iuddew yn dechreu gyda'r alltudiad i Babylon. Cyfeiria traddodiadau ansicr at sefydliadau boreuach yn Arabia, Ethiopia, ac Abyssinia; ond hyd yn nôd os oedd y sefydliadau hyn yn bod, rhai damweiniol *heb undeb rhyngddynt â'u gilydd oeddynt*, tr ay mae y gwasgariad, o'r hwn yr oedd Babylon yn ganolbwynt addefedig, yn brawf diymwad fod *ffydd* o'r diwedd wedi dyfod yn *deyrnas*. Ar wahân oddiwrth ddylanwad angenrheidiol cymundebau o Iuddewon, yn cael eu rhwymo gan gyfreithiau cyffredin, yn cael eu dyrchafu gan grediniaeth o'r un gwirioneddau, a'u hadfywio gan obeithion cyffelyb, ar y cenhedloedd ymysg y rhai yr oeddynt wedi eu gwasgaru, yr oedd yr anhawsderau a barai iddynt roddi heibio gadw yn llythyrenol y defodau Moesenaidd, yn eu harwain hwy i gymeryd golwg ehangach ar amcan y gyfraith, ac yn eu dwyn i feddu ymdeimlad dyfnach o'i harwyddocâd ysbrydol. Yn allanol ac yn dufewnol—yn ei effeithiau ar y cenhedloedd ac ar bobl Israel—ymddengys y gwasgariad y parotöad rhagluniaethol amlycaf i ledaeniad Cristionogaeth."

Yr ydym wedi awgrymu yn barod fod y deg llwyth fel y cyfryw yn syrthio yn fyr o ateb i'r desgrifiad uchod, nad oeddynt yn cael eu huno gan gyfreithiau cyffredin, &c., a'u bod, o ganlyniad, yn amddifad o allu i ddylanwadu ar y rhai oedd o'u hamgylch, yn halen diflas, heb fod yn gymhwys i ddim ond i'w sathru gan ddynion. Difodiad cenhedlaethol fu eu tynged, oddieithr i'r graddau yr ymunasant â llwyth Judah. Ond am y lloffion hyny o Israel a ymunasant â thŷ Dafydd, cawsant naill ai dychwelyd i'w gwlad yn nghwmni eu brodyr, neu ynte fod fel hwythau, yn lefain i lefeinio y cenhedloedd y gwasgarwyd hwy i'w plith hwynt.

# FFOSYLAU.

Er mwyn yr anghyfarwydd, dylem ddyweyd mai ystyr wreiddiol y gair ffosylau, neu ffosyl (*fossil*), ydyw yr hyn a gloddir allan o'r ddaear, a golyga mewn ystyr wyddorol y gweddillion bywydol hyny a geir yn gorwedd yn y creigiau, yn cynnwys y bywyd llysieuol ac anifeilaidd. Pan y ceir y crëadur, neu y llysieuyn, yn y creigiau henaf, yn un â'r graig, ac mewn ystâd berffaith o fŵneiddiad, ond eto yn cadw ei ffurf a'i gymeriad ei hun, gelwir ef yn ffosyl perffaith-gwbl. Ond pan y ceir ef mewn craig ieuengach, heb fod yn berffaith galed, ac yntau heb ymnewid ond ychydig o'i gymeriad cynhenid ei hun, gelwir ef yn îs-ffosyl (*sub-fossil*). Ond yn yr erthygl hon, adnabyddir pob gweddillion bywydol, y llysieuol a'r anifeilaidd, beth bynag fyddo graddau ei fŵneiddiad, wrth yr un enw cyffredinol—ffosyl. Y mae athrawiaeth y ffosylau, er yn agos gysylltiedig â Daeareg, Mŵnyddiaeth, ac Anifeiliadaeth, ac yn cadarnhâu gwirionedd y gwyddorau hyn, ac hefyd yn taflu dyddordeb neillduol arnynt, yn wyddor ar ei phen ei hun, yr hon a enwir yn Wyddor y Ffosylau, neu, *Palæontology*. Y mae presennoldeb bywyd yn y creigiau, yn cynnwys esgyrn, cregin, ac amrywiol lysiau a choedydd, yn taflu dyddordeb ychwanegol a neillduol arnynt. Nid yn unig y mae Mŵnyddiaeth a Daeareg yn profi fod yno drefn, a chynnydd yn ngorweddiad a ffurfiad y creigiau; ond y mae athrawiaeth y ffosylau hefyd yn profi fod yno drefn a chynnydd cyfatebol mewn bywyd yn y creigiau olynol hyny. Y mae dyddordeb yn y graig ynddi ei hun, ond pan ystyriom fod bywyd wedi bod unwaith yn rhodio ar ei gwyneb, a'i bod eto megys mynwent yn cadw ôlion o'i bywyd fel *relics* o'r hyn a fu, i'r oesau a ddêl, pwy na chymerai ei forthwyl i'w malurio er cael allan ei hanes? Pwy na chymerai boen er deall yr hanes oesol sydd wedi ei ysgrifenu yn y graig dros byth? Unwaith, ystyrid y gangen hon yn un sech ac annyddorol, ond erbyn hyn y mae yn hynod boblogaidd; y mae ei phleidwyr yn lliosog, ac yn llawn brwdfrydedd. Y mae y *Museums* helaeth sydd ganddi yn ngwahanol barthau o'r deyrnas, yn enwedig y *British Museum*, a'r *School of Mines* yn Jermyn St., a'r gymdeithas flodeuog a adnabyddir wrth yr enw *Geological Society*, yn profi fod iddi air da gan lïaws. Llïaws ydyw y tybiau a goleddid gan ein henafiaid dros bresennoldeb y fath bethau yn y creigiau, ar ba rai, erbyn hyn, yr edrychir yn ddirmygus. Dywedent weithiau nad oeddent yn ddim ond effaith damwain, neu yr hyn a elwir ganddynt yn chwarëuaeth natur (*lusus naturæ*), sef, fod natur, trwy ryw allu prïodol iddi ei hun, mewn math o ddifyrwch chwarëus, wedi rhoddi argraff o'r pethau hyn, fel y gwelwn hwy, ar ei mynwes ei hun. Dywedai eraill mai Duw a'u crëodd felly, ac a'u cyflëodd yn y graig fel y gwelir hwy yn bresennol. Mewn perthynas i'r syniad hwn, rhaid i ni addef y gallasai Duw wneyd hyny—beth nad all Duw ei wneyd? Ond nid dyna arfer Duw; nid gwneyd ffosyl o grëadur ydyw arfer Duw; nid gwneyd *skeleton* o grëadur, ond crëadur byw a pherffaith. Os oes esgyrn, a gweddillion o

grëaduriaid i'w cael yn y creigiau, rhaid eu bod unwaith wedi bod yn meddu gïau a chnawd, yn teyrnasu mewn bywyd, ac yn rhodio oddiamgylch. Hyn ydyw trefn bresennol y Crëawdwr, ac y mae yr hyn sydd, hefyd yn profi yr hyn a fu. Gwelsom waith un yn ddiweddar yn ceisio rhoddi cyfrif am hyn trwy ddychymygu y bu gwrthdarawiad ofnadwy rywbryd rhwng y ddaear a Jupiter, a bod y ddaear, yn y *collision*, wedi ei haredig a'i rhychu yn ddwfn, a bod y blaned ddyeithr hono, yr un pryd, wedi colli ei holl grëaduriaid, a'u bod wedi dïanc i'r rhychau daearol hyn, a bod y ddaear wedi cau am danynt a'u meddiannu. Felly crëaduriaid y blaned ddyeithr ydyw y ffosylau hyn; a dywed mai hyn ydyw y rheswm dros eu bod mor wahanol i'r crëaduriaid sydd yn bodoli ar y ddaear yn bresennol. Digon am y syniad hwn ydyw dyweyd mai ffrwyth dychymyg dilywodraeth ryw Ffrancwr ydyw: "*castell yn yr awyr*" hollol. Ond yr hen syniad am danynt ydyw—a bu agos i ni ddyweyd ei fod yn syniad crefyddol, gan y bu cymaint, a rhai eto, o'r hen bobl dda a duwiol yn ei fabwysiadu, ond y mae erbyn hyn yn cael ei ystyried mor ddisail â'r lleill—sef, fod eu gwaddodiad yn y creigiau i'w brïodoli i ddiluw Noah. A chymeryd yn ganiatäol fod y diluw wedi bod yn gyffredinol—tros y byd i gyd, pa fodd y gallasai waddodi crëaduriaid filldiroedd o bellder yn y creigiau? Hefyd, effaith gweithrediad dwfr cryf fel y diluw a fuasai eu lluchio blith draphlith ar draws eu gilydd; ond ceir hwy yn drefnus a rheolaidd, yn esgyn ar raddeg reolaidd, o'r anmherffaith i'r perffaith, o'r ffôn isaf yn ysgol fawr bywyd, sef yr *Eoozoon* bychan, hyd uchder llwch y byd, sef dyn,—eithafnod y grëadigaeth. Y mae syniad arall hefyd yn bod, lled debyg i'r olaf, ond eto yn gwahaniaethu ychydig oddiwrtho; ond y mae hwn mor dwyllodrus â'r lleill. Dywedir fod y ffosylau wedi eu gwaddodi yn y cyfwng rhwng crëadigaeth dyn a'r diluw, neu yn hytrach, y ddau gyfnod bywydol cyntaf, a'r cyfnod olaf, neu y *Tertiary*, ar ol diluw Noah. Y mae egwyddorion cyntaf y wybodaeth yn profi nad oes dim gwirionedd yn hwn ychwaith. Y gwir syniad, dybygid, ar y mater ydyw, Fod y creigiau bywydol neu ffosylog, fel eu gelwir, wedi eu gwaddodi gan, a thrwy allu dwfr, a bod y dwfr hwnw hefyd yn gwaddodi y llysiau a'r crëaduriaid oedd yn byw y pryd hwnw, ac a gludid ganddo, yn y graig, a hwythau trwy faeneiddiad mewn amser maith yn myned yn un â'r graig; ac y mae eu presennoldeb yn yr haenau heddyw yn esbonio dirgelwch cuddiedig yr oesau a fu, a blynyddoedd yr hen amser. Y mae Dr. Hitchcock, wrth sylwi ar egwyddorion sefydlog Daeareg, yn nodi, ymhlith eraill, y rhai a ganlyn:—"Fod yr holl greigiau haenol yn greigiau ffosylog, a'r rhai ffosylog yn rhai haenol, ac wedi eu cyfansoddi yn benaf trwy weithrediad dwfr, a'u bod unwaith wedi bod yn waelodion llynoedd a moroedd, a bod yn rhaid fod amser maith wedi cymeryd lle tuag at eu dwyn i'w ffurf bresennol. Fod y ffosylau, neu y crëaduriaid sydd i'w cael yn y creigiau, yn ddosbarthiadau trefnus; nad ydynt byth blith draphlith, a phob un yn perthyn i gyfnod neillduol; naill ai i'r cyntaf, yr ail, neu y trydydd." Cawn fod William Smith, yr hwn a enwir yn "*Dad Daeareg*," neu fel y gelwir ef bryd arall, yn "*Stratum Smith*," trwy lafur dibaid, wedi darganfod yr agoriad i athrawiaeth y ffosylau mor bell yn ol â'r flwyddyn 1796, pan y dywedodd fod "*olion bywydol, yn cynnwys llysiau ac anifeiliaid, yn bodoli mewn olyniad*

*rheolaidd, a bod pob haen i'w gwahaniaethu oddiwrth gydgasgliad o ffosylau priodol iddi ei hun, a pha le bynag yr ymddengys, y mae i'w hadnabod yn ol ei gweddillion bywydol."* Dyma oedd yr ymgais cyntaf i roddi yr un rheswm dros y ffaith, ac y mae yn parhâu mewn grym eto, ac yn sail dda y gellir goruwchadeiladu arni.

Dosberthir y creigiau ffosylog yn eu trefn fywydol i dri dosbarth mawr, a nodweddir y tri gan natur y bywyd a geir ynddynt; megys cyfnod yr hen fywyd *(Palæozoic)*, cyfnod y bywyd canol *(Mesozoic)*, a chyfnod y bywyd diweddar *(Cainozoic)*. Gwir y ceir cyfres arall o greigiau yn bod, ond nid ydynt yn ffosylog, ac felly nid ydynt yn perthyn i'r un o'r cyfnodau bywydol; megys lliaws o'r creigiau trawsnewidiol *(metamorphic)*, a'r ithfaen yn ei gwahanol ffurfiau, a gelwir y gyfres hon yn îs-fywydol *(Hypozoic)*. Gorwedda y creigiau hyn yn ngwaelod y raddeg, ac edrychir arnynt fel rhai amddifaid o ôlion bywydol, er fod rhai o honynt yn ddiweddar wedi cael eu symud yn uwch i fyny, i gyfnod y bywyd cyntefig, yn enwedig y graig Laurentian, gan fod argraffiadau bywydol wedi eu darganfod ynddi Dywedir fod ffosylau yr hen gyfnod a'r cyfnod canol wedi darfod yn llwyr erbyn y cyfnod diweddar, ac nad oes ond ychydig, yn wir, i'w cael ymhen uchaf y cyfnod diweddar o'r rhai a fodolai yn ei ddechre. Y mae hyn yn profi fod crëadigaethau newyddion wedi cymeryd lle, er hyny nad oes yr un gwagle *(blank)* wedi bod yn mywyd y grëadigaeth, a bod ryw ychydig o enghreifftiau o'r cyfundraethau agosaf yn ymgripio i'r lleill.

Y mae ffurf a natur y crëadur yn ein galluogi i ddyfod i'r penderfyniad beth oedd yr amgylchiadau ymha rai yr oedd yn byw ynddynt. Y mae hyny i'w adnabod oddiwrth y crëaduriaid presennol—beth ydyw eu sefyllfa a'u harferion. Ceir gwahaniaeth mawr rhwng crëaduriaid y gwahanol sefyllfäoedd â'u gilydd; y mae gwahaniaeth rhwng preswylwyr y tir a'r môr, rhwng preswylwyr y gwahanol hinsoddau â'u gilydd: felly deuir, wrth archwilio'r ffosyl, i'r casgliad beth oedd yr amgylchiadau yr oedd yn byw ynddynt—pa un ai ar y tir, ynte ymlwybro y dyfroedd mawrion yr ydoedd—pa un ai yr anialwch, ynte y doldir, oedd ei breswylfan; pa un ai yn y goedwig, ynte yn yr awyr yr ydoedd. Y mae yr holl wahaniaeth yma sydd i'w ganfod yn esboniad ar hanes a threfn bywyd oesoedd ar oesoedd yn ol. Ac nid hyny yn unig, ond galluogir y cyfarwydd trwy hyn i ddyfod i'r penderfyniad, nid i adnabod y lle yr oedd y crëadur yn byw yn unig, ond pa fodd yr oedd yn byw, beth oedd ei arferion a'i dueddiadau. Gellir casglu oddiwrth un aelod o hóno beth oedd ei arfer, pa un ai cerdded, rhedeg, nofio, neu ehedeg, y byddai; gellir casglu oddiwrth ei ddannedd beth a fyddai ei ymborth, pa un ai yr awyr, llysiau, ynte cnawd. Ië, gall y cyfarwydd, megys y *Professor* Owen, ac eraill, ddyfod i'r penderfyniad, wrth weled un ran o'r crëadur, beth oedd ffurf a maintioli y crëadur ei hunan; wrth weled un asgwrn, ffurfio ac adferu crëadur o'r un ffurf a maintioli âg yr oedd yr asgwrn hwnw unwaith yn rhan o hóno. Rhai adferedig a ffurfiedig ydyw Mammaetholion anferth y *Tertiaries* a welir yn y *Museums*, ac wedi eu ffurfio drwyddynt oll mewn cyfartaledd i'r un asgwrn a ddarganfyddwyd yn rhan neillduol o honynt. Gellir dyweyd oddiwrth un ran o grëadur—dyweder asgwrn o hóno, beth oedd ffurf a maintioli y crëadur ei hun, a'i adferu, trwy *brocess* celfyddydól, yn ol cyfartaledd y rhan

hono, fel ag i gyfateb ymhob peth i'r crëadur ei hun. Felly yr ydym yn gweled fod gwybodaeth bwysig yn deilliaw trwy efrydu y ffosylau; nid yn unig dywed am ffurfiau y crëaduriaid, ond am eu harferion a'u tueddiadau, ac o dan ba amgylchiadau y buont byw a marw. Y mae y creigiau yn llyfr, bellach, a ystyrir, nid yn un sych a diflas, ond yn llawn difyrwch a newydd-deb; ac nid rhyfedd fod ambell un mor frwdfrydig ei ysbryd wrth chwilio ei ddalenau. Yn ol hynodrwydd cyffredinol y bywyd yn y cyfnodau hyn, gelwir y cyntaf yn "Oes y brachipodau" *(age of brachipods)*, yr ail yn "Oes yr ymlusgiaid" *(age of reptiles)*, a'r olaf yn "Oes y mammaetholion" *(age of mammals)*.

Y mae creigiau yr hen fywyd yn cychwyn yn y *Laurentian* yn y gwaelod, ac yn cyraedd hyd y *Permian;* a chreigiau y bywyd canol yn cychwyn yn y *Permian* hyd y *Chalk*, a chreigiau y bywyd diweddar yn cynnwys yr oll hyd y gwaddod diweddaraf. Rhestrid calchfaen risialaidd Canada, yr hon a adnabyddir wrth yr enw Laurentian hyd yn ddiweddar, yn y dosbarth îs-fywydol; ond o herwydd i Syr William Logan ddarganfod ynddi ffosyl, yr hwn a adnabyddir wrth yr enw *Eoozoon Canadenze*, neu yn gyfieithiedig, gwawr y bywyd yn Canada, y mae wedi ei chodi i fwynhâu yr anrhydedd o gael gorwedd yn nosbarth y creigiau bywydol. Y mae yn ffaith sefydledig erbyn hyn fod yr Eoozoon yn ffosyl perffaith, ac hefyd yn un anifeilaidd; ac y mae *Principal* Dawson, Montreal, yr hwn a fu yn archwilio y graig ei hun, yn cadarnhâu y dybiaeth am dano yn y naill a'r llall. Y crëadur hwn, hyd yn bresennol, a adnabyddir fel yr isaf yn y raddeg fywydol; ac er nad yw ond megys brycheuyn i'r llygad noeth, eto y mae yn meddu pob cynneddf angenrheidiol er tŷnu ei gynnaliaeth o'r dyfroedd y bodolai ynddynt; ac er ei fod yn fychan ynddo ei hun, eto, mewn undeb â'u gilydd, ffurfiant gyfres ëang o greigiau pwysig. Amgylchynir y crëadur bach yma â llawer o ddyddordeb, gan mai efe, hyd yn hyn, a ystyrir yn wawr y bywyd, nid yn unig yn Canada, ond yn yr holl grëadigaeth. Wrth edrych arno yn y *Museum*, yr oedd lliaws o gwestiynau yn codi yn naturiol mewn perthynas iddo, megys, ai tybed mai hwn oedd y crëadur cyntaf a wnaed gan y Crëawdwr? Ai dyma y ffòn isaf yn ngraddeg fawr bywyd? Y mae safle a gorweddiad y graig, yn gystal â natur syml y ffosyl, yn profi ei fod yn agos i, os nad yn, ddechreu bywyd y grëadigaeth, yr hwn a berffeithiwyd pan y dywedodd Duw, "*Gwnawn ddyn ar ein llun a'n delw ein hun.*"

Y creigiau nesaf a adnabyddir wrth yr enw *Cambrian*, a hyny o herwydd mai yn Nghymru y ceir y dadblygiad helaethaf o honynt. Prin ydyw y ffosylau yn y gyfres hon; ystyrid hi hyd yn ddiweddar y graig fywydol isaf, ac ystyrid ei ffosylau y rhai henaf, hyd nes y daeth y Laurentian i'w lle; er mae hwy ydyw y rhai henaf a ddarganfyddwyd eto yn Ewrop, enwir hwy fel y canlyn:—*Oldhamia Radiata, O. Antiqua, Arenicolytes didyma, Histeoderma Hibernicus.* Hyd nes y darganfyddwyd yr Eoozoon yr *Oldhamia Radiata* a ystyrid y ffosyl henaf, ac efe ydyw yr henaf eto yn Ewrop. Darganfyddwyd ef yn y flwyddyn 1844, gan Dr. Oldham, Trinity College, yn Bray Head, Iwerddon, ac fe'i henwyd yn Oldhamia er anrhydedd i'w ddarganfyddwr. Yn y creigiau hyn yn gystal âg yn y Longmynd, gwelir y pryfdyllau yn afrifed, yn dwyn tebygolrwydd mawr i'r rhai a welir ar unrhyw làn y môr yn bresennol; ac yn wir, y mae hi

yn ffaith ryfedd fod cymaint o debygolrwydd rhwng preswylwyr boreuaf yn moroedd cyntefig, a'r ffurfiau bywydol isaf a geir yn y môr yn bresennol. Ië, y mae y Longmynd yn agor i ni ychwaneg o ddirgelwch y gorphenol, oblegid gwelwn yn eglur yn ei haenau ôlion tònau, ôlion gwlaw, a'r agenau a ffurfiwyd trwy wrês yr haul, ac y mae hyn yn dangos fod amgylchiadau natur y pryd hwnw yn debyg i'r hyn ydynt yn bresennol, sef fod llanw a thrai, y cymylau yn gwlawio, a'r haul yn tywynu fel yn bresennol.

Y dosbarth nesaf ydyw y *Silurian,* ac y mae amryw fathau o greigiau yn cyfansoddi y dosbarth hwn, y rhai a fesurent filoedd o droedfeddi o drwch, megys y *Ludlow, Wenlock, Woolhope Series, Llandovery Rocks, Caradoc and Bala Rocks, Llandeilo Rocks, Lingula flags, a Tremadoc beds.* Prif ffosylau y Silurian ydynt, y *Lingula Davisi, Lingula Ramsayi, Stenopora fibrosa, Rhynconella augustefrons, Strophomem imbrex, Cardiola interupta,* &c. Ceir mwy o gyflawnder o weddillion bywydol yn y Silurian nag a welwyd o'r blaen, ac y maent braidd i gyd yn forawl. Yma y cyfarfyddwn am y waith gyntaf â'r cragen-bysgodyn *(shell-fish)* yn dwyn yr enw *Lingula;* ac os ydyw hen âchyddiaeth yn brawf o barchusrwydd, y mae teulu y Lingula yn ei feddu, gan ei fod yn un o'r rhai cyntaf yn y grëadigaeth, ac y mae iddo olynwyr yn dwyn delw y teulu trwy yr holl haenau hyd y dydd hwn. Y mae y Lingula i'w chael yn doreithiog yn nghreigiau Tremadoc. Yn y Silurian hefyd y cyfarfyddwn gyntaf â'r crëadur arbenig hwnw a adwaenir wrth yr enw trilobyn *(Trilobite).* Yr oedd y crëadur yma yn perthyn yn arbenig i'r hen amseroedd; nid oes yr un tebyg iddo i'w weled yn bresennol; ac y mae yn anmhosibl peidio edrych ar ei ffosyl fel ffosyl o ddyddordeb anghyffredin. Ystyrir fod llygaid y crëadur hwn yn un o ryfeddodau yr hen fyd; y mae un yn sylwi arno, "Its eye is remarkable for its many hundred lenses." Ceir tua phen uchaf y Silurian weddillion llysieuol o radd isel fel gwman *(sea weeds);* ac yn nghreigiau Ludlow, ceir gweddillion pysg am y waith gyntaf oll, yr hwn a elwir *Pteraspis,* ac sydd yn debyg yn ei natur i'r *Sturgeon* a adnabyddir yn y dyddiau hyn.

Y nesaf a ddaw i sylw ydyw yr *Hen Dywodfaen Goch,* neu y *Devonian,* yr hwn a ddosberthir yn gyffredin i dri dosbarth drachefn. Dyma oedd maes penaf ymchwiliadau yr enwog H. Miller. Ceir llawer o argraffiadau yn ysgrifenedig yn y creigiau hyn, megys argraff tònau y môr, gwlawogydd, a chrëaduriaid, yn gyffelyb i'r hyn a wneir yn bresennol yn yr un amgylchiadau. Ceir y llysgfilod, y crawenau, a'r meddalogion yn eu hamrywiaeth yn y graig hon; hefyd amryw fathau o lysiau. Ond nodwedd neillduol ffosylau y Devonian ydyw pysgod, megys y *Cephalaspis, Pterichthys, Cocosteus, Osteolepis,* &c. Hefyd ceir yma enghreifftiau cymedrol o'r crëaduriaid crawenog a neillduol hyny a elwir y *Trilobites.*

Sylwn yn nesaf ar y *Dosbarth Carbonaidd.* Y mae hwn yn cynnwys tair cyfres o greigiau gwerthfawr, megys y glô welyau, y grud melinaidd, y Galchfaen Fyddynog, a'r Sials Calchog. Hynodrwyd neillduol y cyfnod hwn ydyw ei lysiau a'i goedydd, er y ceir yma amryw bysgod, ac ymlusgiaid, a'r crëaduriaid bychain eraill a enwyd yn barod. Y mae llysiau y glô yn dwyn prawf o gynnydd yn mywyd y grëadigaeth, ac yn dangos helaethiad ar amryw ddosbarthiadau o'r deyrnas lysieuol na buasem yn gwybod dim am hyny, ond am y profion a geir yn y creigiau.

Yr oedd cannoedd o wahanol rywogaethau yn ffynu ar y ddaear y pryd hwn, megys y *Lepidodendron*, *Stigmaria*, *Sigillaria*, *Calamites*, &c.

Y dosbarth nesaf ydyw y *Permian*, a'r diweddaf yn nghyfnod yr Hen fywyd. Dosberthir creigiau y dosbarth hwn eto i'r *Red Sand, Magnesian Limestone*, *Marl Slate*, *a Lower Red Sandstone*. Ceir yma amryw ffosylau, megys *Fenestilla retiformis*, *Productis horridus*, *Palaeonicus elagans*, &c.

Yn awr yr ydym wedi rhedeg yn frysiog tros fywyd yr hen gyfnod, ac yn dechreu edrych arno yn y cyfnod canol; a'r fàn y gwelir ef gyntaf yma ydyw yn y *Triassic*, neu y Tywodfaen coch newydd. Y mae yn y cyfnod hwn fywyd newydd, a cheir golwg arno yn y creigiau hyn, ac yn neillduol yma y gwna yr ymlusgiad ei ymddangosiad gyntaf. Y prif ffosylau yma ydynt y *Terabratula*, *Cheriotherium*, *Labyrinthydon*, &c.

Y nesaf ydyw y *Lias*, yn cynnwys yr Upper Lias, a'r Lower Lias. Y mae arbenigrwydd neillduol yn perthyn i fywyd y creigiau hyn; yma y ceir y *Belemnite*, yr *Ithyosaurus*, a'r *Plesiosarus*,—madfilod (*Saurians*) o faintioli anferth. Crëadur hynod ydyw y *Belemnite* a geir yn y Lias, math o bysgodyn ydyw mewn cragen, tebyg i'r *cuttlefish* presennol, a gwna ei loches yn y gragen. Yr oedd ganddo o bob tu ei ben wyth o freichiau, a phicell ar bob braich, er mwyn picellu y pysgod i'w cael yn ysglyfaeth. Yr oedd ganddo hefyd o dan ei ben goden â'i llonaid o hylif du fel inc, a phibell o'r goden i'r dwfr; a phan yn cael ei erlid gan ei elyn, agorai y goden, a gollyngai yr inc trwy y bibell i'r dwfr, nes ei dduo, ac felly dyrysai ei ymlidydd, ac yntau yn cael cyfle i ffoi. Dyna y ffordd oedd ganddo ef i amddiffyn ei hun. Gwneir y gair *Ichthyosaurus* i fyny o ddau air arall, *Ichthyss*, pysgodyn, a *saurus*, madfil, felly madfil-bysgodyn ydyw. Byddai yn byw ar y tir ac yn y môr; yr oedd ganddo ben a dannedd crocodil, a llygaid cymaint â phen dyn. Yr oedd yn rhaid ei fod, oddiwrth ffurfiad ei frest, yn anadlu awyr; ac yr oedd ganddo gylla anferth, gan fod crëaduriaid eraill, megys pysgod ac ymlusgiaid, wedi eu cael ynddi, a phrofa hyny hefyd ei fod yn gnawdfwytäwr. Ei fesur o'i drwyn i'w gynffon oedd deg troedfedd ar hugain. Yr oedd y *Plesiosaurus* o'r un dosbarth, ond yn dwyn mwy o debygolrwydd i'r morfil; ei fesur ef oedd tua deunaw troedfedd.

Y dosbarth nesaf ydyw yr *Oolite*. Y mae y dosbarth hwn yn cynnwys tua un cynnulliad ar bymtheg o wahanol haenau, a byddai eu nodi yn fanol yn myned â gormod o le. Eu ffosylau ydynt yr *Iguanodon*, *Ammonites*, *Vuculites*, *Hamites*, *Scaphites*, *Turrulites*, &c., ac amryw fathau o redyn a llysiau. Wrth ystyried maintioli, tebyg mai brenin yr holl grëaduriaid a ddarganfyddwyd erioed yn y creigiau ydyw yr *iguanodon*. Bernir y mesurai o'i gynffon i'w ben tua deg a thriugain o droedfeddi; profa ffurfiad ei ddannedd ei fod yn grëadur hollol ddiniwed, y byddai yn byw ar y tir, ac yn pori gwellt.

Y *Chalk* eto, yn cynnwys y *Maestricht beds*, *Upper Chalk*, *Lower Chalk*, *Upper Greensand*, *Gault*, *Specton Clay*, &c. Y mae gweddillion bywydol yn y gymydogaeth hon braidd yn helaeth, ac yn benaf yn forawl. Cynnwysent y *Cwrel*, *y Sponges*, *Artercodae*, *Crinoidae*, *Echnidu*, *Conchifera*, *Mesaurous*, *Chelonia*, &c. Dywedir fod y ffosylau yn cael eu cadw yn brydferth yn y chalk, ac yn gyffredin, cadwent yn y creigiau hyn eu ffurf a'u prydferthwch cynhenid. Dyma derfyn yr ail gyfnod.

Y mae cyfnod y bywyd diweddar, neu y *Tertiary*, yn cynnwys rhestr faith o haenau o'r *Woolwich beds* i'r *Modern deposits*. Fel y gellid dysgwyl, ymestyna y gyfundraeth hon dros amser maith, a cheir profion o gyfnewidiadau pwysig yn y tir a'r môr, ac hefyd yn mywyd y naill a'r llall. Y mae bywyd y cyfnod hwn yn berffeithiach, ac yn nês at y safon euraidd na bywyd yr un o'r cyfnodau eraill, ac y mae bywyd y rhan ddiweddaf i'r cyfnod yn tra rhagori ar y rhan gyntaf. Yr oedd yna ddiffyg pwysig ymhob un o'r cyfnodau eraill, ond y mae y diffyg hwnw yn hwn yn cael ei gyflawni. Yr oedd y Laurentian, y Cambrian, a'r Silurian, yn hynod am absennoldeb y crëadur cefnesgyrnog *(vertre brate)*; yn yr hen dywodfaen coch, ni welir nac ymlusgiaid, nac adar, na mammaetholion; yn y glô, ychwaith, ni cheir yr un o honynt; ac yn y dosbarth canol, ni cheir yr un râdd uwch na *marsupials*; ond yn y cyfnod hwn, ceir y graddau uchaf mewn llysiau ac anifeiliaid, ac y maent yn dwyn tebygolrwydd i'r rhai a fodolant yn bresennol, er fod gwahaniaeth pwysig hefyd rhyngddynt. Credir fod yr hinsawdd yn y *Tertiary* yn gynhesach nag ydyw yn awr; y mae maintioli anferth y crëaduriaid hyn yn profi eu bod wedi eu dadblygu mewn amgylchiadau ffafriol a manteisiol. Gelwid y cyfnod canol oddiwrth faintioli anferth ei ymlusgiaid yn oes yr ymlusgiaid *(age of Reptiles)*; felly gelwir y cyfnod hwn oddiwrth faintioli ac amlder ei fronfaetholion yn oes y Bronfaetholion *(age of Manmals)*. Ceir yma y crëaduriaid anferth yn dwyn yr enwau canlynol: *Palaetherium, Megatherium, Hyaenodon, Swatherium, &c.* Dywedir am y *Megatherium*, neu y diogyn, fel y gelwir ef weithiau, am ei fod yn debyg i'r crëadur a adwaenir felly yn bresennol, y byddai yn hoff iawn o ffrwythau. Tyfai y coed yn uchel iawn y pryd hwnw, ac nid hawdd a fyddai cael gafael ar y ffrwyth; a'r ffordd a gymerai i gael gafael ynddo fyddai turio o gwmpas y gwreiddyn, a gafael â'i ddau droed blaen yn y pren, nes iddo dŷnu y goeden i lawr i fwynhâu y ffrwyth. Ceir y crëadur yn y graig, a'r pren rhwng ei ddau droed, ac felly deuir i'r casgliad ei fod wedi ei ladd gan y pren wrth iddo syrthio. Hynodrwydd arall perthynol i'r cyfnod hwn ydyw ei ffurfiau bywydol cymysgedig *(intermediate form)*—crëaduriaid yn meddu cymeriad hynodol gwahanol ddosbarthiadau—a cheir y cymysgedd hwn ymysg yr adar, yr ymlusgiaid, yn gystal â'r tethogion.

Yr ydym yn frysiog wedi myned trwy y raddeg fawr fywydol, ac wedi dyweyd fod yna gynnydd ynddi, a rheol a threfn hefyd yn perthyn i'r cynnydd hwnw, ac mai ei eithaf ydyw dyn. Dyn ydyw y crëadur perffeithiaf, ac efe hefyd ydyw yr olaf; nid yn unig dysg y Bibl hyny, ond dyna ddysgeidiaeth daeareg. Ni cheir ôlion o hono hyd nes y deuir i ben uchaf y rhestr, lle y gwelir y *modern deposit* yn gorwedd. Gwir y taerir gan rai eu bod wedi darganfod ôlion dynol yn îs i lawr, ac felly, wrth gwrs, byddai yn rhoddi mwy o henafiaeth i ddyn na rhyw chwe' mil o flynyddoedd, fel y dysga y Bibl. Yn ddiweddar bu rhai o wyddorwyr o duedd anffyddol yn codi eu llef, gan waeddi, "Dyn wedi ei ddarganfod yn ngwaelod y *Tertiary!*" Ond diammheu fod y casgliadau hyn, fel rhai eraill, wedi eu tŷnu yn rhy frysiog a byrbwyll; ac yn ngwyneb pob darganfyddiad gwyddorol, fel y gwnaeth hyd yma, y saif y Bibl eto yn ddigryn yn eu gwyneb oll, ïe, pan ddaw darganfyddiadau gwyddorol yn fwy sefydlog, a beirniadaeth Ysgrythyrol yn fwy perffaith,

gwelir fod yma undeb a chydgordiad perffaith rhwng Natur a Dadguddiad. Beth bynag a ddaw i'r golwg o'r nefoedd a'r ddaear, "Gair ein Duw ni a saif byth."

Y mae athrawiaeth y ffosylau yn dangos fod *trefn a chynnydd* yn mywyd y grëadigaeth. Yr ydym wedi profi fod bywyd yn bod yn oesau pellenig y Laurentian, yno yn cychwyn fel rhyw aberig fechan, gwelwn hi yn rhedeg, er yn fechan, tua chymydogaeth y Cambrian. Tuag amser y Silurian, ymddengys ychydig o arwyddion o chwanegu nerth ac o amlhâu cryfder; cawn y meddalogion a'r crawenau yn gwneyd eu hymddangosiad. Y mae yr afon erbyn hyn wedi ymchwyddo a chynnyddu yn ddirfawr, fel, tua diwedd y Silurian, cawn gwmni y cefnesgyrnogion cyntaf, sef pysgod, a mwynhâu crëadigaeth llysiau am y waith gyntaf. Y mae yn gadael yr hen gyfnod, ac yn rhedeg trwy y canol a'r *Tertiary*, nes y cawn yr ymlusgiad, yr aderyn, a mammaetholion, nes y mae yn cael perffeithrwydd yn mherson y dyn Adda, yr hwn a wnaethpwyd "ychydig yn îs na'r angelion." Y mae hyn yn dangos fod gyrfa bywyd ar ein daear ni yn raddol a chynnyddol, o'r isaf i'r uchaf; a phob dyrchafiad bywydol yn brawf o grëadigaeth newydd.

Fel y crybwyllwyd eisoes, dyna ydyw gwaith y daearegwr, ymwneyd â bywyd fel y ceir ef yn y creigiau, yn ei drefn, ei olyniad, a'i gynnydd; nid yw yn proffesu ymwneyd dim â tharddiad neu natur bywyd. Nid yw daeareg, nac yn wir yr un wyddor arall, yn gallu ateb cwestiynau a ymddangosant yn syml a hawdd ar yr olwg gyntaf, megys, Beth yw gwreiddyn bywyd? O ba le y daeth i ddechre? Beth ydyw bywyd? Gallasai ddyfod i fôd trwy ryw allu sydd ynddo ei hun, neu trwy weithrediad rhyw allu anweledig arall; gallasai ddyfod i fôd o un impyn dechreuol, neu fwy nag un, neu ddyfod i fôd yn ol gorchymyn penarglwyddiaethol y Crëawdwr ei hun, ar ddim a ddysg y wyddor hon i ni am dano. Ei gwaith ydyw ymwneyd â bywyd fel y mae, yn ei drefn a'i gynnydd, yn hytrach na chyffwrdd dim â'i darddiad a'i natur. Gwir ei bod yn ei olrhain ymhell yn ôl, ïe, gall wneyd hyny i'w ddechreuad, i'r arwyddion cyntaf o hóno yn iselderau y ddaear, ond nid yw yn proffesu cyfrif pa fodd y dechreuodd nac o ba le y daeth. Os ydym am wybod hyny, rhaid i ni droi at Lyfr arall, ac ni gawn esboniad arno yn yr adnod gyntaf sydd yn y Bibl, "Yn y dechreuad y crëodd Duw y nefoedd a'r ddaear." Dyna'r adnod fach yn cysylltu bywyd â Duw—"*y crëodd Duw.*" Fel y sylwyd eisoes, y mae yna raddfa fawreddog yn nghynnydd y ddaear, o'r bychan i'r mawr, o'r anmherffaith i'r perffaith; y mae yr un rheol yn y byd llysieuol ac anifeilaidd; y mae gwman y môr yn îs na rhedyn, a'r goeden frigog, drachefn, yn uwch na'r rhedyn. Y mae'r cwrel yn uwch na'r ysbwng, y cranc a'r pysg creginog yn uwch na'r cwrel, a'r pysg cefnesgyrnog yn rhagori arnynt hwythau; crëadur y gwaed oer yn îs na'r un â gwaed cynhes, y pysgod yn îs na'r ymlusgiaid, a'r ymlusgiaid yn îs na'r adar, a'r adar yn îs na'r tethfilod, y morfil yn îs na'r hwn sydd yn cnoi ei gîl, a phawb yn îs na'r dyn; ac y mae y drefn yma arnynt i'w cael yn yr haenau. Er ein bod yn dywedyd fod yma gynnydd yn mywyd y ddaear, nid ydym yn golygu wrth hyny fod yna ddadblygiad mewn ffurf îs o fywyd i ffurf uwch, nac ychwaith ddirywiad o ffurfiau uwch i rai îs. Y mae yn anmhosibl meddwl am i'r cwrel ymnewid yn bysgodyn cragenog, neu i'r trilobyn droi yn bysgodyn, nac i'r pysgodyn

byth fyned yn aderyn. Nid ydym yn gwadu na cheir ffurfiau cyfryngedig *(intermediate forms)* ymhlith yr hen greigiau, fel y ceir hwy yn bresennol, megys y *Platypus* o Awstralia, neu y *Leafinsect o'r* trofegau; ond y mae y fath ffurfiau yn grëadigaethau a ddysgwylid gan natur, yr hon, fel y dywed y creigiau, sydd yn casâu *pob* llinell derfynol, *a'r* hon, pan yn gwahanu, sydd hefyd yn cysylltu. Felly nid oes yr un crëadur, pa mor fychan bynag ydyw, yn anmherffaith, ac wedi tarddu o grëadur îsraddol iddo, ond yn dal cymaint o berffeithrwydd ag sydd yn bosibl, ac y mae hyn yn cymhwyso y lleiaf i'w sefyllfa fel y mwyaf. Dywed Augustine, "Nid yn unig y mae Duw yn ei holl weithredoedd, ond y mae yr *oll o Dduw ymhob un* o'i weithredoedd."

Sylwn eto rywbryd ar y gwrthddadleuon a ddygir oddiwrth athrawiaeth y ffosylau.

---

# Y LLWYBR DYEITHR.

HAF ydoedd yr adeg, a dyffryn oedd y fan; a chan mai hâf ydoedd, yr oedd yr olwg arno yn anarferol hardd. Ymgodai y mynyddoedd ar y ddê a'r aswy yn uchel i'r awyr, y mynydd ar y ddê yn sŷth a beiddgar, y mynydd ar yr aswy yn fwy graddol; yr oedd coed gwyrdd-ddail lawer yn daenedig drostynt, ac ymddangosai y mynydd ar y ddê fel mûr mawr, du, naturiol. Yn y pen uchaf i'r dyffryn ceid golwg ar fynydd ar ol mynydd yn diflanu yn ehangder y wybren. Yn ei waelod nid oedd i'w weled ond y dolydd llydain, ac yna, càn belled ag y gellid gweled, y wybr yn ymdawelu uwchben y môr. Yr oedd y dolydd yn wyrddion, yr anifeiliaid yn pori ac yn chwarëu arnynt, ac yr oedd afon fawr yn ymddolenu drwy eu canol. Ar làn yr afon hon y cerddai dyn yn arafaidd, fel wedi ei lyncu i fyny yn hollol gan swyn yr olygfa. Ac er mai canol dydd oedd, ni welid dyn arall yn agos, ac ni chlywid llais neb yn y dyffryn; yr unig bethau a ddisgynent ar y clyw oedd sŵn ambell i dòn yn taro yn erbyn y làn, brefiad y fuwch, a chàniad yr adar. Yn wir, pe buasai dyn yn agos, neu pe buasai ei lais i'w glywed, buasai yr holl sŵyn iddo ef yn y fan yn diflanu. Yr oedd golygfëydd o'r fath bob amser yn cael effaith neillduol arno; teimlai ei feddwl yn ymehangu, ei galon yn ymhelaethu, a meddyliai fod rhyw argraff o ehangder yn cael ei gwneyd ar ei feddwl, ac fod rhywbeth bob amser yn ei fynwes yn cael ei foddloni yn y fath olygfëydd: yr oedd yr anfeidroldeb y tu allan iddo fel mewn rhyw ddwfn gydgordiad â'r anfeidroldeb y tu mewn iddo—y dyfnder y tu mewn fel yn galw ar y dyfnder y tu allan, a'r dyfnder y tu allan yn ateb y dyfnder y tu mewn. Wedi ei lethu o'r diwedd gan fawredd yr amgylchiadau, gorweddodd ar y glaswellt yn nghanol llygaid-y-dydd a briallau, a daeth awel dyner o'r dwyrain ac a'i süodd i gysgu, gan chwarëu y pwysi ar ei ruddiau. Yr oedd ei gŵsg yn

dawel fel yr hîn, ond tawelwch tebyg i dawelwch y dwfr oedd, lle mae bywyd yn ei höewder yn nghanol ei ddyfnder. Yr oedd ei feddwl wedi ei ollwng yn rhydd, ac yr oedd effaith y golygfëydd y bu yn edrych arnynt yn amlwg. Dilynent eu gilydd yn un gyfres faith; gwibiai y mynyddoedd heibio o'i flaen un ar ol un, gan ymgolli yn yr ehangder draw; gwelai afonydd yn rhedeg i lawr eu hochrau yn llinellau gwỳnion, ac yn disgyn i'w gorweddle yn y dyffryn, ac yna yn ymddolenu i'r môr. Ac nid yn unig deuai golygfëydd y diwrnod hwnw yn ol i'w feddwl, ond deuai golygfëydd eraill mewn gwahanol fanau yn eu holl amrywiaeth ger bron, ac nid oedd ganddo un drychfeddwl o ba le yr oeddynt yn dyfod, na pha beth oedd yn eu dwyn. Yr oedd wedi sylwi rai gweithiau ar olygfëydd prydferth yn cael eu gwthio i ganol ei fyfyrdodau, pan na byddai yno ddim mewn un modd a allai, yn ei feddwl ef, eu dwyn i gôf. Ond ar yr un pryd, gallai fod rhywbeth, ac yn yr amgylchiad presennol, gallai fod rhyw gysylltiad dirgelaidd, dwfn, rhwng y naill olygfa a'r llall. Ond fe ddaeth un olygfa, yn ddiwedd-glô ar y cwbl, ag oedd yn fwy mawreddog na'r lleill i gyd, o natur uwch, ac un na fu erioed yn ei feddwl o'r blaen, ond yr oedd megys yr holl olygfëydd eraill wedi gadael eu hôl arno, a'i feddwl yn ffurfio hon ei hunan. Canfyddai ei hun yn sefyll ar lwybr bychan cul, hollol ddyeithr, ac nid oedd yn gwybod yn sicr pa fodd y daethai yno. Cerddai arno, a theimlai ei fod yn myned ar i lawr, fel pe byddai y llwybr yn cychwyn o'r mynyddoedd y tu ol. Arweiniai trwy ganol y dyffryn ar hyd ymyl yr afon i lawr i'r un fan—i'r môr; a theimlai orfodaeth arno i gerdded y llwybr, pa beth bynag a ddeuai o hyny. Tra yn cerdded i lawr, codai meddyliau rhyfedd yn ei fynwes, meddyliau dyeithr, fel yn ymylu ar rai byd arall, a theimlai fel pe byddai tymp ar esgor ryw feddwl mwy na'r cwbl yn awr yn agos. Ac er mcr ddyeithr y sefyllfa yr oedd yn cael ei hun ynddi, yr oedd ei gywreinrwydd mor fyw âg erioed, ac yr oedd ynddo awydd a syched dirfawr am weled newydd-deb. Yr oedd wedi blino ar y byd, ac ar y dynion oedd yn y byd. Yr oedd eu masnach ddiderfyn, eu hawyddfryd byw, angerddol, am aur ac arian, wedi bod yn destun gofid iddo lawer tro; gweled aur yn cael ei gyfrif y trysor gwerthfawrocaf mewn bod; gweled dynion mewn dinasoedd mawrion yn dwysgerdded yr heolydd heb yngan gair y naill wrth y llall; gweled dynion o'r un gwaed, o'r un genedl, yn cerdded yn gyflym—bron yn rhedeg—heibio eu gilydd, heb gymaint âg edrych y naill ar y llall, fel pe na byddai neb ond hwy yn unigol yn y byd, neu fel pe na byddai dyn yn grëadur cymdeithasgar; gweled y cerbydau yn rhedeg trwy yr un heolydd, a'u gỳrwyr fel wedi colli eu synwyrau, yn gỳru fel pe byddai diluw mawr eto yn d'od ar fyd y rhai anwir; gweled yr ager-lestri yn rhwygo eu ffordd, nos a dydd, trwy ddyfnder môr, er gwaethaf twrf y dòn a'r ystorm; gweled yr ager-gerbyd a'i olwỳnion yn chwyrnellu ymlaen, gan ddyweyd mewn iaith ofnadwy,—"Aur, aur, i ni!" Yr oedd gweled yr holl fyfyr, yr holl ddadwrdd hwn, yn unig er mwyn aur ac arian, wedi peri i'r dyn hwn ddigio wrth y byd, ac wrth y dynion oedd yn y byd; ac ni theimlai yn chwith yn nyeithrwch y llwybr hwn, i ba le bynag yr arweiniai, ac ni theimlasai ofid pe buasai yn ei ddwyn i fyd arall, lle nad oes aur nac arian, na dim o'r cyfryw, o'i fewn. "Na thröid eu holwynion gwyllt," meddai, "yn felyn aur! Na thröid

eu daear yn belen o aur, er mwyn iddynt, O ffyliaid, gael eu diwallu ganddo!"

Parhäi i gerdded, ac ni bu yn hir cyn gweled yn union o'i flaen ddysgleirdeb fel dysgleirdeb môr ar noson dawel, pan y tywyna y lleuad arno. Nid oedd yn sicr mai môr oedd, ond ymddangosai yn debyg, gan mor fawr a gwastad oedd. Deuai yn agosach ato bob moment, ac fel y tybiai, gwelai yn eglur mai môr oedd,—rhyw fôr tawel anghymharol, heb un dòn yn cynhyrfu ei wyneb. Gwelai hefyd y llwybr y cerddai arno yn arwain hyd at ei làn, ac er rhyw gymaint o arswyd, gwelai nad oedd yn darfod yn y graian mân a'r tywod, ond ei fod yn arwain i ganol y môr. Yr oedd troi oddiarno, yn gystal a throi yn ol, yn beth anmhosibl. Safodd am fynyd ar ei làn, ac ystyriodd pa beth a wnai. Edrychodd o'i amgylch, a chanfyddai yn dyfod o'r gogledd gwmwl gwỳn, gan ehedeg yn union i'r cyfeiriad i ba un yr oedd y llwybr yn arwain; ac yr oedd cymylau gwỳnion eraill yn dyfod, un ar ol un, ac i gyd yn myned yn yr un cyfeiriad; yr oedd yr awel hefyd a chwythai yn esmwyth yn chwythu yn y cyfeiriad hwnw; ac, fel y meddyliai, yr oedd y môr mawr a welai â'i lanw yn llifo yn ddystaw yn y cyfeiriad hwnw; ac heblaw fod y llwybr cul yn ei arwain, yr oedd rhyw orfodaeth, nas gwyddai p'am, yn ei dỳnu neu yn ei wthio yntau yn y cyfeiriad dyeithr hwnw. Am hyny, ymlaen! A cherddai yntau yn yr un cyfeiriad. I ba le —? Cerddodd nes y teimlodd ei hun uwch ben y dyfnder, ac heb ddim rhyngddo â suddo ond y llwybr. Erbyn hyn, gwelai yn eglur mai dwfr ydoedd, dwfr gwyrdd-lâs, dwfn, ac fod rhediad dystaw ond gwyllt ac anorchfygol iddo. Edrychodd a welai longau neu gychod yn nofio mewn môr mor ryfedd; a welai long fawr a'i hwyliau yn dyfod i'r golwg dros y gorwel draw; edrychodd a welai bysgod mawrion yn chwarëu yn y dyfroedd hyny; ond ni welodd na llong na physgod, ond yn unig dwfr glöew, clir, yn gwyllt redeg na wyddai i ba le. Mor dda fuasai ganddo yn yr unigrwydd mawr gael gweled rhyw un a allasai roddi hysbysrwydd iddo am natur y pethau a welai!

Nid peth hawdd oedd cerdded y fath lwybr, yn y fath le, a than y fath amgylchiadau. Nid oedd arno lai nag arswyd ar y dechre, gan fod y fath ddystawrwydd yn y fan y pryd hwnw, ac y mae rhywbeth ofnadwy mewn dystawrwydd. Y mae dyn fel yn dysgwyl *clywed* ysbryd pan y mae lleisiau y grëadigaeth yn darfod, yn gymhwys fel y mae yn dysgwyl *gweled* ysbryd pan y mae golygfëydd y grëadigaeth yn diflanu yn y nos. Ond ysgydwodd bob ofn i ffordd, dechreuodd ymwroli, a cherddodd yn gyflymach. Wedi cerdded am gryn amser, teimlai fod y llwybr yn ei arwain ar i fyny, yn uwch oddiwrth y môr, a chafodd ei hun, o'r diwedd, ar wastadedd lled uchel. Ynys fechan, dybygai ef, oedd, yn nghanol y môr. Anmhosibl yw rhoddi desgrifiad o'r cwbl a ymagorai o'i flaen yn y lle hwn. Yr oedd y goleuni a geid yn debyg i oleuni y lloer ar noson ddigwmwl. Safai â'i wyneb i'r cyfeiriad o ba un yr oedd wedi dyfod; chwythai yr awel i'w wyneb, a chwarëuai ei wallt bob ochr yn esmwyth yn nghyfeiriad yr awel. Uwch ei ben parhäi y cymylau gwỳnion i ehedeg, gwmwl ar ol cwmwl yn ddibaid; deuent o ganol y niwl oedd o'i flaen gan ehedeg a diflanu yn fuan yn y niwl o'r tu ol; a rhedai y môr gwydr yn bur a dystaw fel o'r blaen. Dechreuodd edrych oddiamgylch, ac wrth droi ei lygaid i'r dê, daeth

crëadur tebyg i angel i'w olwg, yn gwisgo adenydd, ei lygaid yn fawr, glöew, a siriol. Yr oedd ysgrifbin yn ei law, a llyfr o'i flaen, ei ddalenau yn llydain, a'i drŵch yn anghredadwy. Nid oedd yn agos i'w hanner wedi ei ysgrifenu, ond yr oedd yr angel yn barhäus, un ai yn edrych i fyny ar y cymylau, neu yn ysgrifenu ar y llyfr. Trôdd ei lygaid i'r aswy, ac yno yr oedd angel arall, tebyg mewn ymddangosiad i'r cyntaf, ond yn unig nad oedd ei lygaid mor siriol. Yn llaw hwn hefyd yr oedd ysgrifbin, ac o'i flaen yr oedd llyfr, ond heb fod lawn cymaint â'r cyntaf, ac yr oedd mwy o hóno wedi ei ysgrifenu; nid edrychai hwn i fyny unwaith, ond i lawr dros yr ymyl i ddyfnder y môr, ac yna ysgrifenai. Nid oedd un o'r rhai hyn yn cymeryd dim hamdden; ni arosent ac ni orphwysent, ond edrychent, un i fyny i'r cymylau uwchben, a'r llall i lawr i'r dwfr gwyrdd-lâs, ac yna yn brysur ysgrifenu. Nid oedd hyn yn dyhysbyddu yr olygfa. Yn union rhwng y ddau angel, yn ymgodi yn uchel i'r awyr, ei ben bron â chyffwrdd â'r cymylau, yr oedd awrlais anferthol fawr. Nid awrlais, ychwaith, ydyw yr enw mwyaf prïodol arno, oblegid nid dangos oriau yr oedd, na dyddiau, na misoedd, ond blynyddoedd—blwydd-lais oedd. Ac iddo yr oedd pendyl hir, hir, yn symud yn sicr a difêth o aswy i ddê, o ddê i aswy, yn ddibaid; ac yr oedd rhywbeth yn arswydus, nid yn unig yn y sŵn a glywid pan gyrhaeddai y naill ben i'r llall, ond hefyd yn yr olwg arno yn myned—y mawreddog wedi ei wisgo â'r arswydus. Yr oedd y dyn yn ystod ei oes wedi gweled a chlywed llawer cymhariaeth i osod allan pa beth oedd amser, ond ni roddodd dim erioed iddo gymaint o syniad am dano â gweled y pendyl ofnadwy hwnw fel rhywbeth byw yn prysuro i un pen ac yna yn prysuro yn ol, a chlywed y tarawiad byddarol yn y ddau ben, a'r chwiban dychrynllyd rhyngddynt. Edrychai i fyny ar y cymylau yn bythol ehedeg; edrychai i lawr ar y môr yn bythol lifo; edrychai ar y pendyl yn bythol ysgwyd; ac yna gwaeddai mewn braw, "O Amser, mor ofnadwy ydwyt!" Yr oedd i'r gwrthddrych hwn wyneb mawr, gwŷn, agored, clir, ac arno yr oedd un bŷs du, yn troi oddiamgylch unwaith mewn blwyddyn. Wedi cyflawni ei gylchdro, tarawai, a chlywid ei adsain ymhell y tu hwnt i'r cymylau a'r niwl a welid, ac yn ei waelod yr oedd ffigyrau yn dangos nifer y blynyddoedd oedd wedi myned heibio, yr hyn oedd yn agos i chwe' mil.

Yn ychwanegol at hyn, ar y ddê a'r aswy, yr oedd y twrf rhyfeddaf a glywodd erioed yn dyfod o'r niwl oedd yn y gorwel, yr hwn oedd yn fwy tebyg i ddynion yn cerdded nag i ddim arall, tebyg i dwrf llawer o draed yn taro y ddaear ar unwaith, fel pe byddai myrdd myrddiynau yn cadw amser i ryw beroriaeth, neu i ryw gân a chwarëuid, gan seindorf yn y blaen. Ai tybed fod trigolion y byd wedi ffurfio yn orymdaith, a'u bod oll yn teithio felly gyda'u gilydd i rywle! Llawer gorymdaith ysblenydd a ffurfiwyd erioed, ac a fu yn teithio drwy heolydd dinasoedd gwychion, gyda seindorf yn chwarëu o'i blaen, gan gynnyrchu teimladau rhyfedd yn y rhai a'i gwelent; ond dyma, fel y tybiai efe, y fwyaf ardderchog o'r cwbl, gorymdaith na bu ei bath o'i blaen, ac na bydd ei bath byth ar ei hôl. Clywai gamrau y rhai tu blaen yn diflanu yn y pellder, a chamrau y rhai o'r tu ol yn dyfod yn agosach, agosach, ac yn union ar ei ddê a'i aswy clywai yn amlwg sŵn eu traed byth, byth yn cerdded—I ba le, tybed?

Un peth arall a dŷnai ei sylw oedd sŵn uwchben y cymylau gwŷnion

fel lleisiau dynion wedi eu cymysgu yn ddiderfyn, tebyg i'r sŵn yn y goedwig yn nghanol hâf, pan y mae y gwenyn yn brysur yno, neu fel a glywir yn nen ogof pan y mae llawer o ddynion yn siarad ynddi.

Yn awr yr oedd yr holl ryfeddodau hyn, fel y mae yn hawdd credu, yn ddirgelwch hollol i'r dyn, er ei fod yn rhyw led ammheu pa beth oedd yr awrlais. Dymunol iawn ganddo fuasai cael siarad âg un o'r angelion, ond yr oedd hyny ar unwaith yn ymddangos yn anobeithiol, gan na thaflodd un o honynt ei lygaid arno unwaith gan faint ei egni yn ysgrifenu. Heb wybod pa beth i'w wneyd, trôdd a dechreuodd gerdded drachefn ar y llwybr; ond gyda iddo ddechreu cerdded, cyfarfyddwyd ef gan angel arall, tebyg i'r lleill, ond ei fod yn fwy; a braidd na fuasai yn dychryn yn yr olwg arno, ond ei fod erbyn hyn wedi myned drwy bob ofn; diammheu pe cyfarfuasai â hwn ar y dechre mai dyna fuasai y canlyniad. Edrychai i fyny i'w wyneb dysglaer, ac yr oedd yn hollol ymwybodol mai wyneb angel oedd. Yr oedd yr olwg arno yn wir fawreddog; yr oedd wedi ei wisgo â chwmwl, enfys o gylch ei ben, ei wyneb yn debyg i'r haul, a'i draed fel colofnau o dân; yr oedd ganddo rywbeth tebyg i lyfr bychan yn ei law, ac yr oedd udgorn mawr yn crogi wrth ei wregys.

"Pa beth a geisiwch ar y llwybr hwn?" gofynai.

"Nis gwn yn iawn pa beth yr wyf yn ei geisio," meddai yntau, "gan fy mod wedi fy arwain yma yn ddiarwybod i mi fy hun."

"Pwy oedd eich arweinydd?" gofynai eilwaith.

"Nid oedd genyf un," oedd yr ateb, "ond yr oeddwn yn cael un ai fy ngyru ai fy nhynu i'r lle gan allu anweledig i mi."

"Erioed ni ddaeth neb yma heb arweinydd," meddai yntau, "y mae y peryglon mor fawr, y mae cymaint o gûdd-ddôrau arno, fel y mae yn anmhosibl ei gerdded heb arweinydd."

"Eto, ni theimlais lawer o berygl," meddai y dyn.

"Y rheswm am hyny," dywedai yr angel drachefn, "oedd fod genych arweinydd, ond ei fod yn anweledig i chwi. Ond wedi cyraedd yma, ai tybed eich bod yn deall yr olygfa?"

"Na, nid wyf o gwbl yn ei deall," atebai yntau, "ond ni fuasai dim yn rhoddi cymaint o fwynhâd i mi a chael ei deall. Yn wir nis gwn pa fodd y gallaf fyw bellach, â'r pethau hyn yn ddirgelwch i mi."

"Deuwch i'r fan hon, a mi a eglurаf ychydig arnynt i chwi," meddai yr angel. A chyda hyny arweiniodd ef yn lled agos at yr awrlais. Yna dechreuai:—

"Yr awrlais wrth yr hwn y safwch, awrlais amser ydyw. Bu y bydoedd yn troi, yr heuliau yn tywynu, ymhell cyn i'r awrlais hwn gael ei osod i fyny. Bu llawer boreu brâf, a llawer noson hyfryd, ar wyneb y ddaear cyn i chwiban y pendyl hwn erioed dòri ar y dystawrwydd. Ond càn gynted ag y crëwyd y dyn cyntaf, fe anfonwyd angelion i'w osod i fyny, ac o hyny hyd yr awrhon y mae wedi bod yn myned yn gyson; o fynyd i fynyd clywir ei chwiban, ac o flwyddyn i flwyddyn clywir ei gloch yn taro blynyddoedd i ffordd. Ac fe osodwyd y ddau angel hyn, un ar bob llaw, a llyfr gan bob un i osod ynddynt enwau holl bobl y byd. Draw, y ffordd acw, y mae y byd, ac oddiyno y mae y cymylau yn ehedeg, a'r môr yn llifo. Yr angel yma a welwch yn edrych i fyny, gweled y mae ysbrydoedd y cyfiawn yn cael eu cludo ar y cymylau i dragywydd-

oldeb. Yr angel acw a welwch yn edrych i lawr, gweled y mae ysbrydoedd y rhai colledig yn cael eu hysgubo ymaith gan y llifeiriant i'r un tragywyddoldeb; ac y mae y ddau yn ysgrifenu ar eu llyfrau yr hyn a welant. Yn y pegwn arall y mae angel arall, a llyfr arall ganddo, ac y mae hwnw yn ysgrifenu enwau y rhai sydd yn dyfod allan o'r tragywyddoldeb diddechre i mewn i'r byd, yn gymhwys fel y mae y ddau yma yn ysgrifenu enwau y rhai sydd yn dyfod allan o'r byd, ac yn myned heibio i'r tragywyddoldeb diddiwedd. Pan y daw y rhai hyn â'u llyfrau at eu gilydd, fe welir na bydd un yn ngholl. Pob enaid dyn a fu yn byw ar y ddaear acw erioed, pa un bynag ai da ai drwg a fyddai, y mae ei enw wedi ei ysgrifenu ar y llyfrau hyn; ni ddiangodd neb i'r ehangder allan o gyraedd eu llygaid hwy. Ar y llyfr hwn, yr enw cyntaf yw Adda; y mae Noah hefyd arno, a rhai o'i feibion, ac Abraham, ac Isaac, a Jacob, a llawer o bob llwyth, a iaith, a chenedl. Ar y llyfr acw, yr enw cyntaf yw Cain; ac ar ei ol y mae myrdd myrddiynau o'r rhai nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhâu i efengyl ein Harglwydd ni Iesu Grist. Fe welwyd Moses a Samuel, a'r holl brophwydi, yn marchogaeth ar y cymylau gwynion, ac fe welwyd Judas yn cael ei ysgubo yn wyllt gan rym y llif."

"Ond pa beth yw y twrf a glywaf, megys twrf dynion yn cerdded, a pha beth yw y lleisiau sydd byth, byth yn adsain uwch ben y cymylau?" gofynai y dyn.

"Nid yw yn hawdd," meddai yr angel, "egluro hyn i chwi yn bresennol, gan nad yw eich galluoedd eto wedi ymehangu digon i'w deall, hwyrach fod amser yn dyfod y gallwch. Rhaid i chwi gofio fod rhywbeth yn bod heblaw y byd bychan yr ydych chwi yn cael y fraint o'i breswylio; yn wir, y lleiaf bron o fydoedd Duw ydyw; y mae myrdd a mwy o heuliau yn tywynu, ac o blanedau yn troi o'u hamgylch, fel nad oes derfyn ar y cyfundraethau, heb son am y bydoedd sydd ymhob un. Rhaid i chwi gofio hefyd fod i'r rhai hyn eu preswylwyr, a sŵn traed rhai o'r preswylwyr hyny a glywch yn bythol gerdded. Ac am y lleisiau a glywch i fyny, nid ydynt ond geiriau ac ymadroddion a lefarwyd gan ddynion, ac y maent yn adsain byth bythoedd yn y gwagder uwchben."

"Ond i ba le y mae y lleisiau hyn yn myned?" gofynai eilwaith.

Meddai yr angel, "Y maent oll yn myned i dragywyddoldeb, gan ddilyn y rhai a'u llefarodd hyd ddydd y farn."

"Ac i ba le y mae y tyrfäoedd yna yn cerdded?" gofynai drachefn.

"I dragywyddoldeb," oedd yr ateb.

"I ba le y mae y cymylau yn ehedeg, ac i ba le y mae y rhyferthwy yn arllwys?"

"I dragywyddoldeb," atebai yr angel drachefn. "Tröwch i'r cyfeiriad i ba un y maent yn myned, ac edrychwch."

Ufuddhäodd, a gwelodd y gair fel bwa ar draws yr wybren, er ei fod i raddau wedi ei guddio gan y niwl,—TRAGYWYDDOLDEB! Clywai hefyd, wedi iddo droi, y geiriau, *Byth bythoedd! Byth bythoedd!* yn adsain oddi draw. Clywai hefyd dwrf tebyg i dwrf disgyniad dyfroedd lawer, ac uwch twrf y dyfroedd oll ambell i ochenaid ddofn yn esgyn i fyny fel o fynwes un yn ngafael yr ail farwolaeth. Ai yr angel ymlaen:—

"Disgyniad y môr yw y twrf a glywch, ac ocheneidiau dynion yw yr

ocheneidiau fel y disgynant i dŷ eu hir gartref, lle nad oes obaith byth y dychwelant ar ol y fath ddisgyniad. Ond oni welwch y goleuni draw? Ceisiwch edrych drwy neu dros y niwl ag sydd wedi ymgasglu, ac edrychwch ar y wawr hyfryd ag sydd fel yn hofran yn dragywydd uwchben bro fythol ddedwydd. Acw y mae y nefoedd, lle nid oes poen a galar mwy, lle nid oes un deigryn i'w sychu ymaith, a lle nid oes un ochenaid i esgyn i fyny. A gwrandewch, oni chlywch beraidd sŵn y miwsig ag sydd yn llenwi y wlad; yr wyf fi yn ei wneyd allan yn eglur iawn. Yma yr ydym ni er ys llawer oes, ond y mae sŵn y miwsig yn ein cyraedd; a bydd ambell i foment o hiraeth pur yn dyfod drosom am y wlad lle nad oes ond pêrarogl a miwsig o'i mewn. *Acw* y mae miwsig, miwsig ag sydd yn peri i ni sychu ein dagrau ymaith, ac anghofio ein holl ofidiau, a miwsig ag sydd yn dwyn peraidd falm i'n mynwes ni er holl brofedigaethau y fro. Na feddyliwch nad oes genym ninnau ein gofidiau; na feddyliwch na all angelion wylo. Er y gallant lawenhâu â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus, eto gallant wylo yn hidl pan welant olygfa o wae. Gwelwyd dagrau yr angel acw yn disgyn i'r môr pan yr ysgubid lluoedd ymaith gan y llif; gwelwyd yr angel hwn yn chwerthin gan lawenydd pan yr ehedai miloedd ar y cymylau gwŷnion."

Y dyn gan deimlo yn bryderus yn nghylch ei sefyllfa ei hunan, yn awr a ofynai, "I ba le y mae y llwybr hwn yn arwain? A ydyw hwn hefyd fel pob peth arall yn myned i dragywyddoldeb?"

"Nac ydyw," oedd yr ateb, "a dyma yr unig beth sydd yma ar nad yw yn myned yno; llwybr ydyw hwn ar geulan amser, yn arwain ar hyd ymyl tragywyddoldeb; a dyma sydd yn rhyfedd, y mae yn diweddu yn y man y mae yn dechreu; o'r byd y mae yn dyfod, ac i'r byd y mae yn myned. Llwybr anial ydyw, heb ond ychydig yn ei gerdded; y mae y cloc yma wedi taraw ugeiniau a channoedd o flynyddoedd er pan y gwelsom ni neb yma o'r blaen. Ond na ddigalonwch; ni raid i chwi ddim ofni os cerddwch yn ëofn arno; ond cymerwch gryn ofal pan y cyrhaeddwch y fan y mae yn troi yn ol tua'r byd, oblegid y mae yn y fan hono un peth a allai beri dychryn ac arswyd i chwi."

Ni wyddai y dyn pa fodd i gychwyn oddiyno. Wylai ddagrau. Yr oedd yr angel hwn wedi bod mor garedig wrtho, ac wedi rhoddi iddo gymaint o wybodaeth am natur yr hyn a welai. Yr oedd y cydymdeimlad dwfn oedd ynddo ág amgylchiadau dyn hefyd yn rhywbeth na ddychymygodd ef erioed am dano. Yr oedd y meddwl hefyd am gerdded y llwybr anial hwnw ei hunan yn beth ofnadwy ganddo—uwchben y môr ei hunan, a'r cymylau uwchlaw y môr, a'r cwbl erbyn hyny yn myned mewn cyfeiriad gwahanol iddo ef. Eto, rhaid oedd cychwyn. Ffarweliodd â'r angel, a dyma eiriau diweddaf y glöew hwnw: "Nid am byth, nid am byth; yn y dysglaerdeb acw y mae trigfanau lawer, ac y mae yno drigfan i chwi; yno y mae coron a theyrnwïalen, ac yno y mae telyn yn eich aros chwi, oblegid gwelais eich enw er ys llawer blwyddyn ar lyfr bywyd yr Oen. Yno, ni a gyfarfyddwn eto mewn amgylchiadau gwell na'r rhai hyn; byddwch chwi yno o'm blaen i, ond byddaf finnau yno cyn bo hir. Càn gynted ag y clywaf chwiban diweddaf y pendyl hwn, mi a osodaf fy nhraed, un ar y môr, a'r llall ar y tir, ac a osodaf yr udgorn hwn wrth fy ngenau, ac a floeddiaf nes

siglo y bydoedd,—*Ni bydd amser mwyach.* Yna y cawn edrych yn ngwynebau ein gilydd byth mwy."

Ymwahanasant; ac fel yr oedd y dyn yn cerdded, yr oedd geiriau diweddaf yr angel, "Nid am byth, nid am byth," yn swnio yn ei glustiau fel sŵn miwsig annherfynol, neu fel sŵn tônau nefol lawer. Fel yr oedd yn myned, canfyddai y cymylau yn ehedeg yn gyflymach, a'r môr yn rhedeg yn wylltach. Yn fuan daeth i'r fan lle yr oedd y llwybr yn troi yn ol tua'r byd; cofiodd eiriau yr angel, ac edrychodd, a gwelai yn y ffurfafen ddu uwchben y fan y meddyliai fod y rhyfeithwy yn disgyn iddo, gleddyf mawr yn araf chwyfio yn ol a blaen, gan süo fel bydd sarff mewn coedwig anial, gan beri i bob peroriaeth mewn eiliad ddiflanu i ffordd: a gwelai ar ei ddwy ochr, mewn llythyrenau tanllyd mawr, y gair CYFIAWNDER. Dychrynodd; yr oedd wedi clywed sôn am uffern, a meddyliodd fod y cleddyf hwnw yn hofran uwchben y fro. Nid arosodd, ond dechreuodd redeg, a da oedd ganddo unwaith mwy gael gosod ei droed i lawr ar ddaear hoff y fam a'i magodd.

---

# CRISTIONOGAETH A DIRWEST.

PA mor wahanol bynag ydyw golygiadau ein darllenwyr o barth i'r amrywiol ymdrechiadau a wneir yn ein gwlad y dyddiau hyn i leihâu a difodi, os gellir, y meddwdod sydd yn anurddo ac yn difwyno cymdeithas ymhob cyfeiriad, diammheu genym eu bod oll â'u hanadl o blaid Cristionogaeth, ac yn awyddus iddi lwyddo nes llenwi yr holl ddaear â'i dylanwad iachusol a gogoneddus. Gan amddiffyn a chefnogi pob symudiad ac egwyddor fyddo o wir lês i ddyn, yn dymmorol ac ysbrydol, y mae hi yn canmol ei hun, dybygem, "wrth bob cydwybod dynion yn ngolwg Duw."

Golwg gyfeiliornus iawn ar Gristionogaeth ydyw edrych arni yn unig yn ei chysylltiad â phethau ysbrydol ac â'r byd a ddaw. Gwir mai ei phrif ymffrost hi yw ei bod yn dwyn pechadur i heddwch â Duw, ac i afael bywyd tragywyddol. A byd arall y mae a fyno ei bendithion uchaf. Yno y ceir mwynhâu ei dedwyddwch pur a didrai yn ei gyflawnder; yno y byddys drwyddi wedi dïanc yn llwyr uwchlaw pob peth fedr ein niweidio; yno y mae hi yn addaw i ni y cyrhaeddiad o berffaith debygolrwydd i'r Arglwydd Iesu; mewn gair, yno y mae y nefoedd. Ond er hyny, yr ydym yn euog o wneyd cam dirfawr â hi wrth edrych arni yn unig yn ei chysylltiad â'r pethau hyn. Y mae hi yn amcanu llesoli dynion mewn ystyr dymmorol; ac i'r graddau y bydd ei dylanwad yn treiddio cymdeithas, bydd chwŷn llygredigaeth yn cael ei ddifodi, arferion cymdeithas yn cael eu puro a'u dyrchafu, llwyddiant masnachol yn cael ei helaethu a'i sicrhâu, a deddfau gwladwriaeth eu

nodweddu gan gyfiawnder. "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd," 1 Tim. iv. 8.

Gwyddom y gwrthwynebir y golygiad hwn gan ddynion sydd yn haeddu ein parch diffuant o herwydd eu treiddgarwch meddyliol, a'r swyn gyda pha un y maent yn cyflëu eu syniadau ger bron y byd. Haerant, os ydym am fwynhâu ffrwyth Cristionogaeth yn y dyfodol, y rhaid i ni aberthu ein daioni presennol; mai anmhosibl ydyw cael y ddau; nas gellir sicrhâu ein daioni uchaf yn y byd a ddaw, ac ar yr un pryd ein daioni uchaf yn y byd hwn. Gwisgir yr haeriad hwn â gwêdd o wirionedd wrth edrych ar rai enghreifftiau. Mae yn ddiammheu fod rhai dynion yn gorfod gwneyd aberth dirfawr wrth weithredu yn unol â'u proffes, a chario allan egwyddorion Cristionogaeth; ac yn wir, gorfodir hwy, weithiau, i aberthu hyd yn nôd eu bywyd. Ac y mae yn ddïau nad oes ond ychydig o gristionogion cywir nad ydynt, ar ryw amgylchiad neu gilydd, yn cael gwybod trwy brofiad beth yw gwneyd aberth er mwyn cydwybod. Ond po fwyaf y treiddir cymdeithas gan egwyddorion Cristionogaeth, lleiaf y cyfyd amgylchiadau y bydd angenrheidrwydd am aberthau o'r natur hyn. Diffyg dylanwad Cristionogaeth sydd yn peri fod aberthau o'r natur hyn yn ofynol o gwbl. Tra y mae drygioni yn gryf a chyffredinol, y mae yn rhaid i bwy bynag a'i gwrthwynebo yn ddewr a phenderfynol wneyd aberth am beth amser. Ar ddechreuad unrhyw symudiad pwysig a daionus fyddo yn wrthwynebol i arferiadau sydd yn ffŷnu mewn tref a gwlad, y tebygolrwydd yw y bydd raid i bwy bynag a'i cofleidia, mewn rhyw ffordd neu gilydd, ddyoddef am beth amser. Ond i'r graddau y bydd y symudiad yn myned rhagddo, bydd daioni tymmorol yn disgyn i ran y bobl hyny fyddo wedi ei arddel eu hunain a'i argymhell ar eraill. Mae yn wir nad ydyw hyn yn ddieithriad. Rhaid i lawer un, wrth fod yn ffyddlawn i'w egwyddorion, ddyoddef ar hyd ei oes. Sarhâd a thlodi yw ei wobr gan gymdeithas am ei ffyddlondeb i'w grefydd. Ond, a chymeryd pobpeth gyda'u gilydd, ac yn y *long run*, i ddyn yn bersonol, ac yn fwy eglur i gymdeithas yn gyffredinol, y mae Cristionogaeth yn sicrhâu y daioni tymmorol mwyaf, yn gystal ag y gwna felly mewn ystyr ysbrydol. Yn ol fel bydd ei dylanwad yn ymledaenu, yn dyfnhâu, ac yn treiddio trwy gymdeithas, gwelir yn eglur fod ganddi "addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd."

Difyr ydyw sylwi fel y mae Cristionogaeth o oes i oes yn cymeryd dan ei nodded ac yn argymhell i'r byd egwyddorion sydd yn hollol groes i ysbryd yr oes ymha un y maent yn ymgodi. Dichon nad oes yr un wêdd ar hanesiaeth sydd yn fwy dyddorol, addysgiadol, a chysurlawn, na hon. Wrth ei holrhain, mae yr athronydd yn cael blasus-fwyd i'w feddwl, a'r diwygiwr yn cael nerth yn ol ei ddydd. Gwel yr athronydd yr egwyddor yn ymgodi yn ngwyneb amgylchiadau neillduol yr oes, yn cymeryd ffurf ymarferol yn erbyn rhyw ddrygau sydd yn ffŷnu, Cristionogaeth yn taflu ei haden drosti, yn rhoddi ei dylanwad o'i phlaid, ac o'r diwedd yn llwyddo i'w chodi i fuddugoliaeth. Gwel y diwygiwr mai yn raddol, raddol, y mae pob symudiad daionus wedi llwyddo hyd yn nôd yn erbyn y drygau mwyaf amlwg; ac hefyd fod y drygau mwyaf cyffredinol, er mor ddigalon ar y dechre oedd ymosod

yn eu herbyn, ac er mor anobeithiol braidd oedd eu trechu, eto wedi gorfod cilio yn ngwyneb ymdrechiadau egnïol, doeth, a pharhäus, dynion llawn o ysbryd yr efengyl.

Er gorchymyn o'r Arglwydd Iesu i'w ddysgyblion, "Ewch, gan hyny, a dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân; gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi" (Mat. xxviii. 19, 20), nid rhyw lawer o amser sydd er pan yr ymgododd yn eglwysi Prydain Fawr yr argyhoeddiad y dylai pob cristion ymdrechu hyd eithaf ei allu i anfon yr efengyl i'r cenhedloedd hyny nad ydynt yn gwybod dim am dani. Cyn hyny yr oeddid yn hollol ddifater am wledydd tramor. Nid oedd pryder yn meddiannu neb braidd ynghylch pobl bellenig y ddaear. Nid oedd ond ychydig o ymdrech yn cael ei wneyd i ennill trigolion ein gwlad ein hunain at y Ceidwad; ond o barth ennill trigolion gwledydd eraill ato, yr oedd hyny allan o bob ystyriaeth. Yn wir, mor ddiweddar â diwedd y ddeunawfed ganrif, yr oedd un o offeiriaid uchaf Eglwys Loegr yn teimlo fod y gwaith yn ddigon teilwng o'i swydd a'i dalentau i wawdio ymdrech y Bedyddwyr i efengyleiddio gwlad ëang a phoblog India. Ond yr oedd y ddyledswydd o ymdrechu i ledaenu yr efengyl trwy'r byd o'r bron wedi dechreu gafaelyd yn yr eglwysi cartrefol. Gwelid fod Cristionogaeth â'i holl nerth yn argymhell hyn. A byth oddiar hyny, er gwaethaf pob gwawd, mae yr ysbryd cenadol wedi ymledaenu trwy yr eglwysi, fychain a mawrion, fel erbyn heddyw y teimla pob eglwys sydd rhywle yn agos i'w lle mai un o'i dyledswyddau mwyaf amlwg ydyw ymdrechu anfon gair y bywyd i drigolion anwaraidd ac ofergoelus y ddaear.

Edrycher eilwaith ar yr egwyddor wrthgaethweisiol. Ychydig o amser, mewn cymhariaeth, sydd er pan y dadguddiodd yr egwyddor hon ei hun i gymdeithas. Yr oedd y gyfundrefn gaethweisiol yn sefydledig ymhob gwlad, ac ni theimlid gan neb braidd wrthwynebiad iddi. Dichon fod rhai meistriaid yn gweithredu yn rhy greulawn, a bod rhai arferiadau cysylltiedig â'r gyfundrefn y byddai yn dda eu diddymu; ond eto, am y gyfundrefn fel y cyfryw, nid oedd neb yn ei gwrthwynebu. Fel hyn yr eid ymlaen o oes i oes. Ac, yn wir, onid yw y Bibl yn gwneyd trefniadau ar gyfer y gyfundrefn? Onid yw Moses wedi ei chyfreithloni trwy ffurfio deddfau ar ei chyfer? A pha le yn yr Ysgrythyrau y ceir awgrymiad yn ei herbyn? Oni ellir gyda phrïodoldeb edrych ar ddystawrwydd yr Arglwydd Iesu a'i apostolion yn ei chylch fel prawf nad oes dim anghyfiawnder ynddi fel cyfundrefn? Fel hyn yr ymresymai trigolion y wlad hon pan grybwyllid wrthynt gyntaf am yr egwyddor wrthgaethweisiol. Ond gwelwyd yn fuan fod nid yn unig y creulonderau cysylltiedig â'r gyfundrefn yn galw am iddi gael ei difodi, ond hefyd bod egwyddorion dyfnaf yr Ysgrythyrau yn ei herbyn; gwelwyd mai brodyr ydym oll; fod y dyn du fel y dyn gwŷn wedi ei grëu ar lun a delw Duw, ac yn gydradd yn ngolwg y Nef,—mai yr un gorchymynion sydd i'w llywodraethu, yr un iachawdwriaeth i'w cadw, a'r un nefoedd i'r naill a'r llall fwynhâu. Taflodd Cristionogaeth ei holl ddylanwad yn erbyn ei pharhâd; ac erbyn heddyw, pa le bynag y mae Cristionogaeth yn teyrnasu, y mae caethwasiaeth ymysg y pethau a fu.

Fel hyn, trwy yr oesau, oddiar ei sefydliad, y mae Cristionogaeth yn

ymblethu ar unwaith â phob egwyddor ddaionus sydd yn ymosod ar unrhyw ddrygau cymdeithasol. Yn wir, prin y cyfeiliornem pe dywedem, mai dadblygiad o Gristionogaeth yw pob egwyddor uniawn sydd yn amcanu at ddinystrio drygau cymdeithasol. O leiaf, y mae pob egwyddor felly yn ymwreiddio yn naturiol yn nghrefydd Crist, ac yn cael maeth a nerth oddiwrthi i gyrhaeddyd ei hamcan goruchel.

Yn y blynyddoedd diweddaf hyn, ymhlith y prif egwyddorion y mae Cristionogaeth yn eu hamddiffyn ac yn eu pleidio, yr ydym yn credu fod yr egwyddor ddirwestol yn sefyll yn y rhestr uchaf; yn enwedig gan fod diotta a meddwdod yn difa nerth ein gwlad, yn myned o dan wraidd ein llwyddiant masnachol, ein hapusrwydd cymdeithasol, ein cymeriad crefyddol, ac yn warth i ni fel Prydeinwyr. Mewn oesau i ddyfod, pan fydd Dirwest wedi cyraedd ei safle priodol, mae yn ddïau y bydd egwyddorion eraill yn galw am amddiffyn a dylanwad ein crefydd sanctaidd nad ydynt, hyd yn hyn, wedi amlygu eu hunain i feddyliau dynion. Ond yn awr, yn y blynyddau hyn, ac yn ein gwlad ni, at ba beth bynag arall y mae Cristionogaeth yn galw sylw ei chofleidwyr, nid oes ammheuaeth ynom nad ydyw y meddwdod a'r cyfeddach sydd yn ffynu mor echryslawn yn ein gwlad, yn galw sylw arbenig at Ddirwest. Nid ydym yn gosod pwys gormodol ar y drygau yr ydym yn cyfeirio atynt, nac yn cymeryd golwg rhy unochrog arnynt. Y mae cefnogwyr yr egwyddor ddirwestol yn cael eu hystyried yn fynych fel dynion eithafol. Ond paham, attolwg, y cyhuddir hwy o fod felly pan y mae y drygau yr ymladdant yn eu herbyn mor gyffredinol, ac mor ddinystriol i'n llwyddiant ymhob ystyr? Ai teilwng yr ymddygiad hwn, yn enwedig oddiwrth bersonau sydd yn proffesu awydd cryf i Gristionogaeth fyned rhagddi, tra mai meddwdod a diota ydyw y prif rwystrau ar ffordd eu llwyddiant? O'n rhan ein hunain, cyfaddefwn yn rhwydd mai gwell fyddai genym gael ein hystyried yn eithafol na bod yn hollol ddystaw ynghylch y drygau hyn. Ond hyderwn, er fod Dirwest yn agos at ein calon, ein bod yn ddigon hunanfeddiannol i ystyried y mater yn bwyllog a chymedrol.

Fel yr awgrymasom eisoes, y mae Cristionogaeth yn amcanu yn uchel, ac yn cyfeirio ei dylanwad yn uniongyrchol yn erbyn pob drwg, ac o blaid pob rhinwedd. Ond ofer ydyw dysgwyl iddi gyraedd ei hamcanion mewn modd gwyrthiol, ac ar wahân oddiwrth ymdrech cristionogion. Y mae y Duw mawr wedi cadw iddo ei hun y gallu o grëu dynion o newydd yn Nghrist Iesu i weithredoedd da. Nis gall Paul ond plànnu, nac Apolos ond dyfrhâu; Duw sydd yn rhoddi y cynnydd. Ond eto y mae yn egwyddor sylfaenol mewn cysylltiad â phob peth y mae a fyno dyn â chyraedd llwyddiant ynddo, fod yn rhaid iddo wrth lafur ac ymdrech personol cyn y gall efe ddysgwyl llwyddiant. Rhaid i'r amaethwr drin ei dir cyn y bydd un sail ganddo i edrych ymlaen gyda gobaith am gynhauaf toreithiog. Rhaid i'r dyn ieuanc ymroddi o ddydd i ddydd, a hyny am flynyddau lawer, i ddarllen a meddwl, cyn y cyrhaedda wybodaeth ëang a manol, a chyn y bydd ei chwaeth yn goeth, a'i alluoedd meddyliol yn afaelgar. Duw sydd yn coroni y llafur â llwyddiant yn y naill a'r llall; ond *llafur* doeth a pharhäol sydd yn cael y goron. Yr un modd y mae mewn cysylltiad â llwyddiant Cristionogaeth ynom yn bersonol, mewn eglwys, ardal, a

gwlad; nis gallwn ei ddysgwyl yn annibynol ar ein hymdrech personol. Pe amgen, oni buasai wedi dyfod i'r golwg mewn cysylltiad â'r Iesu a'i apostolion? Rhaid oedd iddynt hwy wrth ymdrech egnïol a pharhäus. Gweithiwr caled, cyson, doeth, diail, oedd yr Arglwydd Iesu ei hunan. Rhodio oddiamgylch gan wneuthur daioni, a phregethu efengyl y deyrnas, gan wahodd ato ei hun y llwythog a'r blinderog i gael gorphwysfa i'w heneidiau, oedd ei waith Ef yn feunyddiol. A'i orchymyn i'w ddysgyblion oedd iddynt fyned i'r *holl fyd*,—nid yn unig i drefydd a phentrefydd eu gwlad enedigol,—a phregethu yr efengyl i bob crëadur. Ymröad personol, diflino, oedd y tir ar ba un yr oedd Crist a'i ddysgyblion yn dysgwyl i'w haddysgiadau ymledaenu dros wyneb yr holl ddaear, a dylanwadu ar fucheddau dynion. Ac nid ydyw ond cellwair â Christionogaeth i'w phroffeswyr gyfarfod mewn eglwysi neu gapelau, neu ymneillduo i un man gyda'r amcan o weddïo am ei llwyddiant, tra yr esgeulusir y moddion mwyaf pwrpasol i'r llwyddiant hwnw gael ei gyrhaeddyd. Peth hawdd yw dyrchafu ein llais, gan waeddi, "Deled dy deyrnas;" ond nid ydyw dyrchafu ein llais felly yn amgen na gwatwar yn ngolwg y Nefoedd, oddieithr bod ymdrech cywir ac egnïol yn cael ei wneyd gyda llaw am i'r deyrnas fyned rhagddi.

Y ffyrdd trwy ba rai y gall cristionogion hyrwyddo Cristionogaeth ymlaen yw, mabwysiadu a phleidio ei hegwyddorion, a byw yn ol ei haddysgiadau. Mae'r egwyddorion a'r addysgiadau hyn o ddau fath. 1. Y rhai a ddysgir i ni yn uniongyrchol a phendant, ac nad oes dadl yn bosibl yn eu cylch, megys y deng air deddf. 2. Y rhai a ddysgir i ni yn anuniongyrchol. Dichon na cheir cyfeiriad atynt mewn hyn a hyn o eiriau o fewn cloriau yr Ysgrythyrau o gwbl; dichon y ceir. Os gwrthodir rhoddi Dirwest ymhlith y rhai cyntaf fel egwyddor a argymhellir yn bendant ar bawb yn ddiwahaniaeth, nid oes dadl nad yw ysbryd Cristionogaeth yn ddiamwys o'i phlaid, yn enwedig y dyddiau hyn, ac yn ein gwlad ni, lle y mae meddwdod a chyfeddach yn ffynu mor ofnadwy. Os ydyw Cristionogaeth yn pleidio unrhyw egwyddor heblaw ei hegwyddorion sylfaenol a neillduol ei hun perthynol i iachawdwriaeth dynion, nis gallwn ddirnad am un yn fwy cydnaws â'i hysbryd na'r egwyddor ddirwestol, yr hon sydd yn ymosod yn uniongyrchol yn erbyn arferiadau sydd yn arwain lluoedd i bechu yn rhyfygus, ac i ddinystrio eu hapusrwydd personol a theuluol. Am danom ein hunain, yr ydym yn addef yn rhwydd mai dirgelwch i ni yw pa fodd y medr un cristion ystyriol ddarllen ei Fibl, ac yn ngwyneb amgylchiadau ein hoes a'n gwlad, beidio canfod fod galwad uchel arno oddiwrth Gristionogaeth i wneyd pob dim sydd yn ddichonadwy o blaid sobrwydd, ac yn erbyn meddwdod a chyfeddach. Nid ydym wrth hyn yn awgrymu am foment nad all heb hyny fod yn gydwybodol. Ni ddymunem ni er dim ei farnu, canys yr ydym yn cofio yr hyn sydd yn ysgrifenedig,—"Pwy wyt ti, yr hwn wyt yn barnu gwas un arall? I'w arglwydd ei hun y mae efe yn sefyll neu yn syrthio." Yr ydym yn unig yn dadgan fod ei ymddygiad yn ddirgelwch i ni. Onid yw yn alaethus meddwl y difrod aruthrol a wneir yn ein gwlad gan ddiota a meddwdod? Nid oes wythnos yn myned heibio nad oes colofnau o'n newyddiaduron dyddiol ac wythnosol yn llawn hanesion o'r creulonderau mwyaf erchyll a'r dystryw mwyaf torcalonus ar gymeriad a meddiannau wedi cymeryd

lle dan ddylanwad uniongyrchol y dïodydd meddwol. Ac y mae yn ddïau nad yw yr hyn sydd yn ymddangos yn y newyddiaduron yn haeddu ei gyffelybu am amrantiad â'r hyn sydd yn cymeryd lle mewn gwirionedd. Ac nid ydyw y dinystr a'r canlyniadau torcalonus sydd yn cymeryd lle mewn un modd yn gyfyngedig i annuwiolion amlwg, ond y maent yn disgyn yn fynych fynych i ran llïaws o grefyddwyr ein gwlad, a'r rhai hyny, weithiau, yn ddynion o dalentau dysglaer, athrylith gref, ac o allu mawr, i fod o lês i'w cyd-ddynion. O, yr archoll a roddir i lawer eglwys yn barhäus trwy gwymp ei haelodau dan effeithiau y cwpan! Cyfaddefir, pe gosodid pob ffordd arall sydd gan y diafol i ysglyfaethu ein heglwysi at eu gilydd, ei fod yn cael mwy o anrhaith trwy y dïodydd meddwol na thrwyddynt oll! Beth, ynte, all fod y galwad uchel at gristionogion am ymdrech neillduol, gwrol, a phenderfynol, er ceisio ei wrthwynebu? A pha beth all fod yn fwy sicr na bod Cristionogaeth â'i holl nerth yn cymhell ar ei phroffeswyr yr egwyddor sydd â'i hamcan yn uniongyrchol i gyfarfod â'r amgylchiadau hyn? Rhaid yw i Gristionogaeth wrth ryw egwyddor benodol gogyfer â phob drwg penodol. Nid digon ydyw pregethu ei phrif athrawiaethau, pa rai sydd mor gyfaddas yn eu lle; ond gyda hyny, rhaid iddi wrth ryw egwyddor ymarferol benodol, a fyddo yn gyfaddas i wrthweithio y drwg a wrthwynebir. Yn annibynol ar hyn, y mae enghreifftiau rhy lïosog ar gael o fethiant Cristiongaeth o ran ei dylanwad ymarferol ar fuchedd dynion.

Yr ydym yn credu mai trwy yr egwyddor ddirwestol yn unig y gall Cristionogaeth gyfarfod yn effeithiol â'r pechod o feddwdod, a'r drygau cymdeithasol aneirif sydd yn gysylltiedig â'r dïodydd meddwol yn ein gwlad a'n hoes ni.

I ddangos fod meddwdod yn bechod, nid oes raid i ni ond crybwyll geiriau pendant yr Ysgrythyr, na chaiff meddwon etifeddu teyrnas Dduw. Yn ddïau, ni cheuir neb o'r deyrnas hono ond am bechod. Pa faint bynag fyddo ein hanmherffeithrwydd, gallwn gymeryd cysur na cheuir neb o'r nefoedd am hyny. Pechod yn unig fydd yn rhwystr ar ffordd dynion i gael mynediad i mewn i'r deyrnas nefol. A chan na chaiff meddwon, yn ol tystiolaeth eglur gair Duw, ran yn y deyrnas fry, rhaid fod meddwdod yn bechod. Yr ydym yn rhoddi pwys ar hyn o herwydd yr ysgafnder â pha un y mae llawer yn edrych ar feddwdod, a'r dull cellweirus sydd yn ffŷnu o siarad yn ei gylch, fel pe na bae ond testun chwerthiniad, yn lle testun galar. Gwir, cyfaddefir pechadurusrwydd meddwdod gan bob cristion ystyriol; ac edrychir ar y proffeswr hwnw fyddo wedi yfed i ormodedd, pe na bae ond unwaith, ac yn ddamweiniol, fel un wedi dwyn anfri ar ei broffes, ac yn haeddu dysgyblaeth. A pha eglwys bynag sydd yn caniatâu i bersonau ddal aelodaeth ynddi heb ddysgyblaeth o un math, er eu bod wedi llychwino eu cymeriadau trwy feddwi, edrychir arni fel mewn sefyllfa hollol anghydweddol â'i phroffes Gristionogol. A dïau, nid yw difaterwch yn hyn ond rhagflaeniad cwymp. Ni thrîg Duw a phechod ddim yn yr un lle. Tŷ glân raid fod preswylfod y Duw byw. Ond tra y caniatëir hyn oll gan bob cristion ystyriol, nid oes ammheuaeth nad oes gormod o duedd i edrych ar feddwdod fel ffaeledd ddibwys, yn hytrach nag fel pechod i'w gondemnio.

Dylem nodi fel ffaith sydd yn anrhydedd i'r oes hon, fod cymdeithas gyfrifol yn edrych ar y neb fyddo yn euog o feddwi yn fynych,—meddwi, nes cyraedd y cymeriad o fod yn ddyn meddw,—fel un na chaniatëir iddo fod yn aelod o hóni. Gwir nad yw hyn yn ddieithriad. Ond, yn gyffredin, y mae cymdeithas wedi ymburo oddiwrth y pechod hwn i'r fath raddau, fel y mae yn gwrthod deheulaw cyfeillgarwch i'r meddwyn. Bu amser pan yr edrychid ar yfed i ormodedd, ar rai achlysuron, fel peth cyfreithlawn a phrïodol; o leiaf, nid ystyrid fod hyny yn ddarostyngiad mewn un modd ar ddyn. Ac er, ysywaeth, fod gormod o hyn yn awr mewn llawer ardal, eto, trwy ddylanwad cyffredinol Cristionogaeth, yn enwedig er pan y dechreuodd y symudiad dirwestol, y mae cyfnewidiad dirfawr wedi cymeryd lle, ac edrychir ar y dyn hwnw sydd yn meddwi yn barhäus yn ddigaritor, ac yn annheilwng o barch ac ymddiried. Yr hyn sydd yn peri blinder i'n calon mewn cysylltiad â hyn yw, bod llawer cylch mewn cymdeithas gyffredin yn fwy pur yn y peth hwn na rhai eglwysi adnabyddus i ni. Tra y mae y cylchoedd hyny yn gwrthod derbyniad i feddwon, y mae rhai eglwysi cristionogol yn eu goddef o flwyddyn i flwyddyn. Pa ryfedd fod Duw yn cuddio ei wyneb oddiwrth yr eglwysi hyny, a'u bod yn dirywio o ddydd i ddydd!

Yn y cyffredin, nid yw meddwdod yn aros yn hir wrtho ei hun, ond chwilia am arferiadau cydnaws â'i ysbryd, ac yn fynych llwydda i gael saith ysbryd eraill gwaeth nag ef ei hun—os gwaeth hefyd: iaith isel, anniweirdeb, creulondeb, lladrad, llofruddiaeth, ac felly yn y blaen. Pa le y meithrinir iaith isel fel yn y cylch meddwol? Gwir, clywir llawer dyn sobr yn defnyddio iaith sydd yn peri i ni arswydo; ond, er hyny, onid yn y cylch meddwol, ac ymhlith y cwmpeini sydd yn cyfarfod o amgylch y cwpan yn y dafarn, y mae prif fagwrfa yr iaith hon? Am yr anniweirdeb sydd yn pydru ein trefydd mawrion, onid ydyw yn ffaith hysbys i bawb, sydd i ryw fesur yn edrych i fewn i'r drwg hwn gyda'r amcan o'i wrthwynebu a'i ddifodi, pe bae modd, mai yn y dïodydd meddwol y mae gwreiddyn a dirgelwch ei nerth? Oni buasai am y dïodydd hyn, y mae yn ddiammheu na buasai y filfed ran o'r drwg yma yn cael ei gyflawni. Ac o barth i greulondeb, i ba le yr awn i chwilio am yr enghreifftiau mwyaf torcalonus? I ba le hefyd, onid i dŷ y meddwyn? Yno y deuir ar draws golygfëydd sydd yn gwawdio pob iaith a geisia eu desgrifio. Yno,—y lle a drefnwyd gan Dduw i fod yn feithrinfa tynerwch, cariad, a phobpeth a rydd ardderchogrwydd ac urddas ar ddyn,—cyfarfyddir â'r creulonderau mwyaf anhygoel ac annynol, nes yr ydym yn teimlo fod y dïodydd meddwol yn bwystfileiddio—os, ydyw y gair yn ddigon cryf, hefyd—ein cyd-ddynion, ac yn eu hysbeilio o bob teimlad tyner a rhinweddol. Mewn gair, y mae meddwdod yn ymgysylltu â, ac yn wreiddyn uniongyrchol neu anuniongyrchol i, bob drwg bron.

Pa beth sydd yn achlysur mor gyffredinol o drueni mewn cymdeithas â'r arferiad o yfed y dïodydd meddwol?

Edrychwch ar y cwmpeini llòn sydd nosweithiau y gauaf yn eistedd wrth y tân mawr darparedig gan wraig y dafarn i ddênu ei chwsmeriaid yno i yfed. Gellid meddwl wrth wrandaw ar eu crechwen barhäus ac uchel mai hwynt-hwy yw y dynion dedwyddaf ar y ddaear. Ac wrth edrych arnynt a chlywed eu hystŵr didòr, nid yw yn rhyfedd fod mil-

oedd o ieuenctyd dibrofiad yn cael eu hudo yn barhäus i fynychu yr un lleoedd lleïdiog, ac i geisio eu mwynhâd yn yr un pyllau llygredig. Ond dilynwch hwynt o'r dafarn i'w cartrefleoedd: gofynwch iddynt bore drannoeth o barth i'w teimladau. Onid yw y wanc am y dïodydd drachefn yn fwy o drueni o lawer na'r pleser a gawsant wrth yfed? Onid blinder ysbryd yw eu bywyd hyd nes y ceir drachtio drachefn? Mor nerthol yr ysgrifena y gŵr doeth, "I bwy y mae gwae? i bwy y mae ochain? i bwy y mae cynnen? i bwy y mae dadwrdd? ac i bwy y mae gwelïau heb achos? i bwy y mae llygaid cochion? I'r neb sydd yn aros wrth y gwîn: i'r neb sydd yn myned i ymofyn am wîn cymysgedig. Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn. Yn y diwedd efe a frâth fel sarph, ac a biga fel neidr," Diar. xxiii. 29—32.

Edrychwch eilwaith ar eu hamgylchiadau tymmorol. Onid oes ffeithiau lawer yn hysbys i'n darllenwyr oll, o bersonau fyddent heddyw yn y sefyllfäoedd uchaf, mwyaf ennillfawr, ac anrhydeddus, yn meddu pob cysur tymmorol a ellid ei ddymuno, ond, o herwydd eu hoffder o'r dïodydd meddwol, sydd i'w gweled yn rhesau isaf cymdeithas, yn amddifad o bob parch ac ymddiried, eu dillad yn garpiog, a'u pocedau yn weigion, yn wrthddrychau prïodol tosturi, ond eto, mor lwyr dan ddylanwad eu blys am y dïodydd fel y maent tu hwnt i allu llaw dosturiol i weini un gymwynas iddynt? Cawsant gyfleusderau da i ddringo i'r cylchoedd uchaf: nid oedd neb allasai eu lluddias; yr oedd y ffordd yn rhydd o'u blaen, a hwythau yn meddu y galluoedd angenrheidiol i fyned rhagddynt; ond crëwyd archwaeth ynddynt at y dïodydd meddwol, meithrinwyd yr archwaeth, ac erbyn heddyw, maent yn *wrecks* ar draeth cymdeithas, yn rhybuddion amlwg i bob dyn ieuanc i ymgadw rhag yr hyn fu yn ddinystr iddynt. Eu hoffder o'r cwpan yw yr unig achos o'u cwymp a'u trueni.

Edrychwch drachefn i'w teuluoedd. Pa le y cyfarfyddir â golygfëydd mor dorcalonus â'r rhai sydd i'w gweled yn fynych yn nheulu y meddwyn? Pa dafod all draethu, pa bwyntel all ddarlunio, pa ysgrifbin all osod allan y dygn drueni a ddyoddefir gan deulu y meddwyn? Medr Gough draethu yn nerthol, ond ni fynegodd mo'r hanner. Medr Cruikshank ddarlunio yn fywiog a tharawiadol, ond y mae ffeithiau yn dygwydd bob dydd sydd yn gadael ei ddarluniadau ymhell ar ol. Cynnwysa *Danesbury House* lawer desgrifiad cynhyrfüs; ond byddai yn anmhosibl hyd yn nôd i Dickens, chwaithach awdures alluog *Danesbury House*, ddesgrifio ffeithiau teuluoedd y meddwyn yn eu herchylldra. Calon galed ydyw hono sydd yn gallu edrych i mewn i gartref aml un o feddwon ein gwlad,—os prïodol eu galw felly, gan eu bod yn fynych heb ddodrefn, na chysur, na serch, ond ing, tlodi, a thrueni yn argraffedig hyd yn nôd ar y gwelydd a'r llawr, a'r awyr yn dreiddiedig gan sawyr ffiaidd ac afiach,—heb deimlo yn elynol yn erbyn yr hyn sydd wedi bod yn foddion i ddwyn dynion i'r fath amgylchiadau. Ac er hyn y mae dosbarth llïosog o bobl rhinweddol, nid yn unig yn cefnogi yr arferiadau sydd wedi arwain yn uniongyrchol i'r cyfryw drueni, ond hefyd, braidd nad ydynt yn gwawdio pwy bynag sydd yn amgau ei hun mewn dïogelwch rhag dygwydd iddo yr unrhyw alanas, ac yn ceisio attal eraill rhag myned i'r unrhyw sefyllfa alaethus. Caniatäer am foment, er mwyn

ymresymiad, mai nid Dirwest yw y ffordd ddoethaf i ddynion geisio ymddïogelu rhag canlyniadau chwerw meddwdod, nac ychwaith i rwystro eraill rhag cyraedd y llynclyn ofnadwy, onid ydyw gwawdio y rhai sydd yn ceisio dïogelu eu hunain rhag canlyniadau mor chwerw, a lluddias eraill rhag eu dyoddef, hyd yn nôd trwy Ddirwest, yn rhywbeth gwaeth nag ymddygiad annoeth ac annheilwng? Gan fod y drygau a geisir eu hosgoi yn ddrygau mor ddychrynllyd, ai nid mwy rhesymol a gweddus ydyw canmol pob ymdrech i'w hosgoi, os na fydd rhyw ddrwg diammheuol yn yr ymdrech ei hun?

Nid oes gan Gristionogaeth, ar a wyddom ni, un llwybr effeithiol o wrthweithio meddwdod a'i ddrygau cysylltiedig, oddieithr Dirwest. Gwyddom y cyfarfyddir ni yn hyn gan ddosbarth llïosog gyda'r cyhuddiad o'n bod yn gosod Dirwest yn lle Cristionogoeth; yn rhoddi mwy o bwys ar yr egwyddor ddirwestol nag ar athrawiaethau gras. Yn ol ein cyhuddwyr, Dirwest yw ein hiachawdwriaeth, ac nid credu yn Nghrist. Caffed y bobl ras i'w calonau, hwy ddônt yn sobr; hyn yw y syniad sydd yn cael ei gyhoeddi byth a hefyd. O dan yr ymresymiad hwn y gorwedda twyll sydd wedi bod yn llwyddiannus yn llaw y gelyn i hudo miloedd ar filoedd o ddynion talentog a da. Gyda syniadau o'r fath hyn y mae am flynyddoedd wedi bod yn alluog i daflu llwch i'w llygaid, sydd wedi eu rhwystro yn hollol rhag canfod y drwg yr oeddynt yn ei wneuthur. Hoffem pe gallem ond gafaelyd yn y twyll, a'i ddangos yn ei liw a'i lun prïodol: sicr ydym y gwnelem trwy hyny wasanaeth dirfawr i foesoldeb a chrefydd. Ond y mae yr ymresymiad mor *subtle*, y mae yn dïanc o'n gafael yn chwim. Y mae iddo wêdd o debygolrwydd i wirionedd, wrth edrych arno yn arwynebol. Ond hyn allwn gyhoeddi yn ddifloesgni, nad ydym yn efengylu amgen na'r hyn sydd yn yr Ysgrythyrau. Crist a'i groes yw ein hymffrost uchaf. Ar ei aberth Ef yn unig yr ydym yn sylfaenu iachawdwriaeth dyn. Cyfaddefwn yn rhwydd mai Cristionogaeth sydd i gyfranu gras i'r galon; ac os bydd y galon wedi ei chryfhâu â gras, hi fydd yn nerthol i orchfygu pob drwg. Ond, goddefwch i ni ofyn, A ydyw y gras a gyfrenir trwy yr efengyl yn addaw neu yn sicrhâu nerth i bwy bynag sydd o'i wirfodd yn myned i ganol profedigaeth? Nac ydyw. Os y dïodydd meddwol yw y brofedigaeth barod i amgylchu dyn cyn ei dröedigaeth, yr un dïodydd fydd ei brofedigaeth ar ol ei dröedigaeth: ac yn unig ar y tir o'i fod yn ymgadw yn llwyr oddiwrthynt y mae Cristionogaeth yn addaw iddo nerth i fyned rhagddo at berffeithrwydd. Onid cellwair â Christionogaeth ydyw dysgwyl i'r gras a gyfrenir ganddi ein cadw yn ddigwymp, a ninnau a'n llygaid yn agored yn myned i ganol profedigaeth? Os cyfrenir gras i ddyn sydd yn arfer yfed i ormodedd, ai nid ydyw y gras hwnw yn amlygu ei hun mewn llwyrymattaliaeth ar ran y dyn hwnw oddiwrth yr hyn a fu yn brofedigaeth iddo gynt? Yn ddïau, nid oes gan Gristionogaeth un ffordd arall o ymladd â'r drwg o feddwdod lle y mae yn bod, nac ychwaith un ffordd arall sicr o gadw dynion rhag y drwg, o herwydd y duedd uniongyrchol sydd yn y dïodydd pan eu cymerir—fel y profir gan y miloedd sydd yn cael eu hudo ganddynt yn barhäus—i arwain dynion i'r pechod.

Pan fyddo rhywbeth ag eisiau gwelliant, ymdrecha pob dyn ystyriol, cyn ymgymeryd â'i wellâu, i gael allan y ffordd fwyaf tebygol i gyraedd

ei amcan. Edrychwch ar amaethwr: y mae darn o'i dir yn bur anffrwythlawn. Nid eisieu gwrtaith sydd arno, o herwydd y mae yn ei wrteithio yn dda bob blwyddyn. Dengys ymchwiliad doeth fod eisieu sychu y tir, ac hyd nes y gwneir hyn y mae pob ymdrech arall i'w wneyd yn ffrwythlawn yn ofer. Edrychwch ar ddyn yn dyoddef oddiwrth ryw anhwyldeb neillduol. Mae'r meddyg yn cyfeirio nid yn unig at ddeddfau cyffredinol iechyd—cyflawnder o awyr bur, goleuni melus, ymborth iachus—ond gyda llaw, mae'r anhwyldeb yn galw am feddyginiaeth neillduol. Edrychwch eilwaith ar lawer masnachwr sydd a'r byd, fel y dywedir, yn myned yn ei erbyn. Y mae yn gweithio yn galed, yn hwyr ac yn fore, ac ar hyd y dydd. Y mae ganddo gylch helaeth o gwsmeriaid sydd yn ei gefnogi yn barhäus. Ac nid ydyw yn annoeth mewn na phrynu na gwerthu. Ond y gwir yw, y mae yn rhy ddiofal i bwy y mae yn rhoi ei nwyddau ar goel, ac o herwydd hyn y mae yn llosgi ei fysedd yn barhäus. Nid diffyg ymroddiad sydd arno. Nid prinder cefnogwyr yw ei anffawd. Nid annoethineb mewn prynu a gwerthu yw ei fai. Nid oes eisieu gwellâd arno mewn un o'r pethau hyn; yr unig beth angenrheidiol ydyw gwyliadwriaeth i bwy y mae yn gwerthu ar goel.

Ac onid yw moesau dynion yn ddarostyngedig i'r un ddeddf? Os bydd rhyw bechod neillduol yn nodweddu person, neu gymydogaeth, neu wlad, onid ydyw yn angenrheidiol cael allan y llwybr goreu i wrthwynebu y pechod hwnw? Os anonestrwydd ydyw, ni atebai un dyben i annog at ddiweirdeb. Ac yn unol â'r ddeddf hon y mae Cristionogaeth yn ymosod ar feddwdod ein gwlad. Nid digon iddi yw dysgu ei hegwyddorion cyffredinol—pa rai sydd mor anhebgorol angenrheidiol i'r byd—ond y mae yn cymhwyso at y drwg sydd yn ffynu yr unig feddyginiaeth bwrpasol sydd ganddi ar gyfer y drwg hwnw; a'r feddyginiaeth hono ar gyfer y drwg o feddwdod yw Dirwest.

Y feddyginiaeth arall a gynnygir yw *cymedroldeb*. A phe gellid gweithredu yn ei hôl, yn ddiberygl, nid cymaint, fe ddichon, fyddai i'w ddyweyd yn ei herbyn. Ond gwyddys yn eithaf da, ysywaeth, mai *ffaeledd* parhäus ydyw. Pa le y ceir personau fu unwaith yn feddwon sydd wedi eu hennill trwyddi oddiwrth eu meddwdod? A ellir cyfeirio at ryw rai? Gwir fod llawer yn treulio eu hoes heb yfed i ormodedd, er yfed o'r diodydd meddwol yn feunyddiol, ond eto o ddosbarth y cymedrolwyr y mae y meddwon yn ymgodi. Tra, ar y llaw arall, y mae Cristionogaeth yn gallu cyfeirio at bersonau fu yn ymdrybaeddu mewn meddwdod, ond sydd erbyn heddyw, trwy gydweithrediad Dirwest â'i hegwyddorion gogoneddus hi, yn addurn i gymdeithas, yn ddefnyddiol yn ngwinllan yr Arglwydd, a chyn bo hir byddant ymysg tlysau mwyaf gwerthfawr coron yr Iesu. Hawdd yw iddi ein harwain i deuluoedd fu unwaith yn cael eu melldithio gan eu rhegfëydd, eu hymladdau, eu tlodi, eu hanghysur, a'u trueni annesgrifiadwy, ond sydd yn awr â chartrefleoedd cysurus, dodrefn hardd, cyflawnder o ymborth,—mewn gair, pob peth yn drefnus a dymunol.

Yn ngwyneb hyn, y mae yn ddirgelwch nas gallwn ei amgyffred pa fodd y gall un Cristion ystyriol osgoi y ffaith mai un o'i ddyledswyddau blaenaf a mwyaf eglur yw rhoddi ei holl ddylanwad o blaid Dirwest yn erbyn meddwdod a'r trueni dybryd sydd ynglŷn âg ef. Oddiar yr hyn

yw meddwdod ynddo ei hun, a'r hyn ydyw fel ffynnonell pechodau eraill, rhaid ei restru fel prif bechod a phrif achlysur trueni ein hoes a'n gwlad. Nid ydyw ymladd â phechodau eraill tra y gadewir hwn heb yr ymdrechiadau mwyaf uniongyrchol, penderfynol, a doeth yn ei erbyn, ond fel ymosodiad ar elynion bychain diymadferth, tra y gadewir prif amddiffynfa y prif elyn heb ymgais teilwng i'w chymeryd. Dïau, tra y gweithredir fel hyn, mai ofer ydyw dysgwyl am ddiwygiad nerthol a chyffredinol yn moesau a chrefydd ein gwlad.

Fe symudir ymaith un o'r prif rwystrau sydd ar ffordd llwyddiant Cristionogaeth i'r graddau yr ymledaena Dirwest trwy ein gwlad. Gorchwyl angenrheidiol mewn cysylltiad â'r cyrhaeddiad o bob amcan mawr ydyw symud y rhwystrau fyddo ar ei ffordd. Os byddys am gael rheilffordd, rhaid yw yn gyntaf oll symud ymaith cryn lawer o rwystrau; rhaid codi'r pantau, darostwng y bryniau, gwneyd y gŵyr yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd. Os bydd egwyddor ymarferol bwysig newydd yn cael ei chymhell i'r byd, yr hon sydd yn myned at wraidd rhyw ddrwg cyffredinol, rhaid i'w phleidwyr wrth amynedd ac ymdrech i symud ymaith y rhwystrau sydd ar ffordd ei derbyniad. Pan ymddangosodd yr Arglwydd Iesu ymhlith dynion, yr oedd Ioan Fedyddiwr wedi bod am beth amser yn arloesi y ffordd o'i flaen. Ac fe anfonodd yntau ei ddysgyblion i bregethu agoshâd y deyrnas. A thrwy ei weithredoedd cymwynasgar a daionus ei hunan, fe rwyddhäodd y ffordd i'r efengyl gael derbyniad gan lawer calon. Mae y gwaith hwn yn aros, ac fe erys o oes i oes,—symud ymaith y rhwystrau sydd ar ffordd Cristionogaeth.

Ac yn ein gwlad ni nid oes yr un arferiad i'w gyffelybu i'r arferiad o yfed y dïodydd meddwol fel rhwystr ar ffordd Cristionogaeth. Dannodir i ni yn fynych fod pechodau eraill ag eisieu eu gwrthwynebu, megys cybydd-dod ac anniweirdeb. Ond, yn enw pob rheswm, ai têg yw gwawdio neb am ei ymdrech yn erbyn unrhyw bechod, o herwydd fod pechodau eraill ag eisieu eu gwrthwynebu? Ai nid yw yn destun gorfoledd bod rhyw rai yn gwrthwynebu rhyw ddrwg, yn hytrach na bod yr holl ddrygau yn cael perffaith dawelwch i lychwino a dinystrio cymdeithas? Yr ydym â'n holl galon yn dymuno llwyddiant i bob ymosodiad ar bechod o bob math; gwnaem bob peth o fewn ein gallu i'w hyrwyddo ymlaen. O bob afresymoldeb, hwn ydyw un o'r rhai mwyaf, dannod i'r hwn sydd yn ymdrech yn erbyn meddwdod fod pechodau eraill ag eisieu eu dadymchwel, yn enwedig pan yr ystyriom mai yr arferiad o yfed y diodydd meddwol ydyw y prif rwystr ar ffordd llwyddiant Cristionogaeth yn ein gwlad ni,—y prif rwystr yn yr eglwys ac allan o hóni, ymysg pob dosbarth o ddynion. Tystiolaeth fwyaf unfrydol a phendant pawb sydd yn ymdrechu dros Gristionogaeth trwy ddyfod i gysylltiad personol â'r bobl, ymweled â hwynt yn eu cartrefleoedd, a dyfod felly yn hysbys o'u harferion, ydyw, mai y rhwystr mwyaf cyffredinol ar ffordd llwyddiant Cristionogaeth yw yr holl yfed sydd yn bod o'r dïodydd meddwol. Pe gellid symud ymaith y rhwystr hwn, gwelid yn bur fuan gyfnewidiad er gwell yn cymeryd lle. Ac i'r graddau yr ymledaena Dirwest trwy gymdeithas, y gwelir yn ddiddadl y rhwystr hwn yn diflanu.

Nodwn hefyd fod Cristionogaeth trwy Ddirwest yn rhoi cyfle i'r dadblygiad o deimladau hawddgaraf ac uchelaf y natur ddynol.

Caniatäer fod ychydig rinwedd yn y dïodydd meddwol, a bod llawer o bleser i'w gael trwy eu hyfed, pan na chymerir ond yn gymedrol o honynt,—onid oes cyfleusdra brâf i'r teimladau goruchel o hunanymwadiad a dyngarwch i ymddadblygu trwy aberthu y daioni a'r pleser sydd i'w gael yn y dïodydd er mwyn bod yn abl i ddylanwadu yn y modd grymusaf yn erbyn meddwdod ein hoes? A pha deimladau uwch sydd yn perthyn i'r natur ddynol? Onid yw ein calon yn llamu gan lawenydd, ac yn llawn o edmygedd, pan y darllenom neu y clywom hanes dyngarwyr yn nacâu iddynt eu hunain bob cysur cymdeithasol arferol a chyrhaeddadwy iddynt, a hyny yn unig fel ag i wasanaethu eraill sydd mewn trallod, ac yn analluog i helpu eu hunain? Pwy wrth ddarllen hanes Howard, dilyn ôl ei draed o un dref i dref arall, o un carchar i'r llall, o wlad i wlad, gan ymdrechu yn ddi-ildio i liniaru poenau pawb a allasai, nad yw yn teimlo fod mawredd o'r radd uchaf yn perthyn iddo? A Miss Nightingale, eilwaith, ymysg y cleifion a'r clwyfedigion yn y Crimea, wedi cefnu ar gartref clŷd a chysurus, ac ar gyfeillion cynhes a chariadus, ac yno yn ymroddi nos a dydd i leddfu ing a phoenau y milwyr clwyfedig, ac yn mentro ei bywyd ymhlith yr heintiau echryslawn oedd yn llenwi awyr yr ysbyttai â marwolaeth,—pwy wrth ddarllen am dani nad yw yn teimlo tuag ati rywbeth hyd yn nôd uwch nag edmygedd?

Dïau bod Cristionogaeth yn galw am yr amlygiad o'r teimladau goruchel hyn, ac yn rhoddi y cymhelliadau cryfaf iddynt. Nid oes dim sydd yn fwy unol â'i hysbryd. Digon er prawf yw cyfeirio at fywyd a marwolaeth ein Harglwydd Iesu, yr Hwn a roddodd i ni esiampl fel y canlynem ei ôl ef. Saif ei hunanaberthiad ef yn gynllun trwy yr oesau nas gall y dyngarwr mwyaf ond edrych i fyny ato, gan geisio ei efelychu, a chael ysbrydoliaeth oddiwrtho i fyned rhagddo yn ei lwybr dyrchafedig. Aberthodd yr Iesu ei fywyd i'r dyben o'n cadw; ai nid peth bach ydyw i'w ganlynwyr aberthu y daioni tybiedig (gan ganiatâu, er mwyn ymresymiad, fod ychydig o ddaioni yn y dïodydd), a'r pleser y maent yn ei gael trwy y dïodydd meddwol, i'r dyben o geisio cadw rhai o'r llïaws sydd yn prysuro i feddau anamserol, ac i ddinystr bythol? Dichon mai hyn ydyw y groes sydd gan lawer Cristion i'w chario. Nid ydyw yn un groes iddynt i gyfranu at y weinidogaeth, at y cenadaethau, neu at unrhyw achos da. Na, y mae yn hyfrydwch calon ganddynt wneyd hyny. Maent yn abl ac ewyllysgar. O'u cyflawnder y maent yn rhoddi, a hyny gyda pharodrwydd canmoladwy. Ond aberthu eu gwydriad gwîn, neu ddïod gyda chiniaw neu swper, neu ar ryw amgylchiad achlysurol arall, hyn fyddai yn aberth iddynt, hyn a deimlid ganddynt yn groes. A hyn, yn ddïau, yw eu croes hwy. Ai gormod o hyfdra, ynte, ynom yw eu hannog i'w chymeryd hi i fyny? Ai nid ein dyledswydd amlwg yw eu cymhell? I fyny â hi, ynte, gyfeillion. Yn ddïau, y mae hi yn sefyll ar eich ffordd, gerllaw i chwi; a chan sicred a'i bod hi yno, ei llais tuag atoch yw, "I fyny â mi ar eich ysgwyddau, os ydych chwi am fod yn ganlynwyr da i Iesu Grist, yr Hwn a adawodd ar ei ol y geiriau eglur, syml, bythgofiadwy, nad oes ammheuaeth yn eu cylch, 'Os ewyllysia neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a chyfoded ei groes beunydd, a dilyned fi,'" Luc ix. 23.

Tybed a oes rhai o'n darllenwyr dan ddylanwad ysbryd y gofyniadau, Beth yw eraill i mi? Paham y dysgwylir i mi roddi heibio yr hyn

sydd mor ddiddrwg yn ei effeithiau arnaf, ac eto yn beth sydd yn rhoi cymaint o fwynhâd i mi â fy nglasiad o wîn neu ddïod? Ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi? Y rhai hyn, a'u bath, yw y gofyniadau sydd yn fynych yn syrthio ar ein clustiau oddiwrth hyd yn nôd gristionogion proffesedig, a'r rhai hyn yn ddynion deallus, ac o nodweddion cyffredinol da. Yr ydym yn rhydd i gyffesu, fod ein hysbryd yn ymgynhyrfu ynom pan y clywom y fath ofyniadau yn cael eu dwyn ymlaen gan ddynion cyfrifol crefyddol fel amddiffyniad i'w harferiad hwy o'r dïodydd meddwol. Beth, tybed, pe ymddygasai ein Harglwydd Iesu tuag at ein byd dan ddylanwad ysbryd y cwestiynau hyn? Yn wir, beth pe ymddygasai ein Tadau Methodistaidd dan ei ddylanwad? Pa wêdd mewn ystyr grefyddol fuasai ar ein gwlad y dyddiau hyn? Onid yw teimlad goreu ein calon, ynghyda llais clir a phendant yr Ysgrythyrau, yn cyttuno yn ddios yn y ddysgeidiaeth, bod a fynom fel cristionogion â sefyllfa dynion eraill, ac mai ein dyledswydd arbenigol ydyw ymdrechu â'n holl nerth i'w hennill oddiwrth bob peth sydd yn gyfeiliornus a niweidiol at yr hyn sydd wir, a rhinweddol, a bendithiol?

Y mae mabwysiadu a chefnogi Dirwest yn llwybr o ddyngarwch sydd yn gyrhaeddadwy i bawb. Yr oedd yn rhaid i Howard wrth gyfoeth lawer. Yr oedd yn rhaid i Miss Nightingale wrth ymddiried y llywodraeth. Ond y mae yr amlygiad o ddyngarwch trwy gyfrwng Dirwest yn bosibl i bawb, beth bynag fyddo ei sefyllfa arianol, cymdeithasol, a gwladol. Gall y plentyn ddangos ei ddyngarwch ffordd hyn yn gystal â'r dyn mewn oed. Gall y tlawd sefyll ochr yn ochr â'r cyfoethog, a bod yn ymwybodol fod ei aberth ef yr un mor werthfawr ynddo ei hun, os nad ydyw mor helaeth ei dylanwad. Yr unig beth angenrheidiol yn y naill fel y llall yw, ymwrthod â'r hyn a fwynhëir gyda'r unig amcan o wneyd lles i eraill.

Cyn terfynu ein sylwadau, dymunem

Yn y lle cyntaf, *argymhell ein darllenwyr i ymdrechu o ddifrif i leihâu y fasnach feddwol.* Dichon y cawn gyfle eto i gyfarch ein darllenwyr yn fwy helaeth o barth i'r ymdrechiadau a wneir y dyddiau hyn i gyfnewid cyfreithiau ein gwlad mewn perthynas i'r fasnach hon. Ymfoddlonwn, gan hyny, ar hyn o bryd, gyda sylw neu ddau. Y fasnach, yn ddïau, sydd yn cynnal i fyny yr arferiad o yfed y dïodydd meddwol fel y mae yn ein gwlad ni. Pe gellid lleihâu y tafarndai, lleihëid ar unwaith y temtasiynau i bechod; a phe gellid eu cau hwynt oll, symudid ymaith ar unwaith brif ffynnonell meddwdod. Y mae llawer yn y fasnach sydd yn ei chario ymlaen mewn dull mor anrhydeddus ag sydd yn bosibl, ac ystyried y fath fasnach ydyw. Ac y mae yn ymddangos i rai fel peth caled ein bod yn gwrthwynebu llwybr eu cynnaliaeth. Yn ngwyneb yr ystyriaeth hon, yr ydym ar rai achlysuron, pan yn gwrandaw ar ein teimlad yn fwy nag ar ein barn, fel pe yn tawelu ychydig ar ein gwrthwynebiad. Ond gyda hyny, cyfyd yr ystyriaeth i'n meddwl fod y fasnach y cyfryw na ddylai y cyfeillion hyn fod ynddi. Nid ein bai ni ydyw fod ein hymdrechiadau yn milwrio yn erbyn eu ffordd hwy o ennill bywioliaeth, yn fwy nag yr oedd yn fai ar Paul fod ei bregethu yn milwrio yn erbyn *interest* Demetrius a'i gydfasnachwyr; eu bai hwy yw eu bod yn y fasnach. Mae y fasnach, fel masnach, ac edrych arni fel y dygir hi ymlaen yn ein gwlad yn gyffredinol, yn warth ac yn felldith i'n cenedl

a'n hoes. Gan hyny, yr ydym yn teimlo gorfodaeth arnom i wneyd pob peth a allom, o fewn terfynau cyfiawnder, yn ei herbyn, beth bynag fyddo y canlyniadau i rai personau y byddai yn dda genym pe byddai modd iddynt eu hosgoi.

Yn ail, *ymgedwch rhag cael y dïodydd meddwol i'ch cartrefleoedd.* Y mae yn ddïau fod miloedd ar filoedd ag sydd wedi cael eu dwyn yn gaeth gan y dïodydd yn gallu prïodoli dechreuad eu hoffder o honynt, a dechreuad eu cwymp a'u dinystr, i'r ffaith eu bod wedi eu dysgu i yfed yn eu cartrefleoedd boreuol. Yno y crëwyd yr archwaeth sydd erbyn heddyw yn wanc anwrthwynebol. Yno y dechreuwyd y drwg. Y tad cariadus, yr hwn a edrychai ar ei blentyn fel canwyll ei lygad, neu y fam dyner, yr hon a ymfalchïai â'i holl galon ynddo, estynodd iddo yn gyntaf oll y dïodydd fu yn y diwedd yn ddinystr i'w gymeriad, i'w amgylchiadau tymmorol, ac i'w obeithion ysbrydol a thragywyddol. Dadau a mamau Cymru! ystyriwch o ddifrif y canlyniadau ofnadwy sydd yn bosibl i ddisgyn ar ran eich plant oddiar yr arferiad o gael dïodydd meddwol i'ch cartrefleoedd! Yr ydych yn gosod i lawr agorfa i ddrwg a rêd yn bur ddystaw, fe ddichon, am beth amser, ond yr hwn o'r diwedd, fel rhuthr llifeiriant ofnadwy, a ysguba ymaith bob peth fydd ar ei ffordd! A hyn fydd un o'r elfenau chwerwaf yn eich gofid, yr adgof mai chwychwi eich hunain fu yr offerynau i agor y ffordd i'r ffrydlif i redeg a chryfhâu!

Yn drydydd, *byddwch yn ddirwestwyr eich hunain.* Tra nad ydych yn ddirwestwyr, yr ydych mewn perygl. Nid oes neb ar dir sicr na chyrhaedda bwll y meddwyn ond y rhai sydd yn ymgadw yn llwyr oddiwrth y dïodydd sydd yn arwain i'r pwll. Ychydig o'r rhai sydd wedi cyraedd rhestr y meddwon a feddyliodd wrth ddechreu cymeryd o'r dïodydd meddwol mai hyny fuasai y diwedd. Yn y cyffredin, teimlent yn sicr nas gwelsid hwy byth ymhlith caethion y dïodydd: digient wrth bwy bynag a grybwyllai y posiblrwydd wrthynt. Ond er hyny yn feddwon yr aethant. A hyn, sef twyll y dïodydd, ydyw un o'r pethau gwaethaf cysylltiedig â hwynt. Maent yn dênu eu hoffwyr ymlaen yn raddol, raddol, nes eu cael yn llwyr dan eu dylanwad; ac yna y maent yn eu hamgylchynu â thrueni, ac yn eu gyru ymlaen i ddinystr bythol. Llawforwynion gwasanaethgar ydynt i'r diafol. Cofus genym ddarllen am un o frenhinoedd boreuol Rhufain, iddo fethu yn llwyr a darostwng dinas gadarn Gabii trwy frwydr dêg. O'r diwedd penderfynodd geisio cyflawni trwy dwyll yr hyn y methai ei wneyd trwy rym arfau. Yr oedd yn ddïarhebol am ei greulondeb. Ac fe gafodd gan ei fab henaf fyned i Gabii, gan gymeryd arno ei fod yn ffoi rhag creulondeb ei dad. Derbyniwyd ef gyda llawenydd gan y Gabïaid ar ol clywed ei hanes, a gobeithid y buasid yn abl, trwy gymhorth y mab digofus, i orchfygu y tad. Yr oedd y dyn ieuanc yn hynaws a galluog. Ennillodd yn fuan serch y bobl ieuainc, ac ymddiried yr henafgwyr. Ffurfiwyd dan ei ofal gorff o *Volunteers,* gyda pha rai yr ymosododd droion ar filwyr ei dad, gan eu gorchfygu, a dwyn ysbail lawer i ddinas Gabii. Fel hyn twyllwyd y bobl i ymddiried ynddo fwyfwy, hyd nes y cyrhaeddodd y dylanwad uchaf yn y ddinas. Gyda hyn, anfonodd at ei dad i'w hysbysu am sefyllfa pethau, ac i gael ei gyfarwyddyd pa fodd i fyned ymlaen ymhellach. Yr ateb oedd, lladd y prif drigolion. Ac felly y gwnaeth; ac yna fe

drosglwyddodd y ddinas ar unwaith ac yn llwyr i'w dad. Onid fel hyn y mae y diafol yn gorchfygu ac yn dwyn i'w le ei hun dorfeydd o driglion ein gwlad trwy gyfrwng y diodydd meddwol? Mae'r diodydd hyn yn cynnyg bod o wasanaeth mawr i bwy bynag a'u defnyddio; ac am ychydig amser y maent fel pe yn cyflawni eu hammodau. Ond yn fynych, cyn bo hir, y maent yn dechreu troi ar eu hoffwyr, ac yn gwneyd ymaith yn raddol â'r weddi ddirgel, a'r darlleniad defosiynol o'r Bibl; ymhen ychydig cymerir ymaith bob archwaeth at foddion gras, nes y mae yn faich i'r dyn fynychu y cyfarfodydd gweddi wythnosol a'r cyfarfodydd eglwysig. Ar ol hyn dechreuir yfed i ormodedd ar rai achlysuron; a'r diwedd yw trosglwyddiad llwyr o'r holl ddyn i afael prif elyn ei enaid. Trwy dwyll fel hyn mae diodydd meddwol yn dwyn ei ddinystr oddiamgylch. Ac os oes rhai o'n darllenwyr sydd yn yfed yn gymedrol yn awr yn perswadio eu hunain mai yn gymedrol y parhânt, dymunem yn ostyngedig ddwyn ar gôf iddynt fod *eu gwell wedi methu a pharhâu ar dir cymedroldeb,*—eu gwell mewn gallu meddyliol, mewn defnyddioldeb gyda gwaith yr Arglwydd, mewn rhodiad crefyddol allanol; dynion mor benderfynol â hwythau i beidio cymeryd eu darostwng gan eu blŷs, ac mor annhebyg â hwythau o gael eu darostwng; ond syrthio a wnaethant. Gan fod perygl, ynte, a'r perygl mor fawr, oni ddylai hyny ein harwain i ddïogelu ein hunain? Y mae hunan-ddïogelwch yn un o egwyddorion cryfaf ein natur. Mae plentyn yn ei ffordd yn ceisio amddiffyn ei hun pan mewn perygl, yn gystal â'r dyn mewn oed. Ac os cymerwn olwg ehangach ar deulu, os bydd amgylchiadau gofidus yn bygwth rhan o hóno, mae y teimlad teuluaidd yn peri i'r holl deulu ymgrynhôi at eu gilydd. A phan bo gwlad mewn perygl, y mae pob gwladgarwr yn brysio i roi ei gynnorthwy i'w hachub rhag ei gelynion. Fel hyn, mae ymwybyddiaeth o berygl yn galw allan ymdrech i ymddïogelu. Paham nad ydym felly mewn cysylltiad â'r dïodydd meddwol? Y mae y perygl yn amlwg, a thra yn amlwg y mae yn fawr; ac er hyny y mae dynion yn aros ynddo yn dawel, er gweled y naill ar ol y llall o'u cyfoedion a'u cymydogion yn cael eu hysgubo ymaith megys â chorwynt gan y dïodydd hyn!

# EMYNYDDIAETH.

## V.—SALMYDDIAETH Y CYMRY. EDMWND PRYS A'R SALMAU CAN.

### RHAN II.

WEDI ysgrifenu y Rhan I. o'r erthygl hon, dygwyd ein sylw at rai manylion am yr Archddïacon, y rhai y tybiwn yn werth eu coffâu. Yr oeddem wedi sôn rhywbeth am ei achau. Ychydig ddyddiau yn ol, derbyniasom anrheg ddestlus o GYFF BEUNO, gwaith y diweddar Eben Fardd, gan y Cyhoeddwr, Mr. R. I. Jones, Tremadoc. Yn y tu dalen 28 o'r llyfr cywrain hwn, yr ŷm yn cael achau ac arfbeisiau Ficeriaid Clynnog Fawr. Y blaenaf ar y rhestr yw y Parchedig Edmwnd Prys (ŵyr yr archddïacon), yr hwn y dywedir ei fod yn hànu o'r Pencenedl Rhys ab Einion Fychan, o lwyth MARCHUDD. Arfbais Marchudd oedd, "Pen *Saracsn*, a phlêth am yr arleisiau o ddu a gwŷn, yn y maes coch." .... "Arddelir yr arfbais hon yn bresennol gan Arglwydd Mostyn, prif gynnrychiolydd y Pencenedl Marchudd; yr un teulu ag y cangenai Edmwnd Prys o hono." Yn y tu dalen 96, cawn fod y dywededig Edmwnd Prys yn Ficar Clynnog o'r fl. 1695, os nad rhai blynyddoedd yn gynt, hyd y fl. 1718, yn yr hon y bu farw. Dyfynir yma ran ddamweiniol o lythyr y Parchedig Goronwy Owen at Mr. William Morys, dyddiedig *Walton*, Hyd. 16eg, 1754, sydd yn cadarnhâu mai *ŵyr* ydoedd Edmwnd Prys, Celynog, i Edmwnd Prys yr Archddïacon. Fel hyn yr ysgrifena Goronwy:—"Mi welais er ys talm o flynyddoedd, pan oeddwn yn Llëyn, holl ymrysonion a gorchestion Edmwnt Prys a William Cynwal, gan yr hen Berson Price o Edern (neu Edeyrn), ..... yr hwn oedd orŵyr i'r archddïacon. . . . . . I suppose they might have been copied by old Price of Edern in his younger years, or perhaps by his father, Price of Celynog."* Yr ŷm yn cael fod tri o'r ŵyrion hyn yn wŷr Eglwysig, sef, Edm. Prys, Celynog, Ffowc Prys, Llanllyfni, y soniwyd am danynt o'r blaen, a Samuel Prys, Ficar Conwy.† Wrth olrhain y llinach o'r ŵyr hyd at y taid, yr ydym yn cael fod yr Archddïacon yn hànu o wehelyth pendefigaidd ac anrhydeddus. Dywedir fod y Dr. Morgan, o du ei fam, yn hànu o'r un llwyth; a bod y Dr. John Davies o Fallwyd yn deilliaw o'r un gwelygordd. Hysbysir i ni hefyd fod yr Archddïacon yn nai o fab cyfyrder i William Salesbury, cyfieithydd y Testament Newydd. Yr oedd Marchudd ab Cynan yn ben un o Bymtheg Llwyth Gwynedd. Sylfaenwyr y llwythau breiniol hyn oeddent gynifer o bendefigion Gogledd Cymru, y rhai, gan mwyaf, oeddent yn byw yn yr unfed ar ddeg a'r deuddegfed canrif. Mae y rhan fwyaf o brif deuluoedd y rhan hon o'r Dywysogaeth yn parhâu i olrhain eu cysylltiad â'r llwythau hyn. Dichon eu bod wedi dechreu oddiwrth gyfundrefn o benciwdodaeth a fu gynt yn gyffredin yn Nghymru. Heb-

* "Cyff Beuno," gan Eben Fardd, tu dalen 28 a 96. † Y Brython, cyf. v., tu dalen 129.

law y rhai hyn, yr oedd hefyd gynt Bum' Llwyth Brenhinol, y rhai a berthynent i ddwy randir y Dywysogaeth, Gogledd a Deheubarth.* Cyn gadael yr achau, y mae genym i'w nodi fod y Parch. John Evans, M.A., Llanllechid, Archddïacon presennol Meirionydd, yn disgyn o linach Edmwnd Prys, ac yn ddilynydd teilwng iddo.

Dywed yr hynafiaethydd, O. Williams o'r Waenfawr,† "mai teuluoedd Tanybwlch a feddiannasant etifeddiaethau gwerthfawr yr Archddïacon oddeutu Maentwrog a Thrawsfynydd." "Robert ab Ifan, Ysw., a brïododd Lowri, merch ac etifeddes Ffowc Prys, Tyddyn Du, Maentwrog. Yr aeres hon oedd ŵyres i Edmwnd Prys, Archddïacon Meirionydd, ac felly disgynodd iddi holl etifeddiaethau ei thad a'i thaid; a gwelir yn y cysylltiad prïodasol hwn i holl eiddo tirol yr Archddïacon gael eu huno âg etifeddiaeth Tan y Bwlch." Yr etifedd presennol yw W. Oakley, Ysw.

Clywsom fod Edmwnd Prys, yn ei ddyddiau boreuol, wedi bod yn gweinidogaethu yn rhywle yn swydd yr Amwythig (fe allai yn un o blwyfydd y cyffiniau, lle yr oedd y Gymraeg yn cael ei siarad yn gyffredin yn yr oes hono, ac yr hawg wedi hyny), ac iddo fod rywbryd hefyd yn gurad Aberhonddu; ond am hyn nid oes genym un math o sicrwydd. Darllenasom yn rhywle mai efe oedd yr olaf a fu yn gweinidogaethu yn Llanddwyn, Môn, ac iddo gael ei osod yno Ebrill 16eg, 1580; ond camgymeriad amlwg yw hyn, trwy gymeryd Llanddwyn am Llanddwywe yn Ardudwy. Richard Kyffin, LL.B., meddir, oedd y periglor olaf yn Llanddwyn, yr hwn oedd hefyd yn Ddëon Bangor, tua'r flwyddyn 1480, ac felly cyn amser Edmwnd Prys. Adnabyddid ef wrth yr enw "Y Dëon Du," ac yr oedd yn ŵr o gryn ddylanwad yn ei ddydd, fel y mae hanesiaeth ein gwlad yn profi.‡

Dangoswyd i ni yn ddiweddar grair nodedig a gedwir yn nheulu un o ddisgynyddion Edmwnd Prys, yn Ardudwy, sef blŵch tybaco crwn, o gorn, oddeutu tair modfedd o draws fesur, a thua modfedd o ddyfn, a gwydr cywrain yn nghanol y cauad i danio cetyn yn mhelydr yr haul. Traddodiad y teulu yw mai blŵch yr Archddïacon ydoedd. Yn ei amser ef y dygwyd yr arferiad o chwiffio tybaco i'r wlad hon; ond tybir oddiwrth y pennillion canlynol a gyfrifir iddo nad oedd efe yn cymeradwyo yr arferiad o

—— sugno mŵg y ddalen
Sy' 'n yspeilio 'r bòl a'r cefen,

mwy na'i gydoeswr o Lanymddyfri:—

Pum' rhinwedd y tybaco,
Yw gwlychu gŵr a'i dwymo,
Ysgafnhâu y pen a'r pwrs,
Ac arbed cwrs o weithio.

Tra by'ch byw a gwych, heb gur,—na gwaew,
Na gwewyr, na llafur,
Nac arfer i sychder sur,
*Mŵg dail* rhag magu dolur.

* *Parry's Cambrian Plutarch*, pp. 319, 329; *York's Royal Tribes of Wales; The Cambrian Registrar, &c.* † *Y Brython*, am 1860, tu dalen 252. ‡ *History of Carnarvonshire*, by the Rev. Peter Bailey Williams, p. xi., *app.* *Yr Haul*, am 1866, tu dalen 335. *Llwyd's Beaumaris Bay, &c.*

Dywedir fod gan Edmwnd Prys ganwyllbren prês pur gywrain, ar lun gŵr, yn dal canwyll ymhob llaw. Pan oedd nifer o feirdd unwaith yn ei gymdeithas, gwnaeth pob un ei englyn i'r canwyllbren; a llyma un o honynt:—

**Dau faich ar ddeufraich ddifri',—yn dêg iawn,**
**Dwy ganwyll a ddeli;**
**Dull rhyfedd yw d' agwedd di,**
**Delw gul iawn yn dal goleuni.**
***Rhisiart Phylip.***

Mae llawer o ffraeth ddywediadau yr Archddïacon ar gof a chadw ar hyd y wlad eto. Dyma ddwy linell o'i "Gywydd ar Helynt y Byd," a adroddir gan yr hen bobl gyda phwyslais neillduol:—

**Rhaid i'r gwan ddal y ganwyll,**
**I'r dewr i wneuthur ei dwyll.***

Llinellau eraill yn cyfeirio at yr hen arferiad o gardota o ddrŵs i ddrŵs:—

**Mal cardotwraig, draig drygair,**
**Ei chlod o gerdod a gair;**
**Canmol yn braff wrth gaffael,**
**Bod o'i chof pan beidio â chael.†**

Dywed y ddïareb, "Tyst yw'r chwedl i'r englyn," a gallwn ninnau ddywedyd yn ol, "Tyst yw'r englyn i'r chwedl," a bod y naill yn cadarnhâu y llall. Dengys yr englyn canlynol gan y diweddar John Roberts, Bryntirion, mai dan yr allor yn eglwys Maentwrog, fel y dywedwyd o'r blaen, y gorwedda llwch Salmydd Cymru, yn ol traddodiad beth bynag, pa un a oes yno ryw gófarwydd am dano, ai nid oes. Dyma'r englyn:—

**Eglwys Maentwrog, greiglawr,—a gêl lwch**
**Ei gwiw lên Beriglawr;‡**
**Gwel, yno y mae Glain|| mawr,**
**Ellain,§ o dan yr allawr.****

Bellach, wedi crynhöi a threfnu y mân gofion difyr hyn am yr awdwr clodwiw, awn ymlaen gyda'n sylwadau ar ei gyfansoddiad ar y Salmau.

Nid têg fyddai beirniadu Salmau Cân yr Archddïacon wrth sefyllfa'r iaith a manteision llênyddiaeth yn yr oes hon. Ac ystyried yr oes yr oedd efe yn byw ynddi, rhaid addef bod y cyflawniad yn orchestwaith; ac nid oes eto, yr ydym yn hyf i ddyweyd, neb wedi rhagori arno. Ond wedi ei ddarllen lawer o weithiau drosodd, ymddengys y gwaith i ni yn dra anghyfartal; yn gyffelyb iawn i arwynebedd gwlad Meirionydd, yn anwastad, gwyllt, a garw, ar y cyfan; ond rhwng y creigiau a'r clogwyni geirwon, y mignau a'r llethrau diffrwyth, y neint a'r rhaiadrau

* *Y Brython*, Cyf. V., tu dalen 129. †Ib., rhif 1, am 1858, tu dalen 4. ‡Bugail neu berson plwyf. || Gèm neu dlŵs gwerthfawr. §Dysglaer, ysplenydd. **Gwel Erthygl "*Moel y Gêst*," gan y diweddar Ellis Owen, Cefn y meusydd, yn y TRAETHODYDD am 1848, tu dal. 474, a'r *Brython*, 1858, tu dal. 4.

ffrochwyllt, ceir aml lanerch welltog, gysgodol, a phorfëydd dymunol yn y cymau, y glỳnoedd, a'r dyffrynoedd clyd; maesydd têg a gweirgloddiau meillionog, doldir ffrwythlawn, lle y sisiala ffrydiau grisialaidd, y dolena yr afonydd prydferth; lle chwery yr ŵyn ar y cefnau a'r ffriddoedd, ac y cân yr adar yn y llwyni a'r gelltydd gwyrddleision, yn nghesailiau mynyddoedd cribog, nes peri hyfrydwch i bob calon deimladol, ac iechyd i bob ysbryd pruddglwyfus. Felly y mae barddoniaeth y Salmau hyn yn fynych iawn yn arw, anystwyth, anghânadwy, ac mewn arddull rhy henafol braidd, dybygid, i'r werin, hyd yn nôd yn yr oes hono, ond yn llawer mwy felly erbyn ein dyddiau ni. Er hyn i gyd yr ydym yn cyfarfod â rhanau blasus a hyfryd, tlysion a thra ardderchog, draw ac yma yn nghorff y llyfr, y rhai y bydd eu melusder, eu tynerwch, eu prydferthwch, a'u goruchelodd, yn meddiannu y meddwl wrth fyned ymlaen, nes anghofio gwylltedd a gerwinder y rhanau eraill. Mae llawer pererin blinedig wedi derbyn trwyddynt nerth adnewyddol a chalondid i deithio ymlaen tua'r ddinas nefol; llawer credadyn gwan a phrofedigaethus wedi tỳnu o honynt gynnaliaeth a chysur, a modd i gânu mewn gorthrymderau; aml enaid newynog a sychedig wedi cael gwlêdd ynddynt ar ddanteithion iachawdwriaeth, a'i ddïodi hefyd o'r ffrydiau pur a darddant o dan riniog y cysegr. Yma mae ambell ddëadell i Fugail ac Esgob eneidiau wedi cael

Gorwedd mewn porfa frâs
Ar làn dwfr glöewlas araf,

a'u coledd yn dyner, a'u tywys yn llwybrau uniondeb, mewn hyder ffyddiog am eu dïogelwch a'u cysur mewn einioes ac angeu, a bywyd tragywyddol yn y diwedd.

Bu y Cymry am hirfaith amser heb braidd ddim arall heblaw y Salmau hyn er dwyn ymlaen eu càniadaeth grefyddol, ond yr ychydig Emynau sydd yn eu canlyn; a diammheu fod yn dda iawn eu cael. Erbyn hyn y mae pethau wedi cyfnewid yn fawr rhagor oeddent yn yr amseroedd hyny, fel nad oes mo'r degwm o'r Salmau cân yn cael eu hystyried yn gyfaddas i'w cânu yn gynnulleidfäol, er nad bob amser o ddiffyg barddoniaeth, ond yn hytrach o ddiffyg cyfaddasu yr iaith yn fwy at amgylchiadau yr eglwys Gristionogol. Eto têg yw dywedyd fod y Sallwyr Cymraeg gan Edmwnd Prys yn rhagori yn fawr ar Sternhold a Hopkins y Saeson:* byddai yn anhawdd pigo o'r cyfieithiad hwnw gynifer o ranau cânadwy ag a geir allan o'i gyfieithiad ef. Nid ymddengys chwaith ei fod yn gyfieithiad mor llythyrenol a'r cyfieithiad Albanaidd; y mae efe weithiau yn aralleirio ac yn ymhelaethu ychydig mewn ambell fan, a hyny yn aml yn bur lwyddiannus. Er ei fod yn rhy debyg i'r ddau hen gyfieithiad hyny mewn afrwyddineb, gallwn ddywedyd yn lled ddibetrus fod Cymraeg Edmund Prys yn fwy grymus a barddonol na'u Saesoneg hwy, hyd yn nôd mewn rhanau nad oes nemawr gymhwysder ynddynt at wasanaeth addoliad cyhoeddus. Er ei fod yn fyn-

* "John Hobcyn ydoedd frodor o Nedd, yn Morganwg, ac yn disgyn o fardd enwog a elwid Hobcyn ab Tomos. Yr oedd Temos Sternhold yn briod â chwaer iddo. Darfu iddo, mewn cysylltiad â Sternhold, droi y Salmau ar gân yn Seisoneg."—*Iolo MSS.—Enwogion Cymru, tu dal.* 490.

ych yn llawer grymusach, nid yw yn agos mor llyfn a gwastad a chyfansoddiad Tate a Brady, yr hwn sydd waith diweddarach; ac y mae cyfansoddiadau efengylaidd y Dr. Watts ar gynllun hollol wahanol.

Y Salmau cyfain mwyaf cymeradwy ac arferedig yw y i., viii., xiii., xv., xxiii., xxxiii., xliii., lvii., lxvii., lxxxiv., c., cxi., cxiii., cxiv., cxvii., cxxi., cxii., cxxx., cxxxiii., cxxxiv., cxxxviii., a cxlv. Gellir ystyried y rhai hyn fel ceinion yr Archddïacon, oddieithr bod ambell air neu linell weithiau yn gofyn cyffyrddiad ysgafn* er eu gwneyd yn fwy ystwyth a dealladwy. Mae llïaws o'r Salmau eraill y gellir defnyddio rhanau helaeth o honynt yn fanteisiol fel y maent. Mae dyfyniadau detholedig, tarawiadol, o amryw o'r Salmau yn well i'w cânu na phe cymerid hwynt yn gyfain. Gellid hefyd ychwanegu at nifer y rhai hyny drwy ddiwygio ambell air neu bennill lle byddo achos, a hyny yn hawdd, gyda gofal dyladwy, heb niweidio yr ystyr, na newid arddull y cyfansoddiad. Pan yn darparu at wasanaeth addoliad cyhoeddus, yr ydym yn tybied y dylid goddef cymaint a hyn. Ond y mae yr achos yn dra gwahanol os proffesa un gyhoeddi y gwaith gwreiddiol yn ddigyfnewid: yn yr amgylchiad hwn, dylai gael ei roddi yn bendifaddeu yn gywir a manwl mor agos ag y bydd modd fel ei gadäwyd gan yr awdwr, oddieithr diwygio beiau'r wasg, a defnyddio orgraff bresennol yr iaith. A oes un cyhoeddwr Cymreig a anturiai ddwyn allan argraffiad newydd o Sallwyr Edmwnd Prys, gyda'r cynnwysiad o flaen y Salmau fel yn yr argraffiadau cyntaf, yn llyfr cryno a destlus, gydag eglurhâd ar y geiriau a'r brawddegau mwyaf anghynnefin a dyeithr ynddo, ac am bris cymedrol? Tybed na ellid gwneyd hyn, dan olygiad beirniad cyfarwydd a medrus, fel ag i deilyngu lle yn llyfrgell pob Cymro haelfrydig a gwladgarol?

Gwnaed rhai detholiadau o'r Salmau o bryd i bryd gyda'r amcan o'u dwyn i arferiad cynnulleidfäol yn fwy cyffredin. Y cyntaf a lafuriodd yn y ffordd hon oedd y Parchedig Griffith Jones, Llanddowror, yr hwn a gyhoeddodd gasgliad bychan dan yr enw, "Crynodeb o Salmau Cânu: sef rhai Salmau Detholedig yn gyfain, a'r Rhanau mwyaf buddiol ac eglur eu Hystyriaeth o Salmau eraill; a chynnulliad o adnodau perthynol i'w gilydd ar amryw Destunau; gyda'r ystyr o honynt yn fyr o flaen pob Salm." Bu dau argraffiad o'r Crynodeb hwn, yn Llundain, sef yn 1743 a 1774, yr olaf yspaid ar ol marwolaeth y detholydd. Yr oedd efe yn cwyno yn ei ragymadrodd fod rhanau helaeth o'r Salmau Cân yn anystwyth ac anghyfaddas i'w cânu. Gwnaed casgliad arall i'r un amcan dan yr enw:—"Rhanau Detholedig o'r Salmau Cân, gyda'r ystyr o honynt o flaen pob Salm. Wedi eu cymhwyso i'w cânu mewn Eglwysydd. Gan y Parch. Hugh Williams, M.A., Person Aberffraw.

* Fel enghraifft, cymerer yr ail a'r trydydd pennill o'r cxiv., fel hyn:—

Neidient fel hyrdd fynyddoedd draw,
A'r bryniau megys ŵyn gan fraw;
Cawsant wastadedd megys dôl:
Pam ciliaist, fôr, er maint dy dòn?
Tithau, Iorddonen lathraidd lòn,
Paham y tröist dy ffrydiau 'n ôl?

Fynyddoedd byd, paham y fföech
Fel hyrddod? a pham nad arhöech?
A chwithau, fryniau, fel ŵyn mân?
Am mai rhaid ofni Duw fel hyn,
Yr hwn sy 'n trôi y graig yn llŷn,
Ac yn rhoi dwfr o'r gàreg dân.

Dros gyfieithu *callestr* yn *gàreg dân*, cawn gynllun yr awdwr ei hun yn Salm lxxviii. 16, yn warant, neu o leiaf yn esgusawd:—

*Er tŷnu dwfr o'r* gàreg lâs,
Er llithro 'n loyw frâs ffrydiau, &c.

Y Salmau Gweddïau a ddylid eu cânu ar y Peroriaethau Lleddfon, a'r Salman Mawl ar y Peroriaethau Crason. 1776." Nid ŷm yn gwybod am un ymgais o bwys yn y ganrif ddiweddaf i ddwyn y Salmau i fwy o arferiad, heblaw y ddau hyn, ond eu bod yn cael eu hargraffu yn gyflawn gyda Biblau a Llyfrau Gweddi Rhydychen a Chaergrawnt. Yr oedd yr arferiad lygredig o gyfyngu cȃniadaeth y cysegr i ychydig nifer o gantorion o'r neilltu yn "Llofft y Gân," wedi ei dwyn i mewn, er anfantais fawr i grefydd a duwiolder, gan na fyddai y gynnulleidfa yn cymeryd dim rhan yn yr ymarferiad, am fod y tônau yn fynych yn rhy ddyrys, ac yr ystyrid nad oedd gan y bobl ddim a wnelent â'r gwasanaeth hwnw, ond bod y côr dirprwyol yn ei gyflawni yn gampus trostynt. Ychydig iawn a ddefnyddir arnynt gan yr Ymneillduwyr, oddieithr ymysg y Methodistiaid Calfinaidd: gwneir mwy o ddefnydd o honynt ganddynt hwy na chan yr holl enwadau eraill ynghyd. Y casgliadau Salmau a Hymnau diweddar sydd yn cynnwys mwyaf o honynt yw y SALMYDD CYMREIG a'r HOSANNA: y mae pob un o'r ddau wedi dilyn diwygiad y Parchedig Peter Williams ac eraill mewn amryw bennillion, ac yn cynnwys rhai cyfansoddiadau diweddar, ynghyda phigion o Salmau Dr. Watts, cyfieithiad Dafydd Jones, er mwyn amrywiaeth. Dewisa rhai alw detholion o'r fath yn Hymnau, seiliedig ar y Salmau neu ranau o honynt, yn hytrach na Salmau, Nid yw y gwahaniaeth o nemawr bwys.

Yr eglurhâd goreu ar gynllun Edmwnd Prys yn y gwaith o gyfieithu a chyfansoddi y Salmau, yw yr hyn a ysgrifenodd ef ei hun fel rhaglith iddynt; a chan nad oes ond ychydig iawn o'i waith mewn rhyddiaith wedi ei gadw, ni a'i dodwn yma yn gyflawn:—

"LLYTHYR AT Y DARLLENYDD YSTYRIOL.

"Tri pheth a wnaeth na chyfieithwyd y Salmau bendigaid ar yr un o'r pedwar mesur ar hugain.

"Un yw, Am na allwn ryfygu clymu yr Ysgrythyr Sanctaidd ar fesur cyn gaethed; rhag i mi wrth geisio cadw y mesurau, golli deall yr Ysbryd, ac felly pechu yn erbyn Duw er mwyn boddloni dyn.

"Yn ail, Y mae gair Duw i'w gânu mewn cynnulleidfa sanctaidd o lawer ynghyd, i foliannu Duw yn un llais, un feddwl, un galon; yr hyn a allant ei wneuthur ar y mesur gwael hwn, ac ni allai ond un gânu cywydd neu awdl.

"Yn drydydd, Pob plant, gweinidogion, a phobl annysgedig, a ddysgant bennill o garol, lle ni allai ond ysgolaig ddysgu cywydd neu gerdd gyfarwydd arall. Ac o achos bod yn berthynol i bob cristion wybod ewyllys Duw, a'i foliannu ef, mi a ymadewais â'r gelfyddyd, er mwyn bod pawb yn rhwymedig i wario ei dalent ar y goreu. Hefyd, nid wyf fi yn cadw mo'r mesur esmwyth hwn yn gywir ymhob man, am nad oes dim yn ein hiaith ni mewn synwyr i seinio nac i odli â Duw. Am hyny, i roi iddo ef ei ragor pioedd y gerdd, mi a rois amryw ddiphthongau eraill i gyfatteb â'r gair hwnw yn nesaf ag y medrwn."

Mae yn amlwg wrth y llythyr hwn ei fod yn deimladol o bwysigrwydd y gwaith a gymerasai mewn llaw, a'i fod yn dra gochelgar rhag gwneuthur dim yn rhyfygus, trwy lŷnu wrth yr hyn a fernid gan feirdd a llênorion yn farddoniaeth reolaidd a chyfreithlawn, sef yr hyn a elwir yn "bedwar mesur ar hugain cerdd dafod." Yr oedd caethder ac anfuddioldeb y gyfryw farddoniaeth yn ddigon eglur, oddiwrth yr hyn a wnaethid eisoes yn y ffordd hono.

Peth arall sydd i'w weled yma yw y syniad cywir oedd ganddo am ganiadaeth eglwysig, sef bod "gair Duw i'w gânu mewn cynnulleidfa sanctaidd o lawer ynghyd, i foliannu Duw yn un llais, un feddwl, un galon." Yr oedd y syniad gwir Brotestanaidd hwn eto yn lled newydd i'r Cymry, gan nad arferai y Pabyddion gâniadaeth gynnulleidfäol, ond cyfyngu y gwasanaeth yn gwbl i'r mynachod a'r offeiriaid, yr hyn a gyflawnid ganddynt hefyd mewn iaith nad oedd y bobl yn ei deall. Yr oedd sain cân a moliant "mewn cynnulleidfa sanctaidd o lawer ynghyd" wedi llwyr ddystewi er ys oesoedd meithion, dan gyfundrefn dywell, orthrymus, a dïnystriol y Babaeth. Y mae yr awdwr hybarch trwy y gwaith hwn yn gwneyd ymgais têg i adferu i'r bobl eu hawlfraint i foliannu Duw yn ei dŷ er eu hadeiladaeth a'u cysur.

Yr ydoedd yn gryn hunanymwadiad i fardd proffesedig gyfansoddi y Salmau ar fesur rhydd. "Ymadewais â'r gelfyddyd," meddai, "er mwyn bod pawb yn rhwymedig i wario ei dalent ar y goreu," ac y mae yn galw y mesur esmwyth ar ba un y cânai yn "fesur gwael." Ni fuasai raid iddo wneyd y fath addefiad pe buasai yn gyfarwydd yn Rheithiadur Cerdd Dosbarth Morganwg. Mewn canlyniad i weithrediadau Eisteddfod fawr Caerfyrddin, yn y flwyddyn 1451, pallodd "mwynder Morganwg" âg ymostwng i ormes rheolau caethiwus Dafydd ab Edmwnd, a arosodwyd gan yr Eisteddfod hono, am yr hyn y mae y trefniant yn cael ei alw "Dosbarth Caerfyrddin," a gwnaethant ardystiad gwrol a phenderfynol yn eu herbyn. Mae "Dosbarth Morganwg" yn cyfreithloni dyrif neu fesur rhydd, fel y gwelir yn amlwg yn "Nghyfrinach y Beirdd;" ac yn ei restru fel y pymthegfed a'r olaf o'r gogolofnau, neu bymtheg colofn adlaw cerdd dafod. Fe ei gelwir Dyrif neu garol, cerdd arwest, cerdd gainc, neu gân deuluaidd, am y gellir dadganu y cyfryw bennillion gyda thôn, yr hyn ni ellir ar braidd yr un o'r mesurau eraill o'r pedwar ar hugain. Fel hyn y dywed y Rheithiadur crybwylledig:—

"Goreu o'r holl fesurau yw dyrif gyda thôn goslef ym mraint a llithrigrwydd, gan fod yr acen yn wastad ar y bànau a'r pennillion, ac felly yn fwy pereiddlais nag un mesur arall. Y mae dyrif yn oreu gyda thôn o'i bod yn odli yn gyflwyr ddigynghanedd, am y gellir o hyny arwain y crebwyll a'r dychymyg yn fwy rhywiog, a'r ymadroddion, a'r synwyr, yn fŷrach ac yn eglurach. Barned y cywrain awengamp."

Dangosir hefyd fod rhywiau pennillion dyrif yn aneirif, ac felly eu bod yn darparu rhyddid i'r awen i chwareu yn hoenus mewn amrywiaeth ymron diderfyn. Pe buasai E. P., meddwn, yn gyfarwydd â'r "gyfrinach" hon, gwelsai yn amlwg y gallasai ddefnyddio amrywiaeth mawr o fesurau, ac eto bod o fewn terfynau cyfreithlawn "pedwar mesur ar hugain cerdd dafod," a chael y fantais hefyd o odli yn ddigynghanedd,* gan mai cyfansoddi yr oedd at wasanaeth cantorion goslef, ac addoliad Duw yn gynnulleidfäol.

* "Mesurau arwest y galwai yr hen awduron y cyfryw fesurau, a mesurau cerdd deulu. Cerdd arwest yw yr un a genir ar acen gyttrefn, a chydbwys y bànau cyfatteb ymhob pennill, er cydgyfatteb bob un o henynt i'r gainc. Am hyny cerdd gainc ei gelwir yn fynych; ac nid rhaid gorchestion cynghanedd ar y cyfryw gerddi. Gwell gadael y blaen yn rhydd i synwyr uniannawl a myfyrdod afieithus, ac ymadroddion serchogion; sef gwell diddanwch na gorchest ar gerdd arwest a cherdd deuluaidd; a phrif-orchest caniadaeth y cyfryw gerdd yw corfanau cyweirgainc a llithrigion, a'u cadw yn cydgyfatteb ar yr holl bennillion, fal y bo hawdd gwisgo'r gainc amdenynt."—*Iolo Morganwg*. Gwel Y BRYTHON, 1860, tu dalen 314.

Nid oes gan Edmwnd Prys ond pedwar o fesurau yn y cwbl, sef y Mesurau Cyffredin Cymreig, a elwir fynychaf Mesur Salm; y Mesur Byr Cymreig, ar y Salm li. a lxvii.; y Mesur Hir, ar y Ganfed Salm; y Mesur 113 (*Old* 113*th*, Nashville), ar y Salm cxiii. a cxiv. Yr oedd Sternhold a Hopkins wedi defnyddio mwy o amrywiaeth mesurau, a Marot a Beza fwy na hwythau. Ni anturiodd Edmwnd Prys gyfansoddi ar yr Hen ddegfed a deugain (*Old* 50*th*), yr Hen bedwaredd ar ol y ganfed (*Old* 104*th*, a *Hanover*), yr Hen ddeuddegfed ar ol y cant (*Old* 112*th*, *Gweddi Luther*), yr Hen eilfed ar hugain ar ol y cant (*Old* 122*nd*, neu *St. Ambros*), yr Hen ganfed a phedair ar hugain (*Old* 124*th*, *Navarre*), na'r Hen ganfed ac wyth a deugain (*Old* 148*th*). Y mesur cyntaf a nodwyd yw ei Fesur Cyffredin ef (sef 8, 7; 8, 7), ar ba un y cyfansoddodd y Salmau oll namyn y pump a enwyd uchod. Yn iaith beirdd Morganwg, "Dyrif Ban Cyrch" ydyw, "ar y gyhydedd wastad a'r un lefn," bob yn ail braich neu linell, "ac yn frithodl," h.y., bod odliad y pennillion yn amrywio, ac nid yn unffurf drwy y gân. Mae adeilad y pennillion ar y mesur hwn yn goddef rhywfaint o amrywiaeth yn yr odl gyrch yn yr ail a'r bedwaredd linell; gellir trefnu yr odl ar yr ail, y drydedd, y bedwaredd, neu y bummed sill, fel y byddo yr angen; ond y mae yn gyffredin yn fwyaf grymus a pheraidd pan yn disgyn ar y brif orphwysfa; yr hon sydd yn fwyaf naturiol ar y bedwaredd sill. Mae yn well hefyd ar y drydedd nag ar yr ail neu y bummed; os ar yr ail, mae y llostodyn, neu y gweddill o'r ban, i'w glywed braidd yn hir, ac os ar y bummed, braidd yn fỳr, mewn cyfartaledd i'r adran flaenaf, ac felly rywfaint yn wanach. Canfyddir hyn yn eglurach wrth y pennillion canlynol:—

Ti a oleui 'nghanwyll i;
  Am hyny ti | a garaf:
Tydi a drôi fy nos yn ddydd,
  A'm tywyll fydd | goleuaf.*—xviii. 28.

* yr odl gyrch ar y brif orphwysfa.

Am hyn canmolaf di yn rhwydd,
  O Arglwydd | Dduw y lluoedd:
Canaf dy glod; a hyn fydd dysg
  Ym mysg | yr holl genhedloedd.†—*adn*. 49.

† yma ar y drydedd a'r ail sill.

Felly tra f'wyf fi fyw y gwnaf,
  Ac felly 'th folaf | eto;
Ac yn dy enw di, sydd gu,
  Y câf ddyrchafu ' nwylo.‡—lxiii. 4.

‡ ac yma ar y bummed.

Os bydd y corfanau yn gywir, ceir bod yr odl gyrch, fel y brifodl, yn dderchafedig ar yr ail ac ar y bedwaredd sill; ac yn ddisgynedig ar y drydedd ac ar y bummed sill, fel y gwelir uchod; ond y mae Edmwnd Prys yn fynych yn amrywio oddiwrth hyn, ac yn syrthio i un o'r beïau anafus sydd yn ei waith, sef cam-aceniad, yn enwedig ar y corfanau canol ac olaf yn y llinellau. Os dilynir aceniad priodol y mesur wrth ei ddarllen, bydd y brydyddiaeth yn llusgo yn annyben; ac os cedwir acen naturiol y geiriau, gwna hyny gorfaniad chwithig, fel y mae y naill a'r llall yn peri i'r pennill fod yn anystwyth, ac mor bell a hyny yn ddiflas. Gwir y goddefir corfan gwahanol, megys un rhywiog yn lle y talgrwn, weithiau yn nechre llinell neu adran, yr hyn a wneir gan

y prydyddion goreu er mwyn amrywiaeth, ac nid yw hyn yn peri nemawr o anfantais i'r darllenydd nac i'r cantor. Yn yr enghreifftiau canlynol, heblaw eu bod yn cynnwys y bai a elwir "twyll yn y mydr," neu gam-aceniad, gwelir bod y bàn cyrch yn aml, yn lle odli, yn cyrchu math o draws neu groes-gynghanedd oddiwrth ddiwedd y linell gyntaf yn y bàn, yn debyg fel y gwneir â'r gair cyrch mewn Englyn Unodl Union:—

Mi orweddais, ac a gysgais,
Ac mi a godais | gwedi.—iii. 5.

Ofnwch, a thewch, ac na phechwch,
Meddyliwch | ar eich gwely.—iv. 4.

Mi orweddaf ac a hunaf,
A hyny | fydd mewn heddwch.—iv. 8

Deddfau Duw Iôn ydynt union,
Llawenant galon | ddiddrwg.—xix. 8.

Can's aberth nis ceisi,
Ni fỳni | offrwm poeth.—li. 16.

Erioed ni cheisiodd wneuthur hêdd,
Na thrugaredd | i ddyn gwan.—cix. 16.

Y nef, ïe, 'r nefoedd uwchlaw,
Sy yn eiddaw | Duw yr Iôn:
A'r ddaear, lle y preswyliant,
A roes ef i blant | dynion.—cxv. 16.

Digoned hyn o blith cannoedd o rai cyffelyb. Dïau y buasai yr Archddïacon yn ymegnïo i ochelyd y beïau a nodwyd pe buasai wedi sylwi yn fanylach ar "ansawdd angen y mesur" hwn, yn ol y rheol ganlynol neu ei chyffelyb:—

"Da cadw lledwastad acen ar hyn o fesur; eithr nid rhaid ei bod yn rhy wastad, gwell amgen ychydig; a chyd na bo'n gwbl cystal y golofn hon o barth cânaidaeth a llawer un arall, y mae yn oreu oll er cynnal rhagorgamp synwyr a myfyrdod."—*Cyf. y Beirdd*, tu dalen 93. [Ffurfir y M. S. o bedwar corfan talgrwn i'r llinell gyntaf, tri i'r ail, gyda sill ysgafn ychwanegol; a'r un modd am y ddwy linell olaf i'r pennill.]

Mae yr awdwr yn ei lythyr rhagflaenol yn addef nad yw "yn cadw mo'r mesur esmwyth hwn yn gywir ymhob man;" ond yr unig enghraifft y cyfeirir ati yw, "nad oes dim yn ein hiaith ni mewn synwyr i seinio nac i odli â Duw," h. y., â'r gair "Duw," gan nad yw y deuseiniad *uw* yn dygwydd mewn un gair Cymraeg arall heb gydsain yn dilyn; ac am hyny ddarfod iddo "roi diphthongau [deuseiniaid] eraill i gyfateb â'r gair hwnw," oreu ag y medrai. Nid oedd eisieu gwneyd dim yn well na hyn, gan fod y deuseiniaid *yw* mewn geiriau unsill, a silliau eraill heb fod dan acen, yn odli yn berffaith unllef unsain âg *uw*; a mympwy ofer a'i gwrthodai mewn cân yn y byd, caeth na rhydd, am nad yw yn ymddangos felly i'r golwg yn gystal ag i'r glust. Odliad anmherffaith ydyw *iw* âg *uw*, a ddefnyddir ganddo weithiau yn lled gynnil. Y mae ganddo rai odliadau anmherffaith eraill; ond ar y cyfan, y mae wedi bod yn ofalus i gadw odlau cywir. Sylwer ar yr enghreifftiau hyn:—

Fy Nâf, fy nerth, fy nawdd, fy Nuw,
Hwn yw | fy holl ymddiried.—xviii. 2.

Y ddaear crynodd o flaen Duw,
A'r nef roes amryw | ddefni.—lxviii. 8.

Bydd di gysurus yn dy Dduw,
Di gei bob gwiw | ddymuniad.—xxxvii. 4.

Ceir *diffyg* yn odli â *diddig*, ac *addewid* âg *iechyd*, yn cxix. 81, 82; *ni chad* (ni chaed), *pan gad* (pan gaed), i odli â *gwlad*, yn cv. 28, 38; *mynegy* â *hyny*, yn xliv. 1, lle y buasai *mynegu* yn gywir, ac o ran sain yn odli yn berffaith ddifai. Yn ciii. 19, y mae *peth* â *brenini'eth* (brenhiniaeth) yn cyfodli; ac y mae rhai geir-dòriadau eraill cyffelyb i'w gweled ganddo weithiau.

Gallesid arfer dull arall o bennill ar y mesur hwn, yn gofyn llai o odlau, sef trwy ddefnyddio "odl dderchafedig ac un ddisgynedig, wers tra gwers," h. y., peri i'r llinell flaenaf a'r drydedd, a'r ail a'r olaf gyfodli; fel hyn:

Mi gefais dd'od i blith y saint,
Ar Seion, fryn dewisol;
Yr wyf yn sŷnu wrth y fraint
A ddaeth i mi mor rasol.

Cyfarfyddir âg ambell wall cystrawenol, a rhai geiriau heb fod yn y dull cywiraf: megys *enwir* yn lle anwir; *golwg trawsion*, golygon trawsion, neu, golwg traws fuasai yn gywir; *gefyn heiyrn*, gefynau heiyrn; *sy'n greddf*, sy'n reddf, neu yn greddfu; *yn gwblol*, yn gwbl; *ang'reugar*, angharedig; *digasau*, caseion, rhai dygas, neu ddygasog: "drygioni dygas," adgas, ffiaidd, (li. 5). *Dinesydd* yn lle dinasoedd; "dinesydd" yw un yn meddu braint ddinasyddol. *Amrwd ddyfnder*, amrwth ddyfnder *(yawning deep)* lxix. 15.

Y canlynolion ŷnt eiriau Seisonig: *cwrs*, course; *trap*, croglath: *bablwr* (babbler), gwâg-siaradwr; *oel* (oil), olew; *scwrs* (scourge), ffrewyll; *yn brae* (a prey), ysglyfaeth; *sclandrwr* (slanderer), enllibiwr; *statudoedd* (statutes), deddfau, gosodiadau; *gwifr* (quiver), cawell saethau: *nasiwn* cenedl.*

Y mae rhai gwallau argraffyddol wedi cael eu gadael heb eu cywiro yn yr argraffiadau diweddar oll, hyd y gwelsom ni. Yn xix. 11, yn lle *yr holl gam*, darllener *yr holl gamp*; lii. 6, yn lle *ddilen*, dar. *ddyben*. lv. 20, yn lle *cyfaredd*, dar. *clyfaredd*, h. y. cylafaredd neu cyflafaredd. Gwel Dr. Davies d. g. cyflafaredd. civ. 17, yn lle *gwyswydd* neu *gwysgwydd*, dar. *glwyswydd*: y mae "glwyswydd glŷn" E. P. yn brydferth a

* Yn ein nodiad ar y gair *ifyrn*, yn y rhan gyntaf o'r erthygl hon, dyleaid dywedyd mai "llunweddiad Cymreig o'r Lladin *eburneus* (o *ebur*—ifori)" ydyw "ifyrn" yr archiagon. Tŷner ymaith derfyniad y gair Lladin, ac ni saif ond *eburn* ar ol; ac nid oes ond cyfnewidiad bychan yn eisieu cyn gwneuthur hwnw yn *ifyrn*." Fel enw gwan yr arferir y gair yn y ffurf yma, heb fod yn lliosog mwy nag unigol. Mae gan y beirdd amryw ffurfiau o'r enw cadarn *ifori*, megys *ifri*, *efri*, *ifor*, y rhai a gymerant yr acen Gymreig, yr hyn sydd ammod o Gymreigiad geiriau estronol, megys y gwelir wrth y geiriau *ffurfafen*, *saerafen*, *testafen*, &c. Mae *testament*, *sacrament*, a'r cyfryw, yn cadw eu hacen wreiddiol, ac felly yn parhâu yn estroniaid.—Gwel Dr. Davies, d. g. *Eburneus*, a Geiriadur D. S. Evans, d.g. *Ivory*. Hefyd, "Llythyraeth y Gymraeg," gan yr un, t.d. 76, &c.

phêrseiniol. Mae eisieu ysbryd yr hen Thomas Jones o'r Amwythig i *geryddu'r* wasg tua Rhydychen a Chaergrawnt, am adael i'r anafau hyn ddïanc yn y naill argraffiad ar ol y llall heb eu diwygio. Maent yn gywir yn yr hen argraffiadau.

Mae y cyfansoddiad yn gyffredin yn cydfyned â'r cyfieithiad awdurdodedig, oddieithr ei fod yn alleirio neu yn ymhelaethu ychydig, fel math o eglurhâd neu esboniad, ar ambell adnod. Yr oedd yn rhy anhawdd iddo ochelyd hyn yn achlysurol, er ei fod felly yn ddarostyngedig i chwanegu rhyw elfenau o'i eiddo ei hun at feddwl y gwreiddiol; ac yr oedd troi syniadau adnabyddus y cyfieithiad rhyddieithol ar gynghanedd yn orchwyl mwy caeth na phe buasai y bardd yn cynnyrchu rhywbeth o'i ddarfelydd ei hun. Efelly pan fyddo Salm ar gân yn swnio yn fwy anfarddonol na'r unrhyw mewn rhyddiaith, o herwydd rhyw ddiffyg yn y mydr neu yn yr ymadrodd, mae yn syrthio yn ddiflas ar y glust, ac yn peri gwrthdarawiad yn y meddwl. Ond, a chymeryd yr holl amgylchiadau i ystyriaeth, y mae y sylw canlynol o eiddo Mr. Charles, gyda golwg ar y cyfieithiad, yn dêg a rhesymol:—"Er bod rhai llinellau yn anystwyth, a rhai geiriau yn annealladwy i'r cyffredin, yn nghyfieithiad yr Archdïacon Prys, eto, a'i olygu i gyd gyda ei gilydd, rhaid i bawb deallus ei farnu yn orchestwaith rhagorol, a'i fod yn rhoddi meddwl yr Ysbryd Glân allan mor gywir ag a wnawd neu a ellir ei wneyd mewn un cyfieithiad. Y mae ei gyfansoddiad yn beraidd ei flas, yn aml yn ardderchawg, ac adeiladol."*

Gall y nodiadau canlynol, ysgatfydd, fod o beth dyddordeb i rai, ac yn eglurhâd ar yr hyn a ddywedwyd. Mae cyfieithiad E. P. o lxviii. 11, "Yr Arglwydd a roddes y gair: mawr oedd myntai y rhai a'i pregethent," yn gwahaniaethu fel hyn:

Yr Arglwydd Dduw a roddai 'r gair,
Mawr mintai 'r cantoresau.

Mae dwy linell yr Archdïacon yn tra rhagori ar bennill Sternhold ar yr adnod, sydd mewn rhan yn rhoddi yr un golygiad; ond y mae Tate a Brady, yn eu pennillion alleiriadol hwy, yn cynnwys y ddau gyfieithiad, tra mae y *Scotch Version* yn cyfateb i'r Bibl Cymraeg. Ceir y rheswm am y gwahaniaeth, gyda rhai addysgiadau buddiol, yn Esboniad James Hughes ar yr adnod. Cofier mai *cantoresau* a ddywedir, ac nid *pregethwresau;* cantoresau yn clodfori Duw am lwyddiant a buddugoliaeth y gair yn y pregethiad neu y cyhoeddiad o hóno.

Ystyrir ei alleiriad o xlix. 14, 15, yn dra rhagorol, a chafodd ei gânu lawer gwaith gyda theimlad dymunol ar làn y bedd, wrth osod gweddillion rhai o'r hen bererinion i orphwys yno hyd fore caniad yr udgorn.

Angeu yw terfyn pob dyn byw,
I hwn nid yw ond tamaid:
Myned sy' raid o'r tŷ i'r bedd,
Yn rhwym un wêdd a'r defaid.

Daw dydd i'r cyfion, drannoeth têg,
Daw im' ychwaneg ystyn:
Daw im' o'r bedd godiad i fyw,
Deheulaw Duw a'm derbyn.

* *Trysorfa, Llyfr* II. *td.* 404.

Wrth yr "ychwaneg ystyn" y meddylir yn ddiammheu estyniad oes neu fodolaeth mewn tragywyddol ddedwyddwch yn ganlynol i adgyfodiad y corff y dydd mawr a ddaw. Dyma alleiriad arall teilwng o sylw, yn lxxvi. 9, 10.

I farnu pan gyfododd Duw,
I gadw yn fyw y gwirion,
A'r rhai oedd lonydd yn y tir,
Yr oeddyn' gywir galon.

Can's poethder dyn yw dy fawl di;
Felly gostegi drallod:
Eu gwrês, i'r da a fâg gref ffydd;
I'r drwg, a fydd yn ddyrnod.

Mae yn gofus genym glywed y diweddar Barch. Richard Humphreys, o'r Dyffryn, yn coffâu gyda chymeradwyaeth olygiad E. P. ar cx. 7, "Efe a ŷf o'r afon ar y ffordd: am hyny y dyrcha efe ei ben," fel yn gosod allan y cysuron oeddent yn cynnal y Gwaredwr i fyned trwy ei ddyoddefiadau, nes cael llwyr oruchafiaeth ar ei holl elynion, a chael derchafu ei ben yn ei ogoneddiad ar ddeheulaw Duw:—

O wir frys i'r gyflafan hon,
Fe ŷf o'r afon nesa'
A gaffo ar ei ffordd yn rhwydd;
A'r Arglwydd a'i derchafa.

Y mae P. W. yn alleirio yr adnod i'r un ystyr, ond yn bellach oddiwrth lythyren y gwreiddiol:—

Y'ngharîad Duw, fel afon lôn,
Yn gyson ymgysura;
Gorchfyga angeu, ac ar frys,
I nefol lys dyrchafa.

Gwel hefyd ei sylwad yn y Bibl Teuluaidd, a'r sylw olaf gan James Hughes ar yr adnod.

Edrychir ar y cyfieithiadau canlynol braidd yn ddiffygiol mewn chwaeth, o ran bod yr iaith yn isel, ac felly yn anmhrïodol; dichon nad oedd yn cael ei hystyried yn gwbl felly yn oes yr awdwr:—

—— ysu fy mhobl, a'u cil droi,
Un wedd a chnoi y bara.—xiv. 7.

Pwy a all ddïanc, ac ni ddaw
Y gaib a'r rhaw i'w guddio?—lxxxix. 48.

Y maleisus tŷn Duw o'r byd,
Am ei chwŷd o anwiredd.—xciv. 23.

Ein holl flynyddoedd yw saith deg;
Dau bump chwaneg, os bydd grym.—xc. 10.

Mae y geiriad hwn yn dwyn i'n meddwl yr hen arfer o gynghaneddu blwyddyn yr Arglwydd mewn Carolau Nadolig a Marwnadau, yr hyn a wneid fynychaf yn ddigon anfarddonol.

Wedi'r cyfan, synwyd ni yn ddirfawr, beth amser yn ol, wrth weled un o bennillion melusaf a mwyaf poblogaidd E. P. yn cael ei godi fel enghraifft o ddull beïus emynwyr yn nefnyddiad iaith ffugyrol.

"Y mae awdwyr emynau," medd yr ysgrifenydd hwn, "mor euog a neb o gymysgu a bradychu y ffugyrau ysgrythyrol; megys,

Y rhai a blànwyd yn nhŷ Dduw
Yn goedwydd byw y tyfant;
Ac yn nghynteddoedd ein Duw ni
Y rhai'ny a flodeuant.

"Geni a magu mewn tŷ, plànu mewn gwinllan neu ardd. Y mae yn wir fod tŷ mor gyffredin yn y dwyrain, a'i fod yn cael ei draws-enwi mewn llawer iawn o amgylchiadau; galwant yr esgid yn dŷ y troed, y faneg yn dŷ y llaw, a'r wisg yn dŷ y corff; am hyny, sonir am wisgo â'r tŷ sydd o'r nef; ond nid yw hyn yn ddigon o sail i ni arfer y cyfryw ddull, mwy na 'phlànu mewn tŷ.'"—*Ieithiadur Athronyddol, H. Hughes, Tegai,* td. 206, 3ydd arg.

Mae yn debyg i'r awdwr ysgrifenu y pennill salm oddiar ei gôf, gan feddwl mai pennill o hymn o waith rhywun ydoedd; ond pe cymerasai bwyll i droi at gyfieithiad E. P. o'r Salm xcii. 13, gallasai weled fod y cyfieithydd wedi cadw yn ffyddlawn at feddwl prydferth yr Ysgrythyr, ac iaith ffugyrol y Salmydd, heb ychwanegu at, na thynu oddiwrth, wir ystyr, a llawer llai "gymysgu a bradychu y ffugyrau Ysgrythyrol." Mae yn dra eglur fod "tŷ yr Arglwydd," fel y cyfeirir ato yma, nid yn unig yn cynnwys y deml briodol, ond yr holl adeiladau perthynol, a'r cynteddau o amgylch. Dywed rhai, er nad oedd y deml ei hun yn adail fawr, bod y cyfan a berthynai iddi yn gorchuddio ynghylch 19 o erwau o dir. Yr oedd cyntedd y Cenhedloedd yn ëang, ac fel y cynteddau eraill, heb dô arno; a ydyw yn annhebyg, ynte, fod yno goed wedi eu plànu ar ryw gŷrau iddo, er prydferthu y lle, a bod y Salmydd yn cyfeirio at y rhai hyny yn tyfu ac yn blodeuo? Ni ddywedir, mae yn wir, yn hanes y deml, eu bod yno, ac ni ddywedir ychwaith nad oeddynt; ond gwyddom fod yn ein gwlad ni eglwysdai a chapelau â choed tirfion ac îraidd wedi eu plànu o'u hamgylch er harddwch ac addurn yn unig. Pa fodd bynag, yr oedd y gwaith coed yn y deml, yn gedrwydd, palmwydd, ffynidwydd, ac olewydd, wedi cerfio arnynt gnapiau a blodau agored, ac addurniadau eraill, ac oll wedi eu gwisgo âg aur pur; fel y mae y cyfeiriad yn y ffugyr yn y naill ystyr neu y llall yn dra naturiol a barddonol, a'r trosglwyddiad o hóno i'r iaith Gymraeg yr un mor briodol. Mae cyfeiriad cyffelyb yn Salm lii. 8. Addefwn y gallesid cael pennillion o hymnau yn cynnwys y bai a nodir uchod; ond yr ydym yn beiddio dywedyd bod ein beirddfeirniaid, wrth drin emynau, yn fynych yn euog o ysgrifenu cryn lawer o ffolineb, fel yn y dyfyniad uchod. Yr oedd Edmwnd Prys, wrth gyfieithu y Salm, yn gwybod pa beth yr oedd yn ei gylch, ac y mae y pennill uchod yn un o'r rhai ystwythaf a mwyaf naturiol yn yr iaith; ond nid yw y rhanau eraill o'r Salm mor rwydd, er bod yr ystyr yn sylweddol a da. Cymharer yr aralleiriad ar ddiwedd yr ysgrif hon.

Yn yr argraffiad o'r Salmau Cân yn niwedd y Bibl Teuluaidd (yn 1770), anturiodd y Parchedig Peter Williams i gyfnewid cryn lawer ar gyfansoddiad yr Archddïacon. Mae yn rhoddi ei reswm neu ei esgusawd dros hyny mewn nodyn sydd yn dilyn y "Llythyr at y Darllenydd ystyriol." Mewn cyfeiriad at y llythyr hwnw, dywed fel hyn:—

"Y mae yr Hysbysiad uchod yn synwyrol, a'r rheswm a roddir am y mesur yn dda ragorol; eto ganJ feddwl fod yn bosibl rhwyddhâu rhai manau o brydyddiaeth y Parchedig Mr. Edmund Prys, a gwneuthur y gân yn llithrig, heb newid y mesur, na niweidio'r

synwyr, myfi a anturiais gymeryd y gwaith mewn llaw. Nid wyf, yn gyffredin, yn anghytuno â'r Arch-ddiacon mewn perthynas i feddwl y Psalmydd; ac yn fynych, yr wyf yn gollwng y cyfansoddiad i fyned fel yr oedd, heb amrywio'r mesurau, oddieithr Psalm neu ddwy.* Fy amcan yw gwneuthur y Psalmau yn fwy blasus i'w cânu, fel y delo dynion i'w caru, ac i garu Ysbryd Crist sy'n anadlu trwyddynt. Canys nid wyf fi yn astudio barddoniaeth reolaidd, ond adeiladaeth Crist'nogaidd; ac ar i'r dalent a dderbyniais ynnill clôd dau-ddyblyg i Dduw, a diddanwch diddiwedd i'r darllenydd, y gweddïaf tra fyddwyf.—PETER WILLIAMS."

Gwelwn wrth y nodyn hwn fod yr amcan yn dda a chanmoladwy; ond rhaid addef fod amryw o'r cyfnewidiadau a wnaed yn ymddangos yn afreidiol, a chryn nifer o honynt yn waethygiad yn hytrach na gwelliant, yr hyn a barodd i lawer feïo P. W. yn drwm am feiddio cyfnewid, na cheisio ystwytho dim ar waith Edm. Prys. "Er mwyn pob peth, gadawer y Salmau fel ag y maent," ydoedd dyfarniad Dafydd Ddu o Eryri. "Gresyn o'r mwyaf oedd i'r hen Peter Williams eu diwygio a newid y prifodlau!!! diwygio gwaith Edmwnd Prys yn wir!!!" meddai y diweddar Mr. Ellis Owen, Cefnymeusydd.† Mae rhai yn myned mor bell a chollfarnu pob ymgais i ddiwygio gwaith neb, pa angen bynag a fyddo am welliant, ac yn ei ystyried braidd yn drosedd moesol; os felly, ni ddylasai y Dr. Morgan ddiwygio cyfieithiad W. Salesbury o'r Testament Newydd, a rhanau eraill o'r Ysgrythyrau, ac mai anweddaidd oedd i'r Esgob Parry a'r Dr. Davies gynnyg diwygio dim ar gyfieithiad Dr. Morgan. Yr ydym yn tybied fod y beirniaid yn myned braidd yn rhy bell. Er fod y nifer mwyaf o'r newidiadau a wnaed yn y Salmau yn gwanhâu y brydyddiaeth yn fawr, nid yw yn canlyn fod y cwbl o honynt felly. Mae rhai llinellau a phennillion wedi eu haralleirio yn dra manteisiol, lle yr oedd y cyfansoddiad cysefin yn anystwyth ac anhawdd ei ddeall; ac y mae amryw o'r diwygiadau hyn wedi derbyn cymeradwyaeth mewn arferiad lled gyffredinol o honynt. Cymerwn ein rhyddid i gyflwyno i sylw y detholion canlynol a dynwyd allan genym er ys mwy na deugain mlynedd yn ol, a barned y darllenydd drosto ei hun; ac er mwyn gwneyd y gorchwyl yn esmwyth iddo, rhoddwn y pennillion cysefin a diwygiedig yn gyferbyniol, ac o'u blaen yr adnodau o'r Salmau, ar ba rai y maent yn seiliedig.

SALM i. 4: "*Nid felly y bydd yr annuwiol; ond fel mân ûs yr hwn a chwâl y gwynt ymaith.*"

| EDMWND PRYS. | PETER WILLIAMS. |
|---|---|
| Nid felly bydd y drwg di-rus,<br>Ond fel yr ûs ar gorwynt;<br>Yr hwn o'r tir a'i chwyth, a'i chwâl,<br>Anwadal fydd ei helynt. | Nid felly mae 'r annuwiol ddyn,<br>Anhydyn ac anhywaith;<br>Ond fel mân ûs, anhapus hynt,<br>A chwyth y corwynt ymaith. |

Mae P. W. yma, dybygem, rywfaint yn nês i'r cyfieithiad awdurdodedig; mae y linell olaf gan E. P. yn cyfateb yn dda i gyfieithiad Sternhold a Hopkins,—"*Is driven to and fro.*" Yn y 5ed adn. mae "ffyrdd

* Newidiodd fesur y xxiv. o'r Mesur Salm i'r Mesur Bŷr Cymreig, a thrwy hyny fe'i gwnaed yn fwy anystwyth nag o'r blaen. Nid ydym wedi canfod iddo newid y mesur yn un man arall ond ar y Salm hon. † Mewn llythyr a dderbyniodd yr Ysgrifenydd oddiwrtho ychydig fisoedd cyn ei farwolaeth, oddiwrth ba un y cafwyd rhai awgrymiadau a fuant o gynnorthwy yn mharotöad yr erthygl hon.

ffyddloniaid" yn taraw yn well ar glust y werin na "ffyrdd gwirioniaid," fel y mae, yn ddigon cywir, ond nid mor ddealladwy i bawb, gan E. P.

iii. 5: *"Mi orweddais, ac a gysgais, ac a ddeffröais; canys yr Arglwydd a'm cynnaliodd."*

| | |
|---|---|
| Mi orweddais, ac a gysgais,<br>Ac mi a godais gwedi;<br>Canys yr Arglwydd oedd i'm dal,<br>I'm cynnal, ac i'm codi. | Gorweddais, cysgais felus hûn,<br>Deffröis yn ddiflin gwedi;<br>Canys yr Arglwydd oedd i'm dal,<br>I'm cynnal, ac i'm codi. |

iv. 8: *"Mewn heddwch hefyd y gorweddaf, ac yr hûnaf: canys ti, Arglwydd, a wnei i mi drigo mewn dïogelwch."*

| | |
|---|---|
| Mi orweddaf ac a hûnaf,<br>A hyny fydd mewn heddwch;<br>Can's ti, Arglwydd, o'th unig air,<br>A bair im' ddïogelwch. | Gorweddaf, hûnaf, Arglwydd hael,<br>Gan imi gael dy heddwch:<br>Tydi rhag brâd pob gelyn blin<br>Dy hun yw 'm dïogelwch. |

Yma y mae E. P. yn nês i'r cyfieithiad awdurdodedig, a'i odliad yn gywirach, ond y mae P. W. yn cadw gwell aceniad.

vi. 2: *"Trugarhâ wrthyf, Arglwydd; canys llesg ydwyf fi: iachâ fi, O Arglwydd; canys fy esgyrn a gystuddiwyd."*

| | |
|---|---|
| O Arglwydd, dy drugaredd dod,<br>Wyf lesg mewn nychdod rhybrudd:<br>O Arglwydd, tyr'd, iachâ fi 'n chwyrn,<br>Mae f' esgyrn i mewn cystudd. | O trugarhâ, fy Arglwydd, 'r wyf<br>Yn curio trwy fy ngofid:<br>Mae f' esgyrn briw, a'm cnawd, bob cam,<br>Yn gwaeddi am dy iechyd. |

viii. 2: *"O enau plant bychain a rhai yn sugno y peraist nerth, o achos dy elynion, i ostegu y gelyn a'r ymddïalydd."*

| | |
|---|---|
| Peraist it' nerth o enau plant,<br>A rhai a sugnant beunydd,<br>Rhag d' elynion: tawed, am hyn,<br>Y gelyn a'r dïalydd. | Ti beraist nerth o enau plant,<br>A'r rhai a sugnant beunydd,<br>I ganmol Duw, a dofi dîg<br>Y ffyrnig ymddïalydd. |

xi. 4: *"Gorseddfa'r Arglwydd sydd yn y nefoedd: y mae ei lygaid ef yn gweled, ei amrantau yn profi meibion dynion."*

| | |
|---|---|
| Yr Arglwydd o'i orseddfa fry<br>At y tlawd try ei olwg:<br>Gweithredoedd holl hiliogaeth dyn<br>I'w lygaid ydyn' amlwg. | Yr Arglwydd o'i orseddfa fry<br>At ddynion try ei olwg:<br>Mae cyflwr pawb o tan y nef<br>I'w lygaid Ef yn amlwg. |

xxvi. 6: *"Mi olchaf fy nwylaw mewn diniweidrwydd; a'th allor, O Arglwydd, a amgylchynaf."*

| | |
|---|---|
| Mi olchaf fy nwy law yn lân;<br>Can's felly byddan' f' Arglwydd:<br>Ac a dueddaf tua 'th gôr,<br>Ac allor dy sancteiddrwydd. | Mi olchaf fy nwy law yn rhwydd<br>Mewn diniweidrwydd, Arglwydd;<br>Ac felly 'r âf i'th deml yn hy',<br>At allor dy sancteiddrwydd. |

Yma y mae y ddwy linell flaenaf yn oreu gan P. W., a'r ddwy olaf gan E. P.

xxviii. 14: *"Dysgwyl wrth yr Arglwydd: ymwrola, ac efe a nertha dy galon: dysgwyl, meddaf, wrth yr Arglwydd."*

| | |
|---|---|
| Disgwyl di ar yr Arglwydd da,<br>Ymwrola dy galon:<br>Ef a rydd nerth i'th galon di,<br>Os iddo credi 'n ffyddlon. | Dysgwyl di wrth yr Arglwydd da,<br>Ac ymgysura ynddo:<br>Efe a nertha 'th galon di,<br>Am hyny dysgwyl wrtho. |

xxx. 4, 5, 7, 8: "*Cenwch i'r Arglwydd, ei saint ef: a chlodforwch wrth goffadwriaeth ei sancteiddrwydd ef, &c.*"

Cenwch i'r Iôn, chwi ei holl saint,
A maint yw gwyrthiau 'r Arglwydd:
A chlodforwch ef gar ei fron,
Drwy gofion o'i sancteiddrwydd.

Enyd fechan y sai 'n ei ddig,
O gael ei fodd trig bywyd:
Heno brydnawn wylofain sydd,
Y bore ddydd daw iechyd.

Cuddiaist dy wyneb enyd awr,
A blinder mawr a gefais.
Arnat (O Arglwydd) drwy lef ddir,
Fy Arglwydd i, 'r ymbiliais.

Cenwch i'r Iôn ei holl saint ef,
A llawen lef, clodforwch:
Trwy goffa ei sancteiddrwydd pur,
A chalon gywir, cenwch.

Ni phery ei lid ond enyd fer,
Mae 'n ei foddlonder fywyd:
Heno brydnawn wylofain sydd,
Y bore ddydd daw iechyd.

Cuddiaist dy wyneb enyd awr,
A blinder mawr a gefais.
Arnat (O Arglwydd) y rhoes lef,
A'r Arglwydd nef ymbiliais.

xxxiii. 11: "*Cynghor yr Arglwydd a saif yn dragywydd; meddyliau ei galon o genhedlaeth i genhedlaeth.*"

Ond ei gynghor ef oddifry
A bery 'n drag'wyddoliaeth:
A'i galon-fryd efe ei hun,
Uwch pob rhyw un genhedlaeth.

Cynghor yr Arglwydd yn ddilyth
A bery byth yn berffaith;
A holl feddyliau 'i galon wiw
Barhâ i bob rhyw genhedlaeth.

xxxiv. 17: "*Y rhai cyfiawn a lefant; a'r Arglwydd a glyw, ac a'u gwared o'u holl drallodau.*"

Hawdd y clybu fy Naf o'r nef
Leferydd llef y cyfion;
A thra buan (o'i rad a'i rodd)
Y tynodd o'u trallodion.

Hawdd iawn y clyw fy Naf o'r nef
Leferydd llef y cyfion;
Ei weddi gwrendy, ac mewn pryd,
Fe 'i gweryd o'i drallodion.

xxxvii. 18, 19: "*Yr Arglwydd a edwyn ddyddiau y rhai perffaith; a'u hetifeddiaeth hwy fydd yn dragywydd. Nis gwaradwyddir hwy yn amser drygfyd; ac yn amser newyn y cânt ddigon.*"

Sef edwyn Duw ddyddiau a gwaith
Pob rhai o berffaith helynt:
Ac yn dragywydd Duw a wnaeth
Dêg etifeddiaeth iddynt.

Efe a'u ceidw hwynt i gyd
Na chânt ar ddrygfyd w'radwydd:
Amser newyn hwynt-hwy a gânt
O borthiant ddigonolrwydd.

Fe edwyn Duw flinderau maith
Y perffaith, a'u holl helynt;
Ac yn dragywydd Duw a wnaeth
Dêg etifeddiaeth iddynt.

Efe a'u ceidw hwynt i gyd
Na chânt mewn drygfyd w'radwydd:
Mewn amser newyn hwy gânt ran
Digonol gan eu Harglwydd.

lvii. 2: "*Galwaf ar Dduw Goruchaf; ar Dduw a gwblhâ â mi.*"

Ymddiried f' enaid ar Dduw sydd;
Ar Dduw drwy ffydd y galwaf;
Ac a gwblhâf* ei air yn iawn,
Sef cyfiawn yw'r Goruchaf.

Ymddiried f' enaid ar Dduw sydd;
Ar Dduw drwy ffydd y galwaf;
Efe gyflawna 'i air yn iawn,
Can's cyfiawn yw'r Goruchaf.

lxviii. 35: "*Ofnadwy wyt, O Dduw, o'th gysegr: Duw Israel yw efe sydd yn rhoddi nerth i'r bobl. Bendigedig fyddo Duw.*"

Duw, o'th gysegr y'th ofnir di,
Duw Israel, dodi nerthoedd:
A chadernid mawr wyd i'th blaid:
Bendigaid fych oes oesoedd.

Ofnadwy ydwyt ti a'th arch,
Teilwng o barch y bobloedd:
Duw Israel rydd in' nerth wrth raid;
Bendigaid yn oes oesoedd.

* Mae cyfieithiad E. P. yma yn gwahaniaethu oddiwrth bob cyfieithiad arall a ddaeth dan ein sylw. "Cwblhâ â mi," neu *erof fi*, fuasai yn cyttuno yn well â'r darlleniad yn y Bibl Cymraeg.

lxxi. 9, 23: "*Na fwrw fi ymaith yn amser henaint: na wrthod fi pan ballo fy nerth. Canaf i ti â'r delyn, O Sanct Israel. Fy ngwefusa fyddant hyfryd, pan ganwyf i ti; a'm henaid yr hwn a waredaist.*"

Nac esgeulusa fi a'm braint
  Yn amser henaint truan:
Er pallu 'm nerth, na wrthod fi;
  Duw edrych di ar f' oedran.

O Sanct Israel, cânaf hyn
  Ar delyn, ac â'm genau:
Am iti wared f' enaid i,
  Gwnâf iti hyfryd leisiau.

Nac esgeulusa fi a'm braint
  Yn amser henaint egwan:
Er pallu'm nerth, cryfhâ fy ffydd,
  Hyd ddiwedd dydd fy oedran.

I ti, Sanct Israel, hyfryd gân
  A ddadgan fy ngwefusau:
Mawl it' am achub f' enaid llon,
  O'm calon, ac o'm genau.

lxxvi. 8: "*O'r nefoedd y peraist glywed barn: ofnodd a gostegodd y ddaear.*"

Pan ddaeth o'r nefoedd dy farn di,
  Yr wyt yn peri 'i chym'ryd:
Y ddaear ofnodd, a'i holl lu
  Rhoist i ostegu ennyd.

O'r nefoedd peraist glywed barn,
  Duw cadarn wyt trwy 'r hollfyd:
Y ddaear ofnodd, a'i holl lu
  Rhoist i ostegu ennyd.

lxxvii. 11: "*Cofiaf weithredoedd yr Arglwydd; ie, cofiaf dy wyrthiau gynt.*" 19. "*Dy ffordd sydd yn y môr; a'th lwybrau yn y dyfroedd mawrion; ac nid adwaenir dy ôl.*"

Cofiaf dy weithredoedd (f' Arglwydd)
  A'th wyrthiau hylwydd cofiaf.

Yn eigion môr mae y ffordd dau,
  A'th lwybrau mewn deifr sugnedd;
Ac ni adwaenir byth mo'th ôl
  Yn dy anfeidrol Fawredd.

Dy waith, O Dduw, coffâf yn rhwydd,
  A'th wyrthiau hylwydd cofiaf.

Dy lwybrau ŷnt mewn moroedd fyrdd,
  A'th ffyrdd mewn dyfroedd mawrion:
Ni adwaenir fyth mo'th ôl, fy Nuw,
  Anfeidrol yw d' arwyddion.

cvi. 48: "*Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel erioed ac yn dragywydd: a dyweded yr holl bobl, Amen. Molwch yr Arglwydd.*"

Duw Israël bendigedig fydd,
  Yn dragywydd Jehofah:
A d'weded yr holl bobl, Amen:
  Molwch Dduw llên Gorucha'.

Bendigaid fyddo 'r Arglwydd Dduw;
  Duw Israel yw Jehofah
Yn dragywydd; rhoed pawb, Amen,
  Amen, a Haleliwiah.

cxlv. 13: "*Dy frenhiniaeth di sy frenhiniaeth dragywyddol; a'th lywodraeth a bery yn oes oesoedd.*

Brenhiniaeth dy d'yrnas di fry
  A bery yn wastadol:
A'th lywodraeth o oed i oed,
  Hon a roed yn drag'wyddol.

Brenhiniaeth yw 'th frenhiniaeth fry
  A bery yn wastadol:
A dy lywodraeth wir ddi lys
  A erys yn drag'wyddol.

cl. 6: "*Pob perchen anadl molianned yr Arglwydd. Molwch yr Arglwydd.*"

Holl bethau molent un Duw byth,
  Sydd ynddynt chwŷth y bywyd:
Rhoent gyd-gerdd foliant i barhâu;
  Clodforwn ninnau hefyd.

Cydfoled pawb yr Arglwydd byth,
  Sydd ynddynt chwŷth y bywyd,
Mewn newydd gân byth i barhâu:
  Clodforwn ninnau hefyd.

Gwelir wrth y dyfynion blaenorol fod E. P. yn fwy gofalus am "y prifodlau" na P. W., ond mae y corfanau a'r acenion yn fwy cywir gan yr olaf, yr hyn a bâr fod ei bennillion diwygiedig ef yn darllen yn fwy esmwyth a pheraidd na'r rhai cysefin, er bod yr odlau weithiau yn anmherffaith. Mae odlau E. P. ymron oll "yn unllef unsain," ond y mae P. W. yn fynych yn rhoddi *i* i gyfodli âg *u* neu *y*, *ai* âg *au*, *aeth* âg *aith*,

a'r cyffelyb. Mae hwn yn ddïau yn fai y dylai cyfansoddwyr ei ochelyd, ond y mae yn fwy goddefol na cham-aceniad, os bydd ansoddau eraill yn mantoli, fel yn y nifer amlaf o'r enghreifftiau uchod. Gellir defnyddio diwygiadau o'r math yma heb ddim anghyfleusdra; ond y mae pwyll yn angenrheidiol yn y detholiad, er gwahaniaethu y gwych oddiwrth y gwael, ac nid fel beirniad byrbwyll mewn rhyw bapyr newydd, yr hwn, wedi deall fod *rhai* geiriau a llinellau mewn emynau wedi eu newid er gwaeth, a roddai ei farn benderfynol fod *pob* cyfnewidiad yn waethygiad, er yr addefai nad oedd erioed wedi cymeryd y drafferth o'u cymharu, na darllen y cyfansoddiadau y cyfeiriai atynt yn eu cyflwr gwreiddiol.—Cyn terfynu, er mwyn tegwch, ychwanegwn ddwy neu dair o enghreifftiau o'r cyfnewidiadau anffodus yn argraffiad P. W. o'r Salmau Cân, oeddynt mor dramgwyddus yn enwedig i bobl y Gogledd, ac a ddrygasant gymeriad y gwaith.

Diffygiais gan ochain bob nos,
Mewn gwâl anniddos foddfa:
'Rwy'n gwlychu, drwy y cystudd mau,
A'm dagrau fy ngorweddfa.—vi. 6.

Pob nos, pan fyddo pawb mewn hun,
'Rwyf fi yn flin gan ochain:
Mae ngwely gwlyb gan ddagrau 'n dyst
O'm trallod trist aflawen.

Pan chwilio ef am waed neu drais,
Fe gofia lais y truain:
Pan eisteddo ar fainc y frawd,
Fe glyw y tlawd yn germain.—ix. 12.

Pan ymofyno efe am wa'd,
Y cyfion Ynad, cofia:
Rhydd gyfiawn dâl i'r llofrudd du,
'R cystuddiol ni anghofia.

Cloddiodd ef bwll hyd eigion llawr,
O fwriad mawr i'r truan:
Ac ef a syrthiodd ymron bawdd,
I'r dyfn i'w glawdd ei hunan.—vii. 15.

Cloddiodd ef bwll hyd eigion llawr,
O fwriad mawr i'r truan:
A syrthiodd, ac yn drwsgl 'r aeth
I'r clawdd a wnaeth ei hunan.

"Trwsgl" ddigon, meddwn ni, er y gallasem nodi rhai enghreifftiau mwy trwsgl na'r rhai hyn, ond nid ŷm yn teimlo tuedd i fyned ymlaen gyda'r fath orchwyl anhyfryd. Nid oes modd cyfiawnhâu yr amryfuseddau sydd ŷn ein cyfarfod ymron ymhob tudalen, oddieithr y gellir ystyried cryn swrn o honynt yn feïau'r wasg yn y gwahanol argraffiadau, yn oes yr awdwr, ac wedi hyny, fel y gellir gweled wrth eu cymharu. Yr ŷm yn teimlo, modd bynag, fod llawer mwy o naws ac ysbryd barddoniaeth yn ei "Sylwadau" cryno, melusion, ac efengylaidd, ar y Salmau darllen yn y Bibl, nag sydd yn y cyfnewidiadau hyn.

Yr ydym yn awr yn diweddgloi ein sylwadau ar Salmau Cân yr hybarch Archddïacon: os bydd i'r hyn a ysgrifenasom godi awydd yn ein darllenwyr i'w darllen "yn ystyriol" eu hunain, bydd yn ddigon o dâl am ein trafferth yn mharotöad yr erthygl hon. Yr ŷm yn llwyr argyhoeddedig mai po mwyaf yr ymgydnabyddir â hwynt, mwyaf o lawer eu hoffir, yn enwedig y rhanau *cânadwy* o honynt. Credwn hefyd y gellid, gyda gofal a medr dyladwy, ddwyn ychwaneg o honynt i ansawdd gânadwy, drwy ystwytho ac egluro ychydig ar y farddoniaeth, yr hyn a ellid wneyd heb niweidio meddwl yr Awdwr. Mae erbyn hyn ddarpariaeth dda o dônau cynnulleidfäol cyfaddas iddynt yn y gwahanol gasgliadau Cymreig, fel y gellid yn hawdd ddefnyddio mwy o amrywiaeth geiriau arnynt, a hyny gyda llawer o hyfrydwch a buddioldeb. Cyflwynir i sylw y Salm ganlynol, fel cynllun o'r hyn a ellid ei wneyd.

SALM xcii: "*Psalm i gynhyrfu y bobl i gydnabod ac i foliannu Duw yn ei weithredoedd. Diwedd disymwth yr anwir: a dedwyddwch y cyfiawn yn cael moli Duw yn ei Deml.*"—E.P.

1 Moliannu 'r Arglwydd da iawn yw,
A chyfarch Duw yn benaf;
A chânu i dy enw fawl,
A'th ganmawl, y Goruchaf.

2 Y bore soniaf am dy hedd,
A'th wiredd y nosweithiau;
3 Ar ddegtant, nabl, a thelyn lwys,
A myfyr dwys, bêr odlau.

4 Sef,* yn dy weithred llawen wyf,
O dduwiol nwyf† ennynaf:
Yn ngwaith dy ddwylaw, Arglwydd Iôr,
Yn wastad gorfoleddaf.

5 Mor fawrion dy weithredoedd ŷnt!
6 Dy helynt nis gŵyr anghall:
Dy ddwfn feddyliau, dwyfol fryd,
Hyn nis gŵyr ynfyd ddeall.

7 Pan y blodeuo 'r anwir ddyn
Fel y llysieuyn iraidd,
Gweithredwyr drwg yn gref eu plaid,
Pryd hyny rhaid eu diwraidd.‡

Eu blagur oll yn uchel ânt,
Ond hwy a syrthiant beunydd;
8 Tithau, O Arglwydd, yn ddi gêl,
Wyt uchel yn dragywydd.

9 Wele, d' elynion, Arglwydd Iôn,
D' elynion a ddyfethir;
A holl weithredwyr trais a cham,
Yn ddinam,|| a wasgerir.

10 Ond i fawr fraint ti dderchi 'm corn,§
Fel unicorn yn berffaith;**
A chyda gwerthfawr olew ir
Mi a daenellir eilwaith.

11 Fy llygaid gwelant yn ei bryd
Flin adfyd fy ngelynion;
A'm clustiau clywant pan ddêl barn
Llaw gadarn ar ddrwg ddynion.††

12 Blodeua 'r cyfiawn hyd y nen,
Fel y balmwydden union:
Cynnyddu 'n iraidd iawn y bydd,
Fel cedrwydd yn Libanon.‡‡

13 Y rhai a blànwyd yn nhŷ Dduw,
Yn goedwydd byw y tyfant;
Ac yn nghynteddau ein Duw ni
Y rhei'ny a flodeuant.

14 A dwyn eu ffrwyth a wnant o faint
Yn amser henaint hefyd;
Yn dirfion, iraidd, byddant hwy.
Profadwy yn eu bywyd.

15 I ddangos nad oes trais na cham
Yn f' Arglwydd a'm cadernyd;
Ac nad oes ynddo, mewn un wêdd,
Dwyll nac anwiredd enbyd.

* Diau. † Yni, bywiogrwydd, nwyfiant. ‡ Diwreiddio. || Yn ddieithriad, yn ddilys. § Ceisiwyd yma, heblaw cadw at gyfieithiad yr awdwr, ddwyn i mewn rywfaint o ystyr y drofeg, "derchafu corn." Gwêl *Charles d. g.* UNICORN. ** Yn hollawl. †† Amcanwyd lleddfu neu dyneru ychydig ar y cyfieithiad cyntefig ar yr adn. hon. ‡‡ Libanus.

# DUWINYDDIAETH YR EFENGYLAU.

Mae pob un sydd wedi darllen y Rhaglith i Gorff Duwinyddiaeth Dr. Lewis yn gwybod am amryw o gynlluniau y mae duwinyddion dysgedig wedi eu mabwysiadu i drefnu a gosod ynghyd wirioneddau y Bibl. Mae i'r cyfryw gyrff o dduwinyddiaeth eu hanfanteision yn gystal a'u manteision. Cyfaddefwn eu bod yn wir gynnorthwyol i ddal gwahanol ranau athrawiaeth y dadguddiad Dwyfol ar unwaith o flaen y meddwl, ac i gofio y pethau a berthyn yn fwyaf neillduol i bob rhan yn unigol. Ond yma rhaid gochelyd rhag syrthio i'r brofedigaeth o edrych ar ddysgeidiaeth yr Efengyl fel yn ddarnau gwahanedig. "Y geiriau yr wyf fi yn eu llefaru," medd Iesu, "ysbryd ydynt a bywyd ydynt." Ac am mai ysbryd ydynt, maent yn cyfansoddi unoliaeth hanfodol, yn rhedeg i'w gilydd, yn cymhlethu y naill â'r llall, mewn gair yn un, fel y mae y Tad a'r Mab yn Un, ac fel mai Un ydyw y Tri sydd yn tystiolaethu yn y nef. Nis gellir darnio ysbryd fel y gwneir â mater. Mae hwn yn sylwedd anrhanadwy. Y galluoedd meddyliol a moesol, nid gwahanol ranau yr enaid ydynt; ond y maent oll fel eu gilydd yn perthyn i'r un ysbryd. Y meddwl, yr holl feddwl, nid darn o hóno, sydd yn myfyrio, neu yn cofio, neu yn ymresymu. Ffurf y wireb feintonol, "Fod yr oll yn fwy na'i ran," yn y cysylltiad hwn ydyw, fod yr oll yn y rhan. Perthyna y cyfryw unoliaeth ysbrydol i athrawiaeth y grefydd Gristionogol. Ac mae ei threfn yn gydweddol â'i hysbrydolrwydd, sef trefn bywyd. Nid oes dim yn fympwyol yn nhrefn "y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu." Onid oes gwahaniaeth mawr rhwng y pren yn tyfu yn y goedwig a'r celfigyn o goed mewn tŷ? Mae trefnusrwydd a chywreinrwydd yr olaf yn ei wneyd yn dra dymunol i'r llygad ac yn wir bwrpasol i'w ddybenion. Eto nid yw ond peth marw, oddieithr càn belled ag y mae yn dwyn delw meddwl ei wneuthurwr. O'r tu arall, mae y goeden sydd yn tyfu yn yr allt, er mor aflêr, o bosibl, ei ffurf, ac eiddil ei gwêdd yn y gauaf, yn beth byw; ac y mae dull ei thyfiant, pan yn canghenu ac yn ymwisgo mewn dail, yn arddangos mwy o gywreinrwydd na dim mewn celfyddyd. Mae trefn bywyd ar bethau yn annhraethol ragorach na chynllun celfyddydol. Mae y blaenaf yn naturiol, yr olaf, fel rheol, yn fympwyol; ac y mae llwyddiant celfyddyd yn ymddibynu ar radd ei chydymffurfiad â natur. Y gamp ydyw, yn gyntaf, canfod y ffurf fywydol, ac yna, gosod delw y naturiol ar y celfyddydol a'r peiriannol. I gyflawni y naill a'r llall o'r gorchwylion hyn, rhaid wrth athrylith. Mae yr agerbeiriant a'r llong yn esiamplau gogoneddus sydd yn egluro hyn.

Credwn mai y corff duwinyddiaeth mwyaf llwyddiannus ydyw yr hwn sydd yn meddu Person Crist fel canolbwnc, neu sydd yn sefyll ar y Messïah yn ei swyddau Cyfryngol fel ei sylfaen. Canys prif destun geiriau ein Harglwydd ei hun yn ei weinidogaeth gyhoeddus ydyw y "Myfi;" ac, fel y dywed Bushnell, er ei fod yn llefaru cymaint am dano ei hun, eto nid ydys yn teimlo fod dim yn wrthwynebus yn ei ymadroddion, ond

o'r tu arall, y maent yn disgyn ar ein clyw yn wir hapus, a theimlir bob amser fod y Person sydd yn llefaru yn deilwng i fod yn destun ei eiriau ei hun, a'i fod ymhob ystyr ac ymhob peth yn llanw y MYFI, y "Myfi Ydwyf," ïe, y "Myfi Ydwyf, yr Hwn Ydwyf." Ond tybiwn mai yn hyn yn benaf, os nad yn unig, y mae duwinyddion wedi dilyn trefn yr athrawiaeth fel ei dysgwyd gan yr Athraw mawr. Dïau y nodwedd bwysicaf a'r mwyaf hanfodol yn nghydymffurfiad cyfundraethau yr is-athrawon â chynllun y Pen dysgawdwr ydyw, bod y Messïah yn ganolbwnc. Ac y mae yn anmhosibl rhoddi gormod o le i Berson Crist a'i waith mewn unrhyw gorff o Dduwinyddiaeth. Dichon y gellir rhoddi rhy fach o le i wirioneddau eraill; ond ni chyfyd y cyfryw ddiffyg oddiar fod lle uchel ac amlwg yn cael ei roddi i'r Cyfryngwr a gwaith mawr y Prynedigaeth. Mewn cyfeiriad at, ac mewn cysylltiad â, Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, mae pob gwirionedd yn y Bibl i'w weled yn briodol yn yr hŷd a'r llêd sydd yn perthyn iddo. Gan hyny nis gall yr un gyfundrefn dduwinyddol fod yn rhy debyg i athrawiaeth Crist ei hun yn yr arbenigrwydd a roddir i'w Berson a'i waith Ef. Eithr tueddir ni i ofyn, Ai ni ellir ychwanegu at hyn, i ffurfio cyfundrefn dduwinyddol yn cyfateb o ran cynllun i drefn y gwirioneddau Dwyfol fel y dysgir hwynt y naill ar ol y llall yn ngeiriau yr Arglwydd Iesu? Mae y cwestiwn hwn yn tybio, modd bynag, fod yr Iesu yn dysgu ei ddysgyblion mewn trefn, fod i'w athrawiaeth ef gynllun. Nid yn hawdd y gellir gwadu hyn. "Y mae genyf eto lawer o bethau i'w dywedyd i chwi," meddai Efe y nos cyn ei farwolaeth, "ond ni ellwch eu dwyn yr awr hon." Dyma awgrym eglur i ddangos fod yr Athraw yn ystyried cymhwysder meddyliau ei ddysgyblion wrth eu haddysgu. Cawn fod Esaïah gynt yn mynegu gair yr Arglwydd i'r hen genedl "yn orchymyn ar orchymyn, yn llîn ar lîn,"—nid yn llinellau croesion a thrawsion, ond yn llinellau uniawn a chydredegog. Mae yr un nodwedd yn hynodi dysgeidiaeth y Prophwyd mawr ei hun. Nid yn unig y mae perffaith gysondeb yn ffynu trwy holl ranau ei weinidogaeth, ond mae trefn gwirioneddau ei athrawiaeth y fath fel ag i ddangos fod gan ein Harglwydd gynllun, wrth yr hwn yr addysgai efe ei ddysgyblion a'r bobloedd a ddeuent i'w wrandaw. Mae Neander a Lange yn myned ymhellach, gan ddal fod i'w holl fywyd gynllun; er nad ydyw yr awdwyr hyn, fel y Germaniaid yn gyffredin, mor lwyddiannus mewn dangos allan eu syniadau ag ydynt o barod i daflu awgrymiadau ac anturio damcanion. Teimla Ellicott radd o ledneisrwydd wrth gyfeirio at y mater hwn, a dywed,—"Mae cynllun gweinidogaeth yr Iesu yn bwnc a ddadleuir yn y rhan amlaf o fywgraffiadau diweddar ein Harglwydd gyda rhyddid tra anweddus. Gyda golwg ar hyn, digon yw dyweyd, yn syml ac yn fŷr, mai yr unig egwyddor y gall dyn feiddio credu fod y Mab Tragywyddol wedi ei ddylanwadu ganddi ydoedd cariad at ddyn yn cydweithredu âg ufudd-dod i ewyllys y Tad."

Ond y mae y mynychdod gyda pha un y ceir yr ymadrodd, "Fel y cyflawnid yr Ysgrythyrau," yn yr Efengylau ynghyda'r sierwydd a a feddwn fod y diwedd yn hysbys iddo Ef o'r dechreuad, a bod astudiaeth ddyfal o'r hanes sanctaidd yn dangos nad damweiniol oedd y dygwyddiadau lleiaf yn ei fywyd Ef ar y ddaear, yn rhwym o greu argraff arhosol ac argyhoeddiad dwfn fod y Tad yn llafurio y wir Winwydden,

a bod yr Ysbryd yn arwain y Mab, wrth reol, mewn trefn, yn ol cynllun tragywyddol rhagderfynedig. Ac os oedd felly i'w fywyd yn gyffredinol gynllun, nis gallwn lai na chredu iddo lefaru ei eiriau mewn trefn. Hyderwn y llwyddwn, cyn gorphen hyn o ysgrif, i ddangos, nid yn unig fod y cyfryw drefniad rheolaidd a chyson yn nodweddu ei weinidogaeth, ond hefyd fod trefn geiriau yr Iesu, fel yr adroddir hwynt y naill ar ol y llall yn yr Efengylau, yn cyflwyno ffurf o athrawiaeth, neu gorff o Dduwinyddiaeth sydd yn meddu rhagoriaethau neillduol a manteision arbenig.

Gwir fod rhwystrau dirfawr ar y ffordd i gael gafael yn y gwir gynllun duwinyddol hwn. Yn un peth, mae cryn ansicrwydd o ran amser ynghylch lle rhai o ymddyddanion ac anerchiadau yr Arglwydd Iesu yn yr hanes efengylaidd. Nid ydys yn gallu olrhain yn fanwl olyniad amgylchiadau bywyd ein Gwaredwr, a dyweyd, fel y byddai yr hynod John Jones o Langollen yn hoff o wneyd, ymha flwyddyn ac ar ba ddydd o'r mis y dygwyddai pob ymddyddan, ac y traddodwyd pob pregeth, ac y cwrddai â hwn neu arall. Anmhosibl yw penderfynu i ddechreu y dydd y ganwyd y Ceidwad i'r byd; ac y mae ansicrwydd mawr mewn perthynas i wir amseriad ei farwolaeth. Dichon mai anfuddiol, os nad peryglus, fyddai i ni wybod yn sicr y dyddiau neillduol hyn. O leiaf, mae yn ymddangos nad ydyw defodau yr Eglwys Babaidd ar y dyddiau Nadolig a Chroglith yn gwneyd dim lles i'r sefydliad truenus hwnw, ond yn hytrach y maent yn dyfnhâu y coelgrefyddoldeb sydd, yn un peth, wrth ddinystrio ei hysbrydolrwydd yn tueddu gymaint i'w gwneuthur yn felldith i'r byd. Nid amser sydd yn mesur ac yn rhoddi gwerth ar weithredoedd, ond gweithredoedd sydd yn mesur amser. Yn yr Ymgnawdoliad mae i ni weled "cyflawnder yr amser," ac yn marwolaeth felldigedig y groes "yr awr" sydd yn ganolbwynt i holl oriau amser. Gan hyny nid dyddiadau a chyfnodau yr ydym i edrych am danynt yn hanesyddiaeth yr Efengylau, ond geiriau a gweithredoedd Mab y dyn. Mae rhyw ddirgelwch cysegredig yn hongian uwchben yr hanes yma sydd yn ein gommedd i drîn ei manylion gyda'r un ëofndra ag wrth astudio hanesyddiaeth yn gyffredin. Rhaid i ni felly ymfoddloni heb allu penderfynu gyda sicrwydd olyniad ymadroddion yr Iesu, y drefn y llefarodd efe ei eiriau y naill ar ol y llall.

I amcan yr erthygl hon yr ydym yn dilyn cynllun Dr. Robinson yn ei "Gysondeb y Pedair Efengyl," a gyhoeddwyd yn Gymraeg yn 1855, gan ein cydwladwr gweithgar, Mr. Robert Oliver Rees, Dolgellau.

Rhwystr arall ar y ffordd i ddarganfod gyda sicrwydd drefn "y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu," ydyw y berthynas agos a hanfodol rhwng gwahanol ranau athrawiaeth yr Efengyl. Yr ydys eisoes wedi cyfeirio at hyn. Fel y dywedwyd, geiriau yr Iesu, "ysbryd ydynt." Ac oblegid mai ysbryd ydynt, mae y gwirioneddau a gynnwysant yn treiddio eu gilydd, fel y mae y deall a'r côf yn y meddwl, neu y serch a'r gydwybod yn yr enaid; fel lle y ceir un gwirionedd, mae un arall yn yr ymyl, a thrydydd yn cael ei awgrymu, ac, o bosibl, amryw o ranau eraill yr athrawiaeth heb fod ymhell. Mae yr ymddyddan rhwng ein Harglwydd a Nicodemus yn y drydedd o Ioan yn esiampl darawiadol sydd yn egluro hyn. Y peth cyntaf a ddysgwn yma ydyw yr angenrheidrwydd o ailenedigaeth: "Oddieithr geni dyn drachefn, ni

ddichon efe weled teyrnas Duw." Yna, mai yr Ysbryd Glân ydyw y Gweithredydd yn y cyfnewidiad mawr hwn: "Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Duw;" ac yma mae awgrym nid aneglur at yr ordinhâd o Fedydd. Dygir ger ein bron hefyd yr athrawiaeth o'r angenrheidrwydd am yr Iawn,—"Y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn;" a bod cadwedigaeth trwy ffydd,—"Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hóno fywyd tragywyddol;" ac mai cariad Duw yw ffynnonell yr iachawdwriaeth,—"Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab;" a dyben graslawn dyfodiad y Mab i'r byd,—"Fel yr achubid y byd trwyddo ef." Ac nid dyma yr oll o'r ddysgeidiaeth a gynnwysir yn yr ymddyddan crybwylledig. Edryched y darllenydd drosto ei hun. Mae yr un peth yn wir am y geiriau a lefarodd wrth y wraig o Samaria, a'r bregeth ar y mynydd, yr anerchiad yn synagog Capernäum y dydd canlynol—i borthiad y miloedd yn y diffeithwch âg ychydig fara a physgod,—mewn gair, ei holl ymadroddion. Mewn canlyniad i hyn yr ydym yn cael hefyd fod amryw wirioneddau yr athrawiaeth yn cael eu hailadrodd, rai o honynt yn bur aml, yn yr Efengylau. Yn wyneb hyn yma, wrth geisio chwilio allan drefniad athrawiaethol y gwirionedd fel ei traddodwyd gan yr Hwn yw y Gwirionedd ei hun, rhaid penderfynu, yn gyntaf, beth yw prif athrawiaeth pob ymddyddan, neu anerchiad, neu bregeth o eiddo yr Iesu; ac, yn ail, pa un yw y prif gyfeiriad at bob pwnc yn ei eiriau Ef.

A dyma anhawsder arall hefyd, nid mewn un lle ac i un dosbarth y rhoes Crist ei feddwl; ond athrawiaethai mewn llawer dull a modd, yn "ychydig yma ac ychydig acw;" weithiau mewn anerchiadau ffurfiol i dorfëydd lliosog; weithiau mewn rhydd-ymddyddan â'i ddysgyblion; bryd arall gan ofyn neu ateb cwestiynau, ac hefyd trwy ddammegion. Trefn bywyd ydyw ffurf athrawiaeth yr Hwn oedd yn dysgu dynion megys un âg awdurdod ganddo; ei eiriau Ef "bywyd ydynt." Nid cynllun celfyddydol difywyd sydd yma, eithr y naturiol, y bywydol, a'r ysbrydol; y wedd uchaf ar gelfyddyd, y cynllun cywreiniaf a pherffeithiaf, a hefyd y mwyaf dirgelaidd.

Ond er yr anhawsderau hyn, ac eraill, fe ddichon, a ellid eu nodi, credwn, nid yn unig fod gan ein Harglwydd gynllun i gyfleu ei feddwl ac i addysgu ei ddysgyblion, eithr hefyd fod y cynllun athrawiaethol hwn i fesur yn ganfyddadwy yn yr Efengylau. Nid annyddorol nac anmhwrpasol, cyn myned ymlaen ymhellach, fyddai adgofio i'r darllenydd am rai cyrff o Dduwinyddiaeth sydd eisoes yn hysbys, a gallwn, o bosibl, ychwanegu at ei wybodaeth trwy nodi enghreifftiau o ddosraniadau duwinyddol nad ydyw wedi cael y cyfle o'u gweled. Rhydd hyn hefyd y cyfleusdra i'r darllenydd gymharu y gwahanol gynlluniau y mae duwinyddion wedi eu mabwysiadu i ddosbarthu gwirioneddau y Bibl, â'u gilydd, ac â'r drefn yn ol pa un y mae "meddwl Crist" yn ymddangos yn yr Efengylau.

Dechreuwn gyda ein duwinyddion ein hunain. Mae Dr. Lewis yn rhanu ei waith ar Dduwinyddiaeth i chwech o ddosbarthiadau:—

"I. Theologia, yn cynnwys Y Prawf o Fôd Duw, Yr Ysgrythyr yn Air Duw, Y Priodoliaethau, Y Drindod, Yr Arfaeth a Gweithredoedd Duw. II. Anthropologia, yn traethu ar Ddyn yn ei gyflwr crëadigol,

ac ar y Cwymp a'i ganlyniadau. III. Christologia, sef yr athrawiaeth am Berson Crist a'i swyddau Cyfryngol. IV. Charitologia, neu olwg ar fendithion yr iachawdwriaeth, gan ddechre gyda Chyfiawnhâd, ac yn gorphen gyda Dedwyddwch Diddiwedd yn y Nef. V. Pneumatologia, yn cynnwys traethiad ar Berson a Gwaith yr Ysbryd Glân. VI. Nomologia, yn rhoddi golwg ar y Ddeddf Foesol a'r Gyfraith Seremonïol, ac yn mynegu gosodiadau y Testament Newydd wrth ba rai y mae y cyfran ogion o fendithion yr efengyl yn cael eu llywodraethu."

"Cynllun heb un drychfeddwl llywodraethol" yw hwn, fel y dywed prif dduwinydd Cymru; ac y mae yn amlwg fod yr awdwr yn amcanu mwy at ddosbarthiad cyflawn o holl gynnwys y Gyfrol ysbrydoledig, nag at drefniad rhesymegyddol. Têg yw cyfaddef ei fod wedi llwyddo yn hyn o amcan. "Fe allai," medd awdwr parchedig y Rhaglith, "y byddai yn anhawdd cael gwell cynllun heb un drychfeddwl llywodraethol na'r un a ddilynwyd gan Dr. Lewis." Ond y mae y diffyg hwn a nodir gan Dr. Edwards yn cael ei gyflenwi yn y brâs-linelliad a rydd efe o Gorff o Dduwinyddiaeth. Y peth cyntaf i'w wneuthur, yn ol ei gynllun ef, ydyw profi fod y fath un â Iesu Grist wedi bod yn y byd; ac, yn ail, "dangos fel y mae y ffaith hon yn rhoddi ystyr ac argraff Ddwyfol i'r holl Lyfr," sef y Bibl. "Yna gellir myned ymlaen at gynnwys y Llyfr fel y mae yn dangos Crist yn ei dair swydd, a cheisio dwyn i'r golwg y gweithredoedd sydd yn perthyn i'r swyddau hyny." Dyma'r cynllun:—

"I. Crist fel Prophwyd yn amlygu Duw. O dan y pen hwn cawn yr athrawiaeth am (1.) Y Bôd o Dduw; (2.) Y Prïodoliaethau; (3.) Y Drindod; (4.) Yr hyn a wnaeth Duw i ddyn fel crëadur—sef, crëu dyn, ymgyfammodi âg ef, a rhoddi deddf iddo; a (5.) Bwriad grasol Duw i waredu dyn wedi ei gwymp—y cyfammod gras, etholedigaeth, addewidion, a rhagarwyddion. II. Crist fel Offeiriad yn gweithredu iachawdwriaeth. Fel Offeiriad y mae Crist yn wir Dduw, yn wir Ddyn, ac yn Gyfryngwr rhwng Duw a dynion. Bu fyw yn sanctaidd, marw yn aberth, a chyfiwynodd ei waed yn y sancteiddiolaf. Yr effeithiau o hyn ar ddynion ydynt—Cyfiawnhâd, Ailenedigaeth, a Sancteiddhâd. III. Crist fel Brenin yn llywodraethu ei eglwys. Efe yw Pen yr eglwys; mae pob awdurdod ganddo er mwyn yr eglwys, a'i bresennoldeb sydd wastadol yn yr eglwys trwy yr Ysbryd. Mae yn gosod i fyny deyrnas iddo ei hun, yn darostwng ei elynion, ac Efe yw barnwr pawb. Effeithiau hyn oll fyddant (1.) Tragywyddol ddedwyddwch y saint; (2.) Tragywyddol fuddugoliaeth y da ar y drwg; a (3.) Thragywyddol ogoniant i'r Drindod, a Duw oll yn oll."

Yr ydym yn gobeithio y cawn fyw i weled y dydd pan y bydd y Cymry wedi eu hanrhegu â chyfrol helaeth, yn cynnwys y cynllun hwn wedi ei lanw a'i berffeithio, fel ag i fod yn Gorff o Dduwinyddiaeth hardd ac o gyflawn faintioli.

Wrth droi i'r iaith nesaf atom, y gwaith cyntaf a nodwn ydyw *Dr. Hill's Lectures in Divinity*. Nid ydyw enw Dr. Hill mor adnabyddus yn Nghymru; ond y mae yn bur barchus yn yr Alban, ac yn anwyl iawn gan lawer yn Lloegr. Dywedir fod y Proffeswr Henry Rogers yn hoff iawn o'r Darlithiau hyn, ac yr ydym yn cofio clywed Dr. Henry Robert Reynolds, o Cheshunt, yn cyfeirio gyda pharchedigaeth mawr at Dr.

Hill. Etholwyd ef yn Llywydd un o Athrofeydd St. Andrews yn y flwyddyn 1778; ac wrth gymeryd y Gadair Dduwinyddol dywedodd, "O dan fendith ac arweiniad yr Hollalluog, yn nwylaw yr hwn ydwyf, ac i'r hwn y rhaid i mi roddi cyfrif, ni fydd yn eisieu nac ymdrech nac archwiliad, na thraul amser na meddwl, o'm tu i, i wneuthur fy llafur yn wir ddefnyddiol i'r efrydwyr mewn duwinyddiaeth yn yr athrofa hon." Bu cystal â'i air. Mae ei ddarlithiau yn profi ymroddiad llwyr, llafur diflino, a dysgeidiaeth ddofn ac aeddfed. Rhana ei waith i chwech o lyfrau. Y cyntaf sydd yn traethu ar brofion y Grefydd Gristionogol, a'r ail sydd yn rhoddi golwg gyffredinol ar y gyfundrefn ysgrythyrol. Ac wedi egluro mai crefydd i bechaduriaid ydyw prif bwnc y Bibl—"meddyginiaeth ar gyfer sefyllfa bresennol drygioni moesol, wedi ei darparu gan gariad Duw y Tad, wedi ei dwyn i'r byd gan Iesu Grist, ac yn cael ei chymhwyso gan ddylanwadau yr Ysbryd," mae yr awdwr yn myned ymlaen yn ei drydydd llyfr i adolygu yn athrawiaethol a hanesyddol y gwirioneddau am bersonau y Mab a'r Ysbryd, ynghyda'u hundeb â pherson y Tad; ac yn ei bedwerydd llyfr, traetha am natur, a helaethder, a chymhwysder meddyginiaeth yr efengyl; ac yn ei bummed llyfr, am y cwestiynau sydd yn codi oddiwrth ddaliadau ynghylch y feddyginiaeth hon—sef y pethau sydd ynglŷn wrth iachawdwriaeth—ailenedigaeth, tröedigaeth, ffydd, cyfiawnhâd, sancteiddhâd, cyfammod gras, bedydd, swper yr Arglwydd, a chyflwr dynion ar ol marw. Pwnc ei lyfr olaf ydyw llywodraeth eglwysig. Drychfeddwl llywodraethol cynllun Dr. Hill ydyw yr iachawdwriaeth, tra mai yr Iachawdwr yn ei swyddau cyfryngol ydyw eiddo cynllun Dr. Edwards.

Y testun-lyfr a ddefnyddid yn Athrofa St. Mary cyn dyddiau Dr. Hill ydoedd *Marckii Medulla Theologiæ*, yn yr hwn y cawn y pynciau yn y drefn hon:—Duw a'r Drindod, arfaeth Duw, cyflawniad yr arfaeth yn ngwaith y grëadigaeth, golwg ar y byd gweledig ac anweledig, rhagluniaeth a llywodraeth Duw dros waith ei ddwylaw; dyn, ei sefyllfa o ddiniweidrwydd, y cwymp, canlyniadau pechod, y cyfammod gras, person, a swyddau, a sefyllfa Cyfryngwr y cyfammod, buddiannau y cyfammod, a dyledswyddau y rhai sydd yn cyfranogi o honynt, y sacramentau, yr eglwys, a chyflwr terfynol y ddynoliaeth. Dyma gynllun cyffredin y Cyrff o Dduwinyddiaeth, megys eiddo y Catecism Lleiaf, y Cyffes Ffydd Ysgotaidd a Chymreig, Wardlaw a Hodge, Dr. Owen yn ei *Greater Catechism*, a Howe yn ei *Living Temple*—gyda'r gwahaniaeth fod yn y gwaith olaf hwn ddrychfeddwl llywodraethol, a bod Duwinyddiaeth yn cael ei chyfleu a'i dysgu yn ei gwedd uchanianol, ac nid yn ei gwedd fwy athrawiaethol, er fod yn y llyfr hwn yr athrawiaeth buraf, a'r profion amlycaf o ymgydnabyddiaeth drwyadl un o'r meddyliau dysgleiriaf â gwirioneddau mawrion a dyfnaf yr Ysgrythyrau. Ond tra nad oes i'r cynllun cyffredin dan sylw, yr hwn y mae lliaws wedi ei fabwysiadu heblaw y rhai a enwyd, yr un drychfeddwl llywodraethol, y mae yn arddangos trefn sydd ar ryw olwg yn rhesymegyddol, ac o'i dilyn yn fanwl ennillir y fantais o wybodaeth drwyadl yn nghynnwys y Bibl. O'r tu arall, mae yn anfantais o'r mwyaf i efrydu y gwirioneddau am Dduw a'i briodoliaethau, a'i arfaeth, a'i ragluniaeth, cyn dyfod at yr athrawiaeth am berson Crist a'i waith. "Ni ddichon neb ddyfod at y Tad ond trwof fi," meddai Iesu Grist; ac y mae hwn yn wirionedd

ymhob cysylltiad. Onid yn ymddangosiad Mab Duw yn y cnawd y mae y prawf amlycaf o Fod Duw, a'r mynegiad perffeithiaf o'r prïodoliaethau Dwyfol, a'r allwedd oreu sydd yn agor i ddirgelwch cynghor ei ewyllys ef? Profer fod y fath un a Iesu Grist wedi bod yn y byd, ac y mae hyn yn cynnwys y prawf o wirionedd yr hanesiaeth efengylaidd; yr ydys ar unwaith ar ben y ffordd fawr sydd yn arwain y meddwl yn ddïogel trwy ganol tiriogaethau ëang a breision duwinyddiaeth; yr ydys yn cael gafael ymhen y llinyn sydd yn dal ynghyd holl ranau yr athrawiaeth, ac yn sefyll yn y man mwyaf manteisiol i gael yr olwg fwyaf ogoneddus ar y gyfundraeth ysgrythyrol. Heblaw hyny, mae y cynllun duwinyddol cyffredin yn agored i'r wrthddadl o'i fod yn rhy hanesyddol yn ei drefn; dechreua yn ol yn y tragywyddoldeb diddechre gyda'r Bôd o Dduw, a'i brïodoliaethau anfeidrol, a'i arfaeth; ac yna daw i lawr at y grëadigaeth, a dyn, a chwymp dyn, ac felly ymlaen hyd y farn ddiweddaf, a chyflwr dynion yn y tragywyddoldeb diddiwedd. Nid dygwyddiadau olynol, megys yn hanes gwlad neu eglwys, sydd yn cyfansoddi athrawiaeth Duw, eithr gwirioneddau cyfochrog a chyd-dragywyddol. Gwir fod y rhagderfynedig gynghor yn dragywyddol, ac y parotöwyd y deyrnas er cyn seiliad y byd; ond yr oedd yr Iawn hefyd yn dragywyddol, er mai ar y groes yn nghyflawnder yr amser y bu Crist farw, canys Efe yw yr Oen a laddwyd er tragywyddoldeb. Mae yr iachawdwriaeth fel ei Hawdwr yn dragywyddol bresennol; ac yn gymaint â bod trefn fawr cadw o'i dechre i'w diwedd yn a thrwy Grist, a'i fod ef fel Gair yn y dechreuad, ac o ganlyniad cyn y dechreuad, mae yn ymddangos yn groes hyd yn nôd i'r drefn hanesyddol i olrhain yr arfaeth, a'r cyfammod gras, a'r grëadigaeth, a rhagluniaeth Duw, cyn ymchwilio i'r athrawiaeth am berson a gwaith y Cyfryngwr. A dyma wrthddadl arall yn erbyn yr un cynllun o ddosranu gwirioneddau athrawiaeth y Bibl, mae yn dechreu yn y pen pellaf oddiwrthym, ac nid gyda'r hyn sydd agosaf atom. Rhyw ugain mlynedd yn ol yr oedd nifer o gyfeillion, mewn pentref yn Nghwm Rhondda, Sir Forganwg, yn arfer ymgynnull ar nos Sabbothau i fwynhâu rhydd-ymddyddan ar bynciau duwinyddol. Syrthiodd y drychfeddwl yn eu plith o'r dymunoldeb o ffurfio cynllun newydd, gwahanol i eiddo Hyfforddwr Mr. Charles, a Chyffes Ffydd y Methodistiaid Cymreig. Penderfynasant yn gyntaf eu bod i ddechreu gyda'r peth agosaf atynt, y peth amlycaf i'w weled, a hawddaf i'w amgyffred. A'r gosodiad cyntaf y cyttunwyd arno ydoedd, Fod pawb yn bechaduriaid. Nid ydym wedi llwyddo i gael gwybod y gosodiadau dilynol. Yr oedd y syniad yn un gwir hapus; ac nid oedd y brodyr crybwylledig ymhell o'u lle wrth osod i lawr yn gyntaf dim fod pawb yn bechaduriaid. Eto, buasai yn nês atynt, pe buasent wedi ystyried ond ychydig, ymlaen hyn, i benderfynu fod y fath un a Iesu Grist wedi bod yn y byd. Wrth ddarllen Bywgraffiaeth y diweddar John Angell James gan Mr. Dale, taräwyd ni wrth weled fod Dr. Bogue, athraw yr efengylydd anfarwol o Birmingham, yn ei Dduwinyddiaeth Athrawiaethol *(Dogmatic Theology)*, yn gosod Etholedigaeth tua diwedd cyfres ei ddarlithiau. Wrth gyfeirio at "*The Theological Lectures of the late Rev. David Bogue, D.D., edited by the Rev. Joseph Samuel C. F. Frey, New York, published by Lewis Colley,*" dywed Mr. Dale:—"Y mae wyth o risiau gwahanol o ddarlithiau. Y

gyntaf, yr hon sydd ar Dduwinyddiaeth Athrawiaethol, nid yw wedi ei threfnu yn rhesymegyddol; yr Arfaeth Ddwyfol ydyw testun darlith xxviii., ac y mae deg a thriugain o ddarlithiau ar y Grëadigaeth, yr Angelion, Pechod Gwreiddiol, Person Crist, a llïaws o bynciau eraill rhwng hon ag ymdriniaeth y Proffeswr ar y pwnc o Etholedigaeth." Ond os yw rhesymeg y trefniad yn ddiffygiol, yr ydym yn barnu fod gwir ddoethineb mewn gadael etholedigaeth yn un o'r pynciau diweddaf i'w drîn mewn corff o dduwinyddiaeth, gan mai athrawiaeth sydd yn gofyn gwybodaeth glir, a sobrwydd dwys i ymdrin â'i dirgelion ydyw, ac yr ydys wrth hyn yn fwy nag a feddylir yn dilyn esiampl yr Athraw Mawr. Cyfeiriwyd uchod at Lywydd Athrofa yr Arglwyddes Huntingdon yn Cheshunt, yr hwn y mae Prifysgol Edinburgh yn ddiweddar wedi ei raddio yn Ddoctor mewn Duwinyddiaeth. Mae ei gynllun ef fel y canlyn, a dyma y tro cyntaf iddo weled haul a llygad goleuni:—"Rhan I. Profi mai gwir yw y gair ddyfod Crist Iesu i'r byd, a dangos dylanwad ei ddyfodiad ar achosion dynol. Rhan II. Y parotöad Dwyfol ar gyfer ei ddyfod—prophwydoliaeth. Rhan III. Y parotöad dynol—dylanwad sefyllfa ddaearyddol Palestina ar ei hanes wleidyddol, a dylanwad ei sefyllfa boliticaidd ar ei hanes lênyddol a chretyddol, ac felly ymlaen. Rhan IV. Ffynnonellau Bywgraffiaeth Crist—yn fwyaf neillduol y pedair Efengyl. Rhan V. Bywyd ein Harglwydd Iesu Grist. Dosran A. Hunanamlygiad Crist—dewis dysgyblion, gwisgo y teitlau Messïah, a Mab Duw, a Mab y dyn, ei hawl i fod yn ddolen rhwng nef a daear (Ioan i. 51), ei berthynas â'r hen grëadigaeth —troi y dwfr yn wîn, ymgymeryd â'r swydd uchaf yn y ddwyflywiaeth—yn arglwyddiaethu yn, ac yn glanhâu y deml, ac yn ymgyfenwi yn deml ei hun (Ioan ii. 19), yn hòni gwybodaeth Ddwyfol am feddyliau dyn, ammodau mynediad i mewn i deyrnas Dduw—ailenedigaeth trwy yr Ysbryd Glân, y dychweledigion cyntaf—athrawiaeth addoliad Dwyfol a gwladgarwch (Ioan iv.), a'r rhag-gysgod o'r groes yn ngwrthodiad Crist gan drigolion Nazareth. Dosran B. Gweinidogaeth foreuol Crist yn Galilea; ac o dan y pen hwn cawn athrawiaeth maddeuant, edifeirwch, y Sabbath, a llïaws o bethau eraill. Dosran C. Athrawiaeth Person Crist. Dosran D. Cysondeb yr Efengylau. Dosran E. Teithiau yr Iesu tua Jerusalem. Dosran F. Y Pasc olaf. Dosran G. Pethau diweddaf ei fywyd. Dosran H. Athrawiaeth yr Iawn. Rhan VI. Dyfodiad yr Ysbryd Glân a'i Waith." Nid ydym yn gallu gwneuthur cyfiawnder â'r Proffeswr dysgedig, am na chawsom y fraint o'i wrandaw yn myned trwy ei holl gwrs; ond fe wêl y darllenydd mai ei ddull ydyw trîn y gwahanol ranau o'r athrawiaeth fel y mae yn cyfarfod â hwynt yn hanes bywyd yr Arglwydd Iesu. Y Cyfryngwr ydyw ei ganolbwnc yntau, eithr nid yn ei swyddau fel yn nghynllun yr Athraw o'r Bala, ond yn hytrach yn ei ddyfodiad i'r byd, a'i hunanamlygiadau tra ar y ddaear. Mae Dr. Edwards yn crynhoi yr holl wirionedd o amgylch, ac yn canoli y cwbl yn Mherson mawr hanesyddiaeth, tra mae Dr. Reynolds yn gwneyd Ffaith fawr hanesiaeth gyffredinol yn ganolbwynt. Y mae, modd bynag, gysylltiad annattodol rhwng y Person a'r Ffaith; nis gall y naill fod heb y llall. Teilwng hefyd yw sylwi fod y duwinydd sydd yn rhoddi y fath le i ffaith fawr cyflawnder yr amser yn talu y warogaeth uchaf i'r Person gogoneddus a wnaeth ei

ymddangosiad yn y byd y pryd hwnw trwy ddilyn ei weithredoedd a'i eiriau i'w addysgu ganddynt yn athrawiaeth yr efengyl; yr hyn sydd yn cadarnhâu ymhellach yr awgrym fod perthynas agos rhwng y Person a'r Ffaith. Ond o'r ddau, gwell genym y Person fel canolbwynt; ac ni a'i cymerwn ef hefyd fel ein Dysgawdwr. Dïau fod nifer fawr o'n darllenwyr wedi clywed am gyfrol ddaeth allan yn ddiweddar o waith y Proffeswr Smeaton, o Edinburgh, ar yr Iawn fel y mae yr athrawiaeth yn cael ei dysgu yn ngeiriau yr Arglwydd Iesu. Yr ydym am gyffredinoli amcan y gyfrol hono, trwy astudio holl ranau yr athrawiaeth, nid yn unig ar wahân, ond fel y maent yn cyfansoddi cyfundraeth dduwinyddol berffaith.

I ddychwelyd am foment at y cynllun cyffredin mewn Cyrff o Dduwinyddiaeth. Yr ydym yn gwneyd hyn i gymeryd y cyfleusdra o ddyfynu y sylwadau canlynol gan Dr. Hill o St. Andrews: "Yr wyf ymhell iawn o gondemnio y cynllun hwn fel yn anmhrïodol ymhob ystyr. Mabwysiadwyd ef gan ddynion galluog iawn; y mae yn dra defnyddiol at roddi gwybodaeth drwyadl yn holl ranau y gyfundraeth ysgrythyrol; ac y mae un llyfr yn yr hwn mae yn ymddangos i'r fath fantais, fel mae yr hyn a gyfrifwyf ei anmherffeithrwydd ymron a chael ei anghofio. Yr wyf yn cyfeirio at Egwyddorion y Grefydd Gristionogol gan Calvin (*Calvin's Institutes of the Christian Religion*)—llyfr wedi ei ysgrifenu yn Lladin, yr hwn sydd nid yn unig o'r mwyaf eglur, ond hyawdl, ac yn rhoddi yr olwg fwyaf feistrolgar a chynnwysfawr ar byncian mawr duwinyddiaeth. Mae yn gynnwysedig o bedwar o lyfrau. Teitl y cyntaf ydyw, Y wybodaeth am Dduw y Crëawdwr; yr ail, Y wybodaeth am Dduw y Gwaredwr yn Nghrist; y trydydd, Y wybodaeth am y modd i gyraedd gras Crist, y bendithion a gynnysgaedda, a'r effeithiau sydd yn ei ddilyn; y pedwerydd, Am y moddion neu y cynnorthwyon allanol trwy ba rai y mae Duw yn ein hennill i gymdeithas â Christ, ac yn ein cadw ynddi. Mae yn gofyn llawer o amser i ddarllen y llyfr hwn yn ofalus; ond pan mae gan efrydydd hamdden i wneyd hyn yn orchwyl iddo, fe gaiff fod ei lafur wedi ei wobrwyo yn helaeth; ac nid wyf yn gwybod am lyfr mwy defnyddiol i glerigwr yn y wlad. Gellir ei brynu am ychydig; ac efe yw y corff Duwinyddiaeth goreu." Mae yn hyfrydwch mawr genym allu cyflwyno i'n darllenwyr y fath dystiolaeth uchel i egwyddorion Calvin. Llawer o son sydd yn ein plith am Galfiniaeth, ac yr ydym yn bur hoff o ymffrostio yn ein hiawngrededd; ond nid ydym yn sicr fod prif waith John Calvin i'w weled mor aml ag y gellid dysgwyl yn llyfrgelloedd Cymru. Dichon ein bod yn rhy dueddol i gymeryd pethau ar ail law. Dylid myned at lygad y ffynnon. Fe dâl y llafur yn gan' cymaint. Da hefyd fyddai i'n hefrydwyr o bob dosbarth feddiannu eu hunain a chymeryd eu hamdden i ddarllen a myfyrio, yn hytrach nag ymollwng o dan ddylanwad cynhyrfiadau yr amseroedd, a syrthio i'r brofedigaeth o gydymffurfio â brys y byd. Nis gall dim fod yn fwy buddiol a maethol i feddyliau athrawon ein cenedl nag ymdreulio mewn astudiaeth fanol a dyfal yn Egwyddorion y Grefydd Gristionogol gan y penduwinydd o Geneva. Ond fel y dangosa y Llywydd o St. Andrews, yn gystal a'r Llywydd o'r Bala, y mae cynllun y gwaith yn ddïau yn anmherffaith, drychfeddwl llywodraethol yr hwn ydyw athrawiaeth y Drindod. Heb ychwanegu ar hyn, dymunem gyfeirio ein darllenwyr at y

traethawd penigamp ar Hanes Duwinyddiaeth sydd yn rhagflith i Gorff Duwinyddiaeth Dr. Lewis.

Bellach brysiwn at brif amcan ein hysgrif, sef cymeryd golwg ar drefn a chysylltiad gwirioneddau athrawiaeth yr efengyl fel yr awgrymir ac y dysgir hwynt y naill ar ol y llall yn ngeiriau yr Arglwydd Iesu. Prïodol ydyw dechreu trwy brofi fod y fath un â Iesu Grist wedi bod yn y byd; dyma'r llwybr mwyaf effeithiol nid yn unig i ddysgu credinwyr, ond hefyd i orchfygu anffyddwyr. Dyma dŵr dinas y gwirionedd; ac y mae yn hawddach profi mai "Gwir yw y gair ddyfod Crist Iesu i'r byd" na Bod Duw. Ac os credir yn ngwirionedd yr Efengylau, yr ydys yn rhwym o dderbyn yr holl Fibl. Yr ydym yn awr yn cymeryd hyn yn ganiatäol. Mae y geiriau cyntaf a lefarodd yr Iesu yn awgrymu mai efe oedd y Person y dysgwylid am dano gan yr Iuddewon, yn ol addewidion a phrophwydoliaethau yr Hen Destament, ac yn yr un geiriau mae yn cymeryd arno y teitlau Mab Duw a Mab y dyn. "Nathanäel a atebodd ac a ddywedodd wrtho ef, Rabbi, ti yw Mab Duw; ti yw Brenin Israel. Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho ef, O herwydd i mi ddywedyd i ti, Mi a'th welais di dan y ffigysbren, a ydwyt ti yn credu? ti a gei weled pethau mwy na'r rhai hyn. * * * Ar ol hyn y gwelwch y nef yn agored, ac angelion Duw yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn," Ioan i. 49—51. Mae yn afreidiol aros i egluro cysylltiadau yr ymadroddion hyn. Yr oedd y rhagredegwr yn awr wedi cyflawni prif orchwyl ei genadwri. Yr oedd y Messïah yn awr wedi amlygu ei hun ac ennill dysgyblion; ac wele, y mae yn awr yn cychwyn ar ei weinidogaeth gyhoeddus.

Yr athrawiaeth gyntaf a ddysgwyd gan yr Iesu ydoedd Ailenedigaeth. "Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw.—Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn." Llefarwyd y geiriau hyn wrth Nicodemus, i'r hwn yr oedd prïodoldeb arbenig yn yr addysg a gynnwysir ynddynt. Ond y mae prïodoldeb pellach a mwy cyffredinol yn yr ymadroddion, ar gyfrif eu lle yn yr efengyl fel ymhlith geiriau cyntaf gweinidogaeth gyhoeddus yr Iesu. Canys nid oes dim yn amlycach na bod presennoldeb y fath un a Iesu Grist yn y byd yn tybio yr angenrheidrwydd am ei ymddangosiad ar y ddaear. Rhaid fod rhywbeth allan o'i le mewn dyn cyn y buasai y fath oruchwyliaeth yn cael ei chychwyn ag a bortrëadid yn rhagarwyddion yr Hen Destament, a bod y byd mewn annhrefn truenus, cyn y buasai y fath Berson â Mab Duw yn dyfod yn Fab dyn i gyflawni gwaith yr oruchwyliaeth hono. Y prawf cryfaf o gyflwr syrthiedig y ddynoliaeth ydyw dyfodiad Crist Iesu i'r byd. Ac nid oes dim sydd yn mynegu yn eglurach natur a dyfnder trueni dyn na chyhoeddi fod yn rhaid ei eni drachefn—rhaid ei gyfnewid yn drwyadl a hollol, rhaid gosod natur newydd ynddo a'i adgenhedlu. Y cyfryw ydyw cyflwr dyn wrth natur—"yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd," fel y mae yn rhaid ei wneuthur yn grëadur newydd, trwy weithrediad Ysbryd Duw, er ei gymhwyso i fyned i deyrnas Duw—"Yr hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Y gair nesaf a lefarodd yr Iesu, sef wrth y wraig o Samaria, sydd yn dangos fod yr ystâd i'r hwn yr adgenhedlir dyn gan yr Ysbryd yn gyflwr arosol: mae yn gyfnewidiad mor drwyadl, fel yr erys ei effeithiau. Mae ailenedigaeth y fath waith, ac yn cael ei gyflawni yn y

fath fodd, fel nas gellir ei ddadwneyd: "Pwy bynag a yfo o'r dwfr a roddwyf fi iddo, ni sycheda yn dragywydd; eithr y dwfr a roddwyf iddo a fydd ynddo yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol."

Pan ddychwelodd yr Iesu i Galilea o Judea, trwy Samaria, "o'r pryd hwnw y dechreuodd yr Iesu bregethu, a dywedyd, Edifarhëwch; canys nesäodd teyrnas nefoedd." Yr athrawiaeth yma yw Edifeirwch, yr hon sydd yn dilyn yn naturiol y gwirionedd am ailenedigaeth. Gan y rhaid ein geni drachefn, ac felly ein bod yn bechaduriaid truenus, llawn o bob llygredigaeth, ein dyledswydd amlwg ydyw edifarhâu am ein camweddau. Wele yr Iesu felly yn pregethu edifeirwch, ac yn gymaint a'i fod fel yma yn amlygu ei hun yn bregethwr, ac yn bregethwr edifeirwch, y mae yn dwyn ei gredlythyrau *(credentials)* i brofi ei hawl i'r swydd. Gwna hyn yn Synagog Nazareth: "Ysbryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, o herwydd iddo fy eneinio i; i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachâu y drylliedig o galon, i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb; i bregethu blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd," Luc iv. 18, 19. Ac y mae yn cadarnhâu ei awdurdod trwy amryw weithredoedd nerthol, megys y ddalfa wyrthiol o bysgod; iachâu dyn âg ysbryd aflan yn Synagog Capernäum, adferu chwegr Pedr, iachâu un gwahanglwyfus, ac eraill. Rhydd y geiriau olaf a ddyfynwyd hefyd agoriad i ddirgelwch perthynas yr Iesu â'r Ysbryd Glân, gyda golwg ar yr hwn gysylltiad y mae genym eisoes amryw gyfeiriadau yn yr Efengylau, megys yn nisgyniad yr Ysbryd arno ef fel colomen ar ol ei fedydd, a'i arweiniad gan yr Ysbryd i'r anialwch i'w demtio, a'i dderbyniad o'r Ysbryd yn ddifesur, ynghyda gweithrediad dirgelaidd yr Ysbryd yn ei ymgnawdoliad. Nis gellir ammheu, gan hyny, awdurdod Iesu o Nazareth i alw ar blant dynion i edifarhâu am eu pechodau; ac fel annogaeth a chymhelliad iddynt ymarfer â'r gras o edifeirwch, mae yn cyhoeddi yn y lle nesaf ei awdurdod i Faddeu Pechod: "Eithr fel y gwypoch fod gan Fab y dyn awdurdod i faddeu pechodau, (yna y dywedodd efe wrth y claf o'r parlys), Cyfod, cymer i fyny dy wely, a dôs i'th dŷ," Mat. ix. 6. Nid heb edifeirwch y ceir maddeuant, ond y mae maddeuant yn ddieithriad yn dilyn gwir edifeirwch; edifeirwch yn gyntaf, yna maddeuant. Gofynid ar yr achlysur o iachâd gwyrthiol y dyn claf o'r parlys, a phan ddywedasai yr Iesu, "Ha fab, cymer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau," "Pwy yw hwn sydd yn dywedyd cabledd? Pwy a ddichon faddeu pechodau ond Duw yn unig?" Luc v. 21. Gwir a ddywedent mai hawlfraint y Goruchaf yn unig yw maddeu pechod. Gan hyny, naturiol ydyw i ni gael atebiad i'r cwestiwn, "Pwy yw hwn?" yn cynnwys yr athrawiaeth am ei Berson; a dyma ydyw swm ei anerchiad yn Jerusalem ar adeg ei ail basc, ar ol iddo iachâu y dyn claf ar làn llŷn Bethesda, sef ei fod yn Fab Duw, ac yn ogyfuwch â'r Tad: "Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr wyf finnau yn gweithio. Ni ddichon y Mab wneuthur dim o hóno ei hunan, eithr yr hyn a welo efe y Tad yn ei wneuthur; canys beth bynag y mae efe yn ei wneuthur, hyny hefyd y mae y Mab yr un ffunud yn ei wneuthur. Canys y Tad sydd yn caru y Mab, ac yn dangos iddo yr hyn oll y mae efe yn ei wneuthur. Megys y mae y Tad yn cyfodi y rhai meirw ac yn eu bywhâu; felly hefyd y mae y Mab yn bywhâu y rhai a fŷno. Megys y mae gan y Tad

fywyd ynddo ei hunan, felly y rhoddes efe i'r Mab hefyd fod ganddo fywyd ynddo ei hun; ac a roddes awdurdod iddo i wneuthur barn hefyd, o herwydd ei fod yn Fab y dyn," Ioan v. 17, 19, 27. Y tystiolaethau i Ddwyfol Faboliaeth yr Iesu ydynt weinidogaeth Ioan Fedyddiwr, ei weithredoedd ei hun, mynegiad y Tad—"Hwn yw fy anwyl Fab," a'r Ysgrythyrau,—"Chwychwi a anfonasoch at Ioan, ac efe a ddŷg dystiolaeth i'r gwirionedd. Ond mae genyf fi dystiolaeth fwy nag Ioan; canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithredoedd hyny y rhai yr ydwyf fi yn eu gwneuthur, sydd yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd i. A'r Tad, efe a dystiolaethodd am danaf fi. Chwiliwch yr Ysgrythyrau; a hwynt-hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi," adn. 33, 36, 37, 39. Y mae efe ei hun yn cadarnhâu ymhellach yr athrawiaeth hon, tywy fynegu ei arglwyddiaeth ar y Sabbath,—"Canys Arglwydd ar y Sabbath hefyd yw Mab y dyn," Mat. xii. 8; a thrwy ordeinio dysgyblion, a rhoddi awdurdod iddynt i iachâu clefydau, a bwrw allan gythreuliaid, Marc iii. 14, 15.

Yr ydym yn awr yn dyfod at y bregeth ar y mynydd, yr hon a draddododd ein Harglwydd yn gyntaf i'w ddysgyblion yn unig, yn y ffurf y cofnodir hi gan Matthew, ac yna i dorf lïosog a chymysg ar y gwastadedd, wrth droed y mynydd, fel ei darllenwn yn Luc. Yn y cyfansoddiad rhyfeddol a gogoneddus hwn, mae yr Iesu yn traethu ar natur, egwyddorion, arferion, a chymeriad, ynghyda dyledswyddau deiliaid ei deyrnas—y sefyllfa ysbrydol hono ar bethau ag y daeth Mab Duw i'r byd i'w sefydlu, prif wêdd yr hon yw cyfiawnder. "Gwŷn eu byd y rhai sydd arnynt newyn a syched am gyfiawnder, canys hwy a ddiwellir. Oni bydd eich cyfiawnder yn helaethach na chyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseäid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd. Yn gyntaf, ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef," Mat. v. 6, 20, a vi. 33. Cyfyd y cwestiwn yn awr, pa fodd i feddu y cyfiawnder hwn? "Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd," meddai un o'r hen brophwydi. Ac un o'r gwirioneddau y mae Paul yn pwysleisio fwyaf arno ydyw mai trwy ffydd y cyfiawnhëir dyn. Onid yw yn bur ddyddorol, gan hyny, mai yr athrawiaeth nesaf a ddysgir yn ngweinidogaeth yr Iesu ar ol ei bregeth fawr ar y mynydd ydyw, Ffydd yn ei natur a'i heffeithiau? "Ni chefais gymaint ffydd, naddo yn yr Israel," Mat. vii. 10. Pa beth y mae efe yma yn ei gyfenwi yn ffydd? Sefyllfa meddwl canwriad Capernäum, sef teimlad dwfn o annheilyngdod personol, syniad uchel am Grist, ac ymorphwysiad hollol ar, ac ymddiried llwyr yn, awdurdod a gallu Mab Duw. "Arglwydd, nid ydwyf fi deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd; eithr yn unig dywed y gair, a'm gwas a iachëir." Ac fel rheswm dros ei ymddiried hyderus yn ngallu Mab Duw, mae y canwriad megys yn tŷnu cymhariaeth rhyngddo ef âg efe ei hun, gan ddywedyd, "Canys dyn ydwyf finnau dan awdurdod"—eithr er dan awdurdod—"a chenyf filwyr danaf; a dywedaf wrth hwn, Cerdda, ac efe a ä; ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw; ac wrth fy ngwas, Gwna hyn, ac efe a'i gwna:" pa faint mwy, gan hyny, y gelli di, Mab y dyn, yr hwn wyt uwchlaw pob awdurdod, ac am hyny yn ffynnonell pob gallu, orchymyn, ac fe'i cyflawnir, ddywedyd y gair, a bydd, ac iachâu fy ngwas hwn? "A'r Iesu, pan glybu, a ryfeddodd, ac a ddywedodd wrth y rhai oedd yn canlyn, Yn wir meddaf i chwi, Ni chefais gymaint ffydd, naddo yn yr Israel.

Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y daw llawer o'r dwyrain a'r gorllewin, ac a eisteddant gydag Abraham, Isaac, a Jacob, yn nheyrnas nefoedd," yr hyn sydd yn awgrymu yn eglur mai trwy ffydd y mae myned i mewn i deyrnas Crist, nid ar gyfrif perthynasau naturiol, neu amgylchiadau bydol, neu hyd yn nôd weithredoedd bucheddol. Ac y mae gwirionedd yr awgrym megys yn cael ei selio yn y gair nesaf, "Dos ymaith; ac megys y credaist, bydded i ti." Yn unol â'r egwyddor sydd yn gynnwysedig yn yr ymadrodd hwn, cawn mai nid unwaith na dwywaith y dywedodd yr Iesu wrth rai a iachasid ganddo, "Dy ffydd a'th iachäodd," ac y gofynai, "A wyt ti yn credu?" neu y mynegai, "Yn ol dy ffydd bydded i ti." Gan mai trwy ffydd fel yma y cyfrenir i'r pechadur gyfiawnder teyrnas Mab Duw, heb weithredoedd y ddeddf—hyny yw, nid ar gyfrif haeddiant personol, neu gyrhaeddiadau moesol, onid o ras y mae i ni y rhagorfraint hon? ac onid oes yma brawf amlwg o Benarglwyddiaeth Duw? Credodd y canwriad cenedlig, a bu iddo yn ol ei ffydd. "Ond plant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch eithaf," o herwydd eu hanghrediniaeth. "Yna y dechreuodd efe edliw i'r dinasoedd yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasent," Mat. xi. 20. Eto nid ydyw rhagoriaeth ffydd y canwriad, ac eraill a gredent yn yr Iesu, yn wreiddiol ynddynt eu hunain; yr oeddynt yn ddyledus hyd yn nôd am eu ffydd i ffynnonell fawr pob daioni. Ac os gofynir am achos y gwahaniaeth rhwng y credadyn a'r anghredadyn, rhaid cyfeirio am eglurhâd at yr un ffynnonell. "Yr amser hwnw yr atebodd yr Iesu, ac y dywedodd, I ti yr ydwyf yn diolch, O Dad, Arglwydd nef a daear, am i ti guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u dadguddio o honot i rai bychain. Ië, O Dad, canys felly y rhyngodd bodd i ti. * * Nid edwyn neb y Tad ond y Mab; a'r hwn yr ewyllysio y Mab ei ddadguddio iddo," Mat. xi. 25—27. Mae ewyllys Duw yn hanfodol oruchaf, a'i ras yn benarglwyddiaethol. Gall wneyd fel y myno ymhob peth, ac ar bawb. Cynghor ei ewyllys ei hun ydyw deddf ei lywodraeth. Ond er fod awdurdod y Goruchaf yn ddiammodol, a'i fod ef yn estyn neu yn attal ei drugaredd, fel y mae da yn ei olwg, eto nid yw yn ymyru yn y mesur lleiaf â chyfrifoldeb dyn. Dyma yr athrawiaeth nesaf sydd yn dyfod o dan ein sylw. Yr ydym eisoes wedi gweled pa fodd y gwnaeth yr Iesu edliw i'r dinasoedd yn y rhai y cyflawnodd efe y fath a chynifer o weithredoedd nerthol, am nad edifarhasent; yr hyn sydd yn dangos eu bod yn gyfrifol am eu hangrediniaeth. Ac yn y gair nesaf at yr ymadrodd, yn yr hwn y mynega benarglwyddiaeth gras Duw, y mae yn gwahodd y rhai blinderog a llwythog i ddyfod ato ef, ac yn ychwanegu, "Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf," Mat. xi. 29. Yn yr hanes am dano yn eistedd yn nhŷ Pharisëad, ac yn cael ei eneinio gan wraig a fuasai yn bechadures, y mae mewn dammeg yn dynodi dyn euog yn "ddyledwr," ac yn dangos, os oes un mwy euog nag arall, ac y maddeuir i'r naill fel y llall, y dysgwylir cariad mwy yn yr hwn y maddeuwyd fwyaf iddo tuag at yr echwynwr Dwyfol, Luc vii. 36—50. Cawn ef yn nesaf yn gosod allan fod y rhai nad ydynt gydag ef, i'r rhai ni ryngodd bodd i'r Tad ddadguddio "y pethau hyn," yn euog o'i wrthwynebu yn weithredol: "Y neb nid yw gyda mi, sydd yn fy erbyn; a'r neb nid yw yn casglu gyda mi, sydd yn gwasgaru," Luc xi. 23. Mae hefyd yn amlygu fod cyfrifoldeb y rhai sydd yn cablu yn erbyn yr

Ysbryd Glân yn ddifrifol iawn: "Yr hwn a gablo yn erbyn yr Ysbryd Glân ni chaiff faddeuant yn dragywydd; ond y mae yn euog o farn dragywydd," Marc iii. 29; ac yn ymyl y geiriau dwys hyn darllenwn ymhellach: "Eithr yr ydwyf yn dywedyd wrthych, Mai am bob gair segur a ddywedo dynion, y rhoddant hwy gyfrif yn nydd y farn. Canys wrth dy eiriau y'th gyfiawnhëir, ac wrth dy eiriau y'th gondemnir," Mat. xii. 36, 37. Eilwaith pan y gofynodd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid am arwydd, ac y dywedodd, na roddid iddynt ond arwydd y prophwyd Jonas, efe a ragfynegodd am danynt, "Gwŷr Ninefeh a gyfodant yn y farn gyda'r genhedlaeth hon, ac a'i condemniant hi;" a brenhines y dehau yr un modd, Mat. xii. 38—45: ac yn yr un cysylltiad y mae yn galw arnynt i wneyd iawn ddefnydd o'u manteision yn wyneb y goleuni mawr oedd wedi dyfod i'r byd ynddo Ef. Ac fel prawf pellach o gyfrifoldeb dyn, y mae yr Athraw mawr yn cyhoeddi gwaeau ar y Phariseaid, ac eraill, am eu rhagrith aflan, a'u hanghysonderau dybryd, Luc xi. 37—54.

Mae athrawiaeth cyfrifoldeb dyn, a'r farn, yn arwain y meddwl yn naturiol at sefyllfa a chyflwr dyfodol dynion mewn byd arall. Dyma bwnc nesaf yr efengyl. "Yn y cyfamser, wedi i fyrddiwn o bobl ymgasglu ynghyd," ac wedi i'r Iesu rybuddio y dyrfa rhag rhagrith y Phariseaid, am y rheswm pwysig, "Nid oes dim cuddiedig a'r nas dadguddir; na dirgel, a'r nas gwybyddir," mae yn anerch ei gyfeillion, gan ddywedyd, "Nac ofnwch y rhai sydd yn lladd y corff. * * * Ofnwch yr hwn, wedi y darffo iddo ladd, sydd âg awdurdod ganddo i fwrw i uffern; ie, meddaf i chwi, Hwnw a ofnwch." Eto: "Pwy bynag a'm haddefo i ger bron dynion, Mab y dyn hefyd a'i haddef yntau ger bron angelion Duw:" ac i'r gwrthwyneb, A wado a wedir. Ac y mae y ddammeg sydd yn canlyn, a lefarodd mewn atebiad i gais un o'r dyrfa a ddywedodd wrtho, "Athraw, dywed wrth fy mrawd am ranu â myfi yr etifeddiaeth," yn dangos ynfydrwydd a diwedd truenus "yr hwn sydd yn trysori iddo ei hun, ac nid yw gyfoethog tuag at Dduw." Gan gyfeirio drachefn at ei ddysgyblion, y rhai oeddynt eto ond ychydig mewn nifer, ychwanega ein Harglwydd i'r un cyfeiriad, "Nac ofna, braidd bychan, canys rhyngodd bodd i'ch Tad roddi i chwi y deyrnas. Gwerthwch yr hyn sydd genych, a rhoddwch elusen: gwnewch i chwi byrsau y rhai ni heneiddiant; trysor yn y nefoedd, yr hwn ni dderfydd; lle ni ddaw lleidr yn agos, ac ni lygra pryf." Yna mae yn egluro dammegion y gwahaniaeth dirfawr yn nghyflwr dyfodol "y gweision hyny, y rhai a gaiff eu harglwydd, pan ddel, yn neffro," a'r gwas anffyddlawn, Luc xii. Cyflwr dyfodol y rhai a gredant yn Iesu Grist fydd nefoedd, lle mae yn eu haros wlêdd ddanteithlawn, a dedwyddwch digymysg. Eithr tòrir i lawr yr anffrwythlawn, a dyfethir yr anedifeiriol, Luc xiii. 1—9. Gwedir pawb sydd yn gwadu Mab y dyn, a theflir yr anghrediniol i uffern, y tywyllwch eithaf, lle mae wylofain a rhincian dannedd am byth.

Mae y gwirioneddau difrifol hyn am gyfrifoldeb a sefyllfa ddyfodol dyn, a'r cysylltiad sydd rhyngddynt â pherthynas dynion â Mab Duw, yn awgrymu i'n hystyriaeth bwysigrwydd annhraethol Gweinidogaeth yr Efengyl. Nid oes dim llai na thynged dragywyddol dyn yn ymddibynu ar ei ymddiried yn ei thystiolaeth a'i dderbyniad credinol o'i chynnwys. Dyma fater nesaf dysgeidiaeth yr Athraw mawr, sef, yn ei bregeth o

long i dorfeydd lawer a ymgynnullasant i'w wrandaw ar y traeth yn ymyl Capernäum, yr hon a draddododd ar ffurf cyfres o ddammegion, y gyntaf a'r brif o ba rai yw dammeg yr hauwr. Heb fanylu, mae cenadwri yr efengyl at bawb, ei chynnwys yw gair Duw, gwrthwynebir hi gan ddylanwad ac ymdrechion yr ysbryd aflan, mae yn gynnyddol ei heffeithiau ac y mae yn allu ymosodol, gwahardda bob trefn arall o ddyfeisiad dynol at wella'r byd. Effaith brïodol ac amlwg gwrandaw gweinidogaeth yr efengyl ydyw dilyn Crist. Ond wrth ymgymeryd â'r bywyd hwn, dylid bwrw y draul ymlaen llaw, fel ag i ystyried gwir agwedd y galon, ac i ymarfogi mewn pryd ar gyfer y daith: "Y mae ffauau gan y llwynogod, a chan ehediaid y nefoedd nythod; ond gan Fab y dyn nid oes le i roddi ei ben i lawr;" er hyny ni ddylai dim ein rhwystro i gyflawni dyledswydd mor bwysig yn wyneb galwadau yr efengyl: "Gâd i'r meirw gladdu eu meirw; ond dôs di, a phregetha deyrnas Duw." Ac os dechreuir dilyn yr Iesu, nid oes troi yn ôl i fod, "Nid oes neb a'r sydd yn rhoi ei law ar yr aradr, ac yn edrych ar y pethau sydd o'i ol, yn gymhwys i deyrnas Dduw," Luc ix. 57—62. Gwir nis gall na ddêl rhwystrau mawrion ar y ffordd; eithr cymered yr hwn sydd yn dilyn yr Iesu gysur, canys y mae yn canlyn yr Hwn, fel y dengys yr hanes am dano wedi ei bregeth ddammegol, a dawelodd y môr ac a fwriodd allan leng o gythreuliaid, ac a drôdd anialwch noethlwm yn fwrdd wedi ei hulio â digonedd o ymborth i'r miloedd newynog, er nad oedd ei ddefnyddiau at hyn ond pum' torth a dau bysgodyn; a mwy na hyn mae y cyffyrddiad lleiaf ág ef yn ddigonol i dderbyn rhinwedd iachusol oddiwrtho, a'i air yn nerthol hyd yn nôd i fywhâu y marw. Nid ydyw dilyn Crist i ymyru â pherthynasau naturiol a chysylltiadau prïodol y bywyd hwn, os na fyddant yn rhwystrau; os felly rhaid eu tòri a'u haberthu; rhaid gadael tad a mam a phob peth arall sydd yn anwyl genym yn ol y cnawd, os bydd angenrheidrwydd; eithr os na fydd galwad am hyny, mae dilyn yr Iesu yn cynnwys ein bod yn gwasanaethu yr efengyl yn yr amgylchiadau y gosodwyd ni ynddynt, "Dos i'th dŷ at yr eiddot, a mynega iddynt pa faint a wnaeth yr Arglwydd erot, ac iddo drugarhâu wrthyt," Marc v. 19. Dyma awgrym yn y geiriau hyn gyda golwg ar Genadaeth yr Efengyl. A hyn yw y peth nesaf a gawn yn yr hanes sanctaidd: "Ac efe a alwodd y deuddeg, ac a ddechreuodd eu danfon hwynt bob yn ddau a dau; ac a roddes iddynt awdurdod ar ysbrydion aflan, i'w bwrw hwynt allan, ac i iachâu pob clefyd a phob afiechyd," Marc vi. a Mat. x. Ac wedi derbyn hyfforddiadau angenrheidiol gan eu Harglwydd, "Hwy a aethant allan, ac a bregethasant ar iddynt edifarhâu." Yr oedd y dysgyblion i gyflawni eu gwaith cenadol mewn llwyr ymddibyniad ar Ysbryd Duw, ac ar yr un pryd i arfer pob doethineb ac amynedd yn eu gallu. Amlygid ar y cyntaf mai at yr Iuddewon yn unig yr oedd cenadaeth yr efengyl; eithr fel y mae yr hanes yn myned ymlaen, ymddengys yn eglurach fod hon yn genadaeth at holl ddynolryw. Yr oeddid eisoes wedi cael y rhagarwydd o iachâd gwas y Canwriad ynghyda'r geiriau awgrymiadol a lefarwyd ar yr achlysur; ond ar ol hyn yr ydym yn cael yr ymweliad â thueddau Tyrus a Sidon, a iachâd merch y wraig o Syrophonesia, a phorthiad pedair mil â saith dorth ac ychydig bysgod bychain yn Decapolis, ac wedi hyny anfoniad allan y deg-a-thriugain, nes o'r diwedd y cawn y gorchymyn

cynnwysfawr, "Ewch allan i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob crëadur."

Yn ei bregeth o'r llong, yn agos i Capernäum, mae yr Iesu yn mynegu ei hun fel yr Hauwr, yr hwn sydd yn hau yr had da. Efe gan hyny yw pen-pregethwr teyrnas nefoedd, a phen-cenadwr yr efengyl. Wrth ddanfon allan yr îs-genadon, yn gyntaf y deuddeg, ac yna y deg-a-thriugain, y mae yn dywedyd wrth y blaenaf, "Y neb sydd yn eich derbyn chwi sydd yn fy nerbyn i," Mat. x. 40; ac wrth yr olaf, "Y neb sydd yn eich gwrando chwi, sydd yn fy ngwrando i; a'r neb sydd yn eich dirmygu chwi, sydd yn fy nirmygu i," Luc x. 16. Fel yma y mae yr Iesu yn gwneyd ei ddysgyblion yn un âg ef ei hun. Wele bwnc arall yn yr athrawiaeth yn dyfod i'r golwg, sef Hunanedd Crist a'i bobl. Dadgenir yr athrawiaeth yn eglur yn y geiriau a lefarodd yr Iesu wrth ei ddysgyblion ar ol y gyffes ogoneddus a wnaeth Pedr i'w Fessïaeth a'i Ddwyfol Fabolaeth, "Ac yr ydwyf finnau yn dywedyd i ti, mai ti yw Pedr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys; a phyrth uffern nis gorchfygant hi. A rhoddaf i ti agoriadau teyrnas nefoedd: a pha beth bynag a rwymech ar y ddaear, a fydd yn rhwymedig yn y nefoedd; a pha beth bynag a ryddhäech ar y ddaear, a fydd wedi ei ryddhâu yn y nefoedd," Matt. xvi. 18, 19. Cawn y geiriau hyn yn y rhif lïosog yn pen. xviii. 18, o'r un Efengyl, "Yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynag a rwymoch ar y ddaear, fyddant wedi eu rhwymo yn y nef; a pha bethau bynag a ryddhäoch ar y ddaear, a fyddant wedi eu ryddhâu yn y nef." Crist yw y sylfaen, yr eglwys ydyw yr oruwchadeiladaeth. Crist yw yr arweinydd, ei bobl ydynt ganlynwyr iddo ef. Efe yw yr athraw, hwythau ydynt ei ddysgyblion. Mae efe a'i bobl yn cyfuno i wneuthur un adeilad, un orymdaith, un dosbarth, ac un gyfeillach; canys yr ydym wedi ei gael ef yn eu hanerch fel ei gyfeillion, ac yn wir ar un achlysur mae wedi cyfenwi pob un sydd yn gwneuthyr ewyllys y Tad, yn fam, a brawd, a chwaer iddo. Ar ol hyn yr ydym yn cael mynegiad eglurach o berthynas ddirgelaidd yr Iesu a'i ganlynwyr; ond y mae yr awgrymiadau a nodwyd yn ddigonol i brofi fod perthynas hanfodol agos rhwng Crist a'i bobl, cyffelyb i'r berthynas sydd rhyngddo ef a'r Tad, canys pan y mae yn dywedyd, "Y neb sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i," y mae yn ychwanegu, "a'r neb sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i." Perthynas Duw â'i Fab ydyw cynllun perthynas y Mab â'i bobl. "Megys y carodd y Tad fi, felly y cerais innau chwithau. Fel yr anfonodd y Tad fi, felly yr wyf finnau yn eich danfon chwi." Mae perthynas Crist â'i bobl gan hyny y fath fel y maent yn un âg Ef, ac o ganlyniad y maent ynddo Ef.

Mae yr undeb hanfodol hwn sydd rhwng Crist a'i eglwys yn arwain y meddwl at ddyfnion bethau yr efengyl. Nid am nad ydym eisoes wedi cyffwrdd â dirgeledigaethau mawrion, yn enwedig yn yr athrawiaeth am Ddwyfol Fabolaeth yr Iesu, a'i berthynas â'r Tad; ond teimlwn, fel ag yr ydym yn edrych ar gysylltiad y Mab â'i bobl, ein bod yn disgyn yn îs i'r dyfnder. Yn awr tra yr oedd yr Iesu a'i ddysgyblion yn nhueddau Cesarea Philippi, darllenwn ar ol yr hanes am gyffes Pedr, "O hyny allan y dechreuodd yr Iesu ddangos i'w ddysgyblion fod yn rhaid iddo fyned i Jerusalem, a dyoddef llawer gan yr henuriaid, a chyfodi y trydydd dydd," Mat. xvi. 21. Sylwer, Rhaid iddo ddyoddef. Yr oedd

yn beth o Dduw (adn. 23). Ac wele Moses ac Elias yn disgyn ato i fynydd y gweddnewidiad, "ac a ddywedasant am ei ymadawiad ef, yr hwn a gyflawnai efe yn Jerusalem," Luc ix. 31. Ac wedi eu hymadawiad â Cesarea Philippi, mae yr Iesu a'i ddysgyblion yn ymdeithio drachefn trwy Galilea, "ac ni fynai efe wybod o neb. Canys yr oedd efe yn dysgu ei ddysgyblion, ac yn dywedyd wrthynt, y traddodid Mab y dyn i ddwylaw dynion, ac y lladdent ef; ac wedi ei ladd, yr adgyfodai y trydydd dydd." Marc ix. 30, 31. "A bu, pan gyflawnwyd y dyddiau y cymerid ef i fyny, yntau a roddes ei fryd ar fyned i Jerusalem," Luc ix. 51. Yr athrawiaeth a ddysgir yn amlwg yn yr hanes a'r geiriau hyn ydyw yr angenrheidrwydd am farwolaeth Crist, a gwirfoddolrwydd ei hunanaberthiad. Perthynas Crist â'i bobl a achlysurodd yr angenrheidrwydd hwn, a'r cariad a'i cymhellodd yn nhragywyddoldeb i gymeryd ei bobl i undeb âg efe ei hun a wnaeth ei hunan-aberthiad yn wirfoddol. Ac i ddangos ymhellach mai hunan-aberthiad—ac o ganlyniad Iawn, ac nid merthyrdod, ydoedd marwolaeth yr Iesu, adroddir hanes am amryw geisiadau i'w ddal a'i ladd ef cyn ei amser, ond y rhai a droisant allan yn fethiant, Ioan vii. 44; viii. 20; viii. 59. Ond dichon mai y mynegiad symlaf a gawn o athrawiaeth yr Iawn, sydd yn yr eglurhâd a roddodd efe ar ol dammeg y Bugail da, Ioan x.: "Y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid. Yr ydwyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid. Nid oes neb yn ei dwyn oddiarnaf fi; ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun. Y mae genyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf feddiant i'w chymeryd hi drachefn. Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy nhad." Yn ngoleuni yr athrawiaeth hon, mae dau wirionedd arall yn dyfod i'r golwg mewn perthynas i'r rhai y bu Crist farw drostynt;—yn un peth eu rhyddhâd gwirioneddol, ac yn ail eu diogelwch sicr. "Os aroswch chwi yn fy ngair i, dysgyblion i mi ydych yn wir; a chwi a gewch wybod y gwirionedd, a'r gwirionedd a'ch rhyddhâ chwi. Os y Mab gan hyny a'ch rhyddhâ chwi, rhyddion fyddwch yn wir." Yn gymaint a'i farw ef dros y rhai sydd yn credu yn ei enw, maent yn rhydd oddiwrth euogrwydd a chosbedigaeth eu pechod. Nid ydynt yn garcharorion mwyach o dan gondemniad, ond deiliaid rhyddion yn nheyrnas Dduw. Ac y mae y gwir ryddid hwn yn cynnwys hefyd y fendith o fabwysiad. "Pwy bynag sydd yn gwneuthur pechod, y mae efe yn was i bechod. Ac nid yw y gwas yn aros yn tŷ byth; y mab sydd yn aros byth." Mae hyn yn ein dwyn at yr ail wirionedd a nodwyd, sef diogelwch sicr pobl yr Arglwydd. "Ni chyfrgollant byth, ac ni ddŵg neb hwynt allan o'm llaw i. Fy Nhad i, yr hwn a'u rhoddes i mi, sydd fwy na phawb; ac nis gall neb eu dwyn hwynt allan o law fy Nhad i." Ac fe'u hadgyfodir hwynt yn y dydd diweddaf: "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd; yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw," Ioan xi. 24, 25.

Dylid sylwi yn y man hwn fod y rhanau o'r hanes gysegredig yr ydym yn awr yn dyfynu o honynt yn cynnwys adroddiad o eiriau yr Iesu yn Judea ar ol ei ddychweliad o Galilea, am y tro diweddaf cyn ei farwolaeth. Ac yn y rhan hon o'i weinidogaeth, rhwng gwyl y pebyll ac wythnos y dyoddefaint, mae yr Athraw mawr yn ailadrodd prif wirioneddau a gwersi ei eiriau blaenorol; pa rai, modd bynag, wrth gael eu cyfleu mewn cysylltiad â ac yn ngoleuni athrawiaeth yr Iawn, a welir

i well mantais. Er fod holl weinidogaeth yr Iesu yn llawn o'r gwersi mwyaf gwerthfawr, dichon nad oes rhan o honi yn fwy ymarferol na'r hon y cyfeiriwn ati. Yr Iawn yw y cymhelliad cryfaf i weithredoedd da! "Efe a roddes ei hun drosom i'n prynu oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun yn bobl brïodol, awyddus i weithredoedd da." Ac felly yr ydym yn cael fel y mae yr Iesu yn rhagfynegu ei farwolaeth, yn mynegu yr angenrheidrwydd am ei ymadawiad, ac y byddai ei hunanaberthiad ef yn Iawn dros ei bobl, ei fod yn annog ei ddysgyblion i faddeugarwch, ffydd a gostyngeiddrwydd, yn eu dysgu i weddïo, ac yn eu cefnogi i fod yn daer mewn gweddi, yn rhoddi gwersi iddynt gyda golwg ar fanteision teuluaidd—"yr hyn a gysylltodd Duw na wahaned dyn; gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi," ac yn eu cymhell i weithgarwch, ac i wneyd iawn ddefnydd o'u talentau yn ngwinllan eu Harglwydd, nid ar gyfrif neu er mwyn y wobr, ond oddiar serch at y gwaith a'r teimlad o'u dyledswydd i ymroddi i lafur crefyddol, gan ddilyn felly esiampl Mab y dyn yr hwn "a ddaeth nid i'w wasanaethu, ond i wasanaethu;" sylwer ar y geiriau sydd yn dilyn, "ac i roi ei einioes yn bridwerth dros lawer," Marc x. 45.

Wele ni yn awr wedi dyfod i gyffyrddiad âg athrawiaeth arall, sef Helaethder yr Iawn,—"dros lawer." Anhawdd, dybygwn, yn ngwyneb gair fel hwn, ydyw dal yr athrawiaeth o Iawn cyffredinol, ac eto y mae yn awgrymu helaethrwydd diderfyn yr aberth a dalwyd ar y groes. Os yw yr Iawn gan hyny yn dal perthynas â ac yn sicrhâu breintiau a bendithion arbenig i bersonau neillduol ac nid i bawb yn ddiwahaniaeth, yna y mae Etholedigaeth. Felly y'n dysgir ni, "Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais chwi, ac a'ch ordeiniais chwi, fel yr elech ac y dygech ffrwyth, ac yr arosai eich ffrwyth," Ioan xv. 16.

Y ddau brif wirionedd yn athrawiaeth Crist a ddysgodd efe yn ychwanegol i'w ddysgyblion, y rhai y gellir yn brïodol edrych arnynt fel yr olaf yn nghyfres gwirioneddau mawrion yr efengyl, ydynt Person a gwaith yr Ysbryd Glân, ac Eiriolaeth Crist (Ioan xvi. a xvii). Mae y blaenaf yn cynnwys gweithrediad allan parhäol yr Iachawdwriaeth ar y ddaear, a'r olaf yn cynnwys dygiad ymlaen y rhan hono o'r drefn fawr sydd yn perthyn yn fwyaf neillduol i ac sydd yn rhaid ei chyflawni yn y nefoedd. Yma ar y ddaear y rhaid argyhoeddi, aileni a sancteiddio; yma y mae yr Ysbryd Glân yn cyflawni ei waith mawr, ac yn cymhwyso yr iachawdwriaeth. Y nefoedd yw preswylfod y Tad, ac yno mae yr orseddfainc; gan hyny yno y rhaid eiriol dros bechaduriaid a dwyn ymlaen oruchwylion teyrnas Dduw.

Gyda golwg ar eiriau olaf yr Iesu a'i ddywediadau ar ol ei adgyfodiad, y maent ynghyd a dygwyddiadau ei ddyoddefaint, yn egluro ac yn cadarnhâu ei athrawiaeth. Wrth farw profodd ei fod yn Iawn dros bechaduriaid; ac wrth achub y lleidr profodd fod perthynas rhwng yr Iawn â rhai rhagor eraill, ac mai trwy ffydd y mae cyfranogi o haeddiant yr Iawn. Nid yw yn angenrheidiol i amlhau esiamplau. Ac y mae ein gofod ar ben.

I adgrynhoi yn fyr, fel y canlyn y mae trefn prif wirioneddau athrawiaeth yr efengyl, fel y dysgwyd hwynt y naill ar ol y llall gan y Penathraw; ailenedigaeth, edifeirwch, maddeuant, person Crist, teyrnas y

Mab, ffydd, gras penarglwyddiaethol Duw, cyfrifoldeb dyn, sefyllfa ddyfodol dynion—nefoedd neu uffern, gweinidogaeth yr efengyl, dilyn yr Iesu, cenadaeth yr efengyl yn y byd, hunanedd Crist a'i bobl, yr Iawn, bendithion yr Iawn—rhyddid a mabwysiad a diogelwch, dyledswyddau crefyddol y rhai sydd yn cyfranogi o'r bendithion hyn, helaethder yr Iawn, etholedigaeth, Person a gwaith yr Ysbryd Glan, ac eiriolaeth Crist gyda'r Tad dros ei bobl.

Wrth derfynu a chydnabod anmherffeithrwydd gweithiad allan syniad yr ysgrif, nid oes genym ond dadleu dymunoldeb yr amcan oedd genym mewn golwg. Hyderwn ein bod wedi llwyddo o leiaf i argraffu ar feddwl y darllenydd, fod dysgeidiaeth ein Harglwydd, os nad ar ffurf cynllun celfyddydol, yn meddu trefn wirioneddol; ac hefyd i awgrymu golafur meddyliol ag yr ydym ni wedi ei brofi yn wir fuddiol, adeiladol, a dyddorol iawn.

---

# Y SEFYLLFA.

A DYMA Fesur yr Eglwys Wyddelig wedi ei ddarllen yr ail waith yn Nhŷ yr Arglwyddi, a hyny mewn Tŷ o 325, trwy fwyafrif o dri ar ddeg ar hugain! Yn sicr y mae hyn yn rhyfedd, yn gymaint felly fel y mae yn anhawdd i'r meddwl ystyriol lai na sŷnu at fawredd yr hanesyddiaeth sydd yn cael ei ffurfio yn ein dyddiau, ac edrych gydag addoliad ar oruwchlywodraeth yr Hwn sydd "ryfedd yn ei gynghor ac ardderchog yn ei waith." Ychydig amser yn ol meddyliem y buasai pethau wedi addfedu yn rhyfedd pe buasent wedi cyrhaedd y sefyllfa bresennol ymhen ugain mlynedd, neu ddeng mlynedd ar hugain. Ond dyma hi wedi dyfod i hyn ymron ar unwaith. Ac er dechreuad yr ymdrafod presennol, gynifer o beryglon dinystriol y mae y Mesur hwn wedi myned drostynt, nifer o farwolaethau sicr y mae wedi orfyw! Gwrthodid y Mesur er addoedi penodiadau i'r Eglwys Wyddelig y llynedd, yn y modd mwyaf penderfynol, gan y Weinyddiaeth Doryaidd, am fod corff newydd o etholwyr wedi dyfod i fodolaeth, y rhai a ddylasent gael rhoddi eu llais ar y pwnc. Dywedid wrthym mewn mil o ffyrdd, a llenwid y deyrnas â'r grochlef, mai effaith yr etholiad fyddai dychwelyd y fath fwyafrif yn erbyn Mr. Gladstone ag a'i gwnelai yn anmhosibl iddo yngan gair mwy am ei Fesur Gwyddelig. Yn lle hyny dychwelwyd cryfach mwyafrif o'i blaid nag a ddychwelwyd gydag un Gweinidog, a'r mwyafrif hwnw bob un yn ymrwymedig i sefyll o blaid ei wladlywiaeth gyda golwg ar yr Iwerddon a'i Heglwys Brotestanaidd. Yr oedd y nifer yn ystod yr etholiad o ddydd i ddydd yn chwyddo mor fawr, ac heblaw hyny,

The cry is still, they come,—

nes llenwi hyd yn nôd enaid Mr. Disraeli â dychryn. O'r diwedd penderfynodd—yn hytrach nag ymgymeryd ei hunan â gwaith y dadgysylltiad ac "addysgu" ei ddilynwyr fod y du yn wŷn—roddi ei swydd i fyny fel Prifweinidog cyn i'r Senedd newydd ddyfod ynghyd. Ond beth am fwyafrif Mr. Gladstone? O yr ydoedd mor fawr, ac mor anghydryw, fel mai ymollwng oddiwrth ei gilydd oedd y dynged anocheladwy oedd yn ei aros. Clywsom hyd yn nôd am Mr. Lowe, pan ddywedai boneddwr wrtho yn un o'r clybiau yn Llundain eu bod yn dyweyd fod y mwyafrif yn debyg o fod tua chant, yn dywedyd, "Mae yn bur ddrwg genyf glywed." "O," ebe y llall, "mae hyny yn profi fod y bobl yn gywir yn eich cylch chwi; hen Dory ydych wedi y cwbl." "Nagê," meddai Mr. Lowe, "ond fe fydd yn rhy fawr; ni fu Gweinidog erioed yn Mhrydain a allai drin mwyafrif mor fawr." Ac os oedd cyfeillion Mr. Gladstone yn pryderu wrth faint ei fwyafrif, yr oedd ei elynion yn cynneu i hwyl neillduol wrth siarad yn ei gylch, ac yn darogan gyda pherffaith hyder mai ei fwyafrif a fyddai craig ei ddinystr. Haerent yn enwedig y byddai ei ddilyniad yn myned yn deilchion ar y cwestiwn o ranu yr yspail. Ond mae y blaid wedi dal wrth ei gilydd gyda chysondeb anffaeledig, ac ni fu ei hunfrydedd ar ddim yn fwy amlwg nag ar y cwestiwn o ddefnyddiad yr arian fydd yn ngweddill wedi gwneyd darpariaeth garedig ar gyfer y rhai sydd yn awr yn dal bywioliaethau eglwysig, &c., yn yr Iwerddon. Wedi darllen y *Bill* y waith gyntaf, yr oedd yn sicr o gael ei wrthod ar yr ail ddarlleniad, neu ei gyfnewid yn y pwyllgor i fod yn rhywbeth mor gwbl wahanol fel nad adwaenai Mr. Gladstone mo'i blentyn ei hun. Ond ofer hollol fu y breuddwydion hyn hefyd. Fel y dywedwyd am y gwirionedd,

Y dull yr ä hwn i dân
Yw y dull y daw allan,

felly hefyd am fynediad y Mesur hwn trwy Dŷ y Cyffredin. O'r diwedd, wrth weled y mwyafrif mawr, fel byddin dan berffaith ddysgyblaeth, yn myned ar ol Mr. Gladstone noswaith ar ol noswaith i *lobby* y Tŷ yn y rhaniadau, aethant i'w ddïystyru fel *brute force*, ac *unreasoning majority*, fel nerth direswm ag oedd yn dilyn amnaid un dyn. Ni raid i ni fod yn hen i gofio yr adeg, canys nid oes ond ychydig fisoedd er hyny, pan ymogoneddid yn y ffaith nad allai Mr. Gladstone arwain, ac y siaredid gyda dirmyg dwfn am "*leaders that don't lead*, a *followers that won't follow;*" ond erbyn hyn, faint y cyfnewid! fe siaredir am dano gyda'r dygasedd chwerwaf, fel y gwnaeth Iarll Derby y noswaith o flaen yr ail ddarlleniad, fel "the severest and most absolute minister that ever swayed the destinies of the nation." Druan o Mr. Gladstone; pa fodd y gall eu boddloni? Sut bynag, dyna y Mesur Gwyddelig yn ei gyfanrwydd wedi myned trwy Dŷ y Cyffredin, yn cael ei gefnogi ymhob rhan o'r ymdrafod yn ei gylch gyda nerth o fwyafrif na chlybuwyd am ei gyffelyb. Beth a ddaw o hóno yn Nhŷ yr Arglwyddi? Yr oedd hwn yn gwestiwn mawr a dyrys. Cyfodai y blaid Doryaidd a chyfeillion Sefydliadau Eglwysig yn eu nerth, a gwnaent eu goreu i gynhyrfu y wlad i ddeisebu, &c., er calonogi yr Arglwyddi i wrthod y Mesur ar yr ail ddarlleniad. Tybient fod y nerth a ddangosid yn y modd hwn y fath ag nad oedd yn bosibl ei wrthsefyll. Yr oedd y papyrau Rhyddfrydig

yn gyffredin yn dyfalu beth fyddai canlyniadau gwrthodiad y Mesur gan yr Arglwyddi, canys dysgwylid yn gyffredin mai ei wrthod a wneid; ac mewn cyfeiriad at y cyfryw ddyfaliadau, y rhai a ystyrid gan y Toryaid fel bygythion, "Pa fodd," medd y *Standard*, "y darfu i deimlad y wlad ei ddangos ei hun ar y mater? O fewn wythnos, a chydag ychydig neu ddim amser i barotôi a chydweithredu, cynnaliwyd dros ddeg ar hugain o gyfarfodydd lliosog yn Llundain ac amryw drefydd pwysig yn y wlad, yn unig i'r perwyl o gefnogi yr Arglwyddi yn eu penderfyniad i daflu allan y Mesur. A all rhywun gyfeirio at gymaint ag un cyfarfod yr ochr arall? A gosod o'r neilldu chwarëu-daranau gwasg y Gweinidogion, a oes genym unrhyw brawf o gwbl o deimlad cyhoeddus difrifol o blaid y Mesur, ac yn cael ei gynhyrfu i ddigofaint gan yr hyn a fwriadai yr Arglwyddi wneyd?" Fe gynnaliwyd y cyfarfodydd, mae yn wir, ac fe agorwyd y llifddorau i roddi gollyngdod rhydd i'r diluw o ddigofaint ag oedd wedi hir groni mewn mynwesau pendefigaidd, parchedig, a gwir barchedig, a hyny yn yr ymadroddion isaf a mwyaf brwmstanaidd ag a allai iaith fforddio. Nid oedd yn anhawdd ychwaith cael llawer o bobl iddynt, a chael llawer i lawnodi y deisebau. Ond yn nghanol yr holl zêl ferwedig yma, yr oedd y deyrnas yn dawel. Ymddengys fod y *Standard* yn perswadio ei enaid mai y rheswm am y tawelwch hwnw oedd fod y genedl yn cydymdeimlo â'r Toryaid. Ond ni fu erioed ddyfnach camgymeriad. Yr oedd rhywbeth yn arddunol yn nystawrwydd pobl Prydain y dyddiau a aeth heibio, pan yn aros i edrych pa dderbyniad a roddai Tŷ yr Arglwyddi i'r gwladlywiaeth y dychwelasid i'r Senedd y fath fwyafrif anghymharol mewn trefn i'w gario allan. Teimlent yn debyg i'r hyn a ddywedai Iarll Granville y noswaith o'r blaen oedd ateb Mr. Bright yn y Cyfrin-gynghor pan ofynwyd beth a wneid os byddai i Dŷ yr Arglwyddi wrthod y Mesur,—"Yna rhaid i'r Cyfrin-gynghor gyfarfod." Dim ychwaneg. Mae gwendid yn gynhyrfus, a brochgar, a bygythiol; y mae nerth o'r ochr arall yn ymorphwys yn ei gryfder, ac yn teimlo y gall fforddio bod yn dawel. Os bydd raid iddo yn y pen draw ddangos beth a all, ni fydd ond peth dibwys ganddo osod ei droed ar Mr. Gwendid, a pheri dystawrwydd. Edrychid ymlaen gyda dyddordeb neillduol at y ddadl yn Nhŷ yr Arglwyddi. Ni fu yr ystafell ysblenydd hono yn gyrchfa cymaint o sylw er ys llawer o amser, ac ni ddangoswyd mwy o allu ynddi ar unrhyw adeg nag a wnaed yn y ddadl hon. Yr oedd yr areithiau yn Nhŷ y Cyffredin ar y mater, er ys llawer dydd, wedi colli eu dyddordeb; yr oedd pobpeth ag oedd i'w ddyweyd arno wedi ei ddyweyd, a'r pwnc wedi ei hen benderfynu. Yr oedd yn anhawdd i neb siarad arno heb deimlo nad oedd ganddo ddim i'w wneyd ond lladd y lladdedigion; ac oblegid hyny yr unig atebiad oedd gan y Weinyddiaeth a'i byddin gref i'w roddi i'r gwelliantau lliosog a gynnygid oedd cerdded i'r *lobby*, a chario y mesur yn ei gyfanrwydd. Yr oedd y Toryaid yr un modd wedi hen wario eu saethau, ac nid oedd parhâu y ddadl ymlaen yn ddim ond coll amser. Pan ddaeth y mesur i'r Tŷ uchaf, sut bynag, yr oedd yno ddynion newyddion i gymeryd y mater i fyny, a safleoedd newyddion i wneuthur eu hymosodiadau a'u diffyniadau oddiarnynt; ac er clod i'r Tŷ hwnw y dywedir, yr oedd yno gymaint o dalent, a gallu, a thegwch, yn cael eu harddangos yn y ddadl ag oedd yn

rhoddi math o newydd-deb dymunol i'r holl helynt, heblaw fod y cwestiwn, Beth a wnai yr Arglwyddi o'r Mesur, yn rhoddi pwysigrwydd neillduol ar yr ymdrafodaeth i gyd. Gwnaeth Iarll Granville ei ran fel arweinydd y Llywodraeth yn y Tŷ mewn modd teilwng iawn; gosododd yr achos ger bron mewn modd cryno, urddasol, a charedig, gan addaw y byddai y Llywodraeth yn barod i ystyried unrhyw welliantau a gynnygiai eu Harglwyddiaethau mewn pwyllgor. Yr oedd Iarll Harrowby, wrth gynnyg gwrthodiad y Mesur, yn rhoddi i fyny y ddadl ynghylch Llw y Coroniad a Deddf yr Undeb, pynciau ag yr oedd lliaws o'i frodyr wedi eu pregethu hyd grygni; perygl y Mesur ganddo ef ydoedd ei fod yn gamwri â'r Eglwys, yn cario allan syniadau Mr. Miall, ac yn ddechreuad gofidiau pellach. "Nid brwydr unigol," medd efe, "ond rhyfel oedd ar gael ei dechreu." Yr oedd rhai o honynt yn cymeryd tir uchel iawn, ac, yn iaith y cyfarfodydd mawrion, yn benderfynol o beidio ildio troedfedd, na modfedd, na llêd blewyn pen, ond taflu y Mesur allan ar unwaith. Yr oedd yn ddrwg genym weled Iarll Derby druan, yn ei henaint a'i wendid, yn ymladd mor ddireswm yn erbyn yr anocheladwy. Yr oedd ei araeth islaw iddo, ac yn wan o herwydd angherddoldeb ei ddygasedd at y Mesur. Yr oedd yn anhawdd peidio teimlo oddiwrth ddifrifwch ei ymdeimlad â dynesiad ei ddiwedd, ac i lawer, diammheu fod ei wrthdystiad dan y fath amgylchiadau yn erbyn y Mesur, yn gwisgo cysegredigaeth dwfn. Yr araeth oreu o ddigon ar yr ochr yna ydoedd yr eiddo Esgob Peterborough. Ond daeth yn amlwg yn lled gynar yn y ddadl mai pasio yr ail ddarlleniad a wneid. Gwnaeth araeth Esgob Tŷddewi ddifrod enbyd ar lawer iawn o'r ynfydrwydd oedd wedi cael ei siarad ar yr ochr Geidwadol, a siarad nes yr oedd y siaradwyr eu hunain o'r diwedd yn credu ynddo. Dygodd efe gymaint o oleuni clir gwladweiniaeth ddoeth a chyfiawn i lewyrchu ar y mater, nes yr oedd dadleuon y bobl a edrychent ar y pwnc yn ngoleuni buddiannau eu dosbarth, yn ymddangos yn fychain a dibwys. Ceisiai rhai o honynt daeru nad oedd y wlad wedi rhoddi ei llais ar y mater, yn gymaint ag nad oedd y mesur hwn wedi ei osod yn ffurfiol o'i blaen. Symudai ei Arglwyddiaeth o Dŷddewi yr ynfydrwydd yna o'r ffordd yn bur ddiseremoni, a dangosai fod y wlad wedi pasio egwyddor y Mesur mewn ffordd nad oedd yn bosibl ei chamgymeryd; ac os byddai i Dŷ yr Arglwyddi wrthod y Mesur y pryd hyny, nad oedd y gareg a deflid i fyny i'r awyr ddim yn fwy sicr o ddychwelyd i'r ddaear yn ôl, nag oedd y Mesur hwnw o gael ei ddychwelyd iddynt hwythau, pan y gorfodid hwy i'w basio mewn ffordd a fyddai yn fwy o ddiraddiad i'w hurddas nag a fyddai yn hawdd iddynt ei oddef. Nid oedd y Mesur yn bobpeth a allasai efe ddymuno, ond yr oedd ei basio iddynt yn anocheladwy. Darfu i araeth gref Ardalydd Salisbury gario yr un argyhoeddiad yn mhellach. Dangosai efe lawer o chwerwder ysbryd yn erbyn y Weinyddiaeth, a beirniadai yn llym ysbryd y Mesur; yr oedd yn haws i'r Arglwyddi oblegid hyny gydymdeimlo âg ef nag â Dr. Thirlwall; ond eto yr oedd ei holl bwysau yntau yn myned o blaid yr ail ddarlleniad, gan olygu y gellid gwella y Mesur mewn pwyllgor; a pha fodd bynag, mai ei basio oedd yr unig ffordd i ochel trychineb mwy. Yr oedd hyny yn elfen o ddyddordeb arbenig yn y ddadl hon yn Nhŷ yr Arglwyddi, fe deimlid fod yr areithiau i effeithio ar y rhaniad,—peth na

chawsid y mwynhâd o'i deimlo yn Nhŷ y Cyffredin ar y mater er ys llawer iawn o amser. A chymaint oedd effaith areithiau Thirlwall, Salisbury, ac eraill, ar eu Harglwyddiaethau, fel tra y cyfrifid ymron hyd adeg rhaniad y Tŷ y byddai mwyafrif o tua dwsin o blaid gwrthodiad y Mesur, y daeth y mwyafrif o'i blaid fore dydd Sadwrn, fel y dywedasom, yn dri ar ddeg ar hugain. Pythefnos cyn hyny yr oedd y cynnulliad mawr o Arglwyddi yn Nhŷ y Duc o Marlborough wedi penderfynu ei wrthod yn hollol! Darfu i lawer beidio pleidleisio oll. Yr oedd saith a deugain o Geidwadwyr oedd yn pleidleisio yn erbyn y *Suspensory Bill* y llynedd, yn y rhaniad hwn o blaid y Llywodraeth, a daeth saith ar hugain eraill, na phleidleisiasant y pryd hyny o gwbl, ymlaen eleni i chwyddo y mwyafrif. Ni ddarfu i Archesgobion Canterbury a York, nac Esgob Rhydychain, bleidleisio. Esgob Tŷddewi yn unig o blith yr Esgobion a anturiodd bleidleisio dros y Mesur. Ond tra yr oedd wyth ar hugain o Esgobion y llynedd yn pleidleisio yn erbyn y *Suspensory Bill*, ni ddarfu i ychwaneg na phymtheg o honynt bleidleisio eleni yn erbyn y Llywodraeth. Nid ydym yn gweled enw Arglwydd Penrhyn ar y rhestrau. Mae yn debyg fod synwyr craff ei Arglwyddiaeth yn dangos iddo fod gwrthwynebu y Mesur yn wallgofrwydd, er fod ei deimlad yn ei lesteirio i roddi ei lais o'i blaid.

Mae yn hawdd genym ddirnad siomedigaeth ddofn y Toryaid ag oedd yn credu yn ddiysgog yn Nhŷ yr Arglwyddi fel y gwrthglawdd olaf i gadw y llifeiriant draw. "Beth yw y newydd?" ebai un o honynt, fore dydd Sadwrn, wrth ddyfod i fewn i ddarllenfa gyhoeddus nid ymhell oddiwrthym. "Tri ar ddeg ar hugain o fwyafrif o blaid y Mesur," meddai ei gymydog. "*Y llyfrgwn!*" meddai yntau, gyda digofaint oedd yn dirgrynu ei holl natur. Buasai yn fil gwell gan y dosbarth yma weled y wlad yn fflam, na gweled yr Arglwyddi yn ymostwng i weithredu yn rhesymol. Mae rhai Rhyddfrydwyr yn gorfoleddu yn fawr yn yr ail ddarlleniad; ond nid ydym ni yn gweled cymaint o achos gorfoledd yn y peth, oddieithr yn y ffaith fod yr Arglwyddi wedi bod mor ddoeth a gweled y drwg yn dyfod a'i osgoi. "Gallai dyn," meddai y *Morning Star*, "a fo wedi dadgan ei benderfyniad i'w daflu ei hun allan trwy y ffenestr, ac yn lle hyny a dröai ar ei sawdl, gan fyned at ei orchwyl mewn modd synwyrol, deilyngu rhyw fath o glod am ei ddoethineb a'i hunanlywodraeth. Dyma yn gwbl y math o glod y mae gan Dŷ yr Arglwyddi hawl iddo am ei bleidlais fore dydd Sadwrn. Nid yw ei ddoethineb yn ein taro ond mewn gwrthgyferbyniad i'r cwrs ynfyd a fygythid wythnos yn ol. Mae Phylip yn sobr yn ein taro fel yn driphlyg sobr pan feddyliwn am Phylip yn feddw; ac y mae barn yr Arglwyddi mewn peidio beiddio ewyllys y genedl, wedi ei dadgan yn ol y cyfansoddiad, yn ymddangos yn wirioneddol ddofn, pan feddyliom eu bod unwaith yn meddwl o ddifrif am eu taflu eu hunain ar draws llwybr y bobl." Yr ydym yn llawenhâu yn hytrach fod egwyddorion uniondeb wedi ffŷnu i'r fath raddau yn marn a theimlad y boblogaeth, fel na feiddiai y rhagfarnau dyfnaf ddim ceisio myned ar eu traws.

Ond beth eto? Yr unig obaith yn awr ydyw, y gwneir gwelliantau ar y Mesur mewn pwyllgor, a gyfnewidia ei holl natur. Ond mae hyny yn dra annhebyg. Mae y rhai oedd yn pleidleisio dros yr ail ddarlleniad wedi derbyn ei egwyddor, a pha gyfnewidiadau bynag a

gynnygir, rhaid gadael egwyddor y Mesur heb ei chyffwrdd. Am y dosbarth mwyaf penboeth o'r gwrthwynebwyr, y rhai oedd yn ystod yr etholiad, ac yn awr yn y cyfarfodydd mawrion a gynnelid i ddeisebu yr Arglwyddi, wedi eu gweithio eu hunain, trwy ryw gyfriniaeth ryfedd, i gredu mai uchafiaeth y Frenhines neu uchafiaeth y Pab oedd yn y chware, ni fydd o fawr wahaniaeth iddynt hwy pa fân gyfnewidiadau a ellid dderbyn neu wrthod yn y Mesur. Ac am unrhyw gyfnewidiadau rhesymol a ellid gynnyg, cyhyd ag na byddont yn cyffwrdd âg egwyddor y Mesur, nid ydyw eu pasio nac yma nac acw. Y mae yr Eglwys Wyddelig ar fyned heibio. "Ac angel cadarn a gododd faen megys maen melin mawr, ac a'i bwriodd i'r môr, gan ddywedyd, Fel hyn gyda rhuthr y teflir Babylon y ddinas fawr, ac ni cheir hi mwyach." Ac onid dechreuad y diwedd yw hyn oll?

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Cofiant a Phregethau y* Parch. EVAN HARRIES, Merthyr. *Gan* THOMAS LEVI. Abertawy: Rosser.

YR oedd yn dda iawn genym glywed fod gobaith i ni gael gair o hanes yr hen bregethwr gwreiddiol a gafaelgar gan Evan Harries. Ond wrth weled blwyddyn ar ol blwyddyn yn llithro ymaith heb ddim tebygolrwydd fod yr addewid yn dyfod yn ffaith, yr oeddym braidd yn ofni mai yr un dynged a ddaethai i'w goffadwriaeth ef ag a ddaeth i'r eiddo lliaws o'i frodyr a haeddasant beth gwell oddiar ein llaw fel cenedl, sef cael ei adael i ddiflanu yn y dystawrwydd mawr. Yr unig sicrwydd a deimlem mewn cysylltiad â'r helynt ydoedd, fod yr enw a welsem yn yr hysbysiad am y Cofiant y fath ag sydd wedi dysgu ei genedl i ymddiried ynddo. Erbyn hyn dyma y llyfr wedi dyfod allan, yn gyfrol fechan ddestlus, gryno, ac o'r mwyaf darllenadwy a ddaeth i'n llaw er ys llawer dydd. Y mae pregethu yn ein gwlad erbyn hyn wedi cyraedd cyfnod tra gwahanol i'r peth ydoedd yn nyddiau boreuol Harries. Mae dechreu pregethu bellach yn beth tra gwahanol i'r hyn ydoedd yn 1814, pan oedd David Parry, tad-yn-nghyfraith Harries, yn pregethu yn Cefn-yr-esgair, Llanwrtyd, a phan geisiwyd ganddo yntau ddechreu yr oedfa, a "dyweyd tipyn wedi hyny a gaffai ar ei feddwl." A diammheu fod manteision ymgeiswyr am y weinidogaeth yn ein dyddiau ni lawer yn fwy nag ydoedd eiddo y dynion ieuainc oedd y pryd hyny yn teimlo ar eu calon gynghori eu cydbechaduriaid. Yr ydym yn annhraethol bell oddiwrth edrych yn fach ar y manteision pwysig sydd gan y dyddiau hyn ar y dyddiau gynt, o ran trefn a diwylliad. Y pryd hyny yr oedd pethau yn ymffurfio yn ein gwlad, ac o angenrheidrwydd yr oedd rhyddid mawr, dan y cyfryw amgylchiadau, yn anhebgorol, rhyddid ag a fuasai mewn dyddiau fel yr eiddom ni yn arwain ymron i dryblith. Ar yr un pryd, nis gallwn lai na theimlo, a theimlo yn ddwfn, fod manteision pwysig y dyddiau gynt, mewn cysylltiad â dechreu pregethu,

ag y mae y dyddiau hyn yn ddirfawr ar eu colled o gael eu hamddifadu o honynt. Yn un peth, yr oedd y gwresogrwydd ysbryd ag oedd yn meddiannu y rhai oedd wedi derbyn y gwirionedd yn y cariad o hono, ynghyda'r teimlad difrifol oedd mor fynych yn llanw y cynnulleifäoedd wrth wrando y gair, yn rhyfeddol o feithringar i ysbryd pregethu. Meddiennid meddwl y pregethwr gan amcan mawr y weinidogaeth, ac yr oedd hyny ynddo ei hun yr hyfforddiad perffeithiaf yn y gelfyddyd. Yr oedd ganddo nôd i saethu ato, ac ni theimlai fod ei holl ymdrech yn werth dim heb i'r ergyd gyrhaedd. Yr oedd difrifwch ei amcaniad, wedi hyny, fel yr oedd yn derbyn ei anadl i raddau mawr o'r awyrgylch o ddifrifwch oedd o'i amgylch, yn effeithio i ddwysâu difrifwch ei wrandäwyr; yr oedd hyny drachefn yn effeithio yn ol ar ei ysbryd yntau, nes fod y tân, yn enwedig ar brydiau, yn cyrhaedd angherddoldeb ag y mae yn anhawdd i lawer o honom yn y dyddiau hyn ei ddychymygu. Heblaw hyny, yr oedd y dull cartrefol yr elid ymlaen, yn enwedig gyda'r camrau cychwynol yn y gwaith, yn rhyfeddol o fanteisiol i ddyn ieuanc feddiannu ei hun a chael ei anadl ato. Yr oedd canfod ei hun ar ben yr ystôl yn Cefn-yr-esgair, ar ol dechreu yr oedfa, a gweled, tra y dysgwylid iddo "ddyweyd tipyn a gaffai ar ei feddwl," fod y tŷ, yn groes i'w ddysgwyliad, yn llawn o feibion a merched o gymydogaeth y Bont, yn gryn brofedigaeth i Evan Harries ieuanc. Ond wedi cânu y pennill o Salm y cafodd y presennoldeb meddwl o'i roddi allan,—

Pe llithrwn ddim, gan faint y llid,
  Fe ddywedid fy ngorchfygu,
A llawen fyddai fy holl gâs,
  Dal fi o'th ras i fyny,—

ac yn enwedig wedi i'r gynnulleidfa gael cymaint blâs arno fel ag i "ddyblu y rhan olaf amryw weithiau," nid ydym yn synu ei glywed yn dyweyd, wedi crybwyll mai ei destun ydoedd, "Pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint," "Cefais lawer o bleser y tro hwnw, yn nghanol teimladau hynod o gymysglyd, wrth geisio dangos cyflawnder a chymhwysder yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist, a'r pechod o'i hesgeuluso, a gwelodd yr Arglwydd yn dda roddi ei wênau arnom." Mor wahanol y dyddiau hyn, pan y mae gŵr ieuanc, ymron y tro cyntaf yr egyr ei enau yn gyhoeddus, yn gorfod gwneyd hyny yn ngŵydd y gynnulleidfa fawr, oer, feirniadol, ac yn fynych yn mhresennoldeb gweinidog dyeithr, sydd yn fwy o brofedigaeth iddo na'r holl gynnulleidfa gyda'u gilydd! Yr oedd hyn oll, yn y dyddiau gynt, y diffyg manteision yn y pregethwr, a'r dealldwriaeth a'r teimlad da oedd rhyngddo â'i frodyr, yn peri i ddyn ymdaflu yn ddibetrus ar ei adnoddau ei hun, yn gystal ag ar y cymhorth oddiuchod; a thra yr oedd hyny yn dwyn y nefoedd i gyfranu yr eneiniad, yr ydoedd hefyd yn peri i anian ildio i'r anturiwr ei thrysorau mawrion hithau mewn naturiolrwydd a gwreiddioldeb. Yr ydym gan hyny yn teimlo fod llyfrau o fath hwn yn teilyngu astudiaeth neillduol mewn dyddiau fel yr eiddom ni, ac yn awgrymu yn gryf i ni y pwysigrwydd o gymeryd yr holl ofal sydd o fewn ein gallu, tra yn ymestyn am ragoriaethau newyddion ein hunain, i ddal ein gafael yn ddiysgog yn mhethau gwerthfawr ein tadau. Gwasgant arnom yn arbenig y pwysigrwydd o feithrin crefydd ddofn yn ein hysbrydoedd ein hunain, ac felly i godi yr ardymheredd, y *temperature*, yn ein heglwysi a'n cynnulleidfäoedd. Ai tybed nad oes ganddynt rywbeth i'w ddyweyd wrthym hefyd ynghylch rhoddi mwy o ryddid i'n gwŷr ieuainc gobeithiol, cyn dechreu o honynt ar y gwaith cyhoeddus? Ai ni ddylid cael llawer mwy o brofiad o'u gallu mewn cylchoedd llai cyhoedd, ac yn enwedig ai ni ellid gyda buddioldeb mawr mewn llawer ardal gael cyfarfodydd crefyddol mewn tai annedd, a fyddo, heblaw ateb dybenion gwerthfawr eraill, yn gyfleusderau gwerthfawr i feithrin duwioldeb a doniau ein gwŷr ieuainc? Mewn gwledydd eraill ni roddir mantais o gwbl, ymron, i

wŷr ieuainc gynnyg ar lefaru nes cael o honynt eu hunain wyneb yn wyneb â'r gynnulleidfa; y canlyniad ydyw eu bod, pan ddechreuant bregethu, er bod yn Athrawon yn y Celfyddydau, ac yn ddysgedig yn holl ddoethineb yr ysgolion, yn fechgyn diymadferth mewn traddodi,—weithiau yn methu, ac yn ennill y gwarth o fod, fel y gelwir hwynt yn Scotland, yn "*sticket ministers*," neu, yr hyn sydd lawer mwy anffodus, yn prynu y sicrwydd o allu myned trwy yr oedfa ar y draul anferth o werthu eu rhyddid am eu hoes, a darostwng eu hunain i'r slafeidd-dra o ddarllen eu pregethau. Mae yn gwestiwn ai nid ydyw ennill eglwysi Crêd yn niwylliad eu gweinidogion y dydd hwn, yn cael ei wrth-fantoli gan y golled o fod y gweinidogion hyny yn amddifad o'r gallu areithyddol sydd yn eisieu i wneuthur dim tebyg i gyfiawnder â'u cymhwysderau eraill mewn gyru y gwirionedd adref i ddeall ac i gydwybod eu gwrandäwyr. Y mae y diwygiad Methodistaidd yn Nghymru wedi rhoddi ei le mewn modd arbenig i'r traddodi yn y pregethu. Rhoddid mantais neillduol i'r dynion ieuainc yn y cyfarfodydd mewn annedd-dai, &c., i ddechreu anerch cynnulleifäoedd, ac yr oedd yr ymarferiad parhäus a geid yn y teithiau a gymerid yn achlysurol gyda yr hen weinidogion, yn enwedig i rai â'u bryd ar ragori, yn ateb dyben tra gwerthfawr fel cyfleusdra i ymberffeithio yn y gwaith. Y gŵyn a glywir fynychaf am ein pregethwyr ieuainc y dyddiau hyn ydyw, nad oes dim yn eu pregethau sydd yn gafaelyd yn eu gwrandäwyr. Dywedir eu bod yn adrodd pregeth yn hytrach na phregethu, yn dyweyd rhywbeth ger bron eu gwrandäwyr, yn hytrach na llefaru wrthynt. Mae yn anhawdd genym feddwl na cheid gradd o ddiwygiad yn hyn pe gofelid yn fwy meddylgar am roddi i'n gwŷr ieuainc y cyfleusderau goreu wrth ddechreu ymarfer â llefaru yn gyhoeddus. Wedi rhoddi y cyfleusderau hyn iddynt yn ddibrin i ddangos beth sydd ynddynt, gadawer iddynt heb gyrhaeddyd modfedd o dir newydd ond fel yr *ennillant* ef â'u cleddyf ac â'u bŵa. Gallai darllen llyfr fel hwn hefyd ateb dyben rhyfeddol o werthfawr i'n pregethwyr ieuainc trwy eu dwyn i werthfawrogi y menter a ddangosai ein tadau mewn dilyn natur ac ymddiried ynddi, y "glewder" hwnw ynddynt, er llawer o anfanteision a llawer o anwybodaeth, "a feiddiai gydfyned âg anian." Adwaenom rai sydd â natur yn gref ynddynt, mewn ystyriaethau eraill, ond wedi llwyddo i'w dirymu yn llwyr yn eu llafur gweinidogaethol, a hyny oblegid eu bod wedi cymeryd eu safon o ragoriaeth rywle y tu allan iddynt eu hunain, yn lle gadael iddo ymffurfio yn naturiol o'u mewn. O ymgydnabyddu llawer â'r gyfrol fechan yma, gallai roddi i'n pregethwyr ieuainc awgrymiadau ag y byddai yn anmhosibl rhoddi pris arnynt; ac fe ŵyr pawb sydd yn gwybod rhywbeth am efrydu, fod awgrymiadau sydd yn dyfod i'r meddwl mewn ffordd anuniongyrchol, i amcanion hunan-ddiwylliad, yn bethau o'r ffrwythlonrwydd mwyaf.

Yr ydym wedi aros ar y pethau uchod o herwydd y cyfaddasrwydd neillduol sydd yn y gyfrol i fod o wasanaeth i deyrnas yr Arglwydd Iesu gyda golwg ar y dosbarth uchaf o ddarllenwyr yn ein gwlad. Am ein pobl yn gyffredin, nid yw yn hawdd meddwl am lyfryn y gellid dysgwyl iddo fod yn fwy cymeradwy ganddynt. Mae ystori buchedd Harries yn ddyddorol iawn, ond yn llawer rhy fêr; mae y cofnodion o'i ddywediadau yn drysorau o ffraethineb a synwyr; ac y mae ei bregethau yn llawn o athrylith a difrifwch.

Mae y llyfr yn rhy fŷr i ni wneyd dyfyniadau meithion o hóno; ond er mwyn nifer mawr o'n darllenwyr nad ydynt yn gwybod nemawr am Harries, ac "er enghraifft," chwedl yntau, gadewch i ni wneuthur dyfyniad neu ddau. Dyma yr olwg a gymerai ar y *Maine Law*:—

"Yr ydym yn cofio ei fod unwaith yn gadeirydd mewn cyfarfod lle y traddodid araeth ar y *Maine Law*, gan un o'i phrif gefnogwyr Cymreig. Dangosodd yr areithiwr fod amcan Dirwest a'r *Maine Law* yr un, ond fod y llwybr i'w gyrhaedd yn wahanol. Wedi i'r areithiwr eistedd, cododd Harries ar ei draed. Edrychai yn hynod o'r *comical* ar y bobl, a dywedodd mewn cystal tôn a hwyl ag y siaradodd erioed yr hanesyn digrifol a ganlyn:—'Yr wyf yn cofio fod hen gath gan fy nhad,

na fu o'i bath erioed am fwyta canwyllau. Pan yn achwyn arni wrth gymydog, cynghorai ef i serio trwyn y gath â haiarn poeth, os daliai hi gyda'r canwyllau drachefn. Felly treiwyd yr *experiment.* Ond welsoch chwi erioed shwd beth—yr oedd y gath yn bwyta canwyllau wedi'n cynddrwg âg erioed. "Fe weda i ti beth raid wneyd," ebe nhad wrth fy mam, "os wyt ti am i'r gath beidio bwyta canwyllau—hongian hwy dan y llofft." A'r unig ffordd a gafwyd i wella y gath oedd, trwy godi y canwyllau allan o'i chyrhaedd. Yn awr, gan fod dirwest yn methu cael genych chwi adael yr hen ddïoden, y mae fy mrawd am wneyd â hi fel y gwnaeth fy mam â'r canwyllau—ei hongian dan y llofft.' Ni raid dyweyd wrth y darllenydd fod y gynulleidfa wedi colli pob llywodraeth arni ei hun, a'r chwerthin mawr wedi trydanu pob un ond y siaradwr; yr oedd efe mor sobr â phe buasai ar ei liniau. Anghofiwyd sylwadau campus yr areithiwr, ac ni chlywid son am ddim y dyddiau canlynol, i mewn nac allan, ond am gymhariaeth ddigrifol y cadeirydd."

Mewn pregeth ar y testun, "Y dynion hyn ydynt weision y Duw Goruchaf, y rhai sydd yn mynegu i chwi ffordd iachawdwriaeth," dywed,

"Cofiwch mai *ffordd* ydyw, bobl. Peidiwch tori dros y caeau, cedwch ar y ffordd. Mae rhai yn ceisio gwella y ffordd, ac fel Cristion Bunyan, wedi ei cholli wrth geisio ei byrhâu. Cedwch ar y ffordd, waith chwi bïau hono. Pan oeddwn i yn cadw ceffyl, byddai y bobl yn dweyd wrthyf weithiau, 'Gellwch fyned dros *dram-road* y cwmpeini.' 'Diolch i chwi,' meddwn innau, 'well gen i gadw ar y ffordd." Yr wyf yn teimlo yn fwy ëofn a rhydd ar y ffordd fawr nag un man ond ar yr aelwyd gartref. 'Does un man ond gartref y mae genyf fwy o *right* ynddo. Dygwyddodd i mi yn ddiweddar weled boneddwr yn ei gerbyd o bedwar, a'r arian yn dysgleirio yn nhaclau'r ceffylau, yn dyfod i gyfarfod y *donkey cart* ar y ffordd fawr. Yr oeddwn yn dysgwyl gweled y gŵr a'r *donkey* yn crynu, ac yn ymwasgu i'r clawdd. Na, nid oedd arno ddim mwy o ofn y boneddwr nag oedd ar y boneddwr o'i ofn yntau. Yr oedd yn cadw hanner y ffordd heb symud *peg.* Rhoddwch y *whip* ar wàr gŵr y *donkey.* Na, onide mi gâf fi whip y llywodraeth ar fy ngwàr. Mae y ffordd yn rhydd iddo ef fel i finnau. Diolch am ffordd iachawdwriaeth! Brysia, bechadur, rhed i'r ffordd: dïanc am dy einioes. Cyfrifwn ef yn fraint uchel, wedi dyfod yma trwy lawer o rwystrau, i gael sefyll i fyny yn *ddirecting post* i gyfarwyddo rhyw un i ffordd iachawdwriaeth."

*Cofiant am y diweddar* Barch. FOULK EVANS, Machynlleth, *gyda chrynodeb o rai o'i bregethau;* gan y Parch. J. OGWEN JONES, B.A., Croesoswallt. Bala: Edward Jones.

DYMA hen weinidog hybarch arall sydd yn ddiweddar wedi ein gadael, ac wrth wneyd hyny wedi gwanhâu yn fawr y cysylltiad oedd rhyngom â'r dyddiau gynt. Bu ef yn pregethu am dros driugain mlynedd; yr ydoedd, yn ystod y fath dymmor maith, wedi cymysgu â nifer mawr o'i frodyr, a gweled llawer tro ar fyd. Byddai yn dra dyddorol ei glywed yn myned dros ei adgofion, yr hyn a wnai mewn cyfeillach gydnaws gyda llawer iawn o fwynhâd. Er ei fod yn barhäus yn teimlo fod eisieu i'w frodyr fyned rhagddynt yn ngwaith teyrnas Crist, ac weithiau yn ymddangos yn lled fŷr ei amynedd, ac yn ddigon cwta ei air, wrth weled pethau yn llai trefnus nag y carasai eu gweled, eto byddai cofio y dyddiau gynt, a meddwl beth a wnaethai Duw yn ei oes, yn peri i'w galon yn fynych ymchwyddo o'i fewn gan ddiolchgarwch, ac i'w lygaid ymlöewi gan sirioldeb. Clywsom ef droion yn son am y Parch. Simon Lloyd o'r Bala yn galw heibio i'w gartref yn Llanuwchllyn ar fore Sadwrn yn fuan wedi iddo ddechreu pregethu, ac yn gofyn i'w dad—Evan Foulk "iti"—am iddo ganiatâu i Foulk ddyfod gydag ef ar daith drwy Sir Drefaldwyn. Heb ychwaneg o seremoni, cychwynasant ill dau yn y fan. Yr ydym yn meddwl mai yn Nghoris yr oeddynt i bregethu y noswaith hono, a bore Sabbath. Erbyn 2 aethant i Fachynlleth. Am 6 yr oeddynt yn Nghemmaes. Ac felly ymlaen, nes erbyn y nos Sabbath canlynol, yr oeddynt wedi pregethu mewn pob lle o addoliad oedd gan y Methodistiaid yn Sir Drefaldwyn. Ac yn niwedd yr hanes gofynai yn gyffredin, gyda thôn o syndod a diolchgarwch, "Pwy allai wneyd felly yrŵan?" Pe buasai rhywun wedi ysgrifenu ei adgofion

o'i enau, buasent yn ddyddorol anghyffredin i'w darllen. Mae y Cofiant hwn yn cynnwys cryn lawer o honynt, ond nid ydyw yr hyn a gofnodwyd yma ond ychydig iawn o'r trysor oedd ganddo ef yn ei gof. Fe gafodd gyfleusderau lawer, a hyny dros hir ysbaid, i ymgydnabyddu â llawer o'r dynion ag y mae Cymru dan ddirfawr rwymau iddynt, a chan ei fod o'r dechreu yn ddyn tra sylwgar, yr oedd yn naturiol i'w gronfa o bethau dyddorol am y tadau ymchwyddo i faint a gwerth ag nad allwn lai na gofidio wrth feddwl ei bod erbyn hyn wedi ei dwyn oddiarnom. Pa fodd bynag, fel yr ydym yn diolch yn gynhes i Mr. Levi am Gofiant dyddorol a difyrus Harries, felly yr ydym hefyd yn teimlo yn dra diolchgar i'n cyfaill, Mr. Ogwen Jones, am wneuthur o hóno y gwasanaeth gwerthfawr hwn i goffadwriaeth yr hen bregethwr sylweddol a'r cristion glöew a ffyddlawn o Fachynlleth. Yr oedd llawer o debygolrwydd rhwng y ddau. Dechreuasant ar eu llafur yn dra thebyg. Yr oedd *society* i fod yn Tŷ'nyfedw, Llanuwchllyn, ryw noswaith; aeth Foulk Evans yno, a chymhellwyd ef i bregethu am y waith gyntaf. "Ei destun oedd Heb. iv. 1. Traethodd am oddeutu ugain mynyd, a hyny gyda'r difrifwch mwyaf. Wrth derfynu, dywedai wrth frawd arall, yr hwn oedd wedi dyfod i fyny gydag ef i'r Llan, 'Dyna fi wedi darfod, dywed dithau ychydig.' Ar ol hyn ymroddes â'i holl egni i ddarllen, myfyrio, a gweddïo. Treuliodd lawer noswaith gyfan mewn gweddi a myfyrdod yn llofft y Pandŷ, a chyfansoddodd lawer pregeth wrth gerdded gyda ffôs y felin. Ymroddodd i bregethu yn y tai yma a thraw ar hyd yr ardal, yr hyn a wnaeth gyda chymeradwyaeth mawr. Gwnai hyn hefyd pan ydoedd dan angenrheidrwydd o helpu ei dad gyda'i alwedigaeth, a gweithio hefyd ar y fferm. Parhäodd i bregethu fel hyn yn yr ardal am ysbaid ugain mlynedd, fel nad oedd odid dŷ yn ardal Llanuwchllyn lle ni chlybuwyd ei lais ef yn cymhell pechaduriaid i ddyfod at Grist. Cyfrifai ef ei hun iddo bregethu dros *fil o bregethau* yn Llanuwchllyn yn ystod yr adeg uchod. Hoffai, pan yn cyfeirio at hyn, ofyn y cwestiwn i'r neb y byddai yn adrodd yr hanes iddo, 'Pa faint, dybygech chwi, a gefais i o dâl am fy mhoen gan ddynion?' Weithiau, cai atebiad, Ugain Punt; gan un, Deg; gan un arall, mwy neu lai; ac yna gyda boddhâd amlwg prysurai i ateb ei gwestiwn ei hun yn y geiriau, '*Chwarter o siwgr i fyned adref i fy mam!*'" Yn y pethau uchod mae ei hanes yn dra ffrwythlawn yn yr addysgiadau y cyfeiriasom atynt yn hanes Evan Harries. Beth bynag am wahaniaeth yr amseroedd, mae yn rhaid i bregethwyr ein dyddiau ninnau gael eu cadw yn anfesurol uwchlaw ymgymeryd â'u gwaith mewn ffordd *professional*, neu gyda golwg ar y gydnabyddiaeth a allo ddyfod yn eu ffordd. Ymrodded ein gwŷr ieuainc, gyda hunan-aberthiad y tadau, i farchnata â'r talentau a ymddiriedwyd i'w gofal, gan ymlanw âg amcanion mawrion teyrnas y Ceidwad; a phan ddelo yn amlwg fod Ysbryd Crist wedi eu cynnysgaeddu â doniau y weinidogaeth, gofaled yr eglwysi am roddi iddynt y cyfleusderau mwyaf manteisiol i ddefnyddioldeb. Tra y mae myrddiwn o feirdd wedi canu yn ddigon cymhen, wedi cymeryd byd o drafferth i ennill cymeradwyaeth, ac o uchder eu pinaclau yn edrych i lawr gyda thosturi ar hen feirdd y dyddiau gynt; eto, fel y mae chwaeth y byd yn addfedu a beirniadaeth yn dyfod yn wyddor, y mae y beirdd cymhen, y naill ar ol y llall, yn diflanu o'r golwg, a Homer a'i frodyr yn blodeuo mewn bythol ieuenctyd. Beth bynag all celfyddyd wneyd mewn trefnu a thrwsio, natur raid roddi bywyd a grym a gogoniant. Yr un modd efo phregethu. Mae llawer bachgen yn gwrando gyda ffroen ddyrchafedig am bregethu yr hen frodyr, ac yn teimlo ar ei galon ddiolch fe allai ei fod ef gymaint yn fwy diwylliedig, &c., &c., tra yr oedd natur a difrifwch wedi eu gwneyd hwy yn nerthoedd, ac yntau gyda'i ddiwylliad a'i gyfan yn cael ei adael yn ddim ond cymhendod ac eiddilwch. Hyderwn yn fawr y bydd y rhai y perthyn iddynt yn gofalu am *gyfleusderau* i'n pobl ieuainc sydd â'u bryd ar fod owasanaeth; ac y byddant hwythau, gan gofio am y rhai sydd wedi myned o'u blaen, yn ffyddlawn i natur, yn gystal ag yn gysegredig i Dduw.

Ond nid yn amgylchiadau eu hanes, eu hir oes, a'u ffyddlondeb cydwybodol

gyda gwaith yr Arglwydd, yr oedd yr unig debygolrwydd rhwng y ddau hen weinidog parchus y mae eu cofiantau yn awr wedi dygwydd cydymddangos. Yr oedd llawer o debygolrwydd rhwng eu dynoliaeth. Yn y naill a'r llall yr oedd y graig wedi ei gadael yn ei hysgythredd cynhenid, ac ni adäwyd i gelfyddyd ddodi ei llaw arnynt. Yn ddiarwybod iddynt eu hunain, yr oedd y ddau yn rhyfygu bod yn naturiol, ac yn ystod oes faith nid yw yn debyg fod y naill na'r llall wedi maliaw blewyn beth a feddyliai dynion am eu dull, &c. Rhywffordd, yn ymweithiad eu hyni mewnol, fe ddarfu i natur yn y naill a'r llall dôri ffordd iddi ei hun, ac er fod y ffordd hono ar lawer cyfrif yn rhywbeth digon ôd, eto, gan mai hono a gafwyd yn gyfrwng cymundeb rhyngddynt â'u cyd-ddynion, derbyniasant hi heb ofyn cwestiwn, ac heb ddychymygu erioed fod eisieu iddynt wneyd dim o'r fath beth. Yr oeddynt yn dra thebyg hefyd yn y dirwasgiad a roddent ar eu meddyliau, ac o ganlyniad yn mlaenllymrwydd eu harddull. Yr oedd meddwl yn wasgaredig, a llac, a dlymadferth, i'r ddau, yn annyoddefol. Ymddengys ei fod yn un o bynciau mwyaf sylfaenol eu credo nad oedd yn werth meddwl o gwbl heb feddwl i bwrpas. Tra y byddai eu brodyr yn curo eu tipyn meddwl yn deneu fel y taenent ef dros lawer o le, eu huchelgais hwy oedd ei ddirwasgu yn lympiau, a'i luchio yn y fath fodd nes taraw eu gwrandäwyr. A tharo y byddent ill dau, ac weithiau yn ddiarbed. Nid oedd ganddynt ddim *padding*, ac edrychent gyda diystyrwch mawr ar y rhai oedd yn delio yn y nwydd marchnadol hwnw. "Sut y pregethodd Mr. ——?" ebe rhywun wrth Harries. "Wel, mi ddywedaf wrthych; fe gymerodd lon'd ei fraich o *shavings*, gosododd hwy yn y *grât*, taniodd y *match*, a gosododd yn y *shavings*, nes oeddent yn wenfflam. Yr oedd yno dân mawr, ond tân *shavings* oedd." Tân *shavings!* y fath watwareg! Rywbryd, ar oedfa, cwynai brawd oedd yn pregethu o'i flaen fod yn rhaid iddo ddybenu am fod ei nerth yn darfod. Pan ydoedd yntau yn agos i ddiwedd ei bregeth, dywedai, "Rhaid i minnau ddybenu, nid am fod fy nerth yn darfod, ond *am fod y bregeth yn darfod.*" Ac mor fynych y byddai Foulk Evans yn adgofio ei frodyr mai nid *araeth* oedd yn eisieu, ond *sylw!* A chan fod ei fedr mewn celu ei deimladau yn rhyfeddol o anmherffaith, byddai ei frodyr weithiau yn cael mwynhâd nid bychan wrth weled ei brofedigaeth pan fyddai rhywun a wahoddasid i wneyd sylw, a'i ffrwd yn myned yn afon, a'i afon yn fôr. "Dowch, John, dywedwch air yn fyr—sylw byr." Yr oedd y ddau hefyd yn dra thebyg yn eu synwyr, eu craffder, eu hadnabyddiaeth o'r natur ddynol, a'r ymgyrchedd unionsyth â pha un yr amcanent at eu nôd gyda phob peth. Ond wedi dyweyd y pethau uchod rhaid cofio fod gan Harries fwy o yni na'i frawd Evans, a llawer mwy o ddewrder, hunanfeddiant, a hunanymddiried. Ac am y ffraethineb didrai, yr *humour* dwfn a chwareus, ac ar adegau, y watwareg ddeifiol oedd gan Harries, yr oedd ein hen gyfaill anwyl o Fachynlleth yn gwbl amddifad o honynt oll.

Mae yn chwith genym feddwl na fydd darllen mawr ar y ddau lyfr yma. Y mae Cofiant Foulk Evans, yr un modd a'r eiddo Harries, wedi ei ysgrifenu yn rhagorol, ac yn rhoddi drychfeddwl hynod o gywir am dano.

Dyma ddarlun a adnabuasem yn y lleuad, heb ddim enw dano:—

"Yn y pulpud, yr oedd ei ymddangosiad yn ddifrifol a phwysig, ac yn rhoddi argraff ar y meddwl ei fod yn 'ŵr Duw.' Cyn pregethu, rhoddai allan yn aml bennill o Salm, ac os byddai rhywun wedi bod yn pregethu o'i flaen, yn enwedig os ydoedd wedi pregethu yn lled faith, ar ol i'r gynnulleidfa ganu y ddwy linell gyntaf, yn lle rhoddi y ddwy ddiweddaf, dechreuai ar ei destun yn swta, gan adael i'r gynnulleidfa eistedd o un i un mewn syndod. Yr un modd ar ol darfod gweddïo ar ol y bregeth, rhoddai allan bennill o Salm neu Hymn yn union wrth ochr yr *Amen*, heb gymeryd amser i roddi *full stop*, na rhoddi amser i gyhoeddi na chasglu, os byddai eisieu hyny. Clywsom am dano yn pregethu yn Rose Place yn Nghymanfa Liverpool: yr oedd y brawd oedd yn pregethu o'i flaen wedi bod yn lled faith, ac yr oedd yntau yn anesmwyth iawn er ys meityn y tu ol iddo yn y pulpud. O'r diwedd, gyda bod y bregeth gyntaf wedi cyraedd yr 'Amen,' rhoes allan y Salm, "O, estyn eto i

barhâu, &c.' Gadawodd iddynt gânu dwy linell, ac yna dechreuodd ar unwaith, 'Yr Epistol at yr Ephesiaid, yr ail bennod, y bummed adnod.—Dyfodiad y geiriau i mewn, &c.' Yr oedd y gynnulleidfa yn methu gwybod pa beth i'w wneyd, gan fod llawer o honynt heb wybod am yr hen ffasiwn hon; ac felly eisteddent, un ar ol y llall; a chyn i'r olaf eistedd, yr oedd yr hen dad wedi myned ymhell heibio i 'ddy, fodiad y geiriau i mewn.' Cafodd oedfa rymus, ond ni bu yn faith; ac ar ol gweddïoi rhoddes allan y pennill, 'Os dof fi trwy'r anialwch, &c.,' ar frys mawr. Cafodd e aflonyddu gan ein hanwyl gyfaill, Mr. Lewis, *Bank of England*, yr hwn a edrychai i fyny at y pulpud mewn agwedd bryderus, gan ddywedyd, 'Un gair, syr, os gwelwch yn dda. Nos yfory, bydd John Jones, Llanllyfni, yn pregethu yn nghapel Pall Mall,' —'Os dof fi trwy'r anialwch'—'Un gair eto, os gwelwch yn dda, syr! Y moddion y Sabbath yn y capel, fel a'r fel.' 'Os dof fi trwy'r anialwch!' (gyda phenderfyniad cryf i fyned rhagddo). 'Un gair eto; sylwch, gyfeillion. Y *society* bore dydd Llun i'w chynnal yn nghapel Bedford street, am'—' Yna mynodd y pregethwr y fuddugoliaeth, a rhoddai allan gyda phesychiad cryf a bygythiol—

Os dof fi trwy'r anialwch,
Rhyfeddaf byth dy ras, &c."

*Y Treithiadur: sef y gelfyddyd o Ddarllen a Llefaru yn synwyrol; ynghydag eglurhâd ar Draithgânu.* Gan R. Herbert Williams. Caernarfon: Humphreys.

Nid oes genym ddim yn yr iaith Gymraeg sydd yn deilyngach o'i astudio gyda golwg ar y gelfyddyd o ddarllen a llefaru, na'r gwaith hwn. Nid oes un anmheuaeth nad oes dirfawr anfedrusrwydd mewn darllen i'w weled eto yn ein plith, a hyny hyd yn nôd ymysg arweinwyr ein cenedl; pa faint mwy raid fod y tlodi a'r tywyllwch sydd yn narllen ein lliaws. Mae yn ddrwg genym ddeall fod rhai o'n hefrydwyr a'n pregethwyr ieuainc yn ddigon ffol i edrych braidd yn ddirmygus ar gymeryd trafferth i ddarllen yn dda, darllen "gan osod allan y synwyr, fel y deallont wrth ddarllen," Neh. viii. 8; a'r un modd gyda llefaru, yn rhodresu mai y meddwl, neu y peth a ddywedir, sydd yn bwysig, ac nid y llefaru, neu pa fodd y dywedir ef. Mae yn wir fod rhai meddylwyr dyfnion wedi bod yn lled amddifad o allu i lefaru eu meddwl yn gyhoeddus, ac o ganlyniad yr oedd yn dda iddynt wrth gynnorthwy yr ysgrifell a'r argraffwasg fel cyfryngau i ddadgan wrth eu cyd-ddynion y pethau oedd o'u mewn. Ond nid ydyw hyny yn un esgusawd dros anwybodaeth ac esgeulusdra yn neb. Buasai yn well i'r rhai hyny eu hunain feddu gallu i lefaru eu meddwl, yn gystal âg i'w ysgrifenu; ond am y rhai sydd yn meddwl ymroddi i geisio addysgu eraill trwy lefaru, y mae yn ynfydrwydd o'r mwyaf iddynt feddwl am ymfoddloni heb berffeithio eu llefariad i'r graddau uchaf y byddo yn ddichonadwy, fel y byddo iddynt hwy eu hunain yn nerth a hyfrydwch, i'w gwrandäwyr yn fwynhâd, ac i'r gwirionedd yr amcanant ei ddysgu yn wasanaeth. "Fel na choller dim." Gresyn meddwl fod dim nerth yn cael ei wastraffu, yn enwedig mewn cylchoedd lle y mae pob nerth sydd yn gyrhaeddadwy yn rhy wan i gyrhaedd yr amcan. Mewn llawer iawn o ddarllen a llefaru cyhoeddus, fe ellid meddwl nad oes dim amcan mewn golwg o gwbl, gan mor drwsgl a lledchwith y mae y rhai sydd yn ymgymeryd â'r gwaith yn ffwdanu gydag ef. Ond y mae i ddarllen rhan o Air yr Arglwydd mewn cynnulliad cyhoeddus, er enghraifft, ddyben, a dyben sydd yn anhraethol uwch na llanw cyfran fêr o amser, a chadw i fyny ddefod; dylai yr hwn yr ymddiriedir y fath orchwyl pwysig iddo feddwl ei fod i ddwyn y rhan o'r Bibl a fyddo yn ddarllen ar y pryd i gyffyrddiad bywiol â meddwl a chalon ei wrandäwyr. A'r un modd wrth lefaru, dylai amcanu ar fod pob gair a elo allan o'i enau yn cyrhaedd clust, a meddwl, a chalon, y neb fyddo yn gwrandaw arno. Cuddiad cryfder pob hyawdledd ydyw llefaru i bwrpas; ond cofier fod hyny yn cynnwys dau beth, yn gyntaf, fod y *peth* a leferir y mwyaf cyfaddas i gyrhaedd yr amcan, ac yn ail, fod y *dull* y lleferir ef y mwyaf manteisiol i gynnyrchu yr effaith sydd yn briodol iddo ar y gwrandäwyr. Mae yn achos

o lawenydd a diolchgarwch fod y fath ymdrech canmoladwy yn cael ei ddangos yn ngweinidogaeth Cymru gyda'r anhebgor cyntaf, sef mater pregethu, y dyddiau hyn; ond y mae lle i ofni fod yr ail, sef y dull, yn fynych yn cael ei esgeuluso yn fawr. Ac eto y mae y ffaith yn aros fod y fath feistr â Demosthenes wedi dyweyd mai y peth cyntaf mewn areithyddiaeth yw traddodi; mai yr ail beth yw traddodi; ac mai traddodi hefyd ydyw y trydydd peth. Yr ydym yn teimlo yn sicr, pe byddai i'n pobl ieuainc ddarllen yn feddylgar y cyfarwyddiadau a roddir iddynt yn y llyfr hwn gyda golwg ar ddarllen a llefaru, y gwelid cyn pen nemawr gyfnewidiad bendithiol iawn yn y pethau hyn yn ein gwlad.

Ond tra yn cydnabod fod yr awdwr yn ysgrifenu yn rhagorol am y pethau a grybwyllwyd, ni allwn roddi canmoliaeth uchel i'w lyfr mewn ystyriaethau eraill. Mae ei arddull yn lled bell o feddu y gorphenrwydd a'r clasuroldeb a fuasai yn ddymunol mewn llyfr o'r fath. Y mae wedi bod yn dra anghelfydd yn nosbarthiad ei faterion, ac o herwydd hyny y mae ailadroddiadau yn anurddo ei ddalenau, ac mae y llyfr, o herwydd y gymysgfa ar ei fater, yn llawer gwanach nag y dylasai fod o ran ei effaith eithaf ar feddwl y darllenydd. Mae yr ysgolheigdod a arddengys yn ddiffygiol, a'i gyfieithiadau yn glogyrnaidd ac anghywir. Y mae *hobby* y corfanau a'r mesur diodl yn cael ei marchogaeth y tu hwnt i bob rheswm, ac yn y diwedd, nid ydym ni, er darllen y llyfr yn bwyllog a manwl, yn gallu gweled fod damcaniaeth yr awdwr yn agos i gywir. Ysgrifena yn ddoniol, a rhwydd, a hyderus, ac ni lysa feirniadu yn llymdost ymgeisiadau amryw o wŷr enwog Cymru yn y mesur diodl, &c., ond y mae yr enghreifftiau a ddyry i ni o'i waith ei hun yn salach na'r cyfan, ac yn peri i ni synu peth fod gŵr sydd wedi diwyllio ei glust i'r fath raddau mewn darganfod prydferthion y meistriaid, mor ddilywodraeth arni yn ei gynnyrchion ei hun. Mae yn ddiammheu y gallai efe gorfanu y llinellau a'u darllen mewn ffordd a barai iddynt ymddangos iddo ef yn *blank verse;* ond i ni, ac yr ydym yn meddwl ein bod, yn ystod ein hoes, wedi cael cryn brofiad mewn darllen barddoniaeth, nid ydynt ond rhyddiaith, ac hyd yn nôd fel rhyddiaith y maent ymhell o fod o'r mwyaf perseiniol. Yr ydym yn gwybod y bydd Mr. Williams yn tosturio wrth ein hanwybodaeth; ond byddai i ni ysgrifenu yn amgen i'r hyn a ysgrifenasom, yn honiad o oleuni mwy nag sydd eto wedi llewyrchu i'n meddwl, os ydyw wedi cyrhaedd ymhellach na meddwl y Corfanydd ei hun. A oes rhyw un o lênorion Cymru yn deall ac yn derbyn ei athrawiaeth yn y pethau hyn? Yr ydym yn ofni y gall ein cymydog hybarch ddywedyd fel Hegel, "Nid oes dim ond un yn holl Germany yn deall fy athroniaeth i, ac nid ydyw hwnw yn ei deall chwaith!"

*Galargan ar yr achlysur o farwolaeth y diweddar Barchedig* HENRY REES, *Liverpool.* Treffynnon: Evans.

NID oes un enw wrth y cyfansoddiad hwn, ond mae yn amlwg ei fod yn gynnyrch meddwl oedd yn dra chydnabyddus â Mr. Rees, ac, fel y rhan fwyaf o rai rhagorol y genedl, yn ei edmygu yn ddirfawr. Y fath le uchel a chysegredig a ennillodd y gŵr mawr a da hwnw yn mryd pawb a'i hadwaenai! Fe adawodd efe ei argraff yn ddwfn iawn ar ei oes, ac nis gellir meddwl am ddim sydd yn fwy o warogaeth i ddaioni na'r parch a'r anwyldeb â pha rai y coleddir ei goffadwriaeth. Da genym ddeall fod gobaith i ni gael cyfleusderau pellach i ymgydnabyddu â'i hanes, ac i barhâu ein cymundeb â'i feddwl cyfoethog ac â'i ysbryd grasol. Darllenasom yr alargan ragorol hon gyda hyfrydwch, a diammheu y darllenir hi gan lawer o'n cydwladwyr gyda blâs mawr.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## UNOLIAETH DYNOLRYW.

Y MAE dynoliaeth yn ffaith, ond y mae y dosbarth hwnw o hóni sydd yn anfoddlawn i roddi derbyniad i dystiolaeth yr Ysgrythyrau, mewn ammheuaeth ac ansicrwydd mawr ynghylch ei dechreuad. Y mae deg can' miliwn, medd rhai, deuddeg can' miliwn, medd eraill, mwy na hyny, medd eraill, o ddynion o bob math, a maint, a lliw, a llun, ar wyneb y ddaear; ac o ba le y daethant? Nid oes un anhawsder i benderfynu o ba le y daeth y rhai sydd yn y byd yn awr. Plant ydynt oll i'r rhai oeddent yma o'u blaen, a phlant oeddynt hwy i'r rhai oeddent o'u blaen hwythau, ac felly *yn ôl* i'r pellderau sydd yn myned tu hwnt i "wawr hanesyddiaeth." Ond o ba le y daethant gyntaf oll? Dadblygiad ydynt, medd rhai, o fodau eraill. Yr oeddent wedi bod yn rhywbeth arall cyn dyfod yn ddynion, ac yr oedd y rhywbeth arall hwnw wedi bod yn rhywbeth arall na hyny, ac felly yn *ôl* eto i'r pellderau sydd yn myned ymhellach fyth. Darfu i *ddim* ymddadblygu yn fyrdd o bethau difywyd, a darfu i'r myrdd hyny ymddadblygu yn bethau byw, ond heb feddu ond ar y grâdd isaf o fywyd ag y gellir dychymygu am dano. O'r pryd hwnw allan darfu iddynt, trwy ryw weithrediad o eiddo natur, ymwthio yn y blaen mewn gwahanol gyfeiriadau tuag at berffeithrwydd. Aeth un yn nghyfeiriad y ceffyl, gan gymeryd yr asyn ar ei ffordd, ac arall yn nghyfeiriad dyn, gan gymeryd yr epa yn ei ffordd yntau. Nid oes un sail i'r dychymyg hwn yn y nefoedd uchod nac ar y ddaear isod. Y mae ei ddysgawdwyr yn cydnabod hyny, ond y maent yn dywedyd wrthym y *dichon fod* sail iddo yn y dyfroedd sydd dan y ddaear. Nid oes un hanes mewn un cyfeiriad am neb o'r anghenfilod ag y maent yn sôn am danynt, yn y sefyllfa draws-symudol o'r naill grëadur i'r llall, ac nid yw holl ymchwiliadau daeareg wedi gallu dyfod o hyd i'r ôl lleiaf o'r fath bethau mewn un man. Ond y maent yn dywedyd wrthym nas gallwn *brofi* nad oes olion o honynt yn y creigiau sydd yn ngwaelod y moroedd. Yr ydym gyda'r parodrwydd mwyaf yn addef hyny. Y mae gwaelodion y moroedd yn diriogaethau—pe byddai yn iawn eu galw yn diriogaethau hefyd—anadnabyddus i ni. Ar yr un pryd, yr ydym yn gofyn caniatâd i ddywedyd, "wrth fyned heibio," ei fod yn beth pur ddigrifol i seilio athrawiaeth ar yr *anadnabyddus*, ac i alw arnom i'w chredu am y *dichon* fod profion drosti yn gorphwys mewn rhyw fan nas gellir dyfod o hyd iddo yn oes oesoedd.

Yr ydym yn ail ofyn y cwestiwn—O ba le y mae dynion wedi dyfod? Yr atebiad mwyaf cyffredinol a geir i'r gofyniad yw, mai crëadigaeth

ydynt, a hyny yw yr atebiad a roddir gan y dadguddiad Dwyfol. Hwy a gawsant eu crëu yn ddynion ar y cyntaf oll gan y Duw hollalluog. Ond y mae cwestiwn arall yn cyfodi, ynghylch pa un y mae llawer o ddadleu, a'r cwestiwn hwnw yw,—A ydynt oll wedi disgyn o'r un tad ac o'r un fam, neu a ydynt yn gynnyrch gwahanol grëadigaethau? At hwn yr ydym yn myned i gyfeirio sylw ein darllenwyr ar hyn o bryd.

Y mae yr ymchwiliad yn un o bwys mawr, yn benaf oblegid ei effaith ar ein ffydd yn y dadguddiad Dwyfol. Nid oes dim ag y mae yr Ysgrythyrau yn ei ddysgu yn fwy amlwg na bod holl ddynolryw wedi disgyn o Adda ac Efa. Galwyd y wraig "Efa, am mai hi oedd mam pob dyn byw." Seilir dychymygion am grëadigaethau eraill o ddynion ar rai ymadroddion a geir yn mhennodau cyntaf Genesis. Darllenwn yn y bennod gyntaf, a'r seithfed adnod ar hugain:—"Felly Duw a grëodd y dyn ar ei ddelw ei hun, ar ddelw Duw y crëodd efe ef, yn wryw ac yn fenyw y crëodd efe hwynt." Mŷn rhai fod hyn yn arwyddo amryw wrywod ac amryw fenywod. Ond y mae y gwir ddarlleniad, yn ol yr holl feirniaid goreu, yn arwyddo mai yn *un* gwryw ac *un* fenyw y crëodd efe hwynt. Ac â hyn y cyttuna geiriau y prophwyd Malachi, ii. 15: "Onid un [wraig] a wnaeth efe? A phaham un? I geisio hâd duwiol." Dywedir fod yn *rhaid* fod dynion ar y ddaear cyn amser Adda, oblegid i Cain gael gwraig yn nhir Nod. Pe buasent yn darllen yn fanylach, hwy fuasent yn cael lle i gasglu ei fod wedi ei chael *cyn* myned yno. Nid oes dim rhîth o sail i'r dychymygion hyn yn ngeiriau yr Ysgrythyr; a phe byddai, nis gallai gael un effaith ymarferol ar destun ein hymchwiliad presennol, oblegid dygir ni yn ôl drachefn i'r un man gan y dylif cyffredinol. Pa faint bynag oedd nifer trigolion y byd cyn y diluw, hwy gawsant eu dyfetha oll yn y trychineb hwnw ond Noah a'i deulu: "A meibion Noah y rhai a ddaeth allan o'r arch, oedd Sem, Cham, a Japheth. Y tri hyn oedd feibion Noah; *ac o'r rhai hyn yr hiliwyd yr holl ddaear.*"

Ac y mae athrawiaeth yr Ysgrythyrau yn dysgu yr un peth â'u hanesiaeth. Dysgant fod holl ddynolryw yn bechadurus a cholledig, a'u bod wedi myned felly trwy eu cysylltiad â'r dyn cyntaf: "Am hyny, megys trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod, ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn yn gymaint a phechu o bawb." Pe byddai rhai yn y byd heb fod yn blant i Adda, pa beth a fyddai y cwymp iddynt hwy? Y mae gwahanol dylwythau y byd erbyn hyn, a rhai o'r rhai pellaf oddiwrth, a mwyaf annhebyg i'r naill y llall, wedi ymgymysgu llawer â'u gilydd. Y mae pawb sydd yn cydnabod fod Adda wedi bod, yn cyttuno i ddywedyd fod y Caucasiad yn fab iddo. Ond dacw fe yn ymbrïodi â Negröes, yr hon, yn ol fel y mŷn rhai, nad oes un berthynas rhyngddi âg Adda a'r cwymp. Y maent yn cael teulu o blant; ac ar ba dir y maent hwy? Yr ydym yn cânu, "Deuwch hil syrthiedig Adda;" ond pe buasai rhyw "hil" arall yn bod ar y ddaear, buasai wedi myned yn orchwyl anhawdd dros ben erbyn hyn i ddyfod o hyd i'r "hil syrthiedig."

Gosodir ein hadferiad trwy Iesu Grist wyneb yn wyneb â'n cwymp yn Adda: "Oblegid megys yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywhëir pawb." Ymgymerodd Mab Duw â natur *dyn*: "Gan fod y plant yn gyfranogion o gîg a gwaed, yntau hefyd yr un

modd a fu gyfranog o'r un pethau." Yn ein natur ni y dyoddefodd ac y bu farw, y dybenodd gamwedd, ac y dygodd i mewn gyfiawnder tragywyddol. Ond pa beth a fyddai hyn oll i'r rhai nad ydynt o hil Adda, pe byddai rhai o'r cyfryw mewn bodolaeth? A oes rhaid i ni, cyn dwyn yr efengyl i wahanol barthau y byd, ymgynghori â rhai o'r bobl sydd yn ddysgedig yn y cyfryw bethau, er mwyn cael allan i bwy y danfonwyd gair yr iachawdwriaeth hon? Y mae ein Harglwydd Iesu wedi ein dïogelu rhag pob cyfryw benbleth trwy ddywedyd, "Ewch a dysgwch yr holl genedloedd;" "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob crëadur." Y mae gwadu unoliaeth dynolryw yn myned o dan seiliau y dadguddiad Dwyfol, ac o dan seiliau holl gyfundrefn yr iachawdwriaeth; ac y mae yn ddios genym am lawer sydd yn ei wadu, mai yr amcan hwnw sydd, yn benaf, ganddynt mewn golwg.

Cymerwn ein safle yn y fan yma: Fe ddarfu i Dduw yn y dechreuad grëu un gŵr ac un wraig, ac o honynt hwy y mae holl drigolion y byd wedi disgyn. Profi y gosodiad yna yw y gorchwyl ag yr ydym wedi ei osod, ar hyn o bryd, i ni ein hunain. Gadawer i ni, yn gyntaf oll, daflu golwg ar yr anhawsderau sydd ynglŷn â'r testun hwn, a'r rhai a ddygir fel rhesymau yn erbyn gwirionedd ein gosodiad.

Un o honynt yw gwasgariad dynolryw dros y rhan fwyaf o lawer o'r byd. Gofynir,—"Os yw holl ddynolryw wedi disgyn o un tad, pa fodd y buont yn alluog i ymwasgaru dros holl wyneb y ddaear?" Yn ddiweddar, mewn cymhariaeth, y darganfyddwyd rhan helaeth iawn o'r byd *gan Europëaid;* ond ni chafwyd hyd i nac ynys na chyfandir heb fod, gydag ychydig iawn o eithriadau dibwys, eisoes yn breswyliedig gan ddynion. Yn y flwyddyn 1492, darfu i Columbus anturio i'r môr mawr anadnabyddus tua'r Gorllewin, o dan yr argraff mai hono oedd y ffordd fèraf i gyraedd yr India Ddwyreiniol; ond ar ol morio miloedd o filldiroedd, daeth yn annysgwyliadwy ar draws ynysoedd yr India Orllewinol a Chyfandir mawr America, y rhai nis gwyddai neb yn Ewrop o'r blaen eu bod mewn bodolaeth; ond cafodd y rhai hyny oll wedi eu poblogi gan ddynion; ac ar ol hyny, cafwyd hyd i hen adfeilion mawrion yn y canolbarth yn profi eu bod wedi eu poblogi felly am oesau lawer. Llai na chan' mlynedd yn ôl, darganfyddwyd yr ynysoedd aneirif braidd yn Môr y Deau gan Captain Cook, ac yn eistedd fel brenhines arnynt, orynys fawr Australia; ond yr oedd dynion yno ymhob man, a gofynir, "Pa fodd yr aethent yno?" "Yr ydych yn dyweyd mai Adda ac Efa yw tad a mam holl ddynion y byd—iddynt hwy gael eu crëu mewn rhyw barth o Asia, ac i'w plant ymwasgaru oddiyno dros wyneb yr holl ddaear. Ond pa fodd yr oedd hyny yn bosibl? Pa fodd y gallasent groesi moroedd mawrion cyn i gwmpas y morwr gael ei ddyfeisio, ac mewn oesoedd pan nad oedd neb yn anturio morio ond ar hyd y glènydd?" I hyn oll yr ydym yn ateb, yn

1. Y dichon fod dynion yn cymeryd mwy nag a ddylent yn ganiatäol wrth ddyweyd fod hyn a'r llall yn anmhosibl yn oesoedd boreuol y byd. Y mae rhai *dynion* yn tybied mai gyda hwy y bydd marw doethineb; ac y mae tuedd mewn *oesoedd* i dybied mai gyda hwy y cafodd doethineb ei geni. Y mae llyfr Job yn profi fod gwybodaethau yn y byd er ys miloedd o flynyddoedd yn ôl, nas gwyddai preswylwyr y wlad hon hyd o fewn ychydig ganrifoedd i'r dydd heddyw ddim oll am danynt. Peth

newydd, mewn cymhariaeth, *i ni*, yw cwmpas y morwr. Ond a yw hyny yn profi nad oedd dim cyffelyb iddo wedi bod yn y byd o'r blaen? Ni feiddiai yr un llongwr Ewropëaidd, hyd o fewn ychydig ganrifoedd yn ôl, anturio allan o olwg y glànau; ond a yw hyny yn profi fod pawb wedi bod felly oddiar ddechreuad y byd?

Hysbys i lawer o ddarllenwyr y TRAETHODYDD yw y traddodiad ynghylch Madawc ap Owain Gwynedd. Rhoddir y traddodiad hwnw gan Carnhuanawc yn "Hanes Cymru" fel y canlyn:—

"Madawc ap Owain Gwynedd—1170. Hanes mordaith y pendefig hwn a roddir gan *Powell*, megys yr haera ar awdurdod *Guttyn Owain*, yr hwn, fel y dywedir, a ysgrifenodd rhwng 1460 a 1490, ac felly cyn mordaith *Columbus*, canys *Columbus* a hwyliodd yn 1492, ac a ddychwelodd yn 1493. Hanes Madawc, yn ol yr awdurdod uchod, yw y canlynol:—

"*Madawc*, un o feibion *Owain Gwynedd*, a adawodd y wlad mewn ymryson rhwng ei frodyr, ac a ddarparodd longau gyda gwŷr a chynnaliaeth, ac a geisiodd ei dynghedfen ar y moroedd, gan hwyliaw tua'r Gorllewin, a gadael yr Iwerddon gymaint tua'r Gogledd, ag y daeth i wlad anhysbys, lle y gwelodd lawer o bethau dyeithr. Gadawodd yno y rhan fwyaf o'i ganlynwyr, a dychwelodd i Gymru, ac a fynegodd y fath wledydd hyfryd a ffrwythlawn a welodd, heb drigolion; ac ar y tu arall, am y fath dir anial ac anffrwythlawn yr oedd ei frodyr yn llofruddio eu gilydd; a chan grynhoi cynifer o wŷr a gwragedd ag a oeddynt yn ddymunol o fyw mewn llonyddwch, hwyliodd gyda deg llong tua'r un gororau, ac ni welwyd ef byth mwyach."

Y mae y dychymygion ynghylch yr "Indiaid Cymreig," ag oeddent mor llïosog er ys hanner can' mlynedd yn ol, ac ar ba rai yr ysgrifenwyd cymaint yn y "*Gentleman's Magazine*" tua diwedd y ganrif ddiweddaf, ac yn "*Seren Gomer*" yn ei blynyddoedd cyntaf hi, wedi diflanu; ond os yw yn wir i'r hanes uchod gael ei ysgrifenu cyn 1490, y mae yn profi tu hwnt i bob dadl fod, o leiaf, ddychymyg gan rai yn y wlad hon am fodolaeth America cyn iddi gael ei darganfod gan *Columbus;* ac y mae fod *Madawc* yn desgrifio y wlad fel "heb drigolion," yn profi ar unwaith mai nid oddiwrth *Columbus* y benthyciwyd y desgrifiad hwnw.

Y mae un o'r "Trioedd Cymreig" hefyd, mor bell ag y mae yn myned, yn rhoddi cadarnhâd i'r hanes. Dyma y darn o hono sydd yn perthyn i ni:—

"Tri Difancoll Ynys Prydain. * * * * Y Trydydd, Madawc ab Owain Gwynedd, a aeth i'r môr â thri chan' wŷr gydag ef, mewn deg llong, ac ni wyddys i ba le ydd aethant."

Os yw y triad yma yn wirionedd, y mae yn beth digon posibl i Madawc a'i gymdeithion gael eu cludo ar draws Môr y Werydd i dir America; ac os oedd hyny yn bosibl iddynt hwy, nid oedd dim yn ei wneuthur yn anmhosibl i eraill fil neu ddwy neu fwy o flynyddoedd cyn hyny. Fe ddichon nad oes llawer o bwys yn yr ystyriaeth yma, ac nid ydym yn gosod mwy na mwy o bwys arni ein hunain; ond yr ydym yn hòni ei bod yn werth *mwy*, yn hytrach, na'r haeriad fod yn *anmhosibl* bod dynion o Ewrop neu Asia wedi gallu cyraedd America hyd o fewn y canrifoedd diweddaf.

2. Y mae wyneb y ddaear wedi myned trwy lawer iawn o gyfnewidiadau. Y mae y tir a'r môr, mewn llawer o fanau, wedi newid lleoedd

â'u gilydd.* Y mae moroedd heddyw lle y bu tiroedd, a thiroedd lle y bu moroedd. Nid oes achos myned yn ôl i'r oesoedd cyn Adda i chwilio am y cyfryw gyfnewidiadau. Y mae Julius Cæsar yn sôn am ynysoedd yn yr *English Channel,* nad ydynt yn awr mewn bod; a bu Sicily unwaith yn rhan o gyfandir Italy. Bu amser, a hwnw o fewn côf, pan yr ydoedd pobl Browyr yn gallu myned dros y traeth o Ben-y-pryf i Benbre, a phobl Abertawe yn gallu myned ar eu cyfer ar draws y gilfach i Fargam, a phobl Arfon yn gallu myned

I dir Môn er dŵr Menai,
Dros y traeth ond aros trai.

Ond pwy a anturiai wneuthur felly yn awr? Dywed Hamilton Smith fod Môn unwaith yn gysylltiedig âg Arfon,† a bod *Norwegian Lapland* wedi cyfodi 1800 o droedfeddi yn ystod y 1200 mlynedd diweddaf.‡ Rhy faith fyddai i ni gyfeirio at y ddegfed ran o'r cyfnewidiadau ag y mae yr awdwr enwog hwn ac eraill yn adrodd am danynt fel wedi cymeryd lle yn ngwahanol barthau y byd, heb fyned ymhellach yn ôl na hanesyddiaeth. Gan fod y fath gyfnewidiadau wedi cymeryd lle, nid oes neb a all brofi na bu amser, wedi i ddynion lïosogi ar y ddaear, pryd y gallent gyraedd holl barthau preswyliedig y byd ar dir sych.

3. Ond gadawer fod y rhwystrau sydd ar ffordd ymfudiaeth dynolryw o'r naill barth o'r byd i'r llall wedi bod bob amser fel y maent yn bresennol; a chaniatäer ei fod yn anmhosibl i ddynion groesi moroedd mawrion cyn dyfeisio cwmpas y morwr; a chaniatäer hefyd nad oedd neb wedi cael allan na meddwl am ddim tebyg i hyny tuag at gynnorthwyo morwriaeth yn oesoedd boreuol y byd; beth *er* hyny? Pa le y safem *pe byddem* yn caniatâu hyn oll? Yn y man lle y safwn yn awr. Nid yw y cwbl a ellir ei haeru am y pethau hyn ond megys mân lŵch y clorianau yn erbyn ein gosodiad; oblegid y mae yn hawdd profi y gellir cyraedd pob man a breswylir gan ddynion *heb* "groesi moroedd mawrion." *Gellid* myned o Dreffynnon yr holl ffordd i'r Wladychfa Gymreig ar afon Chupat, heb groesi dim ond dau gulfor, y naill rhwng Lloegr a Ffrainc yn ugain milldir, a'r llall rhwng Asia ac America yn ddau cymaint a hyny, o lêd. "Ond hi fyddai yn siwrnai faith iawn; byddai ei chyflawni yn orchwyl oes." Byddai, yn ddiddadl, ac, fe allai, yn fwy na hyny. Ond dealler mai nid am oes dyn yr ydym ni yn ysgrifenu, ond am oes y byd. Nid, Pa beth a allai un dyn ei wneuthur yn ystod ei oes fèr ef, yw y cwestiwn sydd dan ein sylw; ond, Pa beth a allasai dynolryw ei wneuthur mewn oesoedd lawer?

Mewn cysylltiad â'r cwestiwn, Pa fodd y darfu i ddynion ymwasgaru i holl barthau y byd? y mae un arall yn ymgodi, a hwnw yw—O ba le y darfu iddynt gychwyn? Y mae yr atebiad i'r olaf yn taflu rhyw gymaint o oleuni ar y cyntaf. Y mae gwahanol farnau ynghylch y fan lle y safai gardd Eden. Gosodir hi gan rai yn Armenia, a chan eraill ar uchel-wastadedd Cashmere, yn India. Nis gwyddom pa mor bell o'i hen gartref y darfu i Cain grwydro pan aeth i dir Nod, na pha càn belled y darfu i ddynion ymwasgaru ar hyd wyneb y ddaear mewn oesoedd

* *Scriptural Gazetteer. Art. Asia.* † *Natural History of the Human Species,* page 67. ‡ *Ibid, page* 452.

dilynol. Ond nid yw hyny nac yma nac acw. Darfu i'r dylif ddinystrio yr hen fyd, heb adael dim ond dechreuad bychan i fyd newydd.

Ymhen blynyddoedd, nis gwyddom pa nifer, ar ol y dylif—er bod rhai o'n hamseryddion yn eu gwneuthur yn gan' mlynedd, dim mwy na dim llai—cawn fod "yr holl ddaear o un iaith ac o un ymadrodd." Yr oeddent wedi dyfod allan o'r arch mewn man nad oedd yn gysurus nac yn gyfaddas i breswylio ynddo; ac fel yr oeddynt yn amlhâu, aethant rhagddynt o râdd i râdd, ac oll gyda'u gilydd, i chwilio am gartref gwell. "A bu a hwy yn ymdaith o'r dwyrain, gael o honynt wastadedd yn nhir Sinar, ac yno y trigasant. A hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Deuwch, gwnawn briddfeini, a llosgwn yn boeth: ac yr oedd ganddynt briddfeini yn lle cèryg, a chlai oedd ganddynt yn lle calch. A dywedasant, Moeswch, adeiladwn i ni ddinas, a thŵr, â'i nen hyd y nefoedd, a gwnawn i ni enw, rhag ein gwasgaru ar hyd wyneb yr holl ddaear. A'r Arglwydd a ddisgynodd i weled y ddinas a'r tŵr a adeiladai meibion dynion. A dywedodd yr Arglwydd, Wele, y bobl yn un, ac un iaith iddynt oll, a dyma eu dechreuad hwynt ar weithio, ac yr awrhon nid oes rwystr iddynt am ddim oll a'r a amcanasant ei wneuthur. Deuwch, disgynwn, a chymysgwn yno eu hiaith hwy, fel na ddeallont iaith eu gilydd. Felly yr Arglwydd a'u gwasgarodd hwynt oddiyno ar hyd wyneb yr holl ddaear; a pheidiasant ag adeiladu y ddinas." Oddiyno gan hyny, o wastadedd Sinar, lle, ar ol hyny, y safai Babylon, y darfu i ddynolryw ymwasgaru i wahanol barthau y byd. Wele hwynt yn awr wedi eu rhanu yn wahanol deuluoedd, ac yn siarad gwahanol ieithoedd; y naill deulu yn siarad yr iaith hon, a'r teulu arall yn siarad yr iaith acw, ac felly yn y blaen, nis gwyddom hyd at ba nifer; a rhesymol a naturiol yw casglu, ddarfod i'r gwahanol ganghenau yna wneuthur yr un peth ag a wnaethai yr hen deulu gwreiddiol o'r blaen, sef, ymdaith mewn gwahanol gyfeiriadau i chwilio am gartrefi. Pe buasent oll yn amaethwyr, fel pobl Sir Fôn, yn cadw gwartheg a defaid, yn trîn y tir, ac yn byw yn dangnefeddus ymhlith eu gilydd, buasai eu gwasgariad yn araf, ond buasai yn rhaid iddynt ymledu o râdd i râdd i geisio lle. Ond yr oedd arferion yn ffynu yn eu plith ag oeddynt yn peri fod eu gwasgariad yn gyflymach na phe na buasai dim yn ei beri ond eisieu lle. Yr oeddynt yn dilyn helwriaeth. Cyrhaeddodd Nimrod enwogrwydd yn yr arferiad hwnw. Y mae anifeiliaid gwylltion wedi dysgu, neu, o leiaf, wedi arfer, pan fyddont yn cael eu herlid mewn un ardal, ffoi i ardal arall; ac nid oes dim am dani mwy ond myned ar eu holau. Nid oes neb a all ddychymygu i ba bellderau y dichon fod teuluoedd o helwyr wedi dilyn helwriaeth felly o fewn cylch ychydig o flynyddoedd. Yr oedd yn naturiol hefyd iddynt dynu at lànau afonydd, fel y manau mwyaf manteisiol i ddilyn eu galwedigaeth ynddynt; oblegid, fel yr *asynod* gwylltion, byddai yn rhaid i bob anifeiliaid gwylltion eraill ddyfod yno i dòri eu syched.

Heblaw hyny, yr oedd dynolryw, yn anffodus, wedi dysgu er yn fore i ymryson ac i ryfela â'u gilydd. Y mae Nimrod wedi cael y gair, ac, fe allai, nid heb achos, ei fod yn heliwr dynion cyn diwedd ei oes, yn gystal â gwylltfilod. Cawn hanes rhyfel yn amser Abraham, gydag awgrym anghamsyniol fod hono yn ffrwyth rhyfel boreuach. Nid oedd ganddynt fyddinoedd mawrion i'w harwain i'r maes, ond, o'r tu

arall, nid oedd ganddynt fyddinoedd mawrion i'w gwrthwynebu. Yr oedd yn naturiol i'r gorchfygedig ffoi càn belled ag y gallent o gyraedd y gorchfygwyr. Y mae esiamplau diweddar yn Affrica o lwythau cyfain wedi ymfudo i bellderau mawrion oddiar ffordd eu gorthrymwyr. Y mae yn ddiammheuol i derfysgoedd, rhyfeloedd, a chwyldröadau wneuthur mwy na dim arall tuag at brysuro gwasgariad dynolryw dros wyneb y ddaear. Aeth rhai o wastadedd Sinar tua'r Dwyrain, ac ymledasant dros Thibet, India, a China. Aeth eraill yn fwy i'r Dwyrain-ogleddol, tua'r parthau a adwaenir yn awr wrth yr enwau Tartary, a Turkistan, ac yn eu blaenau i'r rhanau hyny o Asia sydd yn perthyn yn awr i'r ymherodraeth Rwssiaidd. Ar ol i lwyth ymsefydlu mewn unrhyw fan, nid hir y byddent cyn cael eu goddiweddyd gan ffrŵd arall o ymfudwyr. Byddai y rhai hyny yn ymosod arnynt er mwyn cael meddiant o'u cartref, ac yn fynych byddai yr ymosodwyr yn orchfygwyr, a'r gorchfygedig yn gorfod ffoi rhag eu blaenau i chwilio am gartref arall, ac felly drachefn, ac felly eilwaith. Fel yr oeddent yn myned yn y blaen yn y cyfeiriad yna, caent yr hinsawdd yn myned yn oer annyoddefol, ond nid oedd help am dani. "Y mae yn rhaid i hwnw redeg ac y byddo" gorchfygwr "yn ei ŷru." O râdd i râdd, y mae y tir yn cyfyngu arnynt. Ar eu deau, y mae yr hyn a alwn ni y Môr Tawelog, ac ar eu haswy, yr hyn a alwn y Môr Rhewllyd. Yn ddisymwth, cawsant eu hunain mewn sefyllfa gyffelyb i eiddo meibion Israel gynt, ond mai moroedd oeddynt o bob tu iddynt yn lle Piahiroth a Baal-sephon; ond, fel yr oedd arnynt hwy, yr oedd môr o'u blaen, a phwy a ŵyr nad oedd rhyw Pharaoh yn eu hymlid? Ond nid yw yn fôr llydan; deugain milldir, medd rhai; ychydig yn fwy na hyny, medd eraill, yw ei lêd heddyw, ac fe ddichon ei fod yn llai na hyny y pryd hwnw. Y mae yn rhewi drosto am ran fawr o'r flwyddyn; ac os oedd eu fföedigaeth hwy yn y gauaf, gallasent ei groesi ar yr iâ. Modd bynag, fe ddarfu iddynt ei groesi rywddull, a dyna hwy yn America, wedi rhaflaenu Columbus yno filoedd o flynyddoedd. Ac nid oedd achos iddynt wneuthur dim yno ond yr un peth ag oeddynt wedi arfer ei wneuthur yn Asia, tuag at ymledu, yn nghwrs amser, dros yr holl gyfandir mawr hwnw.

Y mae amryw bethau yn profi gwirionedd y golygiad hwn; ac un o'r rhai hyny yw y tebygolrwydd mawr sydd rhwng trigolion brodorol America â phobl Asia; ac yn enwedig rhwng pobl parthau gogleddol y cyntaf ac eiddo parthau gogledd-ddwyreiniol yr olaf. Y mae yr un arferion a defodau yn ffŷnu o bob tu i gyfyngfôr Behring, trwy groesi pa un yr ydym ni yn credu i America gael ei phoblogi; ac y mae arferion yn ffŷnu ymysg amryw lwythau o Indiaid Americanaidd ag y mae yn anhawdd cyfrif am danynt heb eu holrhain i darddiad Asiaidd. Dywed Humboldt, ar ol nodi allan amryw nodweddau cyffelyb i'w gilydd yn ffurf ac ymddangosiad yr Americaniaid a'r Asiaid, na fêdd dynoliaeth ddau bobl mwy tebyg i'w gilydd na'r Americaniaid brodorol a Mongoliaid a Malayaid y cyfandir Asiaidd.* Y mae traddodiad ymhlith hen frodorion Mexico fod eu tadau wedi dyfod i'r wlad hono o'r Gogledd-barth. Ac y mae un awdwr yn dwyn pedwar ar ddeg o resymau dan rif, ac ychwaneg heb eu rhifo, i brofi mai hwynt-hwy yw disgynyddion y deg

* *Scripture Gazetteer. Art. Asia.*

llwyth sydd wedi myned ar goll. Y mae traddodiad ymysg un llwyth o Indiaid America ddarfod i'w tadau hwy ymfudo i America o wlad oedd yn cael ei phreswylio gan ddynion drygionus dros ben—iddynt yn eu hymdaith groesi llyn cul, bâs, a llawn o ynysoedd—iddynt ddyoddef llawer o galedi ar eu taith oddiwrth rew ac eira—ac iddynt fyw nes treulio eu traed ymaith wrth gerdded, a'u gyddfau wrth fwyta. Y maent hefyd yn desgrifio dylif rhag pa un y darfu i'w tadau hwy ddïanc i fynydd tra uchel; a dywedant i holl drigolion y byd ond hwy eu hunain gael eu dinystrio. Nid ydym yn gofyn gan ein darllenwyr i gredu fod yr holl draddodiadau yma yn wirionedd, ac nid ydym yn credu hyny ein hunain; ond y mae yn rhaid i bawb addef fod eu bodolaeth, eu nifer, a'u hamrywiaeth, yn dorchau cedyrn yn y gadwen o resymau sydd yn cysylltu trigolion brodorol America â chartref cyntaf y teulu dynol.

Yn erbyn hyn, dadleuir yr arwyddion anghamsyniol o henafiaeth yn America—hen draddodiadau am freniniaethau yn yr oesoedd gynt, hen adfeilion cestyll, &c., sydd yn profi bod y cyfandir hwnw wedi ei boblogi er yn fore iawn. Tybir nad yw ein golygiad ni yn rhoddi digon o amser i'r holl ddadblygiadau a'r cyfnewidiadau y rhai a feddylir yn gyffredinol sydd wedi cymeryd lle yn America. Gadawer i ni edrych yr wrthddadl hon yn ei hwyneb, ac ni a gawn weled pa faint sydd ynddi o bwys. Yr ydym wedi gweled mai o wastadedd Sinar y darfu i ddynolryw ar ol cymysgu eu hiaith ymwasgaru ar hyd wyneb y ddaear. Nid ymhell oddiyno yr oedd Ur y Caldëaid, o ba le yr ymfudodd teulu Abraham, ymhen oesoedd ar ol y cymysgiad, tua'r gorllewin. Ond yr oedd llwythau eraill wedi eu hir ragflaenu yn yr un cyfeiriad. Yr oedd yr Amoriaid eisoes yn ngwlad Canaan, a'r Aipht wedi ymsefydlu yn llywodraeth, a brenin yn teyrnasu yno. Ond yr oedd rhai wedi myned tua'r Dwyrain yn llawn mor fore ac y cychwynasai eraill tua'r Gorllewin. O ran hyny, y mae amryw bethau yn rhoddi lle i gasglu mai yn nghyfeiriad y Dwyrain y dylifodd y ffrydiau mwyaf nerthol o ddynolryw yn yr oesau boreuol. A chan fod rhai llwythau wedi cael amser i sefydlu yn ngwlad Canaan a'r Aipht mor fore â dyddiau Abraham, rhesymol yw casglu bod eraill wedi ymdaenu i bellderau llawn cymaint, os nid mwy, tua'r Dwyrain erbyn yr un cyfnod. Nid ydym yn gweled un anhawsder i gredu y gallai fod rhai o honynt wedi cyraedd eithaf gogledd-orllewin Asia, ac wedi croesi y cyfyngfôr i America cyn i feibion Israel groesi y Môr Coch. Ond rhodder iddynt bedwar neu bum' cant o flynyddoedd yn ychwaneg. Dyweder na ddarfu iddynt groesi drosodd cyn dyddiau Dafydd. Fe âd hyny ddigonedd o amser iddynt, a digonedd dros ben, i ymdaenu dros yr holl gyfandir, ac i wneuthur pob peth ag y dywedir iddynt ei wneuthur yno yn hir cyn darganfyddiad Columbus. Tafler golwg ar rai o helyntion yr hen fyd yn yr ystod hwnw—yr ymherodraethau sydd wedi cyfodi yn olynol, wedi blaguro am oesoedd, ac wedi diflanu—y bobloedd sydd wedi cyfodi o iselder a thlodi i oresgyn teyrnasoedd, ac i roddi deddfau i genedloedd lawer, ond wedi eu gorthrechu yn y diwedd gan bobloedd ag oeddynt yn eu dechreuad mor ddistadl â hwythau. Ac onis gallai fod rhyw bethau o'r un fath yn myned yn y blaen trwy yr oesoedd maith yn yr hyn a alwn *ni* "y byd newydd?"

Y parthau eraill o'r byd gyda golwg ar ba rai y mae yr anhawsder

hwn yn ymgodi, ydynt Australia, New Zealand, ac Ynysoedd Môr y Dê. "Pa fodd yr oedd yn bosibl i ddynion gyraedd y parthau yma o unrhyw ganolbwynt ar y ddaear yn y sefyllfa anmherffaith ymha un yr oedd morwriaeth yn oesoedd boreuol y byd?"

Gadawer i ni a'n darllenwyr ddeall ein gilydd. Y cwestiwn sydd o'n blaen ydyw,—"Pa fodd yr oedd yn bosibl i ddynion a drigfanent yn Asia i gyraedd Australia, New Zealand, a holl Ynysoedd Môr y Dê, o dan yr amgylchiadau y cyfeiriwyd atynt?" Os na ellir cael atebiad boddhäol i'r cwestiwn hwn, y casgliad a dŷnir yw, fod trigolion y parthau yma wedi disgyn oddiwrth ddynion a grëwyd o bwrpas er mwyn eu poblogi. Dealler mai y rhwystr ar eu ffordd ydoedd y môr; ac os gellir profi fod yr ynysoedd yma wedi eu poblogi cyn bod dynolryw wedi dysgu morwriaeth, y mae yn rhaid mai yno y cawsant eu crëu. Dyna yr ymresymiad yn noeth ac yn syml, heb y geiriau dyfnion, dyrys, dysgedig, athronyddol, &c., ymha rai y mae yn fynych yn cael ei drosglwyddo. A gawn ni edrych arno, ddarllenydd? Ni a welwn ar unwaith ei fod yn cyraedd cryn lawer ymhellach nag y mae ei awdwyr wedi bwriadu iddo fyned. Os yw y ddadl sydd ynddo dros un grëadigaeth wahanol ac ychwanegol o ddynion yn werth dim, y mae yn werth llawn cymaint dros gannoedd o grëadigaethau ychwanegol. Y mae yr ynysoedd yma yn gannoedd lawer, yn ymestyn amryw filoedd o filldiroedd o'r dwyrain tua'r gorllewin yn y môr mawr, ac aml un o honynt ar ei phen ei hun, ymhell iawn oddiwrth bob man arall. Os oedd angenrheidrwydd am grëu pâr o ddynion er mwyn poblogi yr ynysoedd yma, yr oedd llawn cymaint o angenrheidrwydd, o leiaf, am grëu pâr ar gyfer pob un o honynt; oblegid y mae llawer mwy o fôr rhwng rhai o honynt â'u gilydd, nag sydd rhwng eraill o honynt â chyfandir Asia. Y mae fod y trigolion wedi bod yn alluog i groesi o'r naill ynys a'r llall yn rhoddi llawn foddlonrwydd i ni y gallesid eu cyraedd hwynt oll o'r parth hwnw o'r byd ar yr hwn yr ydym yn edrych fel cartref gwreiddiol dynolryw. Edryched ein darllenydd ar y *map;* neu os gall ddyfod o hyd i *globe*, fel yr hon yr ydym ni yn awr yn cael y pleser o'i throi a'i throsi, bydd hyny yn well. Fe gaiff y byd felly o'i flaen yn un darn crwn cyfan. Cymerwn ein taith o wastadedd Sinar mewn cyfeiriad dehau-ddwyreiniol. Y pentir mwyaf deheuol o Asia yw eiddo Malacca. Nid oes pellder mawr i groesi oddiyno i ynys Sumatra; oddiyno drachefn i Java; ac felly yn y blaen o ynys i ynys nes cyraedd Australia. Neu os cymerir cyfeiriad mwy dwyreiniol o Sumatra, cyrhaeddir ynys fawr Borneo; ac oddiyno, gan fyned heibio i lïaws o fân ynysoedd, cyrhaeddir ynys fawr arall, neu Papua, New Guinea; ac ar ol i ddynion ddyfod yno, nid oedd achos iddynt ond gwneuthur drachefn yr hyn yr oeddynt wedi ei wneuthur eisoes, tuag at ymdaenu dros yr holl ynysoedd. Yr oedd gwneuthur hyny yn gofyn llawer o oesoedd, ond yr oedd ganddynt lawer o oesoedd i'w wneuthur ynddynt.

Heblaw hyny, y mae profion fod preswylwyr yr ynysoedd yma, yn hir cyn darganfyddiad cwmpas y morwr, yn llawer mwy hyddysg mewn morwriaeth nag y tybir yn gyffredin eu bod. Ymhell cyn dyddiau Columbus, byddent yn ymgymeryd â mordeithiau nad oedd yn llawer byrach na'i fordaith enwog ef. Rhoddwyd *map* i Cadben Cook gan un o frodorion y Society Islands, ar ba un yr oedd ynysoedd wedi eu gosod

i lawr o'r Marquesas i Feejee, pellder o tua thair mil o filldiroedd. Y mae pentir yn Hawaii, un o'r Sandwich Islands, yn cael ei adwaen wrth yr enw, "Y fan i gychwyn i Tahiti." A dywed y trigolion y byddid yn arfer myned yno gynt ar dymmorau penodol o'r flwyddyn, gan hwylio wrth ryw seren neillduol, ac y mae rhwng Hawaii a Tahiti fwy na dwy fil o filldiroedd o fôr.* Yn wir nid yw yn beth anmhosibl, nac anhebygol iawn, chwaith, i America gael ei phoblogi i fesur o'r ynysoedd yma. Ceid ymhlith trigolion brodorol y cyfandir hwnw rai yn dwyn tebygolrwydd mawr i'r Polynesiaid. Pe buasai rhai o honynt yn ymollwng i'r môr mawr llydan yn y cyfeiriad hwnw, bernir mai y man y buasent yn fwyaf tebyg o daro wrtho fuasai California, ac yn California yr ydys wedi cael llwythau o ddynion yn dwyn tebygolrwydd neillduol i breswylwyr Ynysoedd Môr y Dê.† Nid ydym yn haeru mai yn y drefn ag yr ydym ni wedi ei desgrifio y darfu i ddynolryw ymdaenu dros wyneb y ddaear. Fe ddichon i hyny gymeryd lle mewn rhyw drefn arall. Ein hamcan ni yw profi ei fod yn *bosibl* iddynt ymdaenu o wastadedd Sinar, y fan o ba un y darfu iddynt gychwyn, i bob man o'r byd lle y ceir hwynt heddyw; ac yn yr amcan hwnw yr ydym yn teimlo yn hyderus ein bod wedi llwyddo.

Ond nid yw ein gorchwyl wedi ei hanner orphen. Y mae anhawsder arall, ac yn ngolwg rhai, un llawer mwy, yn cyfodi ar ffordd y gosodiad gyda pha un y darfu i ni gychwyn. Yr anhawsder hwnw yw yr anhebygolrwydd mawr mewn lliw, mewn ffurf, ac mewn llawer o bethau eraill, sydd rhwng dynion â'u gilydd. Dacw ar ein cyfer ddarlun o'r Parchedig John Evans, New Inn. Dyma o'n blaen ar y bwrdd ddarlun o Jonker Affricaner, mab yr enwog Jager Affricaner. Y *maent* yn annhebyg, rhaid cyfaddef. Pan y darfu i Spurgeon draddodi darlith ar y *Gorilla*, yr oedd un o'r pethau hyny, wedi ei stwffio, ganddo ar yr esgynlawr; a dywedir mai y peth cyntaf a wnaeth oedd myned yn union syth at weddillion y crëadur, a rhoddi iddo gernod ddwys, gan ddywedyd, "Nid wyt ti yn perthyn i mi." Y mae yn rhaid bod rhyw debygolrwydd rhyngddynt, ac onidê ni buasai achos i'r gŵr parchedig wadu y berthynas. Y *mae* y crëaduriaid hyny yn anghysurus o debyg i ddynion, yn enwedigol i rai dynion; a phrin y mae yn ormod dyweyd fod mwy o debygolrwydd ymddangosiadol rhwng y gorilla ac Affricaner, nag sydd rhwng Affricaner a John Evans. A yw yn bosibl bod y ddau ddyn yma yn frodyr? yn blant yr un tad a'r un fam? Prin y mae achos i ni adgoffa i'n darllenwyr mai profi mai felly y mae yw y gorchwyl â pha un yr ydym wedi ymgymeryd.

Rhenir dynolryw gan Blumenbach i bump o ddosbarthiadau, fel y canlyn:—1. Y Caucasiaid; 2. Y Mongoliaid; 3. Yr Ethiopiaid; 4. Y Malayaid; ac yn 5. Yr Americaniaid. Cynnwys y Caucasiaid holl drigolion Ewrop, oddieithr y Lapiaid a'r Ffiniaid. Yn Asia cynnwys y Tyrciaid, yr Arabiaid, y Persiaid, y Siberiaid, ynghyda'r dyeithriaid a breswyliant yn India, a pharthau eraill o'r cyfandir. Yn Affrica cynnwys Arabiaid a dyeithriaid yn y trefedigaethau. Yn America, yr holl boblogaeth, oddieithr y Negröaid a'r Indiaid brodorol; ac yn Australia, y dyeithriaid ar yr holl ynysoedd. Ceir y Mongoliaid yn benaf yn Asia, yn cynnwys trigolion China, rhai o drigolian India, preswylwyr canolbarth

* *Physical History of Man, page* 298. † *Physical History of Man, page* 297.

y cyfandir, a rhanau o Siberia. Cynnwys yr Ethiopiaid holl drigolion Affrica, oddieithr y Caucasiaid, at ba rai yr ydym wedi cyfeirio. Ceir y Malayaid yn yr India Ddwyreiniol—yr ynysoedd cyfagos, ynghyda Japan ac Australia. A gwneir i fyny y pummed dosbarth gan drigolion brodorol cyfandir America. Y mae eraill yn cyduno o barth i'r pum' dosbarth, ond yn amrywio yn eu barn ar y cwestiwn, I ba un o'r pump y perthyn rhai o drigolion y byd? Y mae Cuvier yn cyfrif tri dosbarth, —y Caucasiaid, y Mongoliaid, a'r Ethiopiaid. Ond nid yw yn cymeryd arno benderfynu i ba un o'r tri y perthyn y Malayaid a'r Polynesiaid.* Dosberthir dynolryw drachefn wrth liwiau eu crwyn, megys gwŷn, brychwyn, melynddu, a du. Gwneir dosbarthiad arall arnynt yn ol ffurf eu penglogau, megys hirgrwn, talgrwn, a rhywbeth heb fod yn grwn o fath yn y byd, ac a elwir gan y dosbarthwyr, *prognathous*. Yn y dosbarth hwn y mae y safn yn ymwthio allan ymhellach ymlaen na rhanau eraill y wyneb, a'r talcen yn syrthio ymhellach yn ol. Dyna un o hynodion y teulu Negröaidd. Os bydd i'r rhai hyny o'n darllenwyr sydd yn meddu y "*Gwyddoniadur Cymraeg*" droi at yr erthygl ragorol ar y gair "Dyn," hwy a gânt esiampl nodedig o'r dosbarth hwn yn y darlun a roddir i egluro "y llwyth Ethiopaidd." Yr ydym yn lled dybied fod hwn wedi ei gymeryd oddiwrth negro yn Charlestown, o'r enw Grant, am ba un y mae Hamilton Smith yn dywedyd ei fod, er ffurf anifeilaidd rhan isaf ei wyneb, yn ddyn ag oedd yn meddu rhai teithi rhagorol. Rhenir dynion drachefn i dri dosbarth fel y canlyn:—1. Y barfog. Cynnwys y dosbarth hwn y Caucasiaid oll. 2. Y difarf; yn cynnwys y Mongoliaid, y Malayaid, a'r Americaniaid. 3. Y pengwlanog; yn cynnwys yr Ethiopiaid. Ond y mae yr holl ddosbarthiadau yma yn rhedeg i'w gilydd, fel y mae yn anhawdd gwybod pa le y mae y naill yn dybenu a'r llall yn dechreu. Y mae rhai y tu fewn i bob un o'r dosbarthiadau yma yn fwy annhebyg i'w gilydd nag y maent i rai sydd y tu allan. Ar ol rhanu unwaith, fe deimlir bod eisieu rhanu drachefn; ac wrth wneuthur felly, y mae un awdwr yn cael un ar ddeg o wahanol rywogaethau o ddynion yn y byd, ac un arall yn cael dim llai na phymtheg. Dywed Dr. Pickering, ar ol teithio y rhan fwyaf o'r byd: "Yr wyf wedi dyfod o hyd i un ar ddeg o wahanol dylwythau o ddynion; ac er na charwn ddyweyd nad oes ychwaneg, rhaid i mi gyfaddef, ar ol ymweled â'r fath nifer o wledydd y ddaear, nas gwn pa le i fyned i chwilio am danynt."† Ac ychwanega: "Nid wyf yn gallu gweled un man canol rhwng dywedyd fod yn y byd un ar ddeg o wahanol rywogaethau o ddynion, a dywedyd nad oes ond un."‡ Y penderfyniad y mae efe yn dyfod iddo, ar ol ymchwiliad maith a manwl yw, nad oes dim ond un.

Yr ydym yn mawrhâu gwyddoniaeth â'n holl galon. Carem yn fawr pe byddem yn meddu mwy, a mwy o lawer o hóni. Y mae y byd o dan rwymedigaethau mawrion iddi hi. Ond yr ydym yn gofyn ei chaniatâd, a chaniatâd ei holl edmygwyr, i ddywedyd gyda phob moesgarwch dyledus, nad yw hi eto wedi cyraedd anffaeledigrwydd. Yn y flwyddyn 1851, cafwyd hyd i amryw weddillion dynol wedi eu gwasgaru yma a thraw—troed mewn un man, llaw mewn man arall, &c., yn, ac o amgylch,

* *Quoted by Dr. Hall. Analyctical Synopsis of the Natural History of Man.*
† *Physical History of Man, page 2.* ‡ *Ibid, page 315.*

dinas Norwich. Casglwyd hwy at eu gilydd, a rhoddwyd hwy yn llaw gwyddoniaeth, fel y gallai hi roddi ei barn arnynt. Gwisgodd hithau ei spectol, edrychodd yn ddoeth, sylwodd arnynt yn fanwl, darostyngodd hwy i'w phrofion, a'r penderfyniad y daeth iddo oedd eu bod yn perthyn i ddynes ieuanc, dim llai na deunaw oed, a dim mwy na chwech ar hugain. Gwnaeth y *police* yr ymdrechion mwyaf egnïol i gael hyd i'r llofrudd, a thuag at hyny yr oedd yn rhaid cael allan pwy oedd yr hon a lofruddiasid; ond darfu iddynt ofalu am gadw o fewn y terfynau a osodasid o'u blaen gan wyddoniaeth. Yr oedd hen wraig tua phymtheg a deugain oed wedi myned o'r ddinas nas gwyddid i ba le, ond ni feddyliodd neb am dani hi, oblegid fod gwyddoniaeth wedi dyweyd yn awdurdodol fod y gweddillion yn perthyn i ddynes ieuanc; ac felly, ar y pryd, y terfynodd y mater mewn dirgelwch. Ond ychydig fisoedd yn ôl, cafwyd allan, trwy gyfaddefiad y llofrudd, mai gweddillion yr hen wraig oeddynt, wedi y cwbl. A darfu i wyddoniaeth, ar ol ailymgynghori â hi, a gadael iddi hithau gael amser i ailystyried y mater, ddyfod i'r penderfyniad y *gallasai* hyny fod yn wirionedd. Yr ydym yn ddigon boddlawn i wyddoniaeth i gymharu lliwiau crwyn, a ffurfiau penglogau, dynolryw. Nid oes genym ni un gwrthwynebiad iddi gymeryd yn ei llaw ddau benglog, un yn perthyn, neu wedi *bod* yn perthyn, i Sais, a'r llall i Negro—gosod ei llinyn o gyswllt yr ên i gŵr uchaf y pen, a dywedyd bod mwy o'r naill y tu blaen i'r llinyn, a mwy o'r llall y tu ol. Ond peidied â *dogmatiso*—maddeuer i ni am ddefnyddio gair sydd ymron i gyd yn Saesoneg, y mae yn fwy dealladwy i'n darllenwyr na'r un Cymraeg a allasem ei ddyfeisio, na'i gael wedi ei ddyfeisio yn barod—peidied a haeru ei fod yn *anmhosibl* eu bod wedi disgyn o'r un tad, oblegid nis gall fod yn sicr nad ydym ni yn abl ar hyn o bryd i ddangos iddi yr un gwahaniaeth rhwng penglogau dau Gymro sydd yn perthyn yn agos i'w gilydd. Ond y mae gwyddoniaeth, neu, o'r hyn lleiaf, lawer o'r gwyddonwyr, yn dra *dogmatic;* ac nid oes neb o honynt yn gymaint felly â'r rhai sydd â'u holl galon a'u holl nerth yn ardystio yn erbyn *dogmatism* crefyddol, a'r peth y maent yn ei ddynodi o dan yr enw hwn yw credu yn ngwirionedd ac anffaeledigrwydd Gair Duw.

Na feddylied neb, o herwydd ein bod yn dyweyd fel hyn, fod gwyddoniaeth a ninnau ar wahanol ochrau gyda golwg ar y testun sydd dan ein sylw. Yn y gwrthwyneb; y mae llawer o ddynion mawrion a dysgedig, ar ol efrydiaeth faith, ac ymchwiliadau manwl, wedi dyfod i'r penderfyniad mai un rhywogaeth yw dynolryw o bob lliw a llûn dros wyneb yr holl ddaear; nid yn unig am mai hono yw yr unig athrawiaeth sydd yn gyson â dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau Sanctaidd, ond hefyd am mai yr athrawiaeth hono sydd yn fwyaf cyson â ffeithiau gwyddonawl.

Gadawer i ni edrych ar rai o'r pethau sydd yn gwneuthur gwahaniaeth mawr, ac yn mryd rhai, wahaniaeth hanfodol rhwng rhai llwythau o ddynion â llwythau eraill. Cymerwn yn gyntaf wahaniaeth lliwiau. Y mae preswylwyr gogleddbarth Ewrop yn wŷnion, a brodorion Affrica yn dduon. Y mae lliaws o liwiau eraill rhwng y ddau, ond dyna y rhai pellaf oddiwrth eu gilydd sydd mewn bodolaeth; a'r cwestiwn yw, Pa fodd yr oedd yn bosibl i blant yr un tad a mam fyned i'r fath bellder oddiwrth y naill y llall? Fe allai mai nid anfuddiol yn y fan yma fyddai gofyn cwestiwn arall. A oes rhyw ddyn a ŵyr pa beth ydoedd

lliw ein tad cyntaf? Neu, i ddyfod gryn lawer yn nês, pa beth ydoedd lliw Noah? Nid oes neb a ddywed ei fod yn "ddu fel y frân;" ac nid oes digon o sail gan neb i ddywedyd, o'r tu arall, ei fod "yn wŷn fel yr eira yn Salmon." Barn llawer o naturiaethwyr enwog yw mai gwineu, neu, yr hyn a elwir yn gyffredin, *brunette*, ydoedd. Ac felly yr ydym ni wedi crwydro cryn dipyn oddiwrth y lliw cyntefig wrth fyned yn wŷnion; ac nid yw ein brodyr wedi gwneuthur dim ond crwydro rhyw gymaint ymhellach mewn cyfeiriad arall wrth fyned yn dduon. Ond pa beth sydd yn peri gwahanol liwiau? Mewn atebiad i hyn dywedir eu bod yn cael eu hachosi gan fath o hylif sydd yn gorwedd rhwng y croen allanol, y *cuticle*, â'r gwir groen, yr *epidermis*. Y mae y croen allanol yn drylewyrchol (*translucent*), ac oblegid hyny yn ymddangos o'r un lliw â'r hylif sydd odditano. Y mae yr hylif hwn yn absennol mewn pobl wŷnion; ac mewn eraill y mae yn amrywio yn ei liw, ac o'r amrywiaeth hwnw y cyfyd yr amrywiaeth sydd yn eu lliwiau hwy. Yn mrodorion Affrica y mae yn ddu; ond nid yw yn ymddangos ar eu genedigaeth. Bydd babanod Negröaidd yn cael eu geni yn wŷnion. Dechreuant dduo o chwech i ddeg mis oed. Ond ceir rhai enghreifftiau o rai wedi byw a marw heb yr hylif lliwiedig, ac felly wedi parhâu yn wŷnion dros eu hoes. Y mae Dr. Winterbottom* yn nodi llawer o enghreifftiau o ddynion o'r fath yma â pha rai y darfu iddo ef gyfarfod yn mharthau gorllewinol Affrica. Ac y mae Pritchard, Pickering, a lliaws mawr o ysgrifenwyr eraill, yn rhoddi esiamplau lawer o Negröaid gwŷnion. Ond nid yw y rhai hyn ond eithriadau, ac eithriadau anghymhwys i fyw mewn hinsoddau poethion. Y mae y croen yn agenu yn ngwrês yr haul, ac y mae eu llygaid yn rhy weiniaid i allael mwynhâu ei oleuni. Y mae y ffeithiau hyn yn profi nad yw croen du yn beth hanfodol i Negro; ond profant hefyd fod yr hyn sydd yn ei wneuthur yn ddu yn beth hanfodol i'w gysur yn y parthau hyny o'r byd lle y mae yn preswylio. Rhesymol yw credu fod y Crëawdwr mawr wedi rhoddi mewn dynoliaeth gymhwysder i gyfaddasu ei hun at y gwahanol amgylchiadau o dan ba rai y byddai yn rhaid iddi fodoli; a phrawf o hyny yw yr amrywiaeth lliwiau a geir ymhlith dynion yn ngwahanol barthau y byd. Y mae rhai o'r bobl sydd yn dadleu dros yr ochr arall i'r cwestiwn yn dywedyd, gyda doethineb mawr, pe buasai yr Ethiopiaid wedi disgyn o Adda, fod yn rhaid eu bod yn dduon *cyn* ymsefydlu yn Affrica, neu, ynte, iddynt fyned yn dduon *ar ol* ymsefydlu yno. Nid oes genym ddim oll i'w ddywedyd yn erbyn hyn; ond yn unig gallwn sylwi ein bod ni, a phawb oll, yn ei wybod eisoes, yn llawn cystal ag y gwyddom fod pob peth sydd wedi cymeryd lle yn y byd o'i ddechreuad hyd yr awr hon wedi dygwydd naill ai *cyn* genedigaeth Nebuchodonosor, neu *ar ei ol*. Ond y mae aelod arall i'r ymresymiad hwn, ac â hono y maent yn ei gloi, sef eu *bod* yn dduon fel y maent yn awr oddiar pan y mae genym ni yr hanes cyntaf am danynt. Addefwn hyn eto, ond pwy a all ddywedyd pa bethau a gymerasant le yn Affrica yn ystod yr oesau meithion a aethant heibio rhwng gwasgariad dynolryw a'r cyfnod ymha un y mae yr hanes hwnw yn dechreu? Ceir y Negro anghamsyniol ymhlith cerfluniau yr Aipht; a dywedir bod rhai o honynt hwy mor fore âg amser Joseph. Ond yr oedd mwy na phum' cant o flynyddoedd, yn ol y cyfrif cyffredin, ac fe

* *Quoted in Scripture Gazetteer, page* 105.

ddichon bod y cyfrif hwnw yn rhy fŷr, wedi myned heibio rhwng y gwasgariad â dyddiau Joseph. Ac nid oes neb a ddichon brofi fod hyny yn amser rhy fychan i'r llwythau oeddynt wedi myned drosodd i Affrica i ymgyfaddasu i hinsawdd y wlad hono. Gofynir pa beth sydd wedi bod, neu yn bod, yn awr yn hinsawdd Affrica sydd yn gwneuthur ei phreswylwyr mor wahanol i ddynion eraill? Yr ydym wedi awgrymu mai ei phoethder mawr; ac os nad yw hyny yn ddigon o reswm, addefwn yn rhwydd nas gwyddom am ddim arall. Os oes rhai yn tueddu i wasgu arnom yn y mater hwn, fe allai y gallant hwy ddywedyd paham y mae y moch yno wedi myned yn dduon, y cŵn wedi myned yn noethion, a'r defaid wedi colli eu gwlân, ac yn gwisgo blew du.* Os dywedant hwy pa beth sydd yn hinsawdd Affrica, a hinsoddau cyffelyb eraill, i gynnyrchu y cyfryw effeithiau ar y crëaduriaid hyn, fe allai y byddwn ninnau yn abl i ddywedyd pa beth sydd ynddynt i gynnyrchu effeithiau cyffelyb ar ddynion.

Byddai yn hawdd ysgrifenu llawer ar y rhan yma o'n testun, ond gallem ddywedyd ar unwaith fod yr holl ymresymiad yn erbyn unoliaeth dynolryw, sydd yn seiliedig ar wahanol liwiau yn cael ei chwalu i'r gwyntoedd gan un ffaith, a'r ffaith hono yw fod dynion ag y gŵyr pawb am danynt eu bod yn blant yr un tad, yn amrywio yn eu lliwiau yn ol y gwahanol wledydd a'r gwahanol hinsoddau ymha rai y maent yn trigfanu. Dyna yr Iuddewon, nid oes neb nad yw yn gwybod eu bod hwy oll yn blant i Isaac a Rebecca; ac eto fe'u ceir hwy y dydd heddyw yn gwisgo yr holl liwiau sydd yn gwahanu dynion oddiwrth eu gilydd. Yn eu hen gartref y maent yn wineuddu; ond wrth ymwasgaru ar hyd wyneb y ddaear, y maent yn fuan yn cymeryd yr un lliw â'r bobloedd ymysg pa rai y maent yn preswylio. Y ngogleddbarth Ewrop, y maent mor wynion a dynion eraill. Adwaenom Iuddewesau mor deced eu gwêdd a "Morwynion glân Meirionydd," a llawer Iuddew mor wŷn a gwridog a neb yn mro Morganwg. Yn neheubarth Ewrop, y maent yn felynaidd, tra yn Affrica a pharthau o India y maent yn gwbl dduon. Ar dueddau Malabar yn Hindostan y mae dwy drefedigaeth o Iuddewon. Y mae pobl y naill o'r trefedigaethau hyn yn dduon, ac eiddo y llall yn wineuddu. Y rheswm am y gwahaniaeth yn eu lliwiau yw fod y cyntaf wedi ymsefydlu yn y parthau hyny flynyddoedd lawer o flaen yr olaf. Eu bod yn wir Iuddewon sydd tu hwnt i bob ammheuaeth, oblegid y maent yn darllen Moses ac yn cadw y deddfau a'r barnedigaethau. Ychydig flynyddoedd yn ol cawsom y pleser o weled adysgrif o'r gyfraith a gafwyd ymysg Iuddewon *duon* Malabar. Dywed Esgob Heber fod hiliogaeth Ewropëaid sydd wedi ymsefydlu yn India wedi hollol newid eu lliw, ac y mae y Portugïaid, sydd wedi ymsefydlu yn nhiriogaethau eu gwlad ar dueddau Affrica, wedi myned mor dduon â'r Negröaid eu hunain. Nid oes ond ychydig dros dri chant o flynyddoedd oddiar pan ddechreuodd yr Hispaeniaid a'r Portugïaid ymsefydlu yn neheubarth America mewn canlyniad i ddarganfyddiadau Columbus. Eu hiliogaeth hwy sydd yn awr yn gwneuthur i fyny gorff poblogaeth Brazil, ynghydag eiddo yr holl werinlywodraethau sydd o'r tu dehau i gyfyngdir Darien, ac y maent wedi myned yr un lliw â hen drigolion y gwledydd hyny.

* *Smythe on the Unity of the Human Race. Quoted in Critical and Experimental Commentary, page* 25.

Ychydig yn fwy na dau cant o flynyddoedd sydd oddiar pan aeth y *Mayflower* â'i llwyth cyntaf o Brydeiniaid i sefydlu yn ngogleddbarth America. Oddiar hyny hyd yn awr y maent wedi cael eu dilyn yno gan filiynau, a thrwy yr holl flynyddoedd y mae plant y sefydlwyr cyntaf wedi ymgymysgu â'r dyfodiaid diweddaf. Y mae y lliw gwŷn yn parhâu i gael eu gyflenwi yno gan ffrŵd nerthol a didòr o ymfudwyr gwŷnion. Ond er hyn oll, y mae gwahaniaeth amlwg rhwng trigolion America ac eiddo yr hen wlad. Y mae yn hawdd adwaen un genedigol yno, er ei fod yn Gymro o waed coch cyfan, oddiwrth bob Cymro arall. Os yw yr hinsawdd yn cynnyrchu y fath effaith, er yr holl gymysgu ag yr ydym wedi cyfeirio ato, pa beth fuasai wedi ei wneuthur pe buasai pob cysylltiad rhyngom ni â hwy wedi ei dòri ar y pryd y darfu i ni gydnabod eu hannibyniaeth? Ac os yw y fath wahaniaeth wedi cymeryd lle mewn càn lleied o amser, pa beth a ellid ei ddysgwyl mewn wyth cant neu fil o flynyddoedd? Y mae llawer o enghreifftiau o gyfnewidiad mawr yn cymeryd lle mewn un genedlaeth. Tua hanner cant o flynyddoedd yn ol, aeth cenadwr allan o Loegr i Berbice. Ymhen ychydig amser, dilynwyd ef yno gan foneddiges ieuanc o'i gartref genedigol. Prïodasant a chawsant amryw blant. Y mae dwy o'u merched yn awr yn y wlad hon, ac yr ydym yn dra chyfarwydd âg un o honynt. Saeson pur oeddynt ei thad a'i mam, ond ganwyd hi yn Berbice, ac y mae ei gwallt yn ddu ac yn grych, ei lliw yn dywyll felynaidd, a'i holl edrychiad yn gwisgo gwêdd *West Indian*. Yr ydym yn gobeithio ein bod bellach wedi dyweyd llawn ddigon ynghylch gwahanol liwiau.

Ond y mae gwrthddadl arall yn cyfodi yn erbyn ein gosodiad, ac ar hono y mae ein gwrthwynebwyr yn awr yn gosod mwyaf o bwys. Cyfeiria hon yn benaf at y Negro, a chyfyd oddiar y gwahaniaeth sydd rhwng ffurf ei gorff ef ac eiddo dynion eraill. Y mae ei drwyn yn fflat, ei wefusau a'i ên isaf yn dewion, ei dalcen yn gul, yn grychedig, ac yn suddo yn ol, ei fysedd yn bigfeinion, ei goesau yn geimion, a'i sodlau yn ymwthio ymhellach yn ol na sodlau cyffredin y byd. "Yr ydych yn dywedyd mai gwahanol hinsoddau sydd yn cynnyrchu gwahanol liwiau, ond a ddichon hinsawdd gynnyrchu y fath effeithiau a hyn ar esgyrn pobl? Os yw y Negro wedi disgyn o'r un tad a mam a ninnau, dywedwch i ni o ba le y cafodd y ffurfiau nodedig yma sydd yn ei wahaniaethu mor fawr oddiwrth ddynion eraill?" Ymddengys yr wrthddadl yma, ar yr olwg gyntaf, yn rhywbeth grymus; ond nid ydym yn cael ein dychrynu ganddi i fesur yn y byd. Nid yw yr holl ffurfiau yma yn bresennol ymhob Negro, ac nid ydynt oll yn absennol chwaith ymhob Cymro. Wrth gymharu esiamplau eithafol o ddwy genedl, dangosir y gwahaniaeth rhyngddynt yn llawer mwy nag y mae mewn gwirionedd; ond gellir gwneyd yr un peth â dau blwyf yn ymylu ar eu gilydd. Nid yw yr hynodion uchod yn werth gwelltyn tuag at brofi fod y Negröaid yn rhywogaeth wahanol o ddynion, os na ellir profi hefyd eu bod yn perthyn i bob Negro sydd mewn bod, ac nad ydynt yn perthyn i neb arall. Os ceir un Negro heb feddu "talcen *slip*" a gwefusau tewion, y mae hyny yn profi nad yw talcen *slip* a gwefusau tewion yn hanfodol i fodolaeth Negro—hyny yw, y gall dyn fod yn Negro heb feddu y cyfryw dalcen a'r cyfryw wefusau; ac os ceir un Cymro â thalcen *slip* a gwefusau tewion, y mae hyny yn profi y gall dyn feddu y cyfryw dalcen

a gwefusau heb fod yn Negro. Dilyner hyn i'w ganlyniadau anocheladwy, ac fe ddiflana yr wrthddadl fel agerdd. Yr ydym yn adwaen ambell Gymro nad oes eisieu dim ond ychydig liw du tuag at wneyd iddo basio fel Negro pur, ac y mae ambell Negro yn bod nad oes eisieu dim ond ei wỳnu tuag at ei gymhwyso i gael ei dderbyn fel Caucasiad o radd uchel. Nid oes un pwrpas i'r wrthddadl uchod os nad i ddangos fod dynion o'r naill ffurf yn perthyn i un rhywogaeth o ddynolryw, a dynion o ffurf wahanol yn perthyn i rywogaeth arall; ond wrth ei defnyddio i'r amcan hwn, y mae yn tòri ar draws y dosbarthiadau er mwyn ffurfio pa rai y mae yn cael ei chyfodi. Y mae yn gỳru lluaws o'r Caucasiaid i ddosbarth y Negröaid, a mwy na mwy o'r Negröaid i ddosbarth y Caucasiaid; mewn gair, càn gynted ag y rhoddir iddi raff, y mae yn cyflawni hunanladdiad.

Addefwn yn rhwydd fod yr hynodion uchod yn llawer mwy cyffredinol ymhlith y Negröaid nag ymhlith un llwyth arall o ddynion ar y ddaear. Addefwn eu bod mor gyffredinol fel y mae yn beth anarferol cyfarfod â Negro heb eu meddu. Ond y cwbl y mae hyn yn ei brofi yw, eu bod hwy tu hwnt i holl lwythau eraill y byd wedi myned trwy yr amgylchiadau gan ba rai y mae y cyfryw hynodion yn cael eu cynnyrchu. Ymhlith yr amgylchiadau hyny gellir enwi tlodi, angen, anwybodaeth, trais, trueni, a dyoddefaint; ac y mae y pethau hyn wedi disgyn i ran preswylwyr Affrica tu hwnt i bawb eraill o bobloedd y byd. Y mae yn ffaith adnabyddus i deithwyr, ac adnabyddus hefyd i ddarllenwyr y llyfrau ag y mae y teithwyr hyny wedi eu hysgrifenu, mai ymysg y llwythau iselaf a mwyaf diraddiedig yn Affrica y mae yr hynodion corfforol uchod yn fwyaf amlwg. Y rhai mwyaf tebyg i'r bwystfilod yn eu ffordd o fyw yw y rhai mwyaf bwystfilaidd yr olwg arnynt. Yr ydys yn cael y llwythau a breswyliant ar *dueddau* Affrica yn fwy diraddiedig na'r rhai a breswyliant y canoldir. Un rheswm, ac fe allai fod hwnw yn ddigon, am hyny yw, fod ellyllon y gaethfasnach wedi bod am ganrifoedd ymhlith y cyntaf yn temtio y penaethiaid i ryfel â'u gilydd er mwyn cael y carcharorion yn yspail, ac felly yn dinystrio pob annogaeth i lafur, yn gwneuthur bywyd tawel a sefydlog yn anmhosibl, ac yn gorfodi y trigolion i fyw fel y gallont ar gynnyrch helwriaeth, a ffrwythau a gwreiddiau yr anialwch, yn fynych yn crwydro am ddyddiau heb gael dim, a phan y gallont daro crëadur i lawr, y mae nerth angerddol eu newyn yn peri iddynt ruthro arno fel bleiddiaid, ei dỳnu yn ddarnau oddiwrth eu gilydd, a'i fwyta yn amrwd, gwaed a chwbl, gan bilio yr esgyrn nes y byddont fel calch. Ar ol gorlenwi eu hunain, gorweddant i gysgu, a chysgant yn y blaen nes y byddont yn dechreu teimlo yn newynog drachefn. Y mae eu cyflwr hwy yn llawer gwaeth nag eiddo y rhai y cawn ddesgrifiad o honynt yn llyfr Job, "Gan angen a newyn unig oeddynt: yn ffoi i'r anialwch, gynt yn ddiffaeth ac yn wyllt: y rhai a dòrent yr hoccys mewn brysglwyni, a gwraidd meryw yn fwyd iddynt. Hwy a ỳrid ymaith o fysg dynion (gwaeddent ar eu hol hwy fel ar ol lleidr), i drigo mewn holltau afonydd, mewn tyllau y ddaear, ac yn y creigiau. Hwy a rüent ymhlith perthi: hwy a ymgasglent dan ddanadl. Meibion yr ynfyd, a meibion rhai anenwog oeddynt: gwaelach na'r ddaear oeddynt." Y mae byw yn y fath fodd o angenrheidrwydd yn cynnyrchu effaith ar edrychiad y wynebpryd a ffurf y corff.

Pe byddai hanner dwsin o deuluoedd mwyaf golygus Cymru yn cael eu cipio o'u cartref a'u gosod i lawr mewn lle anial, lle y byddent yn gorfod byw yn yr un modd a rhai o lwythau truenus Affrica, meiddiwn ddywedyd y byddai rhai o hynodion y Negro yn dechreu ymddangos yn eu plith hwy yn y drydedd genedlaeth. Y mae y profion a geir yn Affrica o'r cysylltiad sydd rhwng golwg annynol â bywyd truenus yn ddigon amlwg ac yn ddigon lliosog i osod y mater hwn tu hwnt i bob dadl. Yr ydym wedi dilyn Syr Samuel Baker yn ei hynt fythgofiadwy i fyny y Nile, ac wedi edrych, ac edrych drachefn, ar y darluniau a rydd o bersonau perthynol i'r gwahanol lwythau ag y darfu iddo fyned heibio iddynt. Yr oedd y gaethfasnach wedi bod yn esgyn y Nile am oesoedd cyn iddo ef gychwyn ar ei hynt, ac, fel y gallesid dysgwyl, wedi gwneuthur y difrodau gwaethaf ymysg y llwythau nesaf i'r Aipht. Y mae darluniau rhai o'r rhai hyny yn eu dangos yn bethau truenus. Cymhara efe hwynt i "*exaggerated slate pencils.*" Ond fel yr oedd yn treiddio tua'r canoldir, yr oedd yn cael y bobl yn myned yn fwyfwy dynol yr olwg arnynt; ac yr oedd y llwythau pellaf a gyrhaeddodd, y rhai a breswylient lànau y llyn mawr, *Albert Nyanza*, yn ddynion golygus, yn gwisgo am danynt, ac o ran ffurf eu cyrff ac edrychiad eu hwynebpryd, heb fod yn annhebyg iawn mewn dim ond lliw i Ewropëaid. Y mae effeithiau cyffelyb yn cael eu cynnyrchu gan gyffelyb achosion yn ein gwlad ni ein hunain. Aed ein darllenydd i rai o *slums* a seleri Llundain neu Liverpool, ac edryched yn wynebau y plant a fegir yno. Neu os yw yn bregethwr Methodistaidd, aed ar ei draed ar brydnawn Sabbath yn yr hâf o gapel *Pall Mall* i *Cranmer Street*, yn lle "cymeryd *car*." Edryched ar y plant sydd yn ymdreiglo ac yn pysgota lludw yn y gwteri ar bob llaw iddo. Edryched ar y meibion a'r merched sydd yn lolian ar hyd y palmant. Astudied eu talcenau, eu trwynau, a'u gwefusau. Yr ydym yn begian ei bardwn am ofyn iddo wneuthur y fath beth; ond yr ydym wedi gwneuthur hyny ein hunain, ac wedi dyfod i'r penderfyniad fod pedair cenedlaeth o fywyd felly yn llawn ddigon i gynnyrchu y "*prognathous.*" Ceir esiampl nodedig o hyn yn yr Iwerddon. Yr amser y plànwyd Ulster, ac wedi hyny yn amser y gwrthryfeloedd a gymerasant le yn 1641 a 1689, gyrwyd tyrfäoedd o'r Gwyddelod o Armagh a deheubarth Down i'r mynydd-dir sydd yn ymestyn o Arglwyddiaeth Flews tua'r dwyrain hyd y môr; ac ar yr ochr arall i'r ynys gyrwyd y trigolion i Leitrim, Sligo, a Mayo. Yno lle y maent wedi bod oddiar hyny byth yn nyfnderau anwybodaeth a thlodi. Ac mewn canlyniad y maent wedi myned yn hollol wahanol yn edrychiad eu hwynebpryd a ffurf eu cyrff i'r lleill o'u cydwladwyr. Pump a dwy yw eu taldra cyffredin; isel yw eu talcenau, *flat* yw eu trwynau, mawrion yw eu geneuau, anferthol yw eu dannedd, a cheimion yw eu coesau; tra y mae eu cydwladwyr sydd yn byw o dan amgylchiadau mwy ffafriol, mor olygus pobl â neb ar wyneb y ddaear.*

Ond beth pe byddai y byd yn newid ar rai o'r fath yma? Yr ydym yn dysgwyl yr amser pan y bydd goleuni yr efengyl wedi treiddio i dywyll-leoedd y ddaear, y rhai sydd yn awr yn llawn o drigfanau traws-

* *Dublin University Magazine, No.* xlviii. *Quoted by Dr. Hall—Natural History of Man, page* 53. *Man Primeval, by Dr. Harris, page* 28.

der. Pan y bydd gorthrymder a thrais wedi peidio o'r byd, pan y bydd gogoniant yr Arglwydd, ac o herwydd hyny, y gwareiddiad uchaf yn llanw y ddaear, fel y mae y dyfroedd yn tôi y môr. A fydd i'r bobl dlodion ag yr ydym wedi bod yn sôn am danynt golli eu hynodion anhardd y pryd hwnw, a gwisgo gwêdd mwy prydferth a dynol? Yr ydym heb y petrusder lleiaf yn rhoddi i'r cwestiwn hwn atebiad cadarnhäol. Y mae profion fod dirywiad yn haws peth nac adferiad, ac y dichon llwyth fyned i lawr yn ngraddfa dynoliaeth mewn llai o amser nag y mae yn ei ofyn i ddyfod i fyny; ond y mae esiamplau annghamsyniol o'r adferiad i'w gweled y dydd heddyw. Y mae genym awdurdod Lyell,* yr enwog Dr. Pritchard, ac amryw eraill, i ddywedyd fod y Negröaid, y rhai hyd yn ddiweddar, oeddynt yn gaethion yn yr Unol Daleithiau, wrth breswylio mewn tai, a byw yn debyg i bobl wareiddiedig, yn graddol golli eu hynodion, fod y plant yn llai Negröaidd na'u tadau, a'r ŵyrion yn llai felly na hyny; eu trwynau yn myned yn fwy, eu gwefusau yn myned yn llai, eu gwallt yn myned yn llaesach; a'u bod, o genedlaeth i genedlaeth, yn ngwêdd eu hwynebau ac yn ffurf eu cyrff, yn myned yn fwy tebyg i Ewropëaid.†

Yr ydym yn gobeithio ein bod bellach wedi llwyddo i ddangos nad yw gwasgariad dynion dros holl barthau y byd adnabyddus, a'r gwahaniaeth sydd rhyngddynt o ran lliwiau eu crwyn a ffurfiad eu cyrff, yn werth dim oll fel profion yn erbyn yr athrawiaeth o unoliaeth dynolryw. Gadawer i ni cyn terfynu daflu golwg frysiog ar rai o'r rhesymau cedyrn sydd yn profi fod yr athrawiaeth hono yn seiliedig ar wirionedd.

Un o'r rhesymau hyn yw, y tebygolrwydd cyffredinol sydd rhyngddynt. Yr ydym wedi nodi y pethau ymha rai y mae dynion yn gwahaniaethu, ac yn credu ein bod wedi gwneuthur â hwy eithaf cyfiawnder. Yr ydym wedi eu gosod i lawr yn ngeiriau y dynion sydd yn eu defnyddio yn ein herbyn; ond yr ydym yn cymeryd y rhyddid i ddywedyd nad yw yr holl bethau ymha rai y mae dynion yn gwahaniaethu ond megys dim mewn cymhariaeth i'r pethau ymha rai y maent yn ymdebygoli. Y mae yn awr o'n blaen yn agos i ddeugain o ddarluniau o ddynion perthynol i wahanol lwythau y byd wedi eu casglu gan Hamilton Smith. Y mae y rhan fwyaf o honynt wedi eu cymeryd oddiwrth ddynion byw. Y mae yma Negröaid o amrywiol lwythau,—Tartariaid, Chinëaid, Papuaid, Australiaid, Ffuegiaid, Patagoniaid, Indiaid Americanaidd, o'r dehau a'r gogledd, Esquimaux, &c., &c. Yr ydym wedi edrych arnynt yn fanwl drachefn a thrachefn, ac yr ydym newydd daflu ein llygaid drostynt y mynyd hwn, ac yn ein byw nis gallwn lai na gweled llawer o debygiaethau teuluaidd yn rhedeg trwyddynt oll. Y mae rhai o'r pellaf oddiwrth eu gilydd o ran cartref yn fwy tebyg i'r naill y llall na rhai nês, ac y mae rhai o honynt yn dwyn tebygolrwydd neillduol i ddynion ag yr ydym yn eu hadwaen. Y mae o flaen ein meddwl yn awr Gymro nid anenwog, i ba un y mae Te Kewiti, penaeth o New Zealand, yn debyg dros ben, ond yn unig mewn lliw; a chyda'r eithriad hwnw gwnai y darlun sydd o'n blaen o frodor o un o'r Moluccas y tro i arddangos un arall a adwaenom yn well na llawer. Y mae llawer o'r gwahaniaeth ymddangosiadol rhyngddynt yn cael ei beri gan eu gwisgoedd a'u

* *Analytical Synopsis of Natural History of Man, page 52.* † *Quoted in Critical and Experimental Commentary on Gen.* ii.

"haddurniadau." Pe byddent oll wedi eu gwisgo yr un fath, hwy fyddent yn llawer mwy tebyg nag y maent. Dyma ddarlun o *Cusick*, Indiad Tuscaroraidd. Y mae efe yn bregethwr perthynol i'r Bedyddwyr, yn sefyll ger ein bron yn ei wisg bregethwraidd, ac y mae yn ymddangos mor *respectable* â neb yn y Gymanfa Gyffredinol.

Yn nês i mewn, y mae y tebygolrwydd yn fwy fyth. Yr un yw *anatomical structure* dynolryw ymhob man. Yr un yw nifer eu dannedd, a'r un yw eu ffurf. Y mae esgyrn eraill eu cyrff yn ddau gant ac wyth. Y mae eu gïau a'u gewynau, a'u teimladon, a'u synwyriadon, a'u cylldreuliadon, a'u ceuliadon, a'u hamrediadon, a'u hanadliadon, a'u holl "iadon" eraill yn gwbl yr un fath ymhlith holl lwythau y byd. Y mae ymenydd y mwyaf barbaraidd wedi ei ffurfio o bwrpas i dderbyn gwareiddiad. Er cymaint y pellder sydd rhwng y gwâr a'r anwâr, nid oes un gwahaniaeth canfyddadwy rhwng ymenyddiau y ddau. Y mae Sœmmering yn nodi pymtheg o wahaniaethau dyfyniadol pwysig rhwng yr ymenydd dynol ac eiddo yr epa, ac y mae y rhai hyn oll yn bresennol yn ymenydd y lleiaf gwrteithiedig o ddynolryw.* Gellir ychwanegu at hyn eu bod oll yn fwy digymhorth yn eu babandod nag unrhyw grëaduriaid eraill, eu bod yn dyfod i'w llawn faint tua'r un oedran, fod tymmor beichiogiad yr un hŷd ymhlith holl lwythau y ddaear, eu bod oll yn agored i'r un clefydau, a'u bod oll, fel rheol gyffredin, yn byw tua'r un nifer o flynyddoedd.

Rheswm arall yn yr un cyteiriad yw y tebygolrwydd sydd rhwng yr ieithoedd y maent yn eu siarad. Y mae iaith ei hun—y gallu hwnw sydd yn hynodi dynion i drosglwyddo meddyliau i'w gilydd mewn geiriau—yn myned ymhell tuag at brofi eu hunoliaeth. Y mae crëaduriaid eraill yn gwneuthur seiniau; ac addefwn nas gallwn brofi nad ydynt hwy yn deall eu gilydd. Dichon fod gŵyddau yn deall gŵyddau, ac epäod yn deall epäod. Ond pa ddyn a ddichon eu deall? Gwelsom yn ddiweddar gryn hanner cant o epäod gyda'u gilydd, ac yr *oeddynt* yn gwneuthur sŵn, ac yr oedd y sŵn hwnw yn rhywbeth tebyg i siarad; ond buasem yn hèrio Elihu Burritt, pe buasai yn y fan a'r lle, ac yn cael ei gynnorthwyo gan Dic Aberdaron, pe buasai efe, druan, yn y byd, i gasglu eu "geiriau" hwy ac i ddysgu eu "hiaith," fel ag i fedru ei siarad mewn modd dealladwy iddynt hwy. Ond y mae hyn yn beth sydd yn cael ei wneuthur gyda golwg ar holl ieithoedd dynion trwy y byd. Nid ydys wedi darganfod un llwyth o ddynion hyd y dydd heddyw, mewn un parth o'r byd, nad yw Ewropëaid wedi bod yn alluog i ddysgu eu hiaith yn y fath fodd ag i fod yn abl i siarad â hwy yn eu hiaith eu hunain, i gyfieithu syniadau Ewropëaidd i'w hiaith hwy, a'u syniadau hwy i ieithoedd Ewropëaidd. Y mae yr hyn sydd yn holl ieithoedd y byd yn ei wneuthur yn bosibl eu cyfieithu i'w gilydd yn myned ymhell tuag at brofi eu bod oll yn tarddu o'r un gwreiddyn, a bod y llwythau lliosog sydd yn eu siarad yn perthyn oll i'r un teulu. Ond y mae peth mwy na hyn o lawer i'w ddywedyd ar y mater yma. Ceir yn ieithoedd rhai o'r llwythau pellaf oddiwrth eu gilydd, a mwyaf annhebyg i'r naill y llall, brofion anwadadwy eu bod wedi deillio o'r un iaith gyntefig. Y mae yr enwog Dr. J. Harris yn dywedyd fod rhai o'r profion o blaid unoliaeth dynolryw yn fwyaf cedyrn yn y manau lle

* *Man Primeval, page* 204.

y mae rhai eraill fwyaf gweiniaid. Fel hyn ceir yr annhebygolrwydd mwyaf mewn iaith rhwng llwythau o ddynion am ba rai y mae pawb yn addef eu bod wedi tarddu o'r un gwreiddyn, tra y mae ieithoedd a siaredir gan lwythau o ddynion sydd bellaf oddiwrth eu gilydd o ran eu preswylfëydd, ac o ran ffurfiad eu cyrff, yn dwyn tebygolrwydd i'r naill y llall. Ar y Negröaid y mae y rhai sydd yn dadleu dros amrywiol rywogaethau o ddynion yn seilio eu rhesymau cadarnaf; ond ceir profion annghamsyniol yn yr ieithoedd Negröaidd fod perthynas rhyngddynt oll â'r teulu Semitaidd.* Yr ydys wedi gofyn—Pa nifer o eiriau cyfystyr mewn gwahanol ieithoedd sydd yn angenrheidiol er profi eu bod wedi cyfodi o'r un gwreiddyn? Y mae Dr. Young yn ymwneyd at ateb y cwestiwn hwn trwy ei gyfrifiad o debygiaethau *(calculus of probabilities)*. Dywed nad yw fod un gair yn cael ei ddefnyddio yn yr un ystyr mewn dwy iaith yn profi dim yn y byd; ond os ceir dau air felly, fod tri chynnyg am un eu bod naill ai o'r un gwreiddyn neu wedi derbyn y geiriau oddiwrth eu gilydd. Y mae chwech gair yn rhoddi dros ddau cant ar bymtheg ac wyth, yn agos i gan' mil o gynnygion, yn erbyn un i'r un pwrpas. Da y gall ychwanegu, fod y "prawf mewn achosion o'r fath yma ymron dyfod i fyny hyd at sicrwydd."† Y mae yn anhawdd cael hyd i rifyddwr a ddichon ddywedyd pa nifer o brofion sydd o'n plaid, yn ol y cyfrifiad uchod, am bob un sydd yn ein herbyn, pan yr ychwanegwn fod cant a thriugain a deg o eiriau a ddefnyddir yn ieithoedd Indiaid America yn cael eu defnyddio yn yr un ystyron yn ieithoedd Asia.‡ Y mae geiriau felly wedi eu gadael yn wasgaredig ymhlith ieithoedd y byd megys o bwrpas i fod yn dystion i'r ffaith fod holl lwythau dynolryw yn perthyn i'r un teulu.

Edrychwn, yn olaf, ar y tebygolrwydd meddyliol a moesol sydd rhwng holl bobloedd y byd â'r naill a'r llall. Cymharwn y pellaf oddiwrth eu gilydd—y Caucasiaid a'r Negro; ac os gallwn lwyddo i ddangos tebygolrwydd teuluaidd rhyngddynt hwy, bydd hyny yn llawn ddigon am y lleill i gyd. Ar y gwahaniaeth tybiedig rhwng Negröaid ac Ewropëaid yn y pethau hyn, y mae y rhai a wadant unoliaeth dynolryw yn gosod mwyaf o bwys. Fel y canlyn y maent yn dywedyd:—"Dadleuir mai nid y gwallt a'r croen, mewn modd yn y byd, yw yr unig bethau ymha rai y mae y Negro yn gwahaniaethu oddiwrth yr Ewropëad o ran ei gorff. Ac y mae y gwahaniaeth rhyngddynt yn fwy fŷth yn feddyliol a moesol. Fel bodau rhesymol, y mae y Negröaid yn sefyll ar rîs iselaf y raddfa feddyliol, ac yn ddifesur islaw Ewropëaid yn eu cyfaddasrwydd i dderbyn gwybodaeth. Hònir fod y nodweddau yma yn rhai arosol; ac o ganlyniad, ar dir neillduolion corfforol, yn gystal ag ar dir iseledd meddyliol, y mae cystal rheswm dros ddosbarthu y Negro fel rhywogaeth wahanol, ag sydd dros edrych ar y ceffyl fel rhywogaeth wahanol i'r asyn neu y zebra."|| Gyda'r llawenydd mwyaf yr ydym yn eu cyfarfod ar y tir hwn, ac yn hòni, wrth gychwyn, fod enghreifftiau lawer i'w cael o Negröaid yn meddu teithi meddyliol a moesol sydd yn eu gosod ymhell goruwch llawer o Ewropëaid, a bod yr

* *Man Primeval, pages* 30 *&* 32. † *Quoted in Dr. Hall's Synopsis—prefixed to Pickering's Races of Man.* ‡ *Dr. T. Smyth—quoted in ditto, page* 59. || *Paper read by Dr. Hunt—British Association, Manchester,* 1863. *Quoted in Critical and Experimental Commentary—Dr. Jamieson.*

enghreifftiau hyny yn lliosogi fel y mae y cyfathrach rhyngddynt hwy â dynion eraill yn ychwanegu, a'r cyfleusderau i gyraedd gwybodaeth yn amlhâu ac yn lledu yn eu plith.* Addefwn yn rhwydd fod Ewropëaid, ar y cyfan, yn rhagori ymhell ar Negröaid; ond nid yw yn dêg eu barnu wrth yr un safon, oblegid nid ydynt wedi derbyn yr un manteision. Ac oblegid yr un rheswm, nid yw yn dêg ychwaith, i'r pwrpas yma, gymharu yr uchaf ymhlith y Negröaid â'r rhai uchaf ymhlith yr Ewropëaid. Y mae ein gwrthwynebwyr yn haeru fod *gagendor mawr* rhyngddynt, ond y mae hyny yn beth nas gallant ei brofi, hyd nes y byddont yn abl i ddangos fod yr Ewropëaid *iselaf* goruwch y Negro *uchaf*. Os gallwn ddangos (ac y mae hyny yn beth digon hawdd), fod y Negro uchaf goruwch yr Ewropëad iselaf, fod y goreu ymhlith y naill yn well na'r gwaethaf ymhlith y llall, y mae ein pwnc ni wedi ei brofi; oblegid y mae y dosbarthiadau yn rhedeg i'r naill y llall, ac felly yn cael eu difodi—yn peidio â bod yn ddosbarthiadau mwy. Y mae yn anhawdd, ac, fe allai, yn anmhosibl, cael hyd i Ewropëaid ag y byddai yn dêg eu gosod i fyny fel safon wrth ba un i farnu galluoedd naturiol y Negröaid. Y mae yn wir fod yn ein plith ni lawer o ddynion anwybodus, ond nis gwyddom am neb nad yw wedi derbyn rhyw fesur o argraff oddiwrth ddylanwad gwybodaeth pobl eraill. Ni a wyddom pa fath ydynt y dynion yma yn awr, ond nis gwyddom pa beth a fyddent pe byddai pawb trwy yr holl wlad mor anwybodus â hwy eu hunain. Ond mewn rhanau helaeth o Affrica, felly y mae pawb. Mewn llawer o enghreifftiau, ceir yr holl lwyth yn gwbl amddifad o'r hyn a alwn ni yn wybodaeth, o'r penaeth hyd yr iselaf yn eu plith; ac er hyny, yr ydys yn fynych wedi cyfarfod â dynion yn eu mysg hwy yn meddu ar alluoedd meddyliol anghyffredin.

Fe ddichon y bydd yn rhyw ddyddordeb i'r rhai sydd yn gwadu unoliaeth dynolryw, i wybod fod ambell un o'r un farn â hwythau ymhlith y bobl ar ba rai y maent yn seilio eu rhesymau cryfaf. Ar ddiwedd pregeth i gynnulleidfa o Bechuaniaid, cyfarchwyd Mr. Moffat gan wneuthurwr gwlaw tra chyfrwys, yr hwn oedd yn oracl y pentref, fel y canlyn:—"Os ydych yn credu mewn gwirionedd mai y Bôd mawr hwnw sydd wedi gwneuthur pawb, yna, wrth reswm, rhaid i chwi gredu ei fod yn gwellhâu yn ei waith fel yr oedd yn myned yn y blaen. Treiodd ei law ar y Bushmen yn gyntaf, ac nid oedd yn eu leicio am eu bod mor hyll, a'u hiaith mor debyg i iaith y brogäid. Yna treiodd ei law ar yr Hotentotiaid, ond nid oedd y rhai hyny yn ei foddloni chwaith. Yna arferodd ei allu a'i scil ar y Bechuaniaid, ac yr oeddynt hwy yn welliant mawr. Yn ddiweddaf oll, gwnaeth y dyn gwŷn; a dyna paham," meddai, gydag ystum fuddugoliaethus, "yr ydych chwi yn gymaint doethach na ni.†" Yr oedd efe yn falch o'i ddarganfyddiad, ond

*Cymerir yr hyn a ganlyn o'r *Daily News* am Awst 7fed:—"Mr. Geo. B. Vashon, a coloured lawyer formerly of this city, has just been admitted to practice at the bar of the Criminal Court of the District of Columbia. We have now coloured clergymen, doctors, lawyers, schoolmasters, printers, and clerks; yet there are still plenty of people who insist substantially that the black is not a human being—that he is of the same kind with the gorilla; that he must not vote though he may pay taxes; and that in an incred ibly short space of time his race will have become extinct. Every day the monkey theory is reduced to a still deeper absurdity, and these ethnological sciolists, in trying to prove the imbecility of the African, seem to be in a fair way of demonstrating their own. —*New York Tribune*, July 23rd." †*Missionary Labours and Scenery in South Africa*, *page* 65.

nis gallwn ni lai na gweled yn ei gywreinrwydd arwyddion anghamsyniol o'i fod wedi disgyn o'r un teulu â'r philosophyddion.

Cyferfydd yr Anffyddiwr hefyd â brodyr yn Affrica. Ymresymai un gwneuthurwr gwlaw â Mr. Moffat fel y canlyn:—gan gyfeirio â'i fŷs at ei gî, gofynai, "Pa beth yw y gwahaniaeth sydd rhyngof fi â'r anifail acw? Yr ydych yn dywedyd fy mod yn anfarwol, a phaham nad yw fy nghî neu fy ŷch felly? Y maent hwy yn meirw; ac a ydych chwi yn gweled eu heneidiau? Pa beth yw y gwahaniaeth rhwng dyn â'r bwystfil? Dim, ond mai efe yw y *rogue* mwyaf o'r ddau."*

Yn ystod arosiad Mr. Moffat ymhlith y Batlapis, llwyth llïosog o'r Bechuaniaid, lle y bu yn llafurio am flynyddoedd lawer, darfu i'r newydd cyffröus un diwrnod gyraedd yr Orsaf, fod byddin nerthol o ddynion a elwid Mantees yn dyfod o'r gogledd yn eu cyfeiriad hwy, gan ladd a dinystrio y ffordd y cerddent. Yn fuan cafwyd allan fod y newydd hwn yn wirionedd, a bod y fyddin ddinystriol, yn rhifo miloedd lawer, wedi cymeryd meddiant o dref berthynol i lwyth arall ychydig filldiroedd i'r gogledd o'r Orsaf. Yn wyneb yr amgylchiad difrifol hwn, galwyd ynghyd gyfarfod seneddol o benaethiaid y llwyth i ymgynghori ynghylch y mesurau angenrheidiol i'w cymeryd; ac er fod holl aelodau y senedd yn ddynion hollol anwrthiedig, traddodwyd rhai areithiau yn y cyfarfod hwnw yn rhagori ymhell mewn hyawdledd ar lawer araeth a draddodir yn senedd Prydain Fawr. Enw y brenin ydoedd *Mothibi.* Yr oedd efe yn fab ac yn ddilynydd i *Molehabangue,* yr hwn a ystyrid yn frenin mawr, gan ei fod yn ystod ei deyrnasiad wedi ychwanegu at fawredd a nerth y deyrnas. Mothibi, yn rhinwedd ei swydd, ydoedd i agoryd y cyfarfod, ac wele yn canlyn ddarn o'i araeth:—"Chwi, feibion Molehabangue, y mae y Mantatees yn bobl nerthol a buddugoliaethus. Y maent wedi gorthrechu cenedloedd lawer, ac yn awr y maent yn nesâu atom ni i'n dinystrio. Yr ydym wedi cael hysbysrwydd am eu harferion, eu gweithredoedd, eu harfau, a'u hamcanion. Nis gallwn sefyll o flaen y Mantatees; rhaid ymgynghori, tŷnu ein casgliadau, a phenderfynu sefyll. Y mae yr achos yn un mawr. Yr ydych wedi gweled y dyddordeb ag y mae y cenadwr yn ei gymeryd yn eich dïogelwch. Os bydd i bawb o honom ni ymegnïo fel y mae efe wedi gwneuthur, nis gall y Mantatees ddyfod ymhellach. Bydded i bob un ddywedyd ei feddwl, ac yna mi a lefaraf drachefn."†

Y mae rhanau o Affrica a fuont unwaith yn llïosog eu preswylwyr, yn awr wedi eu hanrheithio a'u diboblogi gan ryfel. Yr oedd Mr. Moffat unwaith yn sefyll ar fryn, ac yn gweled o'i flaen wastadedd ëang yn llawn o adfeilion. Gofynodd i frodor, yr hwn a eisteddai yn ei ymyl, a oedd efe yn gwybod rhywbeth am hanes y difrod. Neidiodd hwnw ar ei draed mewn eiliad, gan ymddangos fel pe buasai wedi ei gynhyrfu trwyddo, ac atebodd fel y canlyn:—"Myfi, ïe, myfi, a'i gwelais. Yna y preswyliai penaeth mawr tyrfäoedd. Teyrnasai yn eu plith fel brenin. Efe oedd penaeth y dâ gleision *(blue-coloured cattle).* Yr oeddynt mor llïosog a'r niwl tew ar gopa y mynydd, a gorchuddiai ei braidd y gwastadedd. Tybiai y byddai i niferi ei ryfelwyr ddychrynu ei elynion. Ymffrostiai ei bobl yn eu gwaewffyn, a chwarddent ar lyfrdra y bobl a ffoisent allan o'u trefydd. 'Mi a'u lladdaf, ac ar fy mryn

* *Moffat's Missionary Labours, page* 80. † *Missionary Labours, page* 91.

y crogaf eu tarianau. Y mae ein llwyth ni yn llwyth o ryfelwyr. Pwy erioed a oresgynodd ein tadau? Yr oeddynt hwy yn nerthol mewn brwydr. Yr ydym ni yn meddiannu yspeiliau yr hen amseroedd. Onid yw ein cŵn ni wedi bwyta tarianau eu pendefigion hwy? Fe gaiff y gwylltyriaid fwyta lladdedigion ein gelynion.' Fel hyn y cânent, ac fel hyn y dawnsient, nes iddynt weled ar yr ucheldерau acw y gelyn yn nesâu. Dystäwyd eu cân mewn nos, a llanwyd eu calon â braw. Gwelent gymylau yn cyfodi o'r gwastadedd—mŵg trefydd ar dân. Yr oedd terfysg corwynt yn nghalon penaeth y dâ gleision. Cyfodwyd y waedd, 'Cyfeillion ydynt,' ond gwaeddasant drachefn, 'Gelynion ydynt,' nes i'w nesâd agos eu profi yn Matabele. Cipiodd y gwŷr eu harfau, a rhuthrasant allan fel pe buasent yn myned i ymlid yr *antelope*. Yr oedd eu hymosodiad fel llais y fellten, a'u ffŷn fel ysgydwad coedwig mewn ystorm hydrefol. Cyfododd y llewod Matabelaidd waedd marwolaeth, a rhuthrasant ar eu hysglyfaeth. Gwaedd buddugoliaeth oedd hono. Gosododd ychydig fynydau gannoedd ar y ddaear. Curiadau eu tarianau oeddynt arwyddion goruchafiaeth. Ffôdd ein pobl ni gyda'u hanifeiliaid i gopa y mynydd draw. Aeth y Matabele i mewn i'r dref gyda rhuad llew. Yspeiliasant a llosgasant y tai, trywanasant y mamau, a thaflasant eu babanod i'r tân. Machludodd yr haul. Gadawodd y buddugoliaethwyr y gwastadedd myglyd, ac amgylchynasant odreuon y mynydd acw. Lladdasant anifeiliaid; dawnsiasant a chânasant hyd doriad y dydd; esgynasant a lladdasant nes yr oedd eu dwylaw wedi blino ar y waewffon." Yna ymostyngodd a chymerodd i fyny ychydig lwch yn ei law. Chwythodd ef ymaith; a chan ddangos ei gledr llaw noeth, ychwanegodd, "Dyna y cwbl sydd yn aros yn awr o benaeth mawr y dâ gleision."*

Y mae yn hen ddywediad, "Gwell angeu na chywilydd;" ac y mae yn cael ei ystyried yn rhinwedd mewn dyn i ddewis marwolaeth yn hytrach na cholli ei anrhydedd. Cyfarfu Mr. Moffat â siampl mor darawiadol o'r teimlad hwn yn Affrica ag a geir yn holl hanesiaeth Groeg a Rhufain. Tra yr oedd ar ymweliad â Moselekatse, brenin mawr Matabele, darfu i un o uchelswyddogion ei fawrhydi gyflawni trosedd ag oedd yn gofyn am farwolaeth. Dygwyd prawf y troseddwr yn y blaen yn y modd mwyaf difrifol yn mhresennoldeb y cenadwr, ac ar y diwedd dywedodd y brenin wrtho, "Yr ydych yn ddyn marw, ond myfi a wnaf heddyw yr hyn na wnaethum erioed o'r blaen. Yr wyf yn arbed eich bywyd er mwyn fy nghyfaill a'm tad," gan gyfeirio tua'r fan lle y safai Mr. Moffat; "yr wyf yn gwybod fod ei galon yn wylo oblegid tywalltiad gwaed, ac er ei fwyn ei yr wyf yn arbed eich bywyd. Ond rhaid i chwi gael eich diraddio am eich oes; rhaid i chwi beidio a chymdeithasu mwy â phendefigion y tir, na myned i mewn i drefi tywysogion y bobl, nac ymgymysgu mwy yn nawns y rhai galluog. Ewch at dlodion y maes, a bydded preswylwyr y diffaethwch eich cymdeithion." Gwrandawodd y troseddwr ar ei ddedfryd; ond yn lle dadgan diolchgarwch am y drugaredd oedd yn arbed ei fywyd, gwaeddodd â'i ddwylaw ymhleth ar ei fynwes, "O frenin, na chystuddiwch fy nghalon. Yr wyf wedi haeddu eich anfoddlonrwydd; gadawer i mi gael fy lladd fel rhyfelwr; nis gallaf fyw ymhlith y tlodion." A chan gyfodi ei law at

* *Missionary Labours, page* 141.

fodrwy a wisgai ar ei ael, ychwanegodd, "Pa fodd y gallaf fyw gyda chŵn y brenin, a gwarthruddo yr arwyddion hyn o anrhydedd a ennillais ymhlith gwaewffyn a tharianau y galluog? Nis gallaf fyw! Gadawer i mi farw, O Pezoolu!" Ac felly y bu.*

Ceir prawf penderfynol fod dynolryw yn un yn y ffaith sydd bellach yn anwadadwy—fod yr un gwirioneddau yn cynnyrchu ar ddynion o bob llwyth ac iaith ar wyneb y ddaear yr un effeithiau. Yr efengyl yw y prawf-faen mawr yn y peth hwn. Pan y dygir hi i gyffyrddiad â'r Negro, y mae yn cynnyrchu yn ei galon ac ar ei ysbryd ef yr un effeithiau yn hollol ag y mae wedi eu cynnyrchu trwy yr oesoedd ymhlith Ewropëaid. Fel ymhlith y Cymry, felly yn eu plith hwythau, y mae rhai yn cael eu dwyn ar unwaith i ymdeimlo â'u cyflwr colledig, ac i geisio iachawdwriaeth; tra y mae eraill, ar ol ymgyndynu am flynyddoedd, yn cael eu dwyn o'r diwedd i blygu eu gyddfau i iau Crist, ac i roddi eu hunain iddo. Bu Mothibi, brenin y Batlapis, at yr hwn yr ydym eisoes wedi cyfeirio, am flynyddoedd lawer yn ddigon caredig i'r Cenadon, ond yn gwbl ddifater am ei enaid ei hun; ond yn ei hen ddyddiau, derbyniodd deyrnas Dduw fel dyn bach, a bu farw gan "ddysgwyl yn ddystaw am iachawdwriaeth yr Arglwydd."† Bu Jager Affricaner am hir amser yn ddychryn i'r holl lwythau a'i hamgylchynent. Pleserau ei fywyd ef oeddynt anrheithio a thywallt gwaed. Dinystriodd Orsaf Genadol y *Warm Bath*, a buasai yn lladd y Cenadon yn ddios oni buasai eu bod wedi dïanc oddiar ei ffordd mewn pryd. Ond dofwyd y llew hwn gan efengyl gras. Gwelwyd ef yn eistedd wrth draed yr athraw yn ei ddillad ac yn ei iawn bwyll. Dysgodd ddarllen, a darllenai y Bibl am oriau bob dydd. Llafuriodd lawer am weddill ei oes i gadw heddwch rhwng dynion â'u gilydd. Pan ddeallodd fod ei ddiwedd yn nesâu, galwodd ei bobl o'i amgylch, a dywedoddd wrthynt, "Nid ydym ni mwy y peth oeddym—yn *farbariaid,* ond dynion yn proffesu ein bod yn cael ein dysgu yn ol yr efengyl. Bydded i ni ymddwyn felly. Byddwch fyw mewn heddwch â phawb os bydd hyny yn bosibl, ac os yn anmhosibl, ymgynghorwch â'r rhai sydd wedi eu gosod drosoch cyn ymgymeryd â dim. Aroswch gyda'ch gilydd fel yr ydych wedi gwneuthur hyd yn hyn; yna pan welo y Cyfarwyddwyr yn dda anfon Cenadwr atoch, chwi a fyddwch yn barod i'w dderbyn. Ymddygwch at unrhyw ddysgawdwr a anfonir atoch fel un wedi ei anfon oddiwrth Dduw, oblegid yr wyf yn gobeithio y bydd iddo Ef eich bendithio yn yr ystyr yma pan fyddaf fi wedi myned i'r nefoedd. Yr wyf yn teimlo fy mod yn caru Duw, a'i fod Ef wedi gwneuthur llawer drosof fi, o'r hyn yr wyf yn hollol annheilwng. Y mae fy mywyd yn yr amser aeth heibio wedi ei lychwino â gwaed, ond y mae Iesu Grist wedi maddeu i mi, ac yr wyf yn myned i'r nefoedd. O! ymogelwch rhag syrthio i'r drygau i ba rai y darfu i mi yn fynych eich harwain; ond ceiswch Dduw, a chwi a'i cewch Ef i'ch cynnorthwyo."‡

Ymhlith carcharorion a gymerwyd oddiwrth y Mantatees, at ymgyrch dinystriol pa rai yr ydym wedi cyfeirio eisoes, yr oedd dynes ieuanc o'r enw Mameyatsi. Bu hon am beth amser yn weinyddes i Mrs. Moffat, a dangosodd yn fore barodrwydd i ddysgu darllen, gyda chraffder

* *Missionary Labours, page* 147. †*Missionary Labours, page* 159. ‡*Missionary Labours, page* 49.

anghyffredinol. O'r pryd yr ymunodd â'r eglwys hyd ddydd ei marwolaeth, bu yn llythyr byw o nerth yr efengyl. Prïododd, a ganwyd iddi faban. Ar un achlysur, pan ymwelodd y Cenadwr â hi yn ei thŷ, cafodd hi yn wylo yn ddwys. "Pa beth yw achos eich tristwch, fy mhlentyn?" ebe efe. "A yw y baban yn glaf?" "Na," ebe hithau, "y mae y baban yn iach." "Eich mam yn nghyfraith?" ebe y Cenadwr. "Na, na," ebe hithau, "ond fy mam anwyl fy hun, yr hon a esgorodd arnaf!" Yna ymollyngodd i wylo; a chan estyn allan Efengyl Luc mewn llaw wedi ei gwlychu gan ddagrau, dywedodd, "Ni chaiff fy mam byth weled y gair hwn, na byth glywed y newyddion da yma!" Wylodd drachefn a thrachefn, a dywedodd, "O fy mam a'm cyfeillion; y maent hwy yn byw mewn tywyllwch paganaidd, a rhaid iddynt farw heb weled y goleuni sydd wedi llewyrchu arnaf fi, na phrofi y cariad yr hwn yr wyf fi wedi ei brofi!" Gan ddyrchafu ei llygaid tua'r nefoedd, ocheneidiodd weddi, a chlybu y Cenadwr y geiriau, "Fy mam, fy mam!" Ymhen ychydig amser ar ol hyn, bu farw. Disgynodd i'r afon heb ofni grym y tònau. Rhoddodd ei maban bychan i ofal Tad y trugareddau. A'r geiriau diweddaf a glybuwyd yn dyfod dros ei gwefusau oeddynt, "Fy mam!"

Y mae y Negröes dlawd hon o "un galon" â holl deulu y ffydd, ac y mae hyny yn ddigon i foddloni pob meddwl diragfarn ei bod o "un gwaed."

---

# TRAI A LLANW.

Mae 'r Duwdod mawr yn bod erioed a byth;
Diderfyn yw, diderfyn yw ei fyd.
Nid oes na chynt nac eto, llai na mwy,
Na dyfnder, uchder, llêd, na hŷd ychwaith,
Yn perthyn iddo Ef—tragwyddol yw;
Anghyfnewidiol Dad pob gwawl yw Ef;
Haul heb Orllewin, Dwyrain, Gogledd, Dê.
Tragwyddol fôr heb lanw ac heb drai
Yw Duw. Ei orsedd fry a erys byth
Yn ansigledig, ddigyfnewid oll.
Nid yw yn bod ac nid yw 'n gwybod dim
Mewn lle ac amser, fel yr ydym ni;
Ac eto mesur amser mae fel bŷr
Edafedd ar ei fŷs, a'i ollwng lawr
I ni i'w ddringo fyny ato Ef.
Ac ynddo mae pob peth yn symud, byw,
A bod, heb fod mewn unrhyw le ei hun;
Sefydlog yw, a symud mae pob peth
O'i gylch; a phob symudiad sydd yn bod

A ddywed ei fod Ef. Mae meddwl dyn
Yn hedeg at y digyfnewid Fôd,
Fel sail holl symudiadau 'r crëad mawr.
Ac nid yw pob rhyw lanw sydd yn bod
Ond ymgais serch y meidrol fodau sydd
I ddringo fyny at ei orsedd fawr,
Ac arllwys tônau moliant wrth ei draed,
Fel tòrai Mair y blŵch ar Iesu gynt.
Hwy a ennillant oll goronau heirdd
Trwy 'r ymdrech i ymlanw ato Ef;
A phan y teimlant y terfynau gwrdd
Osododd Iôr, i'w cadw ganddynt hwy,
Gadawant eu coronau ger ei fron,
A chiliant yn eu hôl ar wylaidd drai.

Terfynol yw y byd a bychan iawn,
A thrai a llanw yn ei gwbl a gawn.
Mae 'n grwn—olwyna 'n gyflym ar ei hynt,
A llawer tro o'i fewn a wneir yn gynt
Gan rodau llai yn y peirianwaith mawr,
Sy 'n gwneyd eu gwaith i fyny ac i lawr.
Drwy 'r troion hyn, rhyw draeth o hyd sy'n llawn,
Un arall yr un pryd yn wâg a gawn.
Y byd fel hyn ar gylch tramwyo wna,
Fel Iesu mawr, o hyd, i wneuthur da.
Rhy fach i bobpeth yw y byd sy 'n awr,
I godi 'r naill rhaid tŷnu 'r llall i lawr.
Pan arno gwawriodd o'r tywyllwch du
Y cyntaf ddydd, yn fuan hŵyr a fu.
O hyd, daw 'r dydd godidog yn ei dro,
A'i lanw aur orlifa fryn a bro;
A myrdd fywhëir lle rhêd y llifau hyn,
O'r uchel fynydd hyd waelodion glŷn.
Ond buan iawn cyrhaedda 'i uchaf nôd,
A disgyn wna gan lusgo 'i lachar glod.

Yn araf i'r Gorllewin pell mae 'n treio,
A sêr fyrddiynau hyd y traeth sy 'n rhodio.
Fawreddus drai! fel ymadawiad Iesu—
Amneidia 'r sêr fod argoel am yfory.

Nid yw y flwyddyn gron
Ond trai a llanw mawr,
Neu fywyd bob yn ail
Ag angeu 'n llywio 'r llawr;
Edrychwn ar y dydd yn troi,
Ac angeu du yn cael ei dôi.

Mae blod'yn Mawrth yn tyngu
Uwchben yr eira gwŷn,
Fod gobaith am adferiad
Gwyrddlesni dôl a bryn,—

Fod llanw bywyd nerthol
Oll yn ei dònog ddawn,
Yn dyfod mewn gogoniant
A sicrwydd llwyddiant llawn.

Ymgripia 'n dòn gynnyddol
I fyny 'r llwyni drain,
A dystaw mae 'n ymdòri
Ar hyd eu pigau main;
Ar frîg y dderwen gadarn
Yn dòn fuddugol gref
Y tŷr, a'i sŵyn a deimlir
Fel chwâ dros erddi 'r nef.

Mae bywyd ar y mynydd,
Ac yn y dyffryn hardd,
Mae bywyd yn y berllan,
A bywyd yn yr ardd;
Prydferthwch ar brydferthwch
Ymdòna dros y byd,
A cherdd y wîg ymchwydda
Yn uwch ac uwch o hyd.

Dan lwyth o aeron têg
Mae 'r pren cauadfrig draw,
A delw 'r haul sydd ar
Y meusydd ŷd gerllaw;
Mae 'r flwyddyn aur, dan wenau'r nèn,
A choron bywyd ar ei phen.

Mae tònau 'r llanw grymus
Yn araf ac yn wan,
A gorphwys a llonyddu
Mae anian ymhob man;
Mae gweled y medelwr
A'i gryman yn ei law,
Yn d'weyd am ben y llanw,
A bod y trai gerllaw.

Awn oddiyma tua glàn y môr,
Hen gadair siglo y galluog Iôr.

Mae trai; dacw 'r hen "gàreg ddu,"
Mae 'r tywod mor wastad â'r ddôl;
Gadawodd y draethell i ni,
Awn allan ymhell ar ei ôl;
Nid yw am fyn'd ymaith yn llwyr
I rywle o olwg y làn,
O hyd y mae 'n taflu ei law
I dd'weyd y daw 'n ôl yn y man.

Nid yw yn ymddangos am enyd
Ei fod yn ymsymud o'r fan—
Mae fel pe 'n ysbïo i'r nefoedd
Am amnaid i gychwyn i'r làn

A dyma 'r olwynion mawreddus
  Yn fuan yn dechreu ymdroi,
A thrwst eu cerddediad yn gwatwar
  Twrf nefoedd a daear yn ffoi.

Mae 'n d'od i mewn, ni luddias neb ei dònau,
Ond Hwnw gynt a'i cauodd ef â dorau.
Anfeidrol ddrych! mae teulu 'r ddaear isod
Yn gweled ynddo allu mawr y Duwdod.
Daw at y graig,—preswylwyr mân y cregyn
Agorant fil o ddôrau 'n awr i'w dderbyn;
I arall nid agorent îs y ne';
Eu cyfaill mawr a'u bywyd yw efe.

Mae 'r hen hwylbreni hwythau,
  Dan y dylanwad mawr,
Yn siglo 'n orfoleddus
  I fyny ac i lawr,
Ar gefn eu mŷg waredwr;
  Ffarwel i Babel mwy
Am dro. Mae awel rhyddid
  O dan eu hedyn hwy.

Y mae perthynas rhyngddo ef â'r nèn,
Ei serch a redodd ar y lleuad wèn;
Ac ar ei ôl y rheda ef o hyd,
Fel Gwilym ar ol Gwen, o gylch y byd.
Pan fyddo hi yn cuddio 'i hun â llèni,
Ac yntau bron a cholli golwg arni,
Yspïo mae, arafu, ocheneidio,
A myn'd yn araf ar ei hôl dan wylio.
Ha, dacw hi; ei galon gryn gan serch,
Dan wên amneidiol fwyn ei arian-ferch.
A phan fo 'n rhodio yn ei holl ogoniant,
Ei ymysgaroedd ef am dani rüant;
Yn curo 'r muriau mae y carwr mawr,
Mewn awydd am ei chael i'w freichiau lawr.

Ac felly mae yn amlwg
  Y carant hwy o hyd,
Nes dryllio 'r cedyrn rwymau
  Sydd yn eu dal ynghyd.

Ardderchog lîf! mae yn dy lanw di
Ryw bwysig genadwri atom ni;
Rhyw gŵyn o'r ochrau pell sydd yn y dòn,
Pan ddaw o hyd i wylo ger ein bron;
Mae 'r gwledydd draw heb glywed son am Iesu,
A myrdd o feibion Adda dan y fagddu.
Adrodda 'r dòn yr hanes ger y làn,
Ac yna tŷr ei chalon yn y fan.

Mae 'n llifo draw, er dwyn yn ôl yn rhad
I ni gynnyrchion hyfryd llawer gwlad;
Yn llanw yma, gydag amcan mwy,
Er cludo draw y sôn am Ddwyfol glwy'.
O dan yr unrhyw ddeddf mae dyn yn awr,
Hyd dòriad dydd yr adgyfodiad mawr,
Pan ddaw i'r làn o rwymau angeu 'n rhydd,
I ddechreu 'r oes anfarwol fawr a fydd.

Mae 'n brydferth iawn ar draeth y farwol oes;
Yn gydstad â'i ogoniant ef nid oes
A wnaed o glai. Rhyw dòn ar dòn o hyd
Sydd yn ymchwyddo yn ei nerth a'i fryd;
Ymleinw 'n raddol ar hyd oriau iach,
Nes cuddio trwyn hoff graig y *bachgen bach*.

Trwy rym ei fryd ymchwydda 'n uwch ei dònau,
A natur falch felltena yn eu brigau :
Ei ddymuniadau cryfion a daranant,
A'i nerth a welir yn ei holl ogoniant;

Pan ddaw y flaenaf dòn i wlychu troed
Uchelfalch graig yr *un ar hugain* oed,
Yn araf wed'yn, a sefydlog iawn,
Y daw i fyny, yn gyforiog lawn,

A cheir yn fuan wrth fanylu arno
Arwyddion trai ar nerth a bywyd ynddo.

Mae ei wallt yn dechreu britho,
  A'r prydferthwch gynt oedd lawn
Yn ei wêdd yn dechreu cilio
  Ymaith yn lladradaidd iawn.
Oerach yw ei draed o'r hanner
  Na phan oedd yn ugain oed,
Mae ei gof a'i gam yn fỳrach
  Nag y gwelodd hwynt erioed.

Ar ei bruddaidd wely marw,
  Oer ei droed ac oer ei law,
Oer ei wyneb gwỳn gan boenus
  Ddirdyniadau brenin braw;
Nid oes dòn yn d'od i'r addurn,
  Y mae 'r galon yn rhy wan;
Oer yw hono yn y diwedd,
  Ciliodd bywyd o bob man.

Wrth edrych ddeg ar hugain,
  Neu lai, o flwyddi 'n ôl,
Y cawn rhwng gwraig a'i phrïod
  Un bach, o gôl i gôl,

Yn neidio yn chwareügar,
   Dan ofal cynar serch,
Rhai heb freuddwydio eto
   Am unrhyw dymhestl erch.

Ymhen blynyddoedd wed'yn
   Ni gawn eu teulu hwy,
Eu tŷ, eu tân, eu haelwyd,
   A'u bord, yn llawer mwy.
Mae 'r llanw wedi dyfod
   I mewn yn rhyfedd iawn,—
Mae 'r annedd ar ymdòri,
   A chadair wâg ni chawn.

Ond troi mae yr olwyn o hyd
   I fyny, ac hefyd i lawr;
Mae 'r teulu fu 'n esgyn am dro
   Yn disgyn mor gyflym yn awr;
Ni cheir yn y babell oedd lawn
   Ond cofion am lawer o'r plant;
Y delyn oedd siriol ei dawn
   Sy 'n llifo gan alar bob tànt.

Mae un yn America draw,
   A'r llall—ni ŵyr dewin pa le!
A phump yn y fynwent gerllaw,
   A thri yn eu galar yn nhre';
Mae trai ar ol llanw wrth ddeddfau y rhod
Ar bob rhyw wrthddrychau gweledig sy 'n bod.

Yn ôl a blaen mae amgylchiadau 'r byd,
Yn treio ac yn llanw yn ddidôr,
O lawnder i dylodi, ac yn ôl
I lawnder o dylodi mawr drachefn.
Mae Job ar ben y domen, yn ei dro,
O hyd, ac yn ei balas gwych a llawn.
Os cyflym y cynnydda golud un,
Mae fel cicaion Jonah gynt, a fu
Am nos, ac yna darfod wnaeth efe,
Cyn bod yn nawdd rhag nerthol wrês un dydd.
Fel cymyl nèn, rhai 'n agos at y cylch,
Rhai at y canol, sydd o hyd yn troi,—
Rhai 'n gwneyd eu tro yn gynt, a rhai yn hŵy,
Fel hyny mae plant dynion yn y byd.
Y teulu unwaith fu dan lwydd di-loes,
A thònau golud a gobeithion claer
Yn tòri mewn gogoniant wrth ei draed,
Sydd heddyw gyda brys yn gwneyd ei ffordd
I dreulio gweddill oes dan ddirmyg byd,
Ar dlawd elusen annyngarol blwy'.

Un arall fu yn hir dan lwch y byd,
Yn tyrio tywell ffordd i oleu haul,
Sydd heddyw fry yn uchel iawn ei glod
Ar heulog wyrddion fronydd llwyddiant llawn,
Yn edrych ar dylodion byd islaw
Fel rhyw bryfedach gwael, heb gofio dim
Fod eto drai, a thynu lawr i fod.
Mae ëang etifeddiaeth amser oll
Yn myned ac yn myned yn ddibaid;
Ond myned mae ei ddeiliaid ef bob un
O fewn terfynau—mae yr oll mewn cylch.
Yr hyn a fu, fydd eto yn ei dro,
A'r hyn y sydd a fu o'r blaen ryw bryd,
Ac unrhyw newydd-beth nid oes dan haul.
Ni fydd dim newydd ac ni bu ychwaith,
Ond hwnw uwch yr haul a gaed mewn cnawd,
A'i draiau drud—gan angerdd cryf ei serch,
A lusgir fry uwch terfyn pell y rhod
I weled agor plygion newydd byth,
A didrai ymchwydd cyngor *Dwyfol dri.*

Mae cedyrn freniniaethau 'r byd o'r bron
Yn gweled amser chwyddo 'r uchaf dòn,
Y naill ar ol y llall, fel nad oes mwy
Yn aros ond eu hen adfeilion hwy,
A chofion am eu rhwysg a'u mawredd gynt,
Y rhai sydd wedi myned gyda 'r gwynt.
Assyria hen, pa le yn awr mae hi?
Ymchwyddodd mewn dylanwad nerth a bri,
Ar löewon lênydd y dwyreinfyd mawr,
Gan lifo 'n rhydd dros wledydd têg eu gwawr,
Hyd nes i'r dòn arweiniol fawr a chref
I daro draw wrth graig Caersalem dref;
Yr hyn pan brofodd, cilio wnaeth yn raddol
Rhag anweledig nerth y ddinas Ddwyfol.

Caldea auraidd, hithau fu 'n ymgodi
Ar draethau pell y gwledydd yn ymdòri
Ei llif uchelfrig gyda thwrf uffernol,
Fel pan uwch Eden gynt y chwarddai 'r Diafol.
Ond fel i'r Sarph mae dail yr Onen wèn,
O'u cyffwrdd, yn rhoi iddi farwol ben,
Bu felly llestri aur hoff deml Jehofah
Pan arnynt hwy yn hyf gwnaeth Babylonia.

Bu Persia hithau yn arianu dro,
A'i thawel lîf orchuddiodd lawer bro.
Bu calon fawr yn chwyddo 'r *arian fron*,
A llawer fu yn pwyso arni 'n llòn;
Dynoliaeth fyth a gâr y galon rydd—
Fe gofir Cyrus hyd y farn a fydd.

Ond darfu, ac ni cheir o Persia mwy
Ond sôn am rym ei chledd ac am ei chlwy'.

Bu cynnydd cyflym Groeg i'r byd yn fraw,
Ei llifau chwyrn ymlanwent ar bob llaw.
Hi lanwodd fyd—y byd adwaenent hwy,
A'i theyrn a wylodd am ryw fyd oedd fwy.
Yr oedd ei ddagrau ar uchelfa clod,
Yn dyweyd fod trai ar ol y llanw 'n bod.

Daeth Rhufain wed'yn gyda 'i gallu llym,
Gan luchio tònau o haiarnaidd rym;
Malurio cedyrn orseddfeinciau lawer,
A chladdu eu gogoniant yn y dyfnder.
Ond erbyn iddi ar ei thraethoedd llawn
Ymorphwys·a mwynhâu ei hun yn iawn,
Bu trai ar ei dylanwad ëang hi,
A phrin mae ôl ei ffyrdd yn awr i ni.

Mae Prydain wedi bod ar ymchwydd hir;
Bydd raid i deyrn y moroedd golli tir:
Mae hithau bellach, ar uchelfa 'r cant,
Yn gwneyd yn araf araf am y pant.
Ac felly gwelir holl deyrnasoedd byd
Yn gorwedd mewn difodiant prudd ynghyd.

Ond teyrnas y gàreg a dòrwyd ò'r mynydd,
Breniniaeth o ryfedd osodiad yr Iôr,
A ddeil i ymlanw ymlaen yn dragywydd,
Pan ddiffydd yr haul a phan sycho y môr:
Yn nghanol anfarwol ddynoliaeth gadwedig,
Teyrnasa y Brenin ar orsedd fawreddig,
A'i bywyd a dardd yn ei wêdd fendigedig,
Yn afon ddidrai o'i dragywyddol ystôr.

Bydd trai ar ogoniant yr haul ryw ddiwrnod,
Y lleuad a'r sêr ni lewyrchant eu rhan;
Pan gyfyd y sant o waelodion ei feddrod,
Y nefoedd ni bydd i'w oleuo i'r làn;
Ond gorsedd yr Oen ar y gwagle mawreddus
Dywallta ddylifau o wawl gogoneddus,
I wneyd plant y gân yn dragywyddol gysurus,
Drwy ëang lywodraeth y nef ymhob man.

Os â goludoedd daear
Yn ulw yn y tân,
Bydd golud iachawdwriaeth
Dros byth yn destun cân:
Os lleibia 'r fflam-ddydd olaf
Holl foroedd mawr y byd,

Bydd dyfroedd glöewon Gwŷnfa
Yn chwyddo 'n uwch o hyd.

Mae sŵn tragwyddoldeb, mae llêd y gagendor,
Mae 'r "fonwes" a'r "fflam" yn llefaru 'r un iaith;
"Os trai, ni bydd llanw," yw 'r daran-ymadrodd,
"Os llanw dim trai byth ni welir ychwaith."
Mae gan ein byd bychan ni ddigon o wagle
I dreio a llanw a symud; ond wele!
'Does gan dragwyddoldeb drwch blewyn yn unlle,
Tu allan i'w hunan anfeidrol o faith.

Y mae Un sydd ddigyfnewid,
Ac yn gwisgo dynol gnawd;
Un a ddeil drwy 'stormydd bywyd—
Deil yn gyfaill ac yn frawd;
Ddeil ef ben yr hwn a'i caro,
Pan yn teimlo 'r farwol loes,—
Pwysed myrdd eu gobaith eto
Ar haeddiannau 'r Ddwyfol Groes!

---

# MOSES.

## III.

Wedi ein sylwadau ar yr aberthau o dan gyfraith Moses, ymha rai yr ydym yn gobeithio ddarfod i ni lwyddo i ddangos i'r darllenydd y rheswm am y gwahanol ddefodau, a'r egwyddorion sylfaenol sydd yn cynnal ac yn rhedeg trwy yr aberthau yn eu gwêdd gysgodol, yr ydym bellach yn dyfod ymlaen i geisio egluro fel yr oedd yr egwyddorion hyny yn cael eu cario allan yn y cymhwysiad ymarferol o honynt at wahanol amgylchiadau yn yr addoliad aberthol.

Dechreuwn gyda'r *Cysegriadau.* Y cyntaf o'r rhai hyn ydyw cysegriad neu neillduad y genedl i gyfammod â Duw yn Sinai. Fe gymerodd hyn le ar ol cyhoeddiad y ddeddf foesol, ond cyn adeiladu y tabernacl, ac felly cyn cyhoeddi na sefydlu cyfraith yr aberthau. Galwyd Moses ac Aaron, Nadab ac Abihu, a'r deg-a-thriugain henuriaid Israel, sef cynnrychiolwyr y genedl, i'r mynydd. Yr oedd Moses i fyned ei hunan at yr Arglwydd, a'r lleill oll i "addoli o hirbell." Yna llefarodd yr Arglwydd wrth Moses eiriau a thelerau y cyfammod ag oedd efe ar fedr gwblhâu âg Israel. Dichon fod Duw yn llefaru wrth Moses fel y gallai cynnrychiolwyr y genedl glywed telerau y cyfammod, er eu bod yn sefyll "o hirbell." Nid yw hyny yn cael ei hysbysu, er fod yn anhawdd gweled beth arall oedd dyben eu galw i'r mynydd. Exod. xxiv. 1—2. Wedi hyny, daeth Moses i waered o'r mynydd, ac a fynegodd i'r bobl

holl eiriau yr Arglwydd, a'i holl farnedigaethau. Ac atebodd yr holl bobl, "yn un air," "Ni a wnawn yr holl eiriau a lefarodd yr Arglwydd." Yna y mae Moses yn ysgrifenu holl eiriau yr Arglwydd mewn llyfr. Gellid tybio fod y llyfr hwnw yn cynnwys yr oll a lefarodd yr Arglwydd oddiar Sinai; neu yr hyn a geir yn ysgrifenedig yn Exodus, o'r xx. hyd y xxiv. Ar ol hyn, y mae Moses yn cyfodi yn foreu ac yn adeiladu allor islaw y mynydd. Tebygol mai "allor bridd" ydoedd hon, yn ol xx. 24, er fod deuddeg colofn o'i hamgylch, yn "ol deuddeg llwyth Israel." Wedi adeiladu yr allor, anfonodd Moses "lanciau meibion Israel," a hwy a offrymasant boethoffrymau, ac a aberthasant fustych yn ebyrth hêdd i'r Arglwydd. Gyda golwg ar y "llanciau" hyn, y mae yr hanes yn fŷr ac yn ddystaw; pwy oeddynt, faint oedd eu nifer, a beth oedd eu safle berthynasol â'r genedl, sydd anhysbys, ac o herwydd hyny y mae llawer o ddyfalu wedi bod yn eu cylch. Ni gawn fod deg-a-thriugain o "henuriaid" yn Israel, pa rai, ar yr amgylchiad hwn, oeddynt wedi eu galw gyda Moses i'r mynydd, fel cynnrychiolwyr y bobl. Pa bryd y sefydlwyd yr "henaduriaeth" yma, nid ydym yn gwybod; tebygol ydyw ei fod yn hen sefydliad ymysg y genedl er ys oesau, wedi ei sefydlu trwy drefniad rhagluniaeth Ddwyfol. Gyda golwg ar y nifer, yr oeddynt, yn un peth, yn olynwyr "y deg enaid a thriugain" a ddaethant i waered i'r Aipht, sef tadau y genedl. Ac hefyd, yr oedd eu rhif yn arwyddluniol, sef *saith deg*. Saith yw rhif cyfammod—pedwar y ddaear a thri y nefoedd wedi dyfod ynghyd; a deg yw rhif perffeithrwydd. Felly yr oedd eu nifer yn gyfuniad cyfriniol o'r ddau rif, yr hyn oedd yn eu gosod allan fel cynnrychioliad *cyfammodol*, a chynnrychioliad *perffaith* o'r genedl. Parhäodd yr henaduriaeth, neu y cynghor cynnrychioliadol hwn, ymysg y genedl trwy yr oesau, o dan yr enw *Sanhedrim*. Yn awr gyda golwg ar y "llanciau" hyn a anfonodd Moses i aberthu yr aberthau cyfammodol, yr ydym yn barnu mai hwy oedd y gwŷr ieuainc oedd i fod yn olynwyr i'r henuriaid. Yn un peth, yr oedd eu tadau ar y pryd wedi eu galw i'r mynydd, i glywed geiriau y cyfammod, ac nid ydym yn cael eu bod wedi dychwelyd hyd yn hyn; ac felly y llanciau, fel cynnrychiolwyr y genedl, oedd i osod eu dwylaw ar ben, ac i ladd, yr aberthau. Ac hefyd, yr oedd yn rhesymol i'r genedl ieuanc, trwy ei chynnrychiolwyr, fod â llaw arbenig yn sefydliad y cyfammod hwn, gan ei fod yn gyfammod â'r genedl am y dyfodol, ac hefyd yn gyfammod ammodol, gwahanol i'r cyfammod a wnaethai Duw â'r genedl yn Abraham. Felly y dywed Moses ar adeg ail-ddarlleniad y ddeddf, "Nid â'n *tadau* ni y gwnaeth yr Arglwydd y cyfammod *hwn*, ond â nyni, *nyni* y rhai ydym yn fyw bob un yma heddyw," Deut. v. 3. Hefyd, nid oedd yma ond yr hen aberthau patrïarchaidd yn cael eu hoffrymu, sef y poethoffrwm a'r aberth hêdd, ac yr oedd yn hen arferiad i'r rhai hyny gael eu hoffrymu gan y penauteuluoedd; oblegid nid oedd yr urdd offeiriadol wedi ei sefydlu eto. Fel yr awgrymwyd o'r blaen, yn nghyhoeddiad deddf yr aberthau—yr hon oedd heb ei chyhoeddi pan sefydlwyd y cyfammod—y sefydlwyd y pechaberth. Cyhoeddiad y ddeddf foesol a ddangosodd bechod mor "dra phechadurus," nes bod angen am aberth penodol i ddyhuddo, er cyfiawnhâd i'r euog. Eto yr oedd yr elfen ddyhuddol yn yr hen aberthau, er nad mor amlwg a gwahaniaethol ag yn yr aberth dros bechod. Dyna oedd dyben taen-

ellu y gwaed yn yr holl aberthau—dyhuddiant pechod. Yn yr amgylchiad hwn, cymerodd Moses waed yr ebyrth a laddesid gan y "llanciau," ac a osododd ei "hanner" mewn cawgiau, a'r hanner arall a daenellodd efe ar yr allor. Yna cymerodd lyfr y cyfammod ac a'i darllenodd lle y clywai y bobl; a hwythau a ddywedasant, "Ni a wnawn, ac a wrandäwn yr hyn oll a lefarodd yr Arglwydd." Wedi cael yr ymrwymiad hwn o du y bobl yr ail waith, cymerodd Moses y gwaed oedd yn y "cawgiau," ac a'i taenellodd ar y bobl, ac a ddywedodd, "Wele waed y cyfammod, yr hwn a wnaeth yr Arglwydd â chwi, yn ol yr holl eiriau hyn." Nid ydym yn gweled un rheswm i ymwrthod â'r dybiaeth fod gwaed y ddau fath o aberthau a ddefnyddid yn yr amgylchiad, yn cael ei daenellu fel eu gilydd, naill ai bob yn un, neu trwy ei gymysgu, gan mai yr un ystyr yn hollol oedd i daenelliad y gwaed ymhob aberth.

Ond y mae yn naturiol gofyn, Ai yr un ystyr oedd i daenelliad y gwaed, un hanner ar yr allor, a'r hanner arall ar y bobl? Yr ydym wedi dywedyd o'r blaen mai ystyr taenelliad y gwaed yn yr holl aberthau ydoedd dyhuddiant pechod, neu *gyfiawnhâd;* ac un rheswm dros ein golygiad ydoedd, mai ar yr allor, ger bron Duw, yr oedd y gwaed yn cael ei daenellu—i'r dyben o "guddio" pechod, ac nid ar yr aberthwr. Ond yn yr amgylchiad hwn, y mae rhan o'r gwaed, ïe, ei "hanner," yn cael ei daenellu ar y bobl. Yr ydym yn parhâu i feddwl mai yr un ystyr sydd i daenelliad y gwaed ar y bobl ag ar yr allor, ond mewn agweddiad gwahanol. Yn y taenelliad ar yr allor, yr oedd y genedl yn cael ei chodi i *gymmod* â Duw,—ystyr arferol y taenellu ar yr allor; ac yn y taenelliad ar y bobl, yr oedd hi yn cael ei dwyn i *gyfammod* âg Ef. "Wele," medd Moses, am y gwaed a daenellodd efe ar y bobl, "waed y *cyfammod*, yr hwn a wnaeth yr Arglwydd â chwi." Yr oedd Moses wedi mynegu i'r bobl "holl eiriau yr Arglwydd" cyn taenellu ar yr allor, ac wedi hyny efe a ddarllenodd y llyfr drachefn, ar ol taenellu y gwaed ar yr allor, ond cyn taenellu ar y bobl, ac yna, gan adrodd y geiriau a ddyfynwyd, efe a daenellodd "y bobl oll" â'r hanner arall o'r gwaed. Exod. xxiv. 8. Dengys hyn yn eglur mai taenelliad y gwaed ar y bobl oedd yn eu codi i *gyfammod* â Duw, wedi eu dwyn i *gymmod* âg ef trwy y taenelliad ar yr allor. Yr *un gwaed* oedd yn effeithio y ddau, "hanner" i'r naill, a "hanner" i'r llall, am nad oedd yn bosibl, pe buasid yn tywallt yr holl waed ar yr allor i ddechreu, cael dim o hóno i daenellu y "bobl oll" ar ol hyny. Felly rhaid ei ranu yn ei "hanner," fel y byddai i'r ddau daenelliad gael eu gwneyd â'r un gwaed, heb ddinystrio ei gyfanrwydd. Yr oedd y gwaed yn cael ei daenellu ar yr allor ymhob cymmod; ond unwaith y taenellwyd y bobl, am mai un waith o gwbl y gwnaed *cyfammod* â'r genedl, yn un corff gyda'u gilydd; ac yn yr amgylchiad hwnw, yr oedd yn brïodol gwneyd gwahaniaeth, trwy ddwyn y gwaed i berthynas nês â'r bobl, na thrwy ei daenellu ar yr allor. Dau agweddiad ar yr un drychfeddwl oedd yn cael eu harddangos yn y ddau daenelliad, sef, cyfammod mewn cymmod. Yn y cymmod yr oeddynt yn cael eu dwyn i heddwch Duw; yn y cyfammod yr oeddynt yn cael eu dwyn i eglwys a gwasanaeth Duw. Yr oedd y naill yn rhan o'r llall, ac yn cael ei effeithio trwy yr un gwaed, wedi ei ranu yn ei hanner; ond yr oedd dyben ac effaith y gwaed yn *wrthddrychol* yn y ddau beth fel eu gilydd. Gwir fod y drychfeddwl o

neillduo neu gysegru yn fwy amlwg yn y cyfammod nac yn y cymmod, ac o herwydd hyny, y mae yn ffinio ar y sancteiddhâd. Os goddefir y ddulliaith, dyma y plyg uchaf yn y cyfiawnhâd, yr hwn sydd yn ymylu ar, neu, yn hytrach, yn ymdoddi i'r sancteiddhâd. Yr un ystyr oedd i daenelliad y gwaed yn yr holl gysegriadau, neu yr amgylchiadau hyny y cymhwysid y gwaed at y gwrthddrychau eu hunain, ac nid at yr allor yn unig. Y mae yr apostol, yn ei lythyr at yr Hebrëaid (pen. ix. 18—22) yn symio y cwbl i fyny ar yr un egwyddor, ac yn rhoddi yr un ystyr i daenelliad y bobl â thaenelliad y "tabernacl a holl lestri y gwasanaeth;" ac, fel y dywed efe, fod y "llyfr" hefyd wedi ei daenellu â gwaed yn yr un modd. Gwir nad oedd eisieu *cyfiawnhâu* y pethau hyn, ac y mae yr un mor wir nad oedd eisieu eu *sancteiddio* ychwaith, yn yr un ystyr ag y mae *personau* yn sefyll mewn angen am hyny; dim ond eu neillduo i wasanaeth Duw. Pan oedd y tabernacl a holl lestri y gwasanaeth yn cael eu neillduo, yr oeddent yn cael eu taenellu â *gwaed* ac âg *olew*. Yr oedd yr olew, fel yr ydym wedi dangos, ymhob amgylchiad, yn arddangos *dylanwadau* yr Ysbryd, fel yr oedd y gwaed, ymhob amgylchiad, yn gosod allan *haeddiant* y Mab, fel Oen Duw. Ac yn yr amgylchiad hwn hefyd, gwaed y pechaberth—drychfeddwl arbenig pa un oedd dyhuddiant pechod—a ddefnyddid i daenellu y tabernacl. Felly yr oedd y gwaed yn symud *melldith* pechod oddiar yr adeilad, fel rhan o'r ddaear, a gwaith dwylaw dyn, ac olew yr eneiniad yn ei sancteiddio. Yr un modd pan oedd Aaron a'i feibion yn cael eu cysegru i'w swydd; yr oeddynt hwy a'u gwisgoedd yn cael eu heneinio âg olew, a'u taenellu â gwaed oddiar yr allor; dyna oedd yn gwneyd eu neillduad yn gyflawn. Yr un peth hefyd ellir ddyweyd am lanhâd y gwahanglwyfus; yr oedd y gwaed a'r olew yn cael eu cymhwyso yn yr amgylchiad hwnw. Yr oedd y gwahanglwyf yn arwyddlun o bechod yn ei *euogrwydd* ac yn ei *halogrwydd*, am ei fod, yn gyffredin, yn dyfod ar ddynion fel barn am bechod. O herwydd hyn, yr oedd angen am waed i symud ei euogrwydd, ac olew yr eneiniad i symud ei halogrwydd. Yr unig amgylchiad arall, hyd yr ydym yn cofio, ymha un y cymhwysid y gwaed at y gwrthddrych ei hun, ydoedd ar ddydd y cymmod, pan lanhëid y cysegr "oddiwrth aflendid meibion Israel, ac oddiwrth eu hanwireddau, yn eu holl bechodau." Ond y mae yn amlwg mai "cymmod" oedd drychfeddwl mawr y dydd hwn; nid oedd yma olew yn cael ei ddefnyddio, am mai unig ddrychfeddwl y dydd hwn oedd, "dydd y cymmod," neu, fel y gellid darllen, dydd yr iawn. Yr oedd y bobl yn cael maddeuant a chymmod â Duw ar hyd y flwyddyn, trwy daenelliad y gwaed ar yr allor ger bron Duw; ond fe ystyrid, er hyny, fod pechodau y bobl yn glynu wrth yr allor, ac felly wrth y cysegr; cael eu "cuddio" yr oeddynt â'r gwaed, ac nid eu "tynu ymaith," a'u "dilëu." Ond yr oedd dydd y cymmod yn ddydd i wneyd iawn dros bechodau y flwyddyn gyda eu gilydd, yn yr ystyr ag yr oeddynt yn glynu wrth yr allor. Felly yr un ystyr oedd i daenelliad y gwaed yn yr amgylchiad hwn ag oedd i daenelliad y gwaed bob amser ar yr allor, ond mewn graddau uwch, a pherffeithiach, sef dyhuddiant pechod—iawn i Dduw, a chyfiawnhâd i bechadur.

Yn awr, y mae yr ystyriaethau hyn yn ein harwain i'r casgliad, mai ystyr *wrthddrychol* sydd i'r gwaed ymhob amgylchiad yn y trefniant

seremonïol: *haeddiant i Dduw dros bechod* yw drychfeddwl mawr y gwaed. A chan mai dyna ei ystyr yn y cysgod, dyna ei ystyr hefyd yn y sylwedd. O ganlyniad, yr ydym eto yn sefyll at ein hawgrymiad yn ein hysgrif flaenorol, nad oes un adnod yn y Bibl, o'i phwyso yn nghlorian beirniadaeth dêg, yn prïodoli sancteiddhâd i waed Crist fel *moddion*. Ond rhaid i ni ofyn i'r darllenydd ymbwyllo yn y fan hon, tra caffom gyfle i egluro ychydig ar ein meddwl. Yr ydym yn dal fod sancteiddhâd credinwyr yn cael ei brïodoli i waed Crist fel *achos haeddiannol*, ond nid fel *achos offerynol*. Dalier ar y gwahaniaeth yna. Haeddiant yw gwaed Crist; ac wrth ei waed yr ydym yn deall ei fywyd, neu ei einioes, yr hon a roddodd efe i lawr dros fywyd y byd. Dyna y rheswm dros dywallt y gwaed yn yr aberthau cysgodol—"O herwydd *einioes* pob cnawd sydd yn y *gwaed;* ac mi a'i rhoddais i chwi ar yr allor, i wneuthur cymmod dros eich eneidiau; o herwydd y gwaed hwn a wna *gymmod dros* yr enaid," Lef. xvii. 11. Dyna egwyddor sylfaenol yr aberth—einioes am einioes—einioes y diniwed dros einioes yr euog, yn cael ei roddi ar allor Duw i wneuthur cymmod. Felly yn hollol am waed Crist, "Efe a osododd ei *enaid* ef yn aberth dros bechod"—"Efe a dywalltodd ei *enaid* i farwolaeth"—einioes dros einioes, neu enaid dros enaid. Ac y mae lluoedd o adnodau sydd yr un modd yn dangos natur drososodol *(vicarious)* aberth Crist, fel y mae ei waed ef yn bridwerth ein prynedigaeth i gyfiawnder Dwyfol. Y awr, os einioes neu enaid Crist ydym i ddeall wrth ei waed, pa fodd, gofynwn, y mae ei einioes yn yr ystyr yna yn *foddion offerynol* ein sancteiddhâd? Mae yn ddïau fod llïaws o adnodau yn prïodoli sancteiddhâd i waed Crist, fel y mae y sancteiddhâd yn effaith ac yn amcan y cyfiawnhâd. Oblegid nid yw y ddau beth i'w gwahanu, er eu bod i'w gwahaniaethu; ac fel y mae y ddau yn un o ran cysylltiad anwahanol, y naill yn achos o'r llall—ïe, mwy na hyny—y naill yn amcan y llall, yn yr ystyr yna ceir y cwbl yn cael ei brïodoli i'r gwaed fel yr *achos haeddiannol* o'r cyfan. Ond, er nad ydynt i'w gwahanu, eto y maent i'w gwahaniaethu. Ac un ffordd i'w gwahaniaethu yw edrych ar y cyfiawnhâd yn wrthddrychol *(objective)*, a'r sancteiddhâd yn dumewnol *(subjective)*. Yn ol y gwahaniaethiad yna, nid ydym yn gweled un sail i ddyweyd fod gwaed Crist yn *foddion* sancteiddhâd fel gwaith tumewnol, gwahaniaethol oddiwrth y cyfiawnhâd. Ffordd arall i'w gwahaniaethu yw edrych ar ein cyfiawnder fel gwaith y Mab, a'n sancteiddiad fel gwaith yr Ysbryd. Nid yw y syniad yna yn gwneyd nad yw ein sancteiddhâd, yn gystal â'n cyfiawnhâd, yn dyfod o Grist: "Yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn sancteiddrwydd," yn gystal ag yn "gyfiawnder." Na, y mae ein sancteiddhâd i ddyfod o Grist trwy ffydd, nid yn unig fel y mae hyny yn effaith sicr y cyfiawnhâd, ond hefyd fel y mae yn tarddu oddiar undeb bywiol âg ef, fel undeb y gangen a'r pren, trwy gyfrwng yr hwn undeb y mae bywyd y pren yn fywyd y gangen. Ond eto, fe ellir edrych ar y sancteiddhâd yn waith yr Ysbryd Glân *ynom*, a'n cyfiawnder yn waith y Mab *drosom* yn ei ufudd-dod hyd angeu. Ac edrych ar y sancteiddhâd yn y wêdd yna, ni cheir un sail i ddyweyd fod yr Ysbryd Glân yn taenellu, neu yn tywallt gwaed Crist ar yr enaid aflan fel moddion i'w sancteiddio. Gwir y gelwir gwaed Crist yn "waed y taenelliad;" ond y mae genym wrth law ddau reswm dros wrthod y syniad, mai fel

moddion sancteiddhâd yn llaw yr Ysbryd Glân y gelwir ef felly. Yn un peth, yr offeiriad oedd yn taenellu bob amser, ac felly gwaith y Mab fel Archoffeiriad Mawr ei eglwys yw taenellu "gwaed y taenelliad," ac nid gwaith yr Ysbryd Glân. Peth arall yw yr hyn ydym wedi ei grybwyll o'r blaen, mai yr allor oedd yn cael ei thaenellu ac nid yr aberthwr. O ganlyniad, nid oes sail i ddyweyd fod yr Ysbryd Glân yn taenellu y gwaed ar y credadyn er ei sancteiddio. Gwaith y Mab y mae hyny yn ei arddangos. Dïau fod yr apostol yn Heb. xii. 24, yn cyfeirio at sefydlid cyfammod Sinai, ac at Moses, fel cyfryngwr y cyfammod hwnw, yn taenellu gwaed y cyfammod, un hanner ar yr allor, a'r hanner arall ar y bobl; ac am hyny gelwir y gwaed hwnw "yr eiddo Abel," am mai gwaed yr aberthau patrïarchaidd ydoedd, cyn sefydlu cyfraith yr aberthau. Ac Abel oedd y cyntaf i offrymu y gwaed hwnw. Nid yw na ffydd nac aberth Adda yn cael sôn am danynt yn y Bibl, am hyny gelwir gwaed yr aberthau patrïarchaidd "yr eiddo Abel," yr hwn oedd gan Moses i'w daenellu yn sefydliad cyfammod Sinai; felly nid oedd dim gwaed pechaberth ganddo ef. Ond mae gan "Iesu, cyfryngwr y cyfammod newydd," "waed y taenelliad, yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel." Gwaed pechaberth yw hwn, a hwnw yn sylwedd ac nid yn gysgod. Gwelir yma ddau beth: mai "Iesu, cyfryngwr y cyfammod," sydd yn taenellu y gwaed, ac nid yr Ysbryd Glân; ac hefyd, mai gwaed yn "dywedyd"—nid gwaed i sancteiddio—gwaed yn llefaru o blaid a thros y pechadur euog, sydd yn crynu fel Israel yn Sinai ydyw.

Cawn yr Apostol Pedr hefyd (1 Pedr i. 2) yn arfer yr ymadrodd "taenelliad gwaed Iesu Grist." Ond y mae un olwg ar yr adnod yn ddigon i'n hargyhoeddi mai cyfiawnhâd y mae ef yn olygu wrth hyny; canys dywed am y credinwyr, "Etholedigion yn ol rhagwybodaeth Duw Dad, trwy sancteiddiad yr Ysbryd, i ufudd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist." Dyma waith y Tri Pherson yn yr adnod hon, lle y prïodolir etholedigaeth i'r Tad, prynedigaeth i'r Mab, a sancteiddiad i'r Ysbryd Glân. Ac nid ydyw fod gwaith y Mab yn olaf yn yr adnod yn un wrthddadl yn erbyn ein syniad, canys y mae Paul yn siarad yn yr un dull—"Eithr chwi a olchwyd, chwi a sancteiddiwyd, chwi a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni."

Deuwn eto at Heb. ix. 13, 14, lle y cyfarfyddwn â'r gair *taenellu*. Yma y mae yr apostol yn tynu casgliad: "Os ydyw gwaed teirw a geifr, a lludw anner wedi ei daenellu ar y rhai a halogwyd, yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd; pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn trwy yr Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw?" Wrth y "teirw a geifr" yn yr adnod hon, yr ydym i ddeall yn eglur, yr aberthau ar ddydd y cymmod, sef y bustach a'r bwch gafr, ynghyda'r pechaberth cyffredin dros yr offeiriad a'r bobl. Ac yr ydym wedi dangos fod y gwaed yn yr holl amgylchiadau hyny yn cael ei daenellu gan yr offeiriaid ar yr allor, ac ar y wahanlen, a holl ddodrefn y tabernacl, hyd yn nôd—ar ddydd y cymmod—ar yr arch a'r drugareddfa; ac felly nis gallai, o ran natur yr aberthau, ac o ran y dull y gweinyddid, fod yn arddangosiad o waith yr Ysbryd yn taenellu credinwyr â gwaed Crist er eu sancteiddio, ond yn hytrach o waith y Mab

fel Archoffeiriad yn taenellu ei waed ei hun ger bron Duw drosom. Y mae yr ymadrodd "lludw anner" yn cyfeirio drachefn at yr "anner goch," dyben pa un oedd glanhâu y rhai fyddent mewn rhyw fodd wedi cyffwrdd â chorff marw, a thrwy hyny fyned yn anghymhwys i wasanaeth Duw. Yr oedd marwolaeth yn arddangosiad o bechod yn ei euogrwydd a'i halogrwydd; "Canys *cyflog* pechod yw marwolaeth." Yr oedd yr anner i fod yn *goch*, o'r un lliw â'r gwaed—arwydd o euogrwydd—ac yn berffeithgwbl, heb fod erioed dan yr iau—arwydd o ddiniweidrwydd. Yna yr oedd mab yr archoffeiriad, fel cynnorthwywr ac olynydd ei dad, i'w lladd o'r tu allan i'r gwersyll, a thaenellu ei gwaed ar gyfer wyneb pabell y cyfarfod, ger bron Duw, saith waith—rhif cymmod eto. Yna yr oedd yr anner, ei chroen, a'i chîg, a'i biswail, a'r cwbl, i'w llosgi yn lludw; ac yr oedd yr offeiriad i daflu coed cedr, ac isop, ac ysgarlad, i'r llosgfa. Yna yr oedd y lludw i'w gasglu a'i osod mewn llestr dwfr, mewn lle glân, o'r tu allan i'r gwersyll; a hwnw oedd y "dwfr neillduaeth" i bob un a fyddai wedi cyffwrdd â chorff marw, i ymlanhâu âg ef. Yn awr, nis gall fod gwaed yr "anner goch" yn arddangos gwaed Crist yn llaw yr Ysbryd i'w daenellu er sancteiddiad credinwyr, oblegid dywedir yn bendant (Num. xix. 9) mai pechaberth ydoedd—aberth dyhuddol i Dduw, ac o herwydd hyny yr oedd y gwaed yn cael ei daenellu saith waith—er cymmod—o flaen pabell y cyfarfod, ger bron Duw, ac nid ar yr halogedig er ei lanhâd. Symud yr *euogrwydd* yr oedd y gwaed; a'r "dwfr neillduaeth" wedi ei wneyd o ludw yr anner, ar ol ei llosgi—cofier fod llosgi â thân yr arwyddlun o waith yr Ysbryd—oedd i symud yr halogrwydd, yn "sancteiddio i bureiddiad y cnawd." Bellach fe welir yn amlwg mai hollol annaturiol a fuasai i'r apostol dŷnu y casgliad oddiwrth y pethau hyn, fod gwaed Crist fel sylwedd yn llawer mwy effeithiol i sancteiddio, gan mai nid sancteiddio oedd ystyr y gwaed yn y cysgod. Ac nid oes dim yn ngeiriau yr apostol sydd yn dangos ei fod wedi syrthio i'r camgymeriad chwithig yna. Gesyd aberth Crist allan yn ei wêdd ddyhuddol i Dduw—"difai i Dduw." Hefyd, nid yw y gair a gyfieithir "*puro*" (καθαιρω) yn hollol yn golygu purdeb moesol, ond yn fynych purdeb cyfreithiol *(forensic)*. Dyna ei ystyr amlwg yn Heb. x. 2, lle y dywedir nad oedd hyd yn nôd yr aberthau ar ddydd y cymmod, ond "adgoffa pechod bob blwyddyn," neu ynte buasent yn "peidio â'u hoffrymu, am na buasai *gydwybod pechod* mwy gan y rhai a addolasant wedi eu *glanhâu unwaith* (ἅπαξ κεκαθαρμενους). Beth ond cyfiawnhâd yw glanhâu *unwaith* trwy dŷnu ymaith *gydwybod* pechod? Yr un modd yn yr adnod dan sylw, dywedir fod gwaed Crist yn "*puro y gydwybod.*" Beth yw hyny ond puro oddiwrth euogrwydd? A beth hefyd yw y "gweithredoedd meirwon" oddiwrth ba rai y mae yn puro y gydwybod, ond y gweithredoedd deddfol hyny y mae dyn yn geisio osod i fyny yn gyfiawnder iddo ei hun ger bron Duw? Ond "gweithredoedd meirwon" ydynt—gan gyfeirio at y cyrff meirwon, cyffwrdd â pha rai oedd yn anghymwyso dynion i "wasanaethu y Duw *byw*."

Y mae un adnod arall yn yr epistol hwn y dymunem alw sylw ati, sef pen. xiii. 12, lle dywedir fod yr Iesu wedi "dyoddef y tu allan i'r porth, fel y *sancteiddiai* efe y bobl trwy ei waed ei hun." Ein hateb i'r wrthddadl a ellid godi oddiwrth yr adnod hon ydyw, fod yr apostol yn y cyd-destun yn cyfeirio at yr "aberthau hyny y dygid eu gwaed *i'r cysegr*

dros bechod, gan yr archoffeiriad," sef y pechabarth drosto ei hun, a thros y genedl fel y cyfryw, yn gystal â'r aberthau ar ddydd y cymmod —pob aberth y dygid ei waed ymhellach ymlaen na'r cyntedd—ac o herwydd hyny nid oedd ei gîg i'w fwyta, ond i'w losgi y tu allan i'r gwersyll. Yn awr pechaberth oedd yr aberthau hyn, a hwnw yn ei bwynt uchaf; ac fel yr ydym wedi sylwi, iawn i Dduw, er cyfiawnhâd i'r pechadur, oedd *unig* ddrychfeddwl y pechaberth; o ganlyniad nis gallai yr apostol brïodoli sancteiddiad y bobl i waed Crist, fel yr oedd yn cael ei arddangos yn y pechaberth ond yn unig fel *achos haeddiannol.* Ond beth, meddir, am 1 Ioan i. 7: "A gwaed Iesu Grist ei Fab Ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod?" Yn un peth, y gair puro (καθαρίζω) a ddefnyddir yn yr adnod; ac y mae y gair yna yn fynych yn golygu purdeb cyfreithiol (*forensic*), megys yn yr ymadrodd "puro wrth y gyfraith"—a "Christ wedi puro ein pechodau trwyddo ef ei hun, &c." Mae yn eglur mai dilëu pechodau trwy eu dyhuddo yw ystyr "puro pechodau." Ac y mae y geiriau sydd yn canlyn yn profi mai yr ystyr yna sydd i'r gair yn yr adnod hon, "Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlawn yw Efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n *glanhäo* oddiwrth bob anghyfiawnder." Beth yw *glanhâu oddiwrth bob anghyfiawnder* ond glanhâd cyfreithiol, neu gyfiawnhâd, o'r hwn y mae maddeuant yn rhan? Gwir nad yw Ioan yn gwahaniaethu cyfiawnhâd a sancteiddhâd fel Paul; ac felly y mae y ddau beth yn gysylltiol yn ei feddwl fel achos ac effaith; o ganlyniad nis gall yr adnod hon fod yn golygu y gwaed fel moddion sancteiddhâd fel y mae yn wahaniaethol oddiwrth y cyfiawnhâd, ond yn achos haeddiannol o'r ddau gyda'u gilydd.

Y mae Ioan mewn iaith ffugyrol iawn yn llyfr y Dadguddiad yn darlunio teulu y nef wedi eu gwisgo yn eu "gynau gwỳnion;" a'r rheswm fod eu gynau yn wỳnion ydyw am eu bod wedi eu "golchi a'u cànu yn ngwaed yr Oen." Ond os edrychir ymhellach ymlaen yn y llyfr, y mae y Difeinydd yn ei esbonio ei hun, ac yn ein hysbysu mai dyna yw y gynau gwỳnion—cyfiawnder y saint. Fel hyn, y mae pob ymchwil a wneir i'r pwnc yn ein harwain i'r casgliad, mai yr un ystyr sydd i waed "Oen Duw" ag oedd i waed Oen y Pasc, sef ystyr wrthddrychol. Yr oedd y gwaed yn cael ei daenellu ar "gapan y drŵs ac ar y ddau ystlysbost," i fod yn ddïogelwch rhag yr "angel dinystriol" tra y byddai y bobl yn gwledda ar yr oen oddifewn. Ac yr oedd Oen y Pasc, gyda llaw, yn grynhöad o ystyr yr holl aberthau, ac hefyd yn cynnwys yr un egwyddor â swper yr Arglwydd o dan yr oruchwyliaeth hon; ac fe ddywedodd Iesu Grist wrth sefydlu yr ordinhâd hono, beth yw ystyr ei waed Ef o dan y testament newydd: "Yr hwn a dywelltir *drosoch* er *maddeuant pechodau.*" Pan y mae y Bibl yn darlunio yr Ysbryd Glân yn golchi credinwyr er eu sancteiddio, *dwfr* yw y gymhariaeth bob amser, ac nid gwaed. "Tywalltaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch lân, &c." Yr oedd "amryw olchiadau" o dan y gyfraith i arwyddo purdeb moesol. A bedydd dwfr sydd dan yr efengyl i arwyddo bedydd yr Ysbryd Glân fel sancteiddydd—"golchiad yr adenedigaeth ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân"—"geni o ddwfr ac o'r Ysbryd"—"yr olchfa ddwfr trwy y gair," yw moddion offerynol yr Ysbryd Glân i buro yr eglwys i Grist, yr hwn a'i prynodd trwy roddi ei hun drosti. Daeth Iesu Grist "trwy ddwfr a gwaed" i osod i fyny drefn iachawdwriaeth ar y ddaear.

Ni fuasem fel hyn yn trafferthu y darllenydd gyda y pwnc hwn oni bae ein bod yn gwybod fod hen syniad cyfeiliornus yn ein plith fod yr Ysbryd Glân yn taenellu gwaed Crist ar eneidiau y credinwyr fel moddion eu sancteiddhâd, ac nad oes eisieu iddynt ond eistedd yn dawel dan yr oruchwyliaeth nes dyfod yn berffaith sanctaidd. Gwir mai yr Ysbryd Glân yw sancteiddydd mawr yr eglwys, ac am hyny gelwir y gwaith yn "sancteiddiad yr Ysbryd;" ond y moddion offerynol sydd ganddo i ddechreu, ac i ddwyn y "gwaith da" ymlaen, ydyw "y gwirionedd." "Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd," medd Iesu Grist, "dy air sydd wirionedd." Gair Duw ydyw yr "hâd anllygredig" sydd yn cael ei hau yn meddwl pechadur gan Ysbryd Duw, er plânu yn ei enaid yr egwyddor sanctaidd yn yr ailenedigaeth, a'r "athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb," ac "iachus eiriau ein Harglwydd Iesu Grist" yw moddion mawr dygiad y gwaith ymlaen. Yn yr ystyr yma, yr ydym yn barod iawn i addef fod yr "ymadrodd am y groes"—yr hanes, yr athrawiaeth, neu y gwirionedd, am farwolaeth Crist—yn foddion sancteiddhâd, fel pob athrawiaeth sydd yn "ngair y gwirionedd." Ond y mae gwahaniaeth mawr rhwng hyn â'r syniad a wrthwynebwn. Yn ol y dybiaeth hono, y mae y credadyn yn *oddefol* yn y sancteiddhâd, fel yn y cyfiawnhâd, a'r sancteiddrwydd yn *gyfrifedig* fel ei gyfiawnder; tra y mae y syniad arall yn golygu, er fod y sancteiddhâd o ras, ac o Grist, trwy yr Ysbryd, eto fod y credadyn yn *weithredol* yn ei sancteiddhâd. Y mae "sancteiddiad yr Ysbryd i *ufudd-dod*." "Gweithiwch *allan* eich iachawdwriaeth eich hunain, canys Duw sydd yn gweithio *ynoch*." Y mae "sancteiddio yn y gwirionedd" yn cynnwys fod "Ysbryd y gwirionedd" yn cymhwyso y gair at y meddwl—yn cymeryd o eiddo Crist ac yn ei "fynegu"—nid ei daenellu—i'r meddwl, yn "dwyn ar gôf" eiriau Crist, fel tystiolaethau i'r enaid eu credu, ac fel testynau i'r meddwl fyfyrio arnynt ddydd a nos, yn gystal ag fel gorchymynion i ufuddhâu iddynt. Felly mae y meddwl yn weithgar, nid yn segur; y mae yna *brocess* yn cael ei ddwyn ymlaen yn y meddwl o "gnoi cîl" mewn myfyrdod yn y gair. Cymdeithasiad y meddwl fel hyn â'r gwirionedd yn ngoleu yr Ysbryd yw moddion dygiad ymlaen y gwaith o sancteiddhâd. O herwydd hyn, y mae y Bibl mor fynych yn cysylltu gwybodaeth â sancteiddhâd—"gwybod y gwirionedd," dysgu y "gwirionedd megys y mae yn yr Iesu"—dyna y modd i ddyfod ar gynnydd mewn sancteiddrwydd. Y mae y "dyn newydd" i gael ei "adnewyddu mewn gwybodaeth yn ol delw yr hwn a'i crëodd." Nid rhyfedd, gan hyny, fod mor ychydig o gynnydd mewn sancteiddrwydd yn ein heglwysi, pan yr ystyriwn mor ychydig o "gnoi cîl" sydd ar y gwirionedd, mewn llafur a myfyrdod, a chymdeithasu â'r gair, a'r meddwl trwy hyny yn cael ei adael i redeg ar ol oferedd. Y gŵr sydd â'i "ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio ynddi ddydd a nos, sydd fel pren wedi ei blânu ar lân afonydd dyfroedd, yn rhoddi ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa."

Er ein bod fel hyn wedi cael ein harwain mor bell i chwilio am ystyr taenelliad y gwaed, dichon y cofia y darllenydd ein bod wedi cychwyn ar yr hynt hon oddiwrth odrau "mynydd Sinai yn Arabia," lle y mae yr Arglwydd yn gwneyd cyfammod â'r genedl trwy law Moses fel cyfryngwr. Bellach, yr ydym yn bwriadu dwyn hyn o ysgrif i derfyniad drwy gynnyg rhyw fath o atebiad i'r gofyniad,—Beth oedd natur a dyben

Cyfammod Sinai? Ac er mwyn cael y pwnc yn oleu ger bron, dylid cael ateb yn gyntaf i ofyniad arall—Beth *yw cynnwys* Cyfammod Sinai? Ni a atebwn y gofyniad olaf trwy ddyweyd mai wrth gyfammod Sinai yr ydym i ddeall, nid yr hen oruchwyliaeth yn y cyfanswm mewn cyferbyniad i'r newydd; ond y cyfammod â'r genedl yn Sinai mewn cyferbyniad i'r cyfammod âg Abraham. Dywed Paul, Gal. iv. 22, fod i Abraham ddau fab, un o'r wasanaethferth, sef Hagar, a'r llall o'r wraig rydd, sef Sarah; a bod hyn mewn "alegori" yn gosod allan "ddau destament," yn ol ein cyfieithiad ni. Pob parch i'r hen gyfieithwyr, ond buasai *dau gyfammod* yn llawer gwell yn y fan hon, rhag i neb feddwl am yr Hen Destament a'r Newydd. Na, wrth y "ddau destament" hyn, oedd yn cael eu ffugyro yn y ddwy wraig, yr ydym i ddeall, y ddau gyfammod a wnaeth yr Arglwydd â'r genedl; sef, y cyfammod a wnaed â hwy yn Abraham eu tad, a'r cyfammod a wnaed â hwy eu hunain yn Sinai. Felly, yr oedd y ddau gyfammod wedi eu "dodi at" eu gilydd, yn ngoruchwyliaeth Moses, ac yn ffurfio dwy elfen oeddynt yn cydredeg yn gyfochrog. Y mae yn eglur ddigon fod y ddau gyfammod yma o natur wahanol. Geilw yr apostol un yn "addewid," a'r llall yn "ddeddf"—un yn cenedlu i "ryddid," a'r llall yn cenedlu i "gaethiwed." Cyfammod â'u "tadau" hwynt oedd y cyntaf, yn yr hwn yr oedd yr Arglwydd yn "addaw" bod yn Dduw i Abraham, Isaac, a Jacob, ac i'w hâd ar eu hôl. Ond cyfammod â hwy eu hunain oedd cyfammod Sinai: "Nid â'n *tadau* ni y gwnaeth yr Arglwydd y cyfammod hwn, ond â nyni, *nyni* y rhai ydym yn fyw bob un yma heddyw," Deut. v. 3. Cyfammod yn *rhoddi* oedd y cyfammod âg Abraham—"addewid." Cyfammod yn *gofyn* oedd cyfammod Sinai—"deddf." Yr oedd holl ragorfreintiau y genedl yn cael eu "rhad roddi" iddi yn yr hen gyfammod âg Abraham. Hwnw a'u dygodd o "dŷ y caethiwed"—"pan ddaeth amser yr addewid," hwnw oedd yn rhoddi gwlad Canaan iddynt yn etifeddiaeth: "Canys os o'r ddeddf y mae yr *etifeddiaeth*, nid yw mwyach o'r addewid, ond Duw a'i *rhadroddodd* i Abraham trwy addewid." Hwnw oedd yn sicrhâu yr Arglwydd yn Dduw i'r genedl, "Myfi a fyddaf yn Dduw i ti, ac i'th hâd ar dy ôl di." Yr oedd yr aberthau yn bod hefyd cyn y ddeddf, ac ni wnaeth y ddeddf ddim, ond gosod mwy o drefn a rheoleiddiad arnynt. Yr "addewid" oedd yn rhadroddi y cwbl i'r genedl, a'r "ddeddf" yn eu gofyn ar sail yr hyn oedd yn cael ei roddi iddynt trwy addewid. Yr oedd y bobl yn sefyll mewn perthynas gyfammodol â Duw, yn ol y cyfammod gras âg Abraham, pan sefydlwyd cyfammod Sinai; ac nid oedd y "ddeddf oedd bedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd gwedi, yn ei ddirymu i wneuthur yr addewid yn ofer." Na, yr oedd y cyfammod hwnw wedi ei gadarnhâu a'i selio, fel nad oedd yn bosibl ei "ddirymu na dodi ato." "Cyd na byddo ond ammod (testament) dyn, wedi y cadarnhâer, nid yw neb yn ei ddirymu neu yn rhoddi ato;" pa faint mwy cyfammod Duw? Ond rhoddwyd y ddeddf yn "ychwaneg"—nid "ato," fel i'w gadarnhâu neu ei berffeithio, ac nid yn ei le fel i'w ddirymu—ond yn "ychwaneg," gydag ef, i wasanaethu arno, fel yr oedd Hagar yn llawforwyn i Sarah.

Dyben rhoddiad y ddeddf yn ychwaneg gyda'r addewid, oedd "o herwydd troseddau." Yn un peth, i ddwyn y bobl i "adnabod pechod"—"Nid adnabûm i bechod ond wrth y ddeddf"—i ddangos beth sydd

bechod, i egluro y drwg arswydus sydd mewn pechod, ac i'w dwyn hwythau i deimlo eu bod yn bechaduriaid condemniedig—"Y ddeddf a ddaeth i mewn fel yr amlhäi y camwedd"—"fel y byddai pechod trwy y gorchymyn yn dra phechadurus"—a thrwy hyny, eu dwyn i ymwrthod â phob hunan-gyfiawnder ger bron Duw, i'r hwn y mae dyn mor dueddol, a'u "cydgau i'r ffydd"—i drefn gras—yr hon oedd wedi ei "rhagefengylu i Abraham," ac i'w pherffaith ddadguddio yn yr Hâd, i'r hwn y gwnaethpwyd yr addewidion. "Y ddeddf gan hyny oedd eu hathraw at Grist, fel eu cyfiawnhëid trwy ffydd;" canys yr oedd yn eu "cydgau dan bechod, fel y rhoddid yr addewid trwy ffydd Iesu Grist i'r rhai sydd yn credu." Dyben arall oedd i'r ddeddf, sef i fod yn rheol bywyd a buchedd i'r rhai oedd wedi eu symud oddi dan "felldith y ddeddf," a'u dwyn dan "insel cyfiawnder y ffydd," ac i "rodio llwybrau ffydd Abraham." Yr oedd ar y rhai hyn eisieu rheol allanol i gerdded wrthi mewn trefn i addoli, i ufuddhâu, ac i wasanaethu Duw yn ol ei feddwl. Dyna mewn gair ddau ddyben y ddeddf, eu hargyhoeddi nad oedd yn bosibl ufuddhâu i Dduw *am* fywyd, ac i fod yn rheol i wasanaethu Duw *oddiar* fywyd.

Yr oedd y ddau beth yna yn amlwg yn rhoddiad y ddeddf foesol ar Sinai, deddf nad oedd mewn un modd yn briodol i Israel yn unig, ond sydd hefyd yn perthyn i bob dyn fel creadur, a than felldith yr hon y mae pob dyn o herwydd ei throseddu yn y cyfammod gweithredoedd. Bu dau roddiad ar y ddeddf foesol yn Sinai. Y cyntaf, pan ei llefarwyd oddiar y mynydd, o ganol tân, a chwmwl, a thywyllwch, a sain udgorn, a llef geiriau, fel nad allai y bobl oddef yr hyn a orchymynasid, ac yr oedd hyd yn nôd Moses "yn ofni ac yn crynu." Dyma yr hyn a eilw yr apostol yn "weinidogaeth angeu," ac yn "weinidogaeth damnedigaeth." Gweinidogaeth yn "lladd" ydoedd hon; ni fedrai Moses ei hunan ei dal. Argraffwyd geiriau y weinidogaeth hon â bŷs Duw, mewn llythyrenau ar lechau cèryg. Ond tòrodd Moses y llechau hyn, a dichon fod hyny yn cael ei oruwchreoli i fod yn arddangosiad fod y ddeddf yn y cyfammod gweithredoedd, fel ammod bywyd dyn, wedi cael ei thòri gan y cynnrychiolwr ei hun.

Ar ol hyny ysgrifenwyd y ddeddf â bŷs Duw ar lechau eraill, a dyna y pryd, mae yn debyg, y "trefnwyd hi trwy angelion yn llaw cyfryngwr." Nid oedd Moses yn "gyfryngwr" yn y rhoddiad cyntaf, ond cynnrychiolydd y bobl; yn fwy tebyg i Adda nag i Grist. Y dychryn a ddaeth ar y bobl trwy gyhoeddiad y ddeddf, a wnaeth iddynt deimlo yr angen am gyfryngwr i sefyll rhyngddynt â Duw: "Llefared Moses wrthym, a ni a wrandäwn;" ac ni lefarodd yr Arglwydd wrthynt mwyach ond trwy Moses fel cyfryngwr. Fel mai dyben rhoddiad cyntaf y ddeddf oedd i'w "lladd," a'u dwyn i deimlo yr angen am gyfryngwr; felly dyben rhoddiad y ddeddf yn "llaw cyfryngwr" oedd i fod yn rheol bywyd i'r genedl fel pobl briodol i Dduw. Yr oedd y rhoddiad cyntaf o'r ddeddf yn arddangosiad o hóni fel deddf dòredig yn llaw cynnrychiolwr, yn farwolaeth i bechadur euog; a'r ail roddiad yn arddangosiad o hóni yn llaw cyfryngwr fel rheol bywyd i gredinwyr. Er fod y ddeddf wedi cael iawn dros ein pechodau fel *ammod* bywyd, nid yw hyny wedi ein rhyddhâu oddiwrthi fel *rheol* bywyd. Felly "nid yw y ddeddf yn erbyn addewidion Duw," ac nid ydyw "yn gwneuthur

y ddeddf yn ddirym trwy ffydd" ychwaith, ond y mae yn hytrach yn "cadarnhâu y ddeddf." Yr oedd cyfammod Sinai yn cynnwys hefyd ddwy ddeddf arall, yn seiliedig o ran eu hawdurdod ar y ddeddf foesol, sef, y seremonïol, a'r farnol; y naill i lywodraethu y genedl fel eglwys, a'r llall i'w llywodraethu fel gwladwriaeth. Yr oedd y seremonïol yn seiliedig yn benaf ar y lech gyntaf, a'r farnol yr un modd yn seiliedig ar yr ail lech.

Yn awr, wrth gymeryd golwg ar gyfammod Sinai yn ei berthynas â'r ddeddf seremonïol, cyfammod *eglwysig* ydoedd. Hwn oedd yn corffori y genedl yn eglwys weledig i Dduw ar y ddaear, fel ei "drysor prïodol," ac yn rheol eu haddoliad a'u gwasanaeth crefyddol iddo fel eu Duw. Y mae y cyfammod eglwysig yn angenrheidiol, yn ein dyddiau ni, i gorffori eglwys i Grist ar y ddaear, ac yn fanteisiol hefyd i ddadblygu bywyd crefydd, ac attal buchedd benrhydd a direol. Ac y mae yn angenrheidiol cadw rheolau yr eglwys mewn trefn i gadw aelodaeth eglwysig. Ar yr ammod hwnw y ceir mwynhâu manteision a breintiau yr eglwys. Ond nid oes neb, gobeithio, yn tybied fod cadw rheolau eglwys, ynddo ei hun, yn ddigon i sicrhâu bywyd tragywyddol. Na, y mae lle i ofni fod miloedd a fu byw yn ddiargyhoedd i fyny â'r rheolau eglwysig mwyaf manwl, a thrwy hyny wedi sicrhâu iddynt eu hunain freintiau yr eglwys am eu hoes, heb sicrhâu nefoedd iddynt eu hunain yn y diwedd. Cyfammod â Duw yn Nghrist trwy ffydd sydd yn cadw i fywyd tragywyddol, er fod y cyfammod eglwysig yn angenrheidiol i broffesu Crist, ac o wasanaeth mawr i ddadblygu y bywyd crefyddol. Felly yr oedd cyfammod Sinai yn angenrheidiol i gorffori y genedl yn eglwys weledig i Dduw ar y ddaear, a'i "neillduo iddo ei hun," o blith holl genedloedd y byd; ac yr oedd yn angenrheidiol iddynt hwythau gadw ei holl reolau mewn trefn i fwynhâu breintiau yr eglwys Iuddewig. Ond gellid meddwl fod llawer o honynt wedi cadw y rheolau hyn yn ddiargyhoedd, a thrwy hyny wedi mwynhâu manteision a breintiau yr eglwys, ond heb eu cadw trwy ras yr addewid i fywyd tragywyddol. Fe aeth miloedd o honynt i feddwl mai ar yr ammod iddynt gadw yn allanol y rheolau hyn, yr oeddynt i gael bywyd, yr hyn oedd yn eu gwneyd yn blant y "cnawd," ac nid plant yr "addewid"—plant y "wasanaethwraig," ac nid plant y "wraig rydd." Y rhai oedd o ffydd yn yr addewid, y rhai hyny oedd gwir blant Abraham. Er mai "gweithredoedd" sydd yn sicrhâu lle yn yr eglwys weledig, "ffydd" sydd yn dwyn i'r eglwys ddirgeledig, ac yn sicrhâu y nefoedd yn y diwedd.

Drachefn, wrth gymeryd golwg ar gyfammod Sinai yn ei berthynas â'r ddeddf farnol, cyfammod *gwladol* ydoedd. Yr Arglwydd oedd Brenin gwladol y genedl, yn gystal a'i Duw, neu wrthddrych ei haddoliad; ac yr oedd ufudd-dod i Dduw fel eu Brenin o dan y ddeddf farnol yn sicrhâu iddynt fendithion a dedwyddwch tymmorol yn y byd hwn, ac anufudd-dod yn dwyn arnynt geryddon a chosbau. Yr oedd gwlad Canaan wedi ei rhoddi yn etifeddiaeth i'r genedl trwy addewid ddiammodol, yn nghyfammod Abraham; ond yr oedd eu cysur yn y wlad yn ammodol ar eu hufudd-dod i'w Brenin: "Os byddwch ewyllysgar, ac ufudd, daioni y tir a fwytewch." Yr oedd heddwch y wlad, ei ffrwythlonder, gwlaw o'r nefoedd, eu diogelwch rhag pläau a heintiau, oll yn dybynu ar eu

hufudd-dod i Dduw o dan gyfammod Sinai. Oddiyma y caed sail i ddyweyd, fod yr Hen Destament yn addaw bendithion tymmorol, ond y Testament Newydd yn addaw bendithion tragywyddol. Trwy y tymmorol y mae Duw yn codi meddwl dyn at y tragywyddol.

Dyna y ddwy wêdd sydd ar gyfammod Sinai; cyfammod *eglwysig* yn ei berthynas â'r ddeddf seremonïol, a chyfammod *gwladol* yn ei berthynas â'r ddeddf farnol. Ac er mor agos oedd y berthynas rhwng yr eglwys a'r wladwriaeth, fel mai yr un a'r unrhyw oedd eu Duw a'u Brenin, eto nid ydym yn cael fod y naill yn ymyraeth ond ychydig, os dim, â'r llall. Y mae yn wir fod y ddeddf farnol yn cosbi â chosbau tymmorol "bob trosedd ac anufudd-dod" o'r ddeddf foesol. Yr oedd hyny yn fanteisiol i argraffu y syniad o ddrwg pechod ar feddyliau y bobl. Ond nid ydym yn cael fod y farnol yn dwyn unrhyw gosb am drosedd, neu anufudd-dod i'r seremonïol. Er enghraifft, pe buasai dyn yn gwrthod dyfod âg aberth yn ol gofyn y gyfraith, neu aberthu mewn lle anmhrïodol, neu fwyta unrhyw ran waharddedig o'r aberth, neu beidio talu degwm, neu unrhyw drosedd o'r gyfraith seremonïol, nid ydym yn cael fod y ddeddf farnol yn gafael ynddo, ac yn ei gosbi fel troseddwr. Na, yr oedd troseddau o'r natur yna i gael eu cosbi yn eu gwêdd eglwysig, trwy weinyddiad gonest o'r ddysgyblaeth eglwysig, sef, "tòri yr enaid hwnw ymaith o fysg ei bobl."

Wel, dyna; gadäwn ar hyn, y tro yma. Bydd y TRAETHODYDD byw yn hir, mae yn ddiammheu, ac yn iach hefyd; ac os bydd yr ysgrifenydd felly yr un modd, gall y darllenydd ddysgwyl am bennod eto ar y Gŵyliau dan gyfraith Moses. Bydded wych.

---

# EMYNYDDIAETH.

## VI.—EMYNYDDIAETH Y CYMRY, O AMSER EDMWND PRYS HYD Y DIWYGIAD METHODISTAIDD.

SYLWASOM o'r blaen (Cyf. xxiii. tu dal. 156—158) fod llai o'r elfen farddonol yn y Testament Newydd nag sydd yn yr Hen, a bod gwahaniaeth mawr rhyngddynt yn hyn. Un achos o'r gwahaniaeth hwn yw, fod llai o'r elfen brophwydol hefyd yn y Newydd nag yn yr Hen. Byddai y prophwydi yn fynych yn derbyn yr hyn a draddodid ganddynt mewn gweledigaethau, a byddent yn llefaru yn aml dan deimladau tra chynhyrfiol a chyffröus, ac am bethau yn y dyfodol pell; a chan nad oedd prophwydoliaeth wedi ei hamcanu i fod yn eglur a di-lèn fel hanesiaeth, yr oedd yn cael ei gwisgo mewn arddull farddonol a ffugyrol. Ond dan yr efengyl, y mae yr hyn oedd eto ymhell, ac a ganfyddid yn aneglur gan y gweledyddion gynt, wedi ei ddwyn yn agos, ac yn nôd i ddysgyblion

yr Arglwydd Iesu yn weledig fel yn y dydd goleu. Y mae dylanwadau yr efengyl yn llawer mwy cyson, syml, ac aruchel, nag awgrymiadau oriog a dysbeidiol prophwydoliaeth, fel y mae mewn-cymhariaeth yn llefaru wrthym yn eglur, heb ddammeg na ffugyr, ac felly yn fwy derchafedig ac effeithiol. Yn y ffeithiau rhyfeddol a osodir allan yn yr efengyl, a'r gwirioneddau gogoneddus, a'r gobeithion gwynfydedig, sydd yn anwahanol gysylltiedig â hwynt, ac yn sylfaenedig arnynt, y mae defnyddiau wedi eu trysori yn ddiamdlawd, y fath ag y gall darfelydd sancteiddiedig eu gweithio allan i ddelweddau barddonol o'r ansawdd godidocaf. Ond gadäwyd hyn i'w gyflawni gan yr eglwys ei hun yn rhediad oesoedd, drwy waith ei phlant mwyaf doniol ac athrylithgar, yn hytrach na bod idde gael ei wneuthur gan brophwydi ac apostolion ar ddalenau ysbrydoliaeth, oll ac yn gwbl ar unwaith, fel na byddai byth achos am ddim yn ychwaneg; ac yn fwy felly o gymaint nad oedd y pethau eu hunain wedi eu bwriadu i ryw un wlad neu bobl neillduol, ond i fod yn etifeddiaeth gyffredinol i holl ddynolryw. Gwell ydoedd fod y defnyddiau hyn i ganiadaeth gysegredig wedi eu gadael gan ddynion ysbrydoledig yn eu symledd cyntefig, gan mwyaf, i'w defnyddio yn ysbryd rhydd, ymdaenol, ac ëang, yr efengyl, gan y bobl ymhob oes a hinsawdd, ac i ymagor, fel hadau blodau mewn natur, i bob math ac amrywiaeth ffurfiau o brydferthwch a dymunoldeb. Y mae oes yr efengyl wedi gwneyd cyfnod newydd i brydyddiaeth yn gystal ag i hanesyddiaeth. Caniadau ardderchocaf yr oesau diweddar ydynt mewn gwirionedd wedi tynu eu hysbrydoliaeth o'r Testament Newydd; er y gallwn eto anwesu y gobaith, a draethwyd gan un a feddai hawl i lefaru ar y fath destun (nid amgen y diweddar Broffeswr Wilson), "y daw amser, pryd y bydd prydyddiaeth Gristionogol yn llawer iawn dyfnach a mwy dyrchafedig na dim eto a adnabuwyd erioed ymhlith dynion; fel yr ymwelir â ni â chodiad haul o'r uchelder, ac yr ymdaena ei lewyrch yn ehangach ehangach dros y ddaear, y bydd i enaid y byd, mewn gweledigaethau o bethau dyfodol, yn ddïau ganfod golygfëydd mwy gogoneddus nag a ddygwyd eto i'w sylw a'i ystyriaeth."

Y mae hyn oll i'w gael yn ei le priodol; ac yma hefyd, fel y mae yn gymhwys, y mae ysgrythyrau y Testament Newydd yn dwyn arnynt argraff o berffeithrwydd cyfatebol. Ynddynt hwy y mae sylweddau bywiol yn cymeryd lle gweledigaethau prophwydol; ac arddangosiadau goleu, dysglaer, o bethau nefol ar unwaith yn cymeryd lle, ac yn esgyn uwchlaw yr ehediadau barddonol gynt. Megys yr oedd Crist ynddo ei hun yn annhraethadwy fwy na Moses, felly trwyddo ef y daeth y fath amlygiadau cyflawn o ras a gwirionedd, fel nad oedd raid iddo ef, fel y deddfroddwr gynt, guddio anmherffeithrwydd ei athrawiaeth eglur gyda phynciau cynhyrfiol cân o farddoniaeth brophwydoliaethol; ac nid mewn gweledigaethau pêr-lesmeiriol, oeddynt yn gorchuddio yn gymaint ag yn amlygu y gwirionedd, ond mewn perffaith eglurdeb ymadrodd, y gosodwyd allan gan yr apostolion i'r eglwys ddirgeledigaethau ei deyrnas. Un llyfr yn unig, sef y Dadguddiad, a roddwyd yn weledigaethol.*

Mae yr ystyriaethau hyn yn dangos y dylai yr eglwys Gristionogol goledd a meithrin caniadaeth gysegredig, a gofalu am roddi iddi y cyf-

* Gwel *Dr. Fairbairn on Prophecy, pp.* 131—133.

eiriad prïodol er adeiladaeth, cysur, a dyddanwch y saint ar eu pererindod ysbrydol. Yr hyn sydd ei eisieu yn fawr yw teimlad crefyddus, addolgar, gyda gorchwyledd duwiol, yn ngwasanaeth Duw, yn cyfodi oddiar adnabyddiaeth o'r gwirionedd, a chariad ato, ac nid oddiar ddychymygion a thraddodiadau dilesâd. Y mae caniadaeth yr eglwys, pan yn cael ei dwyn ymlaen "yn weddaidd ac mewn trefn," yn un o'r moddion mwyaf effeithiol i feithrin y cyfryw deimlad; ac yn wir i hyn ein hannogir gan yr apostol pan y dywed, "Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth ymhob doethineb; gan ddysgu a rhybuddio bawb eich gilydd mewn salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol, gan gânu trwy ras yn eich calonau i'r Arglwydd. A pha beth bynag a wneloch, ar air neu ar weithred, gwnewch bob peth yn enw yr Arglwydd Iesu, gan ddiolch i Dduw a'r Tad trwyddo Ef," Col. iii. 16, 17. Gallwn gasglu hefyd fod rhyddid i bobl yr Arglwydd dan yr efengyl i ddefnyddio, yn neillduol a chyhoeddus, emynau o gyfansoddiad dynol; ac o ganlyniad, ei fod yn orchwyl canmoladwy i unrhyw gristion y tueddir ei feddwl ato, i gyfansoddi y cyfryw ganiadau, ond gofalu am fod yr athrawiaeth ynddynt yn bur, y syniadau yn unol â'r Ysgrythyrau, ac yn cael eu gosod allan mewn geiriau cymeradwy—geiriau gwirionedd. Gwelsom yn ein hymchwiliadau blaenorol fod Pen yr eglwys wedi cyfodi a donio rhyw rai o'i blant i gyflawni hyn o waith angenrheidiol, gyda mwy neu lai o lwyddiant, nerth, a dylanwad, mewn gwahanol wledydd trwy yroesoedd hyd yma; ac y mae yr Ysbryd yn ngweddill ganddo, fel y gallwn ddysgwyl yn hyderus, ac edrych ymlaen yn obeithiol, am bethau llawer mwy nag a welwyd eto.

Mae enwau y rhai a lafuriasant i ddwyn caniadaeth grefyddol i gyraedd ein cenedl fechan a neillduedig ni yn Nghymru, yn deilwng o goffadwriaeth barchus. Hyn a'n tueddodd i fanylu mor helaeth am yr archddïacon Prys, am mai efe oedd y cyntaf i dori'r iâs, yr hyn a wnaeth drwy ei gyfieithiad o'r Salmau.* Ychydig emynau a gyfansoddodd efe. O'r emynau sydd yn dilyn y Salmau Cân, ymddengys mai y rhai canlynol yn unig sydd o'i gyfieithiad neu ei gyfansoddiad ef, sef, *Cân St. Ambros*, neu *Te Deum*, *Cân y Tri Llanc*, *Cân Zecharïas*, *Cân Mair Forwyn*, *Cân Simëon* (ddwy ffordd), *Gweddi yr Arglwydd*, *Credo yr Apostolion*, *Y Dengair Deddf*, a'r pedair Mawlwersi terfynol. Cyflëid hwynt yn yr argraffiadau cyntaf o flaen y Salmau Cân, ond yn yr argraffiad o'r Llyfr Gweddi Cyffredin, dan olygiad y Parchedig Elis Wynn, o Lasynys, awdwr y "Bardd Cwsg," yn 1710, ychwanegwyd at eu nifer, a threfnwyd hwynt i ddilyn y Salmau, fel y maent yn bresennol.† Diammheu genym mai yr emyn gyntaf o ddim gwerth a osodwyd allan yn Gymraeg oedd

CAN ST. AMBROS, NEU, TE DEUM.‡

1 Tydi, O Dduw, a folwn ni;
Addefwn di yn Arglwydd:
Y ddaear oll, dragwyddol Dad,
Gwna it' addoliad hylwydd.

2 Attat Ti holl angelion nef
A ro'nt eu llef heb dewi:
Y nefoedd hefyd oddiar hyn,
A'r nerthoedd sy'n y rheini.

* Mae yn hyfrydwch genym gyfeirio y darllenydd at erthygl dra rhagorol ar "Gyfansoddiad y Salmau, gan Edmund Prys," yn NGWAITH GWALLTER MECHAIN, Cyf. I., tu dal. 541. † Gwel y TRAETHODYDD, Cyf. vi., tu dal. 322, ‡ Am hanes yr emyn hon, gwel y TRAETHODYDD, Cyf. xxiii., tu dal. 389 a 390.

3 Cerubin a Seraphin sydd *
Yn llefain beunydd arnat,
Sanct, Sanct, Sanct, Iôr y lluoedd glân;
Fel hyn y galwan' arnat.

4 Nefoedd a daear sydd yn llawn
O 'th wir-ddawn a'th ogoniant:
Yr Apostolion, hyfryd gôr,
A ro'nt it' ragor foliant.

5 Moliannus rif prophwydi sy'
I'th foli o'r dechreuad:
Merthyron glân, ardderchog lu,
Sydd i'th foliannu 'n wastad.

6 Dy eglwys wir gatholig lân,
Hon sydd ar dân † trwy 'r hollfyd,
O Arglwydd, a'th addola di,
Yn Un ac yn Dri hefyd.

7 Y Tad, anfeidrol fawr, mewn hedd,
Gwir Fab gogonedd unig,
A hefyd y Glân Ysbryd pur,
Sydd ini 'n gysur diddig.

8 Ti wyt, O Grist, yr unig Sant,
Frenin gogoniant grasol:
Wyt hefyd i'r tragwyddol Dad
Yn wir Fab rhad tragwyddol.

9 Pan gym'raist arnat wared dyn
O feddiant gelyn anfwyn,
Diystyr genyt ti ni bu
Dy eni o fry y forwyn.

10 Pan sethraist angeu, teyrnas nef,
I bob ffydd gref, agoraist:
Yn ngogoniant yr hael-Dad byw,
Ar ddëau Duw, eisteddaist.

11 Credu yr ŷm, â disigl ffydd,
Mai Ti fydd Barnwr arnom:
Am hyn, i'n cymhorth, rhag pob braw,
Bid dy ddeheulaw drosom.

12 Dy bobl di ŷm, O Dduw ein nerth,
Prid werth dy waed sancteiddiol:
Pâr gael ein cyfrif gyda 'th saint,
Mewn nefol fraint dragwyddol.

13 Cadw dy bobl, O Arglwydd da,
Bendithia d' etifeddiaeth:
Dyrcha hwynt byth, gwna iddynt fod
Dan gysgod dy lywodraeth.

14 Clodforwn di, o ddydd i ddydd,
Mawr fydd dy enw bythoedd:
Teilynga i'n cadw heddyw 'n gu
Rhag pechu, O Dduw 'r lluoedd.

15 O Arglwydd, wrthym trugarhâ;
Trugaredd gwna â'r eiddot:
Tywyned in' dy serch ar lêd,
Bydd ein hymddiried ynot.

16 Mewn dim nid ymddiriedais i,
Ond ynot ti, O Arglwydd:
Nâd byth im' g'wilydd achos hyn,
O Dduw, na derbyn gw'radwydd.

RHAN O GAN ZACHARIAS. LUC i. 68, 74, 78, 79.

1 Hwn sy dros Israel, Arglwydd Dduw,
Bendigaid yw 'n oes oesoedd:
Ymwelodd ef â ni mor gu,
Pan ddaeth i brynu 'i bobloedd.

2 Cawn felly, wedi ein rho'i ar lêd
Oddiwrth gaethiwed gelyn,
Heb ofn, ei wasanaethu ef,
Heb un llaw gref i'n herbyn.

3 O ferion ‡ trugaredd Duw Dad,
A'i ymweledíad tyner,
Tywynodd arnom, ymhob man,
Yr Haulgan o'r uchelder;

4 I roddi llewyrch dysglaer glod
I'r rhai sy 'n nghysgod angeu;
Ac iawn gyfeirio 'n traed i'w ôl,
Ar hyd heddychol lwybrau.

* Er mwyn symud y gwall o gam-aceniad, gwnaed peth cyfnewidiad yma, ac mewn rhai llinelleu eraill, a hyderir ddarfod gwneyd hyny heb niweidio'r ystyr. Anturiwyd cyfieithu y geiriau, "Arglwydd Dduw Sabbaoth," fel y gwelir yn y drydedd linell o'r 3ydd pennill, gan ei bod felly yn fwy dealladwy, ac yn darllen beth yn ystwythach.
† H. y., *ar daen*, neu, *ar led*, fel yn Salm civ. 2,—

"Rhydd yn ei gylch yr wybr *ar dân*,
Yn llydan, fel llèn wastad."

Mae awdurdod E. P. dros swnio y gair yn hir; ond y mae Puw yn ei Eirliadur yn ei nodi yn fŷr, *tân*, er y dengys ei fod o ran ei darddiad o'r un gwreiddyn a'r gair *tân* (ufel). Dywedir "tanu gwair" yn iaith gyffredin rhai ardaloedd am *daenu gwair;* ac yn y ddiareb, "Hawdd tanu crinwellt," mae y prifair, er ei seinio yr un modd, yn arwyddo *tanio*, neu *losgi*. Rhaid, dybygem, fod y gair yn ei ddau ystyr yn gwahaniaethu mewn sain oddiwrth *tannu*, tantio neu dynhâu llinyn. Efelly, yr ŷm yn casglu fod E. P. yn gywir wrth roddi y sain hir i'r gair uchod yn y froddeg "*ar dân*," fel y mae y froddeg gyfystyr, "*ar daen*." O'r un gwreiddair y daw *llydan*, *llydanu*. ‡ Dyferion, defnynau; neu ynte *lliosog* o mêr (mèrion), yn arwyddo brasder. Salm xxxvi. 8.

CAN SIMEON A'R IESU YN EI FREICHIAU. LUC ii. 29—32.

1 Wrth d' air, câf bellach, Arglwydd cu,
Ymadu yn heddychlon;
Canys i'm golwg i y daeth
Dy iachawdwriaeth dirion.

2 Hon a ddarperaist yn ddi-ddrwg
Yn ngolwg pawb o'r hollfyd;
Yn oleu i'r byd, i Israel blant
Yn fawr ogoniant hyfryd.

ALLEIRIAD O WEDDI YR ARGLWYDD. MAT. vi. 9—12.

1 Ein Tad o'r nef, ein Duw a'n Rhi,
Dy enw di sancteiddier:
Dy deyrnas hylwydd doed i'n plith,
Trwy rad dy fendith dyner.

2 Ar y ddaear boed d' ewyllys gref,
Fel yn y nef, heb ballu:
Ein bara heddyw dyro 'n rhydd,
Dawn beunydd, i'n diwallu.

3 Ein holl ddyledion maddeu Di,
Fel yr ŷm ni yn erfyn,
Gan roi maddeuant i bob rhai
A wnêl ar fai i'n herbyn.

4 I brofedigaeth byth na 'n dŵg,
Ond rhag pob drwg ein gwared;
Can's Ti biau 'r deyrnas, nerth, a'r mawl,
Byth yn dragwyddawl drwydded.

Y DENGAIR DEDDF. EX. XX.

[Cenid y Dengair ar dôn o gyfansoddiad Goudimel, a elwid gynt *Audi Israel*, oddiwrth eiriau cyntaf yr emyn (Clyw, O Israel); ond yn awr gelwir hi yn gyffredin Beza, neu Hen Dôn y Deg Gorchymyn. Gellir ei chyfaddasu yn hawdd i'r mesur hwn. Gwel "Llyfr Tônau Cynnulleidfäol," rhif 12.]

1 Duw a lefarodd y ddeddf hon
Ar g'oedd ger bron y dyrfa,
Gan dd'weyd, Myfi yw 'th Dduw, dy Iôr,
A 'th dŷnodd o'r cyfyngdra.

2 Duwiau eraill ger fy mron i
Na fid i ti eu gwneuthur;
Cerfiedig ddelw i ti dy hun
Na wna, na llun creädur.

3 Na llun dim arall chwaith y sy
Yn nefoedd fry i'w addoli;
Nac yn y ddaear isod faith,
Na 'r dŵr, na 'r gwaith sy ynddi.

4 Nid ŷnt ond pethau dilesâd;
Na wna ymgrymiad iddynt;
Ac na addola 'r fath beth gwael;
'D oes borth i'w gael oddiwrthynt.

5 Can's mi yw 'r Arglwydd Nâf, dy Bôr,*
A'th gadarn Iôr haelionus;
A myfi hefyd (cofia, clyw),
Yw d' Arglwydd Dduw eiddigus.

6 Wyf yn ymwel'd â phechod cant
O dadau 'r plant anynad,
I'r drydedd a'r bedwaredd oes
O'r rhai nid oes diwygiad:

7 Yn trugarhâu wrth blant a hil,
Hyd fil o genedlaethau,
Y rhai a'm carant i yn gu,
A gadwant fy nghyfreithiau.

8 Na chymer enw Duw yn swrth,†
Yn ofer wrth ymbyncio;
Can's nid dieuog gan Dduw Nêr
Yn ofer a'i cymero.

9 Sancteiddia byth y Sabbath maith :‡
Gwnai dy holl waith prïodol
O fewn chwe' dydd; a'r seithfed yw
Sabbath dy Dduw 'n benodol.

10 Na wna 'r dydd hwnw waith trwy serch,
Na 'th fab, na 'th ferch, na 'th weision,
Na 'th forwyn, na'th anifail syrth,||
O fewn dy byrth yn gyfion.

11 Can's mewn chwe' dydd y gwnaeth Duw [Iôr
Nef, daear, môr, ac sy' ynddynt;
Sancteiddiodd Ef y seithfed dydd,
A'i fendith sydd i'r eiddynt.

12 Rho barch, anrhydedd, ar bob cam
I'th dad a 'th fam yn berffaith,
Fel y b'o iti einioes hir
I fyw ar dir dy ymdaith.

13 Na ladd. Na wna odineb chwith,
Na lladrad byth anfoddog.
Na ddŵg gam dyst, er bâr na bryn,§
Yn erbyn dy gymydog.

14 Ac na chwennycha byth mo 'i dŷ,
Na 'i wraig sy gu i'w fynwes,
Na 'i was, na 'i ŷch, na 'i forwyn wèn,
Na 'i asen sy 'n ei loches.

*O Arglwydd, wrthym trugarhâ,*
*A gwna in' gadw 'th ddeddfau;*
*Ac ysgrifena Di 'r ddeddf hon,*
*Yn eigion ein calonau.*

* Arglwydd. † Yn anfoesol. ‡ Llawn. || Ufudd, gostyngedig, gwasanaethgar. § Er llid na gŵg.

Yr ydym yn awr wedi cyflwyno i'r darllenydd y rhanau mwyaf cyfaddas o emynau yr Archddïacon y gallasom eu dethol, wedi ystwytho ambell linell yn gynnil, ac egluro rhai hen eiriau godidog a welir ynddynt, er eu gwneyd yn fwy darllenadwy, blasus, a buddiol; a chyda hyn yr ydym yn canu yn iach i'r hen salmydd Cymreig clodfawr, wedi cael llawer o hyfrydwch o bryd i bryd trwy ymgyfarwyddo â'i waith.

Yn nesaf ato ef yn rhestr emynwyr Cymreig y cawn enw

ROWLAND VAUGHAN, YSW.,

o Gaer Gai, yn Mhenllyn. Gan fod rhyw gymaint o'i hanes wedi ei roddi o'r blaen yn y TRAETHODYDD, (Llyfr iv., tu dal. 410—413,* a'r viii., tu dal. 170,) ac mai fel emynydd y mae a fynom ni âg ef, nid oes achos manylu yma ar helyntion a helbulon ei oes. Nis gallasom gael amser ei enedigaeth na'i farwolaeth. Yr oedd yn ŵr ieuanc tua diwedd oes Edmwnd Prys. Cafodd ei addysg, fel y mae efe ei hun yn awgrymu, dan ofal y Parch. Robert Lloyd, Ficer y Waen, cyfieithydd y "Llwybr Hyfforddi i'r Nefoedd." Yr ydym yn cael ei fod yntau wedi cyfieithu "Yr Ymarfer o Dduwioldeb," o waith yr Esgob Bailey, yn 1620, ond ni argraffwyd y llyfr hyd 1630. Ymddengys oddiwrth y cyfieithiad hwn ei fod ef o leiaf yn Gymreigydd da. Am ei gydnabyddiaeth â'r iaith, dywed ei hun fel hyn: "Fe allai y tybia llawer i mi gymeryd mwy o ryddid yn ysgrifenu yr iaith hon, nag yr oedd tadogaeth y geiriau yn caniatâu. Eithr deall, mai wrth fwrw fy serch ar gywyddau Cymraeg y cefais i y gyfarwyddyd wan sy genyf; ac yr wyf yn gobeithio i mi arfer y geiriau sathredig a arferodd hen athrawon o'm blaen i, ac na chyfeiliornais o athrawiaeth Dr. Davies, yn nghyfieithiad y Bibl." Ac am gwblhâd y gorchwyl hwn a gymerasai arno, y mae ei athraw parchedig Robert Lloyd yn rhoddi y ganmoliaeth ganlynol: "Dyma ŵr boneddig yn treulio ei amser yn weddol ac yn ganmoladwy, gan wneuthur gwasanaeth i Dduw, daioni i'w wlad, a llesâd mawr iddo ei hun, drwy gyfieithu y llyfr godidog hwnw. Pe cymerai foneddigion ieuainc ein gwlad ni ryw gyffelyb orchwyl-waith duwiol a buddiol i dreulio eu hamser arno, ni byddai anllywodraeth a rhysedd yn cael cymaint rhwysg, na gwir grefydd uniawngrêd yn cael cyn lleied bri a chymeriad; ac ni byddai ocraeth yn ysu ac yn bwyta y naill ddarn o'u tiroedd, na thafarndai a mŵg tybacco yn yfed y darn arall."† Yn 1658, y mae pump o fân lyfrau crefyddol, o'i gyfieithiad ef, yn cael eu rhestru yn "Llyfryddiaeth y Cymry," ond ni buom mor ffodus a gweled yr un o honynt. Ymddengys ei fod yn bleidiwr gwresog dros y brenin a'r Eglwys, trwy yr hyn y tynodd arno ei hun lawer o helbulon. Yr ydym yn cael, modd bynag, ei fod yn feddiannol ar gryn arabedd, a'i fod yn fardd medrus. Fe gyfrifir yr emynau canlynol iddo ef fel eu cyfieithydd, sef, *Veni Creator*, fel ei gelwir (ddwy ffordd), a *Galarnad Pechadur*. Am y ddwy flaenaf, nid oes genym dystiolaeth ond yr hyn a ddywedir yn y *Gwyddoniadur*, dan y penawd, "Hymnyddiaeth Gymreig," ond mae yr olaf i'w gweled yn niwedd "Yr Ymarfer o Dduwioldeb," ynghyda rhai pethau eraill o'i gyfansoddiad ef. Y mae prydyddiaeth

* Gwel hefyd *Traethodau Llênyddol Dr. Edwards.* † Rhaglith i'r "Llwybr Hyfforddi i'r Nefoedd," yn 1629,

Rowland Vaughan ar y cyfan yn bur ystwyth, a'r syniadau yn cael eu gosod allan yn rymus, yn oleu, a chyda grâdd o eneiniad. Wrth ddarllen ei emynau, nis gallwn lai na pharchu ei goffadwriaeth, er maint y gallwn fod yn gwahaniaethu oddiwrtho yn ein golygiadau ar faterion eglwysig a gwleidyddol. Ystyriwn ei fod yn ei ddydd yn ŵr boneddig gonest a ffyddlawn i'r hyn a gredai ef ei fod yn wirionedd: "Proffesu yr enw o gristion yr wyf," medd efe, "a deisyf gwneuthur daioni i'm gwlad heb na bustl na chwerwder." Er hyny, yr oedd dadleuon, ymrysonau, a therfysgoedd gwladol, dros ran fawr o'i oes, yn peri ei bod yn dra, os nad yn rhy, anhawdd i un o'i dymher fywiog a brwdfrydig ef, ymgadw ar lwybr doethineb a barn bob amser, a bod heb lithro ar air, ac ar weithred hefyd, yn fynych, er dymuno gwneyd yr hyn ydoedd yn ei le, ac a ystyriai yn ddyledswydd arno. Tebygol iddo gael gorphen ei ddyddiau mewn heddwch, wedi ei adferu i'w etifeddiaeth (yr hon a gollasai yn amser y rhyfel gwladol), ac ail-adeiladu plâs Caer Gai yn echwydd ei oes, wedi ei losgi yn amser y rhyfel.

Gosodir yma yr emyn gyntaf a nodwyd, gyda'r cyfieithiad Saesoneg yn gyferbyniol, er mwyn dangos rhagoriaeth y cyfieithiad Cymraeg, er bod y mesur Cymreig yn fyrach na'r un Seisonig. Gelwir yr Emyn wrth ei geiriau cyntaf yn Lladin:—

VENI CREATOR SPIRITUS.

| | |
|---|---|
| 1 Tyr'd, Ysbryd Glân, i'n c'lonau ni,<br>A dod d' oleuni nefol:<br>Tydi wyt Ysbryd Crist, dy ddawn<br>Sy fawr iawn a rhagorol. | Come, Holy Ghost, our souls inspire,<br>And lighten with celestial fire;<br>Thou the Anointing Spirit art,<br>Who do'st Thy seven-fold gifts impart. |
| 2 Llawenydd, bywyd, cariad pur,<br>Ydynt dy eglur ddoniau:<br>Dod eli 'n llygaid, fel i'th saint,<br>Ac enaint i'n hwynebau. | Thy blessed unction from above,<br>Is comfort, life, and fire of love:<br>Enable with perpetual light<br>The dulness of our blinded sight. |
| 3 Gwasgara Di 'n gelynion trwch,<br>A heddwch dyro ini:<br>Os T'wysog ini fydd Duw Nêr,<br>Pob peth fydd er daioni. | Anoint and cheer our soiled face<br>With the abundance of Thy grace;<br>Keep far our foes; give peace at home;<br>Where Thou art guide, no ill can come. |
| 4 Dysg in' adnabod y Duw Dad,<br>Y gwir Fab rhad, a Thithau,<br>Yn un tragwyddol Dduw i fod,<br>Yr hynod Dri Phersonau. | Teach us to know the Father, Son,<br>And Thee of both, to be but One:<br>That, through the ages all along,<br>This may be our endless song, |
| 5 Fel y molianner, ymhob oes,<br>Y Duw a roes drugaredd,<br>Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân;<br>Da dadgan ei anrhydedd. | "Praise to Thy Eternal merit,<br>Father, Son, and Holy Spirit."<br><br>*Anon.* (*Ordination Service*). 1662.* |

Mae y nesaf ar yr un testun, ond yn feithach. Y mae dyfyniad, a phigion, o hóni yn amryw o'n casgliadau Hymnau, ond gosodir hi yma yn llawn, ac yn ei ffurf gysefin. Mae y cyfieithiad Saesoneg o hóni yn llawer hŷn nag amseriad yr un flaenorol, ac i'w weled yn dilyn Salmau Sternhold a Hopkins:—

* "This translation of *Veni Creator* (by an unknown hand) was first introduced into the Office for the Ordination of Priests upon the revision of the Liturgy of the Church of England, in 1662."—*Sir R. Palmer's "Book of Praise," pp.* 106, 491.

"COME, HOLY GHOST, ETERNAL GOD, &c."

1 Tyr'd, Ysbryd Glân, dragwyddol Dduw,
Yr unrhyw â'r Tad nefol;
Yr unrhyw hefyd â'r Mab rhad,
Duw cariad tangnefeddol.

2 Llewyrcha 'n c'lonau ni â'th ras,
Fel byddo 'n gâs in' bechu;
Ac ini mewn sancteiddrwydd rhydd,
Bob dydd, dy wasanaethu.

3 Y Diddanydd wyt Ti yn wir
Ymhob rhyw hir orthrymder;
Dy holl ddaioni Di, a'th glod,
A thafod ni adrodder.

4 Y Ffynnon i'r llawenydd glân,
Y glöewlwys Dân cariadol,
Ac i'r Eneiniad, mawr ei lês,
Sy 'n rhoddi gwrês ysbrydol.

5 Dy ddoniau Di ŷnt aml a dwys,
Y rhai i'th eglwys rhoddi:
Yn ngh'lonau pur, dy ddeddf di-lys
Tydi â'th fŷs 'sgrifeni.

6 Tydi addewaist ddysgu, Iôn,
Dy weision i lefaru;
Fel ymhob man y caffo 'n rhwydd
Yr Arglwydd ei foliannu.

7 O Ysbryd Glân, i 'n c'lonau ni
Y gwir oleuni danfon;
A hefyd zêl, tra f'om ni byw,
I garu Duw yn ffyddlon.

8 Ein gwendid nertha Di, O Dduw,
(Mawr ydyw ein breuolder);
I ddiafol, byd, na chwaith i'r cnawd,
Na fyddom wawd un amser.

9 Gŷr ein gelynion yn eu hol;
Bydd Di heddychol â ni:
Gwna i bob dyn ein caru 'n bur,
(* Mael eglur a fydd hyny).

10 Ein T'wysog wyt, O Arglwydd mau,
Rhag maglau pob rhyw bechod;
A rhag llithro oddiwrthyt mwy,
Cynnorthwy bydd in' parod.

11 Dod fesur mawr o'th ras yn rhwydd,
O Arglwydd Dduw goruchaf:
Diddanwch ini felly bydd
Yn y brawd-ddydd diweddaf.

12 I ffoi ymbleidiau cecraeth câs,
Dod ini ras, Dduw nefol;
Dy gariad, a thangnefedd mâd,
Ymhob rhyw wlad Grist'nogol.

13 Attolwg iti, dyro rad,
Y Tad i ni adnabod;
A'r Arglwydd Iesu, ei Fab hael;
Ac yn y nef cael canfod,

14 A chyffesu, â pherffaith ffydd,
Dydi bob dydd yn ddïau:
Ysbryd y Tad a'r Mab wyt Ti,
Un Duw, ond Tri Phersonau.

15 I'r Tad, i'r Mab, i'r Ysbryd Da,
Un gogŷd a gogyfuwch,
Bid moliant: Hwn yw 'r gwir Dduw [nef,
Ei enw Ef bendithiwch.

16 A bid i'n hunig Arglwydd Dduw
Fod gwiw ganddo roi 'n hylwydd,
I bob rhyw gristion yn y byd
Ei Ysbryd yn dragywydd.

GALARNAD PECHADUR.

1 Na thro dy wyneb, Arglwydd Glân,
Oddiwrth un truan agwedd,
Y sydd o flaen Dy borth yn awr,
Mewn cystudd mawr yn gorwedd.

2 Yr wyf yn gorwedd wrth dy ddôr,
Attolwg egor imi;
Er bod fy muchedd yn ddi-rôl,†
'R wy' 'n edifeiriol, gweli.

3 Na alw monof fi ger bron,
I roddi union gyfrif:
Yr wy' 'n cydnabod, fy Nuw hael,
Y bywyd gwael oedd genyf.

4 Nid rhaid i mi addef ychwaith
Bob anwir waith fu rydost:
Y sut a'r modd yr oedd fy nghlwyf,
Ac fel yr wyf, Ti wyddost.

5 Ti wyddost sydd yn awr, Dduw cu,
A'r hyn a fu yn fanwl;
Ti wyddost hefyd beth a ddaw;
Mae ar dy law Di 'r cwbwl.

6 Ti wnaethost nefoedd yn un man,
A daear dan wybrenau:
Ti wyddost beth fydd wedi hyn,
A pheth oedd cyn y dechrau.

7 Ac felly fy holl feïau i
Byth rhagot Ti ni chuddiwyd;
Ond Ti a'u gwyddost hwynt i gyd,
Y lle a'r pryd y gwnaethpwyd.

8 Trwy ddeigr hallt y dôf, am hyn,
I erfyn a dymuno;
Megys y bachgen a wnai ddrwg,
Yn ofni gŵg i'w guro.

9 Felly y deuaf at Dy borth,
I ddysgwyl cymhorth ddigon;
Sef Dy drugaredd i lanhâu
Fy holl welïau ‡ budron.

10 Y peth a geisiaf sy rodd wŷch,
Nid rhaid mo 'i mynych enwi:
Tydi a'i gwyddost, fy Nuw gwŷn,
Cyn darfod gofyn iti.

11 Trugaredd, f' Arglwydd, heb ddim mwy,
Yw 'r cwbl yr wy' 'n ei geisio:
Trugaredd yw fy newis lwydd;
Trugaredd, f' Arglwydd, dyro.

* Budd neu lesiant. † Afreolaidd, di-reol. ‡ Clwyfau, briwiau. Edr. Esa. i. 6; Nah. iii. 19.

Yr ŷm wedi methu cael allan pwy oedd awdwr yr emyn ganlynol. Cyfieithiad ydyw o'r "*Gloria in Excelsis*," am yr hon y traethasom yn fŷr o'r blaen yn y TRAETHODYDD (Llyfr xxiii., tu dal. 388).

YR EMYN OSODEDIG I'W CHANU AR OL Y CYMUN.

1 I Dduw gogoniant byth a f'o,
Sy fry 'n y goruchafion:
Bid ar y ddae'r tangnefedd rhad,
Ewyllys mâd i ddynion.

2 Tydi, O Dduw, a folwn ni,
Bendithiwn Di 'n dragywydd:
Addolwn, gogoneddwn byth
Dy enw dilyth dedwydd.

I Ti diolchwn, Dduw, bob awr,
Am dan dy fawr ogoniant;
O nefol Dad, Iôr Frenin cu,
Duw, Hollalluog feddiant.

4 Duw, Arglwydd Iesu Grist, Fab rhad,
Unig y Tad anedig;
Oen Duw, Fab Nêr, sy 'n tŷnu i gyd
Bechodau 'r byd yn ddiddig.

5 Ti sy 'n dilëu pechodau 'r byd,
Maddeu i ni gyd ein beïau:
Dilëu pechodau 'r wyt, Dduw Rhi,
Crist, derbyn Di 'n gweddïau.

6 Ti, 'r hwn wyt ar ddeheulaw 'r Tad,
Y gwir Fab rhad sancteiddiol,
Ti, 'r hwn wyt unig Arglwydd Dduw,
Ein gweddi clyw 'n dosturiol

7 Ti 'n unig, sanctaidd Grist, bob pryd,
Gyda 'r Glân Ysbryd haelaf,
Wyt yn ngogoniant y Duw Dad,
Yn wastad, y Goruchaf. *Amen.*

Yr emynydd poblogaidd nesaf sydd yn dyfod yn ein ffordd yw

Y PARCHEDIG ELIS WYNN,

o Lasynys, awdwr enwog *Y Bardd Cwsg.* Yr oedd efe yn fardd diledryw, fel y mae amryw ganiadau, salmau, ac emynau, o'i gyfansoddiad yn dangos. Yr emyn fwyaf adnabyddus o'i eiddo yw hono ar yr Adgyfodiad, sydd yn dilyn yr emynau blaenorol; a chan nad oes yr un emyn ar y testun ymhlith y rhai sydd yn gysylltiedig â Salmau Sternhold a Hopkins yn Saesoneg, yr ŷm yn tybied ei bod yn wreiddiol Gymreig, ac nid yn gyfieithiad. Ymddangosodd yn gyntaf ymhlith yr Emynau yn niwedd y Llyfr Gweddi Cyffredin unplŷg a roddwyd allan dan olygiad yr awdwr yn 1710, ac y mae i'w gweled ymhlith ei ganiadau ef a gyhoeddwyd gan ei fab yn 1755, yn y llyfr a elwir, *Prif Addysg y Cristion,* tu dal. 189, lle y dywedir ei bod "wedi ei chymeryd o amryw fanau o'r Ysgrythyr Lân." Yr ydym yn ei chael hefyd mewn llyfryn bychan a elwir *Llaw-lyfr y Llafurwr,* argraffedig yn Nulyn, yn 1747, gydag un neu ddwy o ganiadau eraill, dan yr enw "Hymn Ganhebrwng, neu Wylnos, o waith Mr. E. W., 1710, a gynghaneddwyd o amryw wersi o'r Ysgrythyr Lân, &c." Gwelwn wrth hyn ei bod yn cael ei hystyried yn gyfansoddiad gwreiddiol, ac yn cael ei gwerthfawrogi, yn yr oes hono. Mae barddoniaeth Elis Wynn yn hynod mewn grymusder a phwysfawredd.

EMYN CYNHEBRWNG, NEU WYLNOS.

1 Myfi yw 'r Adgyfodiad mawr,
Myfi yw Gwawr y bywyd; [Dduw,*
Caiff pawb a'm crêd, medd f' Arglwydd
Er trengu, fyw mewn eilfyd.

2 A'r sawl sy 'n byw mewn ufudd grêd
I mi, caiff drwydded nefol,
Na allo 'r angeu, brenin braw,
Ddrwg iddaw yn dragwyddol.

3 Yn wir, yn wir, medd GWIR ei hun,
Pob cyfryw ddyn sy 'n gwrando
Fy ngair, gan gredu 'r Tad a'm rhoes,
Mae didranc einioes ganddo.

4 A wnêl ei oreu 'n ufuddhâu,
Trwy ffydd i'm geiriau hyfryd,
Ni ddaw i farn, ond trwodd aeth
O angeu caeth i fywyd.

* "Arglwydd cry'," yn y copïau eraill: cafodd ei newid er gwell i'r argraffiadau yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, fe allai, gan yr awdwr ei hun.

5 Mi wn, medd Job, o'r cynfyd cudd,
Mai byw 'm Gwareydd hawddgar;
Mi wn y daw fy Mhrynwr drud
Ar ddiwedd byd i'r ddaear.

6 Ac er fy mod i 'n awr mewn poen,
Ac wedi 'nghroen, i'r pryfed
Ddyfetha hefyd fy nghorff hwn,
Er hyny gwn caf weled

7 Y Duw anfeidrol yn fy nghnawd,
Ar ddydd gollyngdawd seintiau;
A'm llygaid i fy hun a'i gwêl
Ar dirion uchelderau.

8 Ac medd Sant Ioan, fuasai 'n nês,
A'i ben ar fynwes IESU,
O wŷnfydedig entrych nef,
Mi glywais lef yn traethu,

9 'Sgrifena, O hyn allan mai
Gwŷnfyd y rhai fu feirw
Yn ffydd yr Arglwydd, gwŷn eu byd,
O'r glân ddiwedd-bryd hwnw.

10 Felly dywed yr Ysbryd Glân;
Can's maent yn diddan orphwys
Oddiwrth eu llafur, mewn rhyddhâd
Dedwyddol 'stâd Paradwys.

11 Na fyddwn anobeithiol drist
Am neb yn NGHRIST a hunant,
Medd Paul, o'r corff maent gydag Ef
Yn nghartref y gogoniant.

12 Os mynwn,* fel na ddŷg ond hûn
Ysbryd ein dyn at seintiau;
Mewn enyd bach cawn ninnau hûn
A'n dŵg i'r un trigfanau.

SALM CXLVIII. O GYNGHANEDDIAD YR UN AWDWR. (M. 148).†

1 O molwch yr Arglwydd,
O'r nef wèu lawen lu;
Clodforwch E' 'n un swydd
Holl fro 'r uchder fry;
Angelion glân
Moliennwch Ef,
Holl luoedd nef,
O fawr i fân.

2 Chwi haul a lloer er llês,
Y sêr a'r goleu i gyd,
A nef y nefoedd nês,
Rhowch oll i Dduw 'n un fryd
Dda fawl ddi-fêth:
Ffurfafen draw,
Cymylau gwlaw,
Gwnewch yr un peth.

3 Rhoent oll i'r Arglwydd nef
Eu glân Greäwdwr glod:
Drwy ei orchymyn Ef
Y maent fel hyn yn bod,
Trwy ddeddf ddi-dòn;‡
O bir na bŷr,
Yr un ni thŷr
Mo'r gyfraith hon.

4 Holl bethau 'r ddaear ddwys
Clodforwch Dduw 'n ben gwaith;
Chwi ddreigiau garwle gŵys,‖
A'r holl ddyfnderau maith;
A'u rhoes mawrhânt;
Tân, cenllysg, ôd,
Tarth, gwynt pob nôd,§
Ei air a wnânt.

5 Mynyddoedd, bryniau oll,
Coed ffrwyth, a'r cedrwydd cyd,
Gwylltfilod yn ddi-goll,
Holl anifeiliaid byd,
Dewch at fawl Duw;
Pob amryw bry',
Holl adar fry,
Hyfrydaf ryw.

6 Brenhinoedd daear gron,
A'r bobloedd oll ynghyd,
Pob tywysog sydd ar hon,
Holl swyddwyr, barnwyr byd,
Pob llanc, gwell yw,
Pob morwyn glau,
Pob hen, pob iau,
Addolwch Dduw.

7 Can's tra rhagorol yw
Ei unig enw Ef;
Ei ardderchogrwydd gwiw
Sy 'mhell uwch dae'r a nef;
Can's codi y bydd
Gorn grym a pharch
I'w bobl, a'u harch**
A glyw bob dydd.

8 Dadseinied ei holl saint
Ar led ei lawn-glod glân;
Dadganant ei fawr fraint
Blant Israel, fawr a mân;
A phawb a nes
I wneyd a bair
Ef yn ei Air,
I'w lwyddfawr lês.

9 Tröwn oll i'r Tri yn Un
Sy 'n tystiolaethu fry,
Y Tad, a'r Mab, cyttun
A'r Ysbryd, gariad cry';
Fel 'r oedd erioed,
Mae yr awr hon,
O bob gwir fron
Byth felly boed.

* "Os credwn." P. W. Dichon fod y darlleniad felly yn fwy esmwyth a dealladwy.
† Rhoddwn y Salm hon wedi ei chymharu âg amryw gopïau, a lle yr oeddent yn gwahaniaethu, dilynasom y darlleniad a dybygem yn oreu. ‡ Deddf annhòredig, gadarn, gyfan. ‖ Dwfn, gorddwfn, anoddyn. § Pwynt, neu gyfeiriad. ** Gweddi, deisyfiad.

Afraid i ni yma ymhelaethu ar hanes bywyd ac athrylith yr awdwr, gan fod Adgofiant rhagorol am dano, ac mor gyflawn ag a ellid gael, yn rhagflaenu yr argraffiadau prydferth a chywir o *Weledigaethau y Bardd Cwsg*, gyda nodiadau eglurhäol, dan olygiad y Parch. D. Silvan Evans, gan W. Spurrell, Caerfyrddin. Gwel hefyd Y TRAETHODYDD, Llyfr vii., tu dal. 320—336. Prif gyfnodau ei oes oeddent fel y canlyn. Ganwyd Elis Wynn yn y Lasynys, plasdŷ yn agos i Harlech, yn swydd Feirionydd, yn 1671. Pa le y cafodd ei ddysgeidiaeth nid ydys yn gwybod; ond yn unig ei fod yn ŵr dysgedig, ac iddo, wedi derbyn urddau eglwysig, gael perigloraieth Llanfair, gerllaw Harlech, at yr hyn y chwanegwyd Llandanwg a Llanbedr, yn yr un gymydogaeth. Prïododd yn 1702, a bu iddo bump o blant, tri mab a dwy ferch. Treuliodd ei oes yn ei fro enedigol, ac ar ei dreftadaeth ei hun. Bu farw yn mis Gorphenaf, 1734, yn 63 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn eglwys Llanfair, dan fwrdd y cymundeb. Y mae ffenestr liwiedig hardd wedi ei gosod yn yr eglwys hono er côf am dano, gan ei orŵyr, y Parchedig J. Wynn, Llandrillo.

Wedi rhoddi brâs-olygiad fel hyn ar yr Emynau adnabyddus henaf yn ein hiaith, a rhoddi y cyfrif goreu a fedrasom gael am danynt, ac am eu hawdwyr, awn rhagom bellach i loffa pa ddefnyddiau buddiol bynag a allwn bigo i fyny ar y maes diarffordd a lled annjwylledig sydd o'n blaen. Dylasem cyn hyn, ar ryw ystyriaeth, fod wedi coffâu

Y PARCHEDIG RHYS PRICHARD, M.A,*

Ficer enwog Llanymddyfri, yn swydd Gaerfyrddin. Ganwyd ef yn y dref hono yn neu oddeutu y flwyddyn 1579, o deulu parchus a chyfoethog. Tybir iddo gael ei addysg yn Ysgol Ieithiadurol Aberhonddu, nes ei anfon, yn 1597, pan oedd tua deunaw oed, i Goleg yr Iesu, yn Rhydychen, i ymbarotöi i waith y weinidogaeth. Urddwyd ef yn offeiriad yn Wittham, Essex, gan John, Is-esgob Colchester, Ebrill 25ain, 1602; graddwyd ef yn B.A. yn mis Mehefin canlynol; ac yn mis Awst, yn yr un flwyddyn, rhoddwyd iddo fywioliaeth Llanymddyfri, h.y., ficeriaeth Llandingad, ynghyda chapeliaeth blwyfol Llanfair-ar-y-Bryn. Tref yn mhlwyf Llandingad yw Llanymddyfri, ac o herwydd hyny y gelwir ef yn *Ficer Llanymddyfri*, a'i farddoniaeth, gan y cyffredin, yn *Llyfr y Ficer*. Preswyliai mewn plasdŷ o'i eiddo ei hun yn Llanymddyfri, a elwid "Y Neuadd Newydd," i'r hwn y perthynai tyddyn helaeth a elwid "Tir y Neuadd," a dwy felin. Yr oedd hefyd yn berchen amryw diroedd heblaw hyny, digon i beri iddo gael ei gyfrif ymhlith boneddigion penaf y gymydogaeth. Yr oedd yn Ynad Heddwch dros swydd Gaerfyrddin yn 1610. Yn Hydref, 1613, cyflwynwyd iddo fywioliaeth Llanedi, yn yr un swydd, gan y brenin Iago I., drwy ddylanwad Iarll Essex, i'r hwn yr oedd wedi ei benodi yn Gaplan. ... yn fawr, gan i'w weinidogaeth fod yn

dwyn iddo ragor o gyfoeth ac enwogrwydd, nid oedd yn rhwystr iddo i ofalu am ei blwyfydd, a'u gwasanaethu fel o'r blaen. Cafodd gangellwriaeth Tŷddewi hefyd, yn 1626. Yr oedd efe yn flaenorol i hyn wedi cymeryd y râdd o Athraw y Celfyddydau. Yr oedd y derchafiadau hyn yn cael eu cyflwyno iddo fel cydnabyddiaeth o'i ffyddlondeb yn nghyflawniad ei ddyledswyddau gweinidogaethol, ac nid i foddio ei uchelgais ei hun; ac yr oedd yntau yn eu derbyn fel manteision i ddefnyddioldeb helaethach.

Ymddengys iddo brïodi yn fuan wedi iddo ymsefydlu yn Llanymddyfri: enw ei wraig oedd Gwenllian; a bu iddynt un mab o'r enw Samuel, ond ni chawsant nemawr o gysur oddiwrtho, er maint o gynghorion da a roddodd ei dad iddo, ac a weddïodd drosto. Er ei fod wedi ei ddwyn i fyny i'r weinidogaeth, dygwyd ef ymaith gyda ffrwd gref llygredigaeth ei oes, a daeth yn gynnar i ddiwedd truenus.

Cafodd y Ficer duwiol lawer o brofedigaethau tua diwedd ei oes oddiwrth derfysgoedd gwladwriaethol ac eglwysig yr amseroedd hyny. Yr oedd efe yn bleidiwr ffyddlawn i'r brenin Charles I., i gynnorthwyo yr hwn y cyfranodd yn helaeth, ac y cafodd ar ol hyny ei drethu yn drwm. Ond cymerodd ei Dad nefol ef i dangnefedd o ganol (er nad o flaen) y drygfyd, a chyn gweled eithaf y trychineb oedd ar ddisgyn ar y blaid yr oedd efe, yn gydwybodol, y mae yn ddiammheu genym, yn teimlo yn ddyled arno i ymlŷnu wrthi. Gwnaeth ei ewyllys, Rhag. 2, 1644, a thybir iddo farw cyn pen y flwyddyn ar ôl hyny, yn 65 mlwydd oed. Claddwyd ef yn eglwys Llandingad, ond ni roddwyd un gàreg na choffadail o un math i ddangos man ei fedd, nac amser ei farwolaeth.

Yr oedd y Ficer yn gristion dysglaer yn ei ddydd; yn weinidog llafurus, haelionus, a chymwynasgar; yn bregethwr efengylaidd, goleu, ac effeithiol; yn dra ymdrechgar i wrthsefyll anfoesoldeb ei oes, ac i daenu gwybodaeth grefyddol ymhlith y werin. Nid oes ond un bregeth iddo wedi ei chadw: collwyd y cwbl o'i ysgrifeniadau, ond ei ganiadau, drwy iddynt syrthio i ddwylaw rhai na wyddent eu gwerth. Argraffwyd ei ganiadau dan yr enw "Canwyll y Cymru," ar ôl marwolaeth yr awdwr, gan y Parchedig Stephen Hughes, yn 1672. Casglwyd ychwaneg o honynt gan y Parchedig Griffith Jones, Llanddowror. Yr argraffiad llawnaf a goreu o honynt a ddaeth allan yn Llanymddyfri yn 1841, gyda nodau eglurhäol gwerthfawr, a bywgraffiad o'r awdwr, gan y diweddar Barchedig Rice Rees, B.D., o Goleg Dewi Sant, ac a ailargraffwyd yn 1858. Yr oedd Rhys Prichard yn ddïau yn wir fardd, ond ychydig o'i ganau sydd yn cyfranogi o ansawdd brïodol yr emyn. Mae eu harddull yn gyffredin yn eu gwneyd yn anghyfaddas i arferiad cynnulleidfäol, mewn oes fwy goleuedig a helaethach ei manteision. Yr oeddent yn fuddiol yn yr oes hono, a byddent yn cael eu canu yn yr eglwys, ac yr oedd y ganiadaeth yn tynu llawer o ieuenctyd a phobl i adael eu campau ac oferedd, a dyfod i wrandaw yr efengyl. Dichon y cenid y carolau fynychaf, gan eu bod yn feithion, gan un person, neu gan ychydig nifer gyda'u gilydd, a'r gynnulleidfa yn gwrandaw, ond oll yn cyduno i ganu y salmau a'r odlau mawl mwyaf hysbys a hawdd eu defnyddio. Yr oedd effeithiau daionus ei ganiadau, a'r gymeradwyaeth a dderbynient, yn annogaeth iddo i fyned ymlaen i gyfansoddi. Tebygol, medd ei fywgraffydd, fod ei Garolau Nadolig ymhlith y rhai blaenaf.

Amseriad un o'r rhai boreuaf yw 1616. Yr oedd hyny cyn cyhoeddi Salmau ac Emynau yr Archddïacon Prys. Am yr arddull ymha un y gwisgodd ei ganiadau, dywed ef ei hun fel hyn:—

"Am wel'd dyfn-waith enwog Salsbri
Gan y diddysg heb ei hoffi,
Cym'rais fesur bŷr cyn blaened,
Hawdd i'w gofio, hawdd i'w 'styried.

Er mwyn helpu 'r annysgedig,
Sydd heb ddeall ond ychydig,
Y cynnullais hyn mor gyson:
Mae gan eraill well athrawon."

Ac mewn man arall dywed:—

"Ni cheisiais ddim cywreinwaith,
Ond mesur esmwyth perffaith,
Hawdd ei ddysgu ar fŷr dro,
Gan bawb a'i clywo deirgwaith."

Yn y pennill cyntaf, cyfeiria yn ddiammheu at y Salmau ar y mesurau caethion, gan W. Middleton, a gyhoeddwyd gan Thomas Salisbury; ond wrth ochelyd arddull anystwyth, ddyeithr, ac anmhoblogaidd y rhai hyny, syrthia yntau yn fynych i'r eithafedd arall o arfer iaith aflerw, a rhy gyffredin ac isel. Ped arferasai efe Gymraeg fwy pur a destlus, buasai ei gyfansoddiadau erbyn hyn yn fwy defnyddiol a chymeradwy. Y rhanau coethaf a mwyaf chwaethus, y rhai hyny sydd yn dal eu ffordd. Mae llawer o'n prydyddion crefyddol, ar ei ôl ef, a than ragorach manteision, wedi methu yn hyn; a da fyddai i'n prydyddion presennol gymeryd yr awgrym at eu hystyriaeth. A ydynt hwy yn ysgrifenu, nid yn unig i'w hoes eu hunain, ond hefyd er addysg cenedlaethau dyfodol? Pa fodd yr edrychir ar eu gwaith ymhen dau cant a hanner o flynyddoedd eto? A yw eu cynnyrchion yn meddu elfenau defnyddioldeb a pharhâd?

Er yr anfanteision hyn, mae y daioni a wnaeth caniadau y Ficer yn yr amser a aeth heibio i ddwyn y werin gyffredin i ddysgu darllen, ac i droi oddiwrth wagedd a drygioni at bethau crefydd a bywyd tragywyddol, yn ein rhwymo i'w gwerthfawrogi, yn eu lle prïodol yn llênyddiaeth ein gwlad. Addysgiadol yw eu hansawdd gyffredin, yn cynnwys cynghorion, gocheliadau, a rhybuddion, ac annogaethau i ddiwygiad, a cheir ynddynt yn fynych bennillion a llinellau hynod o darawiadol. Ei fesur mwyaf cyffredin yw "Mesur hen y Wlad," fel ei gelwid yn Morganwg (8 ac 8, 4 llinell, corfan rhywiog); a rhai dyrifau ar "Gadael Tir," neu "Hen Dôn Deheubarth;" "Triban Cyrch;" "Cyhydedd Gyrch," (M.S.); "Anhawdd Ymadael" (llau, 4 llinell); a "Mesur Glàn y Môr," fel ei gelwid gynt yn Morganwg (M.N. 7 a 6).* Yn y detholiad canlynol ceisir gosod ger bron rai rhanau sydd yn dyfod yn nesaf at ansawdd emynau.

Mae y gân "Ar Ddammeg y Mab Afradlawn," Rhif. clxvi., *Canwyll y Cymry*, i'w gweled hefyd yn gyflawnach yn niwedd *Yr Ymarfer o Dduwioldeb*, gan Rowland Vaughan, dan yr enw "Carol Triban,† o

* Eos Ceiriog; Iolo Morganwg, &c. † Sef, Triban Cyrch.

Destun Duwiol." Mae hyn yn peri i ni betruso ynghylch awduriaeth y gân. Gosodwn hi yma yn gyflawn fel y mae gan Rowland Vaughan; nodwn hefyd y pennillion a adäwyd allan yn *Llyfr y Ficer*, fel y gallo y darllenydd ffurfio barn i bwy yn fwyaf tebyg y perthyna yr awduriaeth. Mae yn emyn bur dda, a gellir ei galw,—

CYFFES A GWEDDI PECHADUR EDIFEIRIOL.

1 Myfi sy'n dechreu 'r awrhon,
Yn ail i'r *Mab Afradlon*,
Trwy nerth Iesu, y Mab rhad,
Af at fy Nhad yn union.

2 Mi bechais, mi gyffesaf,
O flaen y nefoedd uchaf;
I'm galw mwy nid teilwng fi
Yn fab i ti 'r Goruchaf.

3 Mi dòrais bob gorchymyn
A roddaist im' i'w ganlyn;
Llawn o bechod wyf erioed,
O fawd fy nhroed i'm coryn.

4 Mewn pechod darfu 'm geni,
'Rwyf yn ymdroi mewn d'ryni,
Mal y ddafad yn y llwyn
Yn nghanol twyn* mieri.

5 Myfi a fûm mor ddiffaith,
(Heb wneuthur pris o'th gyfraith,)
A myned, fel yr hwch neu 'r ci,
Ynghyda 'm brynti ganwaith.

6 Mi wn im' bechu yn oestad,†
Na haeddwn gaffael cènad,
O ran fy ffiaidd fywyd drwg,‡
I godi 'ngolwg atad.

7 Ond eto 'r wyf yn gwybod
Y modd i gael gollyngdod:
Er bod cyfiawnder it', Dduw 'r hedd,
Mae mwy trugaredd ynod.

8 Mi wn ddiddanwch hawddgar,
Llawenydd mawr digymhar,
Fod maddeuant am bob tro,
I'r neb a fo 'n edifar.

9 'Rwy'n edifeiriol bellach,
Attolwg iti eiriach;||
Dywed, Grist, un gair o'th ras,
Ac fe ä dy was yn holl-iach.

10 'Rwy'n meddwl gadael pechu,
Yn llwythog yn trafaelu,
Er mwyn caffael esmwythâd,
Yn dyfod atad, Iesu,

11 I ddiolch am gael meddu
Dy ddoniau i'm dyddanu;
Yn enwedig, fy Nuw Nêr,
Am amser edifaru.

12 A hefyd, fy Nuw cyfion,
I ddiolch am y moddion,—
O nad eled byth o'm gŵydd
Mo'th garedigrwydd tirion.

13 Er bod fy anniweirdra§
Mor goch â'r' scarlad cocha',
Tydi ddichon, fy Nuw gwŷn,**
Fy rhoi mor wŷn a'r eira.

14 O cladd, yr wyf yn erfyn,
Yn medd dy Grist, Anwylddyn;††
Cladd, O cladd, nas gallont hwy
Fyth godi mwy i'm herbyn.

15 Duw, crëa im' lân galon,
I fod i'th garu 'n ffyddlon;
Adnewydda ddull fy mryd,
O'm mewn, â'th Ysbryd union.

16 Dod imi bur amynedd,
Tra byddwy 'n dwyn fy muchedd,
Yn fy mywyd ar bob cam
I feddwl am fy niwedd.

17 Dysg imi heddyw fedru
I fyw trwy lawn hyderu,
Fel pe byddai siŵr fy ngwêdd
O fyn'd i'r bedd yfory.

18 Na roddwyf bwys na hyder
Mewn da na dyn a fager,
Nac mewn dim, ond ynot ti,
Un Duw a thri, bob amser.

19 Dod imi ras i edrych
A gwneuthur a orch'mynych,
A gorchymyn, y Duw gwŷn,
I'm wneyd yr hyn a fŷnych.

20 Dod ras im' i ddiystyru
Y byd, a gallael trechu
Y cnawd brwnt, a gochel gwall,
Rhag cael o'r fall fy maglu.

21 Dod imi 'n hyn o fywyd
Ddïogel obaith hyfryd,
Bywiol ffydd i fyn'd i'r daith,
A chariad p

22 A thyred,
Fel dyna‡‡
Tyred ch
I gael dy
......Olv.

*Twmpath. † Yn wastadol. ‡ Neu, *Fuchedd Da*[illegible]
|| Arbed. § Drygioni, afreolaeth. ** Sanctaidd. †† Y Dyn Crist Ie[illegible]
‡‡ Wel, dyma. *Can. y Cymry.* |||| Ar frys, yn fuan. §§ "Bydd yn [illegible] pethau hyn mewn amser i ddyfod."

Nid yw y gân hon yn yr hen argraffiadau o *Ganwyll y Cymry;* yn niwedd argraffiad Rhys Thomas, yn 1770, y dygwyd hi i mewn gyntaf. Y pennillion a adäwyd allan yw y 10, 11, 12, 19, 20, a'r 21, y rhai ŷnt yn ymddangos yn rhanau hanfodol o hóni. Yr oedd y Ficer o Lanymddyfri a'r Yswain o Gaer Gai yn cydoesi, ac yn ysgrifenu prydyddiaeth ar yr un amser. Dichon i'r Ficer gopïo y gân yn dalfyriedig i'w thaenu ymysg ei blwyfolion, fel y gwnelai â'i ganiadau ei hun, a thrwy ei chael yn ei lawysgrifen ef, ymhen mwy na chan' mlynedd gwedi, i Rys Thomas dybied mai efe oedd ei hawdwr. Cymharer hon â "Galarnad Pechadur," rhif xx., *Canwyll y Cymry,* ac fe ganfyddir fod cryn wahaniaeth yn arddull y ddwy gân, a bod hon yn ymddangos yn nês i arddull emyn flaenorol R. V. ar yr un testun; td. 440, uchod. Beth bynag yw barn y darllenydd, yr ŷm ni yn bersonol, oddiar yr ystyriaethau hyn, yn tueddu i gyfrif ei hawduriaeth i Rowland Vaughan.

Mae yr emynau isod wedi eu cymeryd o waith diammheuol y Ficer, a gellid eu canu ar dônau cyfaddas er hyfrydwch ac adeiladaeth. Maent yn syml, yn brydferth, a sylweddol; ac nid ydynt yn amddifad o ysbryd gwir farddoniaeth. Dyfyniadau ydynt o ganiadau meithach: y tair gyntaf allan o rhif ii., "Cynghor i wrandaw ac i ddarllen gair Duw." Dywedir mewn nodiad ar waelod td. 20—"Cyfansoddwyd y gân hon, wrth bob tebygolrwydd, yn fuan gwedi'r flwyddyn 1630, pan argraffwyd y Bibl Cymraeg y tro cyntaf mewn maintioli bychan at wasanaeth y bobl gyffredin; yr unig Fiblau Cymreig cyn hyny oeddynt y rhai mawrion unplŷg a arferid mewn eglwysydd, pris y rhai oedd uwchlaw cyraedd y werin; ond am fod y llyfr sanctaidd i'w gael am bris isel, y mae yma annogaeth daer i'w brynu a'i ddarllen."

1. BUDDIOLDEB Y GAIR.

1 Bwyd i'r enaid, bara'r bywyd,
Gras i'r corff, a maeth i'r ysbryd,
Lamp i'r troed, a ffrwyn i'r genau,
Yw gair Duw, yr Ysgrythyrau.

2 Llaeth i fagu 'r gwan ysbrydol,
Gwin i lòni 'r trist cystuddiol,
Manna i borthi 'r gwael newynllyd,
Ydyw 'r gair, efengyl hyfryd.

3 Drych yw 'r gair sydd yn dynoethi
Ein holl frychau a'n holl frynti;
Ac yn erchi ini eu gwella,
Tra fo'r dydd a'r goleu 'n para.

4 Hwn yw 'r hâd sy'n adgenedlu
Plant i Dduw, a brodyr Iesu,
Teulu 'r nef, yn demlau 'r Ysbryd,
Gwir drigolion tir y bywyd.

5 [Clod, anrhydedd, diolch, moliant,
Byth i Frenin y Gogoniant,
Am ei air yn llusern gymhwys,
I'n goleuo i Baradwys.]

2. EFFEITHIOLDEB Y GAIR.

1 Heb y gair nis gellir 'nabod
Duw, na'i natur, na'i lân Hanfod,
Na'i Fab Crist, na'r sanctaidd Ysbryd,
Na rhinweddau 'r Drindod hyfryd.

2 Heb y gair ni ddichon un-dyn
'Nabod 'wyllys Duw, na'i ganlyn,
Na gwir ddysgu ffordd addoli,
Nes i'r gair ro'i iddo oleuni.

3 Heb y 'Sgrythyr ni ddealla
Un-dyn byth ei gwymp yn Adda,
Na'i drueni, na'i ymwared
Trwy Fab Duw o'r fath gaethiwed.

4 Heb y gair nid yw Duw 'n arfer
Troi un enaid o'i ddiffeithder;
Ond trwy 'r gair mae 'n arferedig
Droi eneidiau fo cadwedig.

5 Mae yn cynnwys ynddo 'n helaeth
Faint sy' raid i iachawdwriaeth:
Chwilia hwn, a chais e'n astud,
Ynddo mae 'r tragwyddol fywyd.

3. CYNGHOR I WRANDAW, DARLLEN, A CHWILIO YR YSGRYTHYRAU.

1 Crist sy 'n erchi it' lafurio
Am y gair â'th draed a'th ddwylo,
Mwy nag am y bwyd a dderfydd,
O chwennychi fyw 'n dragywydd.

2 Fel y llêf dyn bach am fronau,
Fel y cais tir cras gawodau,
Fel y brefa 'r hŷdd am ffynnon,
Llef am air efengyl dirion.

3 Dyfal chwilia 'r Ysgrythyrau,
Darllen air Duw nos a boreu;
Dilyn arch y gair yn ddeddfol,
Hyn a'th wna di 'n ddoeth ragorol.

4 Gwna fe'n bea cynghorwr iti,
Gwna fe'n athraw i'th reoli,
Fe rydd lwyddiant a dyddanwch,
Rhydd it' lawer o ddedwyddwch.

5 Duw ro ras a grym i'r Cymry
I'w adnabod a'i was'naethu;
Crist a'u nertho bawb i ddarllain
Llyfyr Duw 'n hiaith eu hunain.

4. GWEDDI FOREUOL.*

1 Duw trugarog, Tad tosturi,
Er mwyn Crist, rho bardwn imi
Am fy meiau oll, a'm pechod,
Sy' mewn rhif yn fwy na'r tywod.

2 Dysg fi gadw d' orchymynion,
A'u gwir garu â'm holl galon,
A'u cymeryd oll yn rheol,
I fyw wrthynt yn wastadol.

3 Cyfarwydda, â'th lân Ysbryd,
Fi i drefnu fy holl fywyd,
Gair a gweithred, pob amcanion,
Wrth d' ewyllys a'th orch'mynion.

4 Nâ'd i wagedd y byd yma,
Megys llwydrew a ddiflana,
Beri im' golli gwir lawenydd
A mawr fraint y byd na dderfydd.

5 Gwna fi 'n barod i gael gorphwys,
Gyda Christ, yn nglân Baradwys,
I'th foliannu trwy lawenydd,
Mewn dedwyddwch yn dragywydd.

5. GWEDDI AR DDECHRE ADDOLIAD.†

1 Duw trugarog, Tad goleuni,
Rhoddwr gras a phob daioni,
Gwel dy blant sydd yn ymgynnull
I'th addoli yn dy bebyll.

2 O bendithia ein cyfarfod,
Cyfarwydda ein myfyrdod;
A dod awydd yn ein calon
I'th addoli di yn ffyddlon.

3 Gwna ni 'n addas ac yn weddaidd
I glodfori d' enw sanctaidd;
Gwna ni 'n barod a gofalus,
Bawb i wrandaw d' air yn barchus.

4 Duw, bendithia ein pregethwr,
Yn mhob deall, gras, a chryfdwr,
I bregethu gair y bywyd,
Yn ngoleuni pur dy Ysbryd.

5 O bendithia ef a ninnau,
A sancteiddia ein calonau;
Dyro ras a medr ini
Yn gymeradwy dy addoli.

6. YMDDIRIED YN RHAGLUNIAETH DUW.‡

1 Duw ni attal un daioni,
Oddiwrth neb a fo'n ei ofni;
Bwrw d' ofal ar yr Arglwydd,
Ac fe 'th bortha mewn helaethrwydd

2 Llygaid pob creädur bywiol
Sydd yn dysgwyl ar Dduw nefol,
Am roi maeth ac ymborth iddynt,
Yntau 'n hael yn rhanu rhyngddynt.

3 Mae e'n porthi plant y gigfran,
Oni phortha 'i blant ei hunan?
Mae 'n gofalu am ddyn a'i enaid
Mwy nag am ei holl greäduriaid.

4 Fe roes iti gorff a bywyd,
Anadl, einioes, cryfder, iechyd,
Deall, rheswm, cof, a chyfri',
Oni rydd ef fara iti?

5 Duw sy'n d'wedyd wrthyt, (craffa)
"Lleda 'th safn, a mi a'i llanwa;
Cymer boen mewn galwad union,
Mi fendithia' d' holl orchwylion."

7. Y SARPH BRES.||

1 Y sawl a frathwyd gan y ddraig,
Dewch at Grist Iesu, Hâd y Wraig;
Dewch ac edrychwch arno 'n brudd,
A chalon friw, a llygad ffydd.

2 Efe yw 'r ddysglaer Sarph o brês,
A ladd y gwenwyn, ddofa 'r gwrês:
O dewch, edrychwch arno mwy,
Nes llwyr iachâu eich dwfn glwy'.

* Allan o xxxviii., Canwyll y Cymry. † Talfyriad o rhif lxxxii. ‡ Pigion o rhif clvi. || Cynnullgân *(cento)* o cxlviii., viii., cl., a iv.

3 Yn gryno mae yn Nghrist ei hun,
Oll ag sy' raid i gadw dyn:
Gwael yw y gwaith, a thlawd, a thrist,
O geisio bywyd ond trwy Grist.

4 Efe offrymai ar y groes,
Pan ydoedd chwerwa', lyma'i loes,
Ei enaid gwŷn, a'i waed i gyd,
Yn aberth dros bechodau 'r byd.

8. IACHAWDWRIAETH TRWY GRIST.*

1 Trugaredd Duw yn Nghrist ei hun,
Sy' ganmil mwy na phechod dyn;
Lle yr amlhäodd pechod cas,
Yn rhagor yr amlhäodd gras.

2 Paham y collodd Crist ei waed?
Ei offrwm wnaeth yn aberth rhad,
Yn iawn i Dduw dros anwir ddyn,
Oedd wedi llwyr ddinystrio 'i hun.

3 Mae holl allweddau uffern drist
Yn llaw ein Prynwr, Iesu Grist;
Mae' r sarph dan sawdl Hâd y Wraig,
Mae'r Oen yn drech na'r llew na'r ddraig.

4 Yn awr yw 'r amser goreu i maes,
Yn awr yw dydd ac amser gras,
Dychwelwn oll yn Nghrist at Dduw,
Cawn ynddo ef ein cadw 'n fyw.

9. YSBRYD DUW SY'N GWEITHIO FFYDD TRWY Y GAIR.†

1 Er codwm Adda, nid oes un
All droi at Dduw o'i waith ei hun:
Nid oes a wna, o'r aflan ryw,
Ddaioni byth heb Ysbryd Duw.

2 Nis gall y gair tu faes ei hun
Byth weithio ffydd yn enaid dyn;
Ond Ysbryd Duw, ynghyda'r gair,
Sy'n gweithio ffydd, p'le byna'i ceir.

10. UNIG GEIDWAD DYN.‡

1 Crist ei hun sydd oll yn oll,
I gadw dyn rhag myn'd ar goll;
Neb, na dim, ond Crist ei hun,
Ddichon gadw enaid dyn.

2 Dyma 'r gair a wnaed yn gnawd,
Iesu Grist, ein Duw a'n Brawd;
Rhaid oedd iddo 'n Dduw a dyn
Weithio 'r gwaith cyn cedwid un.

3 Gwaed yr Oen sydd yn iachâu,
Ac yn achub rhag y gwae;
Gwaed ei groes, yn Dduw a dyn,
Wnaeth y ddwy-blaid ddîg yn un.

4 Y mae ynddo Ef yn llawn
Bob rhyw haeddiant, gras, a dawn,
Pob cyflawnder ynddo 'i hun,
Ag sy raid i gadw dyn.

5 Crist a'n gwna yn blant i Dduw,
Crist a'n ceidw byth yn fyw,
Crist, heb neb ond Crist ei hun,
Ydyw unig Geidwad dyn.

11. OEN DUW A GOLEUNI'R BYD.||

1 Crist yw 'r Oen difrychau i gyd,
Dyna 'i ffwrdd bechodau 'r byd,
Ac a ddofai lid ei Dad,
A'i fywyd gwŷn a'i werthfawr waed.

2 Crist yw gwir Oleuni 'r byd,
Crist yw 'n bywyd oll i gyd;
Hebddo, ni chawn weled Duw;
Trwyddo, ni gawn ynddo fyw.

3 Fe ä pawb i uffern drist,
Ond a gredo 'n Iesu Grist;
Ac heb gredu ynddo Ef,
Nid ä enaid byth i'r nef.

4 Beth yw dyn heb gymhorth Crist,
Onid caethwas Satan drist?
Ond trwy rin ei werthfawr waed,
Fe gaiff Satan dan ei draed.

5 Fe roes Crist â'i werthfawr waed,
Bridwerth trosom ni i'w Dad,
Pan ddyoddefodd farwol loes,
Am ein beïau, ar y groes.

12. MAWL AM GARIAD CRIST AT Y BYD.§

1. Rhyfeddwn fawr gariad Mab Duw at y byd,
Pan ddaeth ef o'r nefoedd i 'n prynu mor ddrud;
Myfyriwn i gofio am gariad Mab Duw,
A'i foli 'n wastadol tra byddom ni byw.

* Cynnullgân o clxxxiv., clxxxiii., &c. † Pigion o clxxxii. a cl. ‡ Pennillion a bânau cynnull o rhif vii. ac viii. || Etto o rhif xv. § Cynnullgân o rhif v.

2 Cyflawnodd y gyfraith, boddlonodd ei Dad,
Fe brynodd ein pardwn, fe'i seliodd â'i waed;
Fe 'n dygodd ni eilwaith i heddwch â Duw:
Moliannwn yr Iesu tra byddom ni byw.

3 Fe ddŷg ar y croesbren ein pechod bob un;
Fe 'n golchodd o'n beiau â'i wir waed ei hun;
Fe 'n gwnaeth yn frenhinol offeiriaid* i Dduw:
Moliannwn yr Iesu tra byddom ni byw.

4 Fe ddofodd lidiogrwydd a digder ei Dad;
Fe 'n gwnaeth yn blant iddo trwy fabwys a rhad;
Fe rôdd i ni gyfran o deyrnas ein Duw:
Moliannwn yr Iesu tra byddom ni byw.

5 Gogoniant, a gallu, a diolch bob pryd,
A fyddo i'r glân-Drindod, o'n prynu mor ddrud;
A mawr-glod, a moliant, i'n Prynwr a'n Pen,
A d'weded pob cristion yn wastad—Amen.

13. ANNOGAETH I DDYFOD AT GRIST.†

1 Dewch bawb sy drwmlwythog, dan bechod a bai,
Dewch at eich Iachawdwr, sy'n gwahodd pob rhai,
I laesu 'ch trwm-lwythau, a'ch blinder i gyd;
Efe a'ch dadflina, dewch ato mewn pryd.

2 Dewch bawb at Grist Iesu, sy'n gwahawdd mor fwyn,
Gan dywallt eich calon, a gwnenthur eich cŵyn;
Ond dangos eich dolur, yn fawr ac yn fach,
A deisyf ei gymhorth, fe 'ch gwna chwi 'n holl iach.

3 Chwâl ymaith eich ofnau, eich dagrau fe 'u sych,
Cyweiria 'ch archollion, mae 'n Feddyg mor wych;
Fe 'ch gylch o 'ch pechodau â'i waed bob yr un,
A gesyd byth ynoch ei Ysbryd ei hun.

4 Fe 'ch dŵg chwi drachefn i ffafor â Duw;
Fe 'ch ceidw mewn cariad tra fyddoch chwi byw;
Fe 'ch gwna chwi yn feibion a merched i'w Dad,
A chydetifeddion o'i deyrnas yn rhad.

14. YR ANGEN AM WAREDWR.‡

1 Mae pawb mewn tywyllwch wrth natur, yn byw
Yn nglŷn cysgod angau, heb nabod o Dduw:
Mae 'n rhaid i Grist Iesu 'n goleuo â'i ras,
A'n tŷnu o'r tywyllwch, cyn deler i maes.

2 Mae 'r fall wedi 'n clwyfo a'n brathu bob rhai,
Mae 'n harcholl yn rhedeg bob amser heb drai;
Ni ddichon un meddyg dan haul ein hiachâu,
Nes delo Crist atom â'i waed i'n glanhâu.

3 Pe chwilit ti 'r nefoedd a'r ddaear ynghyd,
A'r awyr a'r moroedd, hyd ddiwedd y byd,
Ni ellit ti ganfod, tra fyddit ti byw,
Un ceidwad i'th enaid ond unig Fab Duw.

4 Nac ymgais am Geidwad heblaw Crist ei hun,
Mae 'n Geidwad galluog, yn Dduw ac yn ddyn;
Nid oes iachawdwriaeth, nac enw tan nef,
I gael mewn neb arall, ond sydd ynddo Ef.

*Cymh. Dad. i. 5, 6, a 1 Pedr ii. 5, 9. †Pennillion detholedig o rhif xi. fel amryw o'r rhai blaenorol, ar gynllun Casgliad o Salmau a Hymnau, gan y Parch. John Roberts, M.A., gynt Ebrwyad Tremeirchion, Swydd y Fflint. Ail Arg., 1831, td. 122. ‡Rhif xi. 1 21 31, a 32.

15. IACHAWDWRIAETH YN UNIG YN NGHRIST.*

1 Ymafael yn dy Brynwr
Yn dŷn â llaw dy ffydd;
O myni gael dy gadw,
Dal d'afael ynddo 'n brudd;
Na choll dy afael arno,
Nes caffech rym a gras
Oddiwrtho i gadw d'enaid,
A bydd byth iddo 'n was.

2 Na ymddiried i'th weithredoedd,
Na 'th ddysg, na 'th ddâ, na 'th ryw;
Ni all dim gadw d'enaid
Ond ffydd yn un Mab Duw:
Os rhoi d' ymddiried ynddo,
Ni chollir d'enaid byth;
Heb Grist os ceisi ei gadw,
Ei golli wnai dros byth.

3 Ni chedwir neb yn ddïau,
O hyn hyd ddiwedd byd,
Ond y rhai gadwo 'r Iesu,
Mae pryniad dyn mor ddrud:
Ni fŷn y Barnwr cyfiawn,
Yn iawn am bechod dyn,
Ddim llai nag angau gwerthfawr,
A gwaed Mab Duw ei hun.

4 Ni ddichon un-dyn haeddu
Trugaredd ar law Duw;
Ni bu 'rioed arno ddyled
I neb o ddynol ryw:
Mae pawb yn rhwym i'w addoli
A'i foli âg uchel lef,
Heb ddyled arno er hyny,
Pawb yn ei ddyled ef.

5 Mae 'n rhaid i Grist ail greu
Pechadur ar ei lûn,
A'i droi 'n grëadur newydd,
Ar ddelw Duw ei hun;
A newid ei feddyliau,
Ei rân,† ei rym, a'i ryw,
Cyn gallo dyn feddiannu,
Na gweled teyrnas Dduw.

6 Anmhosibl yw, gan hyny,
I unrhyw fath o ddyn
Feddiannu teyrnas nefoedd
Trwy 'i rym a'i allu ei hun,
Na dianc o law Satan,
Na safn yr angau glâs,
Na dial Duw a'i felldith,
Heb gymhorth Crist a'i ras.

Yn y cynnullganau (*centoes*) rhagflaenol, alleiriwyd rhai llinellau, ac i'r dyben hwn defnyddiwyd yn fynych y geiriau eglurhäol ar odre'r dail; a thraws-gyflëwyd amryw bennillion, er mwyn i'r syniadau ddilyn eu gilydd yn fwy cyson. Mae caniadau y Ficer agos oll yn feithion, yn ol arfer emynwyr Cymreig a Seisonig yr oes hono, a'r rhai Lladinaidd yr oesau blaenorol. Am y priodoldeb o ddethol, talfyru, ac aralleirio rhanau o emynau nas gellid yn gyflëus eu defnyddio yn gyfain o herwydd eu meithder, neu anghyfaddasrwydd eu rhanau eraill i'r amcan penodol, gallem gyfeirio at rai cynlluniau ysgrythyrol. Yn ei sylwad ar Salm cviii., dywed Peter Williams fel hyn:—"Y Salm hon a gyfansoddwyd o Salm lvii. a lx. Y mae yr adnodau cyntaf o'r Salmau hyny wedi eu gadael allan yma, oblegid, ysgatfydd, nad oedd yr achwyniadau a gynnwysir yno yn addas i amgylchiadau mwy cysurus; lle gwelwn nad yw yn anweddus gyweirio Salm neu hymn, allan o amryw ranau o'r Ysgrythyr, ar achosion neillduol." Cyweiriadau o'r fath yn gymhwys a amcanwyd yn y detholion uchod o ganau y Ficer Prichard. Mae eu cynnwysiad oll yn ysgrythyrol, ac nid oes ynddynt un syniad nad yw idd ei gael yn ei Waith, a hyd y gellid yn ei eiriau ef ei hun. Mae eu teilyngdod yn gynnwysedig yn eu tlysni, eu symledd, a'u hagosrwydd atom, yn ein hymyl, yn taraw ar gyflwr a sefyllfa pawb yn gyffredinol. Nid yw efe byth yn ehedeg yn uchel. Ymhoffai mewn trin a thrafod pethau cyffredin a gwladaidd, a thŷnu addysgiadau buddiol oddiwrthynt. Mae yr athrawiaeth ganddo yn oleu, iachus, a phur, ond anfynych y mae y farddoniaeth yn wresog, tanbaid, a chynhyrfiol, y fath ag a anadlwyd, gan mlynedd yn ddiweddarach, yn yr un gymydogaeth, o

* Rhif xii. 1, 2, 7, 13, 15, 21. † Gwêdd, granygre; *visage*.

giliau Pantycelyn. Yr oedd Rhys Prichard yn cydoesi â'r rhai diweddaraf o gyfieithwyr y Bibl.* Gogleddwyr oeddent hwy, gwŷr dysgedig, a thra chyfarwydd yn yr iaith Gymraeg; nid oedd efe yn dyfod i fyny â hwy fel beirniad yn iaith ei wlad, ac ni fuasai cyfieithiad o'r Ysgrythyrau dan ei law ef yn debyg o ddal ei dir; ond fel pregethwr y gair y rhagorodd efe yn ei oes, ac yn hyny yr oedd efe, fel Ioan Fedyddiwr, yn "ganwyll yn llosgi ac yn goleuo." Tebygol mai efe oedd y pregethwr poblogaidd cyntaf yn Nghymru, ac na bu i'r tân a gynneuodd trwy ei weinidogaeth ef lwyr ddiffodd hyd amser Griffith Jones, Llanddowror, pryd y torodd allan yn fflamau goddeithiol trwy Howel Harris, Daniel Rowlands, a'u cydweithwyr, pregethwyr tanllyd y Diwygiad Methodistaidd, a lewyrchodd yn gyntaf yn y Deheubarth, ac oddiyno a dreiddiodd i ardaloedd tywyll Powys a Gwynedd. Dywedir iddo gael ei erlyn yn y Llŷs Eglwysig, o herwydd ei ymdrech a'i ffyddlondeb i bregethu yr efengyl.† Gwnaeth ddaioni yn ei ddydd, ac y mae ei goffadwriaeth yn fendigedig.

Ysgrifenwyd y gân neu yr emyn ganlynol ar "Fyrdra Oes Dyn" gan y Parch. John Morgan, M.A., awdwr "Myfyrdodau Bucheddol ar y Pedwar Peth Diweddaf, sef Angau, Barn, Nef, ac Uffern," llyfryn bychan o 22 tu dalen, a argraffwyd yn Llundain yn 1714, ac ar ol hyny yn 1745. Yn ei lythyr cyflwyniad, dyddiedig, Matchin yn Essex, y 6 o Fai, 1714, mae yr awdwr yn cyflwyno ei lyfryn i Blwyfolion Llanfyllin, yn Sir Drefaldwyn, lle y buasai yn flaenorol yn gweinidogaethu fel curad, megys rhyw gydnabod am eu cariad tuag ato, pan oedd yn preswylio yn eu mysg. Ymddengys fod yr awdwr yn ŵr dysgedig a difrifol, yn Gymreigydd da, ac yn ddeallus yn rheolau barddoniaeth, fel y gwelir wrth yr englynion a'r caniadau yn niwedd y llyfr, yr olaf o ba rai sydd ar farwolaeth yr enwog Edward Llwyd, Ceidwad y *Musæum* yn Rhydychen. Yn y "Myfyrdodau," mae ei iaith yn eglur a phur, a'i frawddegau yn nodedig o fŷr-eiriog a chryno. Ond prin y mae ei dôn yn ddigon *efengylaidd;* y mae weithiau yn tueddu i fod yn *ddeddfol*, yn ystyr anghymeradwy y gair. Gydag ychydig gyfnewidiad mewn brawddeg neu ddwy, gallai llyfryn J. M. wneyd traethodyn crefyddol pur dda. Gosodwn y gân soniedig fel cynllun o farddoniaeth grefyddol yr oes. Mae ei gynghaneddiad yn ystwyth, a'i odlau yn gywir, ond golwg bruddglwyfus a gymer ar dywyllwch "glŷn cysgod angeu," ac nid yw yn anturio dywedyd fel y Salmydd,—"Nid ofnaf niwed, canys yr wyt ti gyda mi; dy wïalen a'th ffòn a'm cysurant," nac yn codi ei olwg, fel Paul, at "yr Hwn a ddiddymodd angeu, ac a ddŷg fywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy'r efengyl." Cip-drem o obaith trwy y niwl yn unig a geir yn y pennill olaf.

AR FYRDRA BINIOES DYN.

1 Pob gobaith hiroes ymaith tŷr
O'th fywyd bŷr anwadal;
Nid oes ond edau ungorn frau,
Nad eill barhâu, 'n ei gynnal.

2 Gwneyd iddo fabiaeth‡ mawr ni wiw;
A bŷred yw ei bara:
E dawdd, wrth ei gofleidio 'n awr,
Yn gynt i lawr, fel eira.

3 I'r wlad o'r dref, i'r sych o'r alaith,
Er cym'ryd taith rhag angau,
Ni ddiengi 'mraint y tecaf tir,
Na than yr awyr oreu.

4 Ni ddeil ei law, nid â'n ddi-lwydd,
Er nerth, na swydd, na synwyr:
Am Hywel Dda p'le holi 'n awr?
Neu wyrthiau 'r cawr gan Arthur?

* Hanes Crefydd yn Nghymru, gan D. Peter, td. 524—526. † Canwyll y Cymry, td. 309, arg. 1858. ‡ Moethau, mwythusder, porthi â moethau.

5 Ei mesur cylchau 'r wybr dô,
A thaith a thro pob seren,
Mae'r holl fyfyrdod yn y man,
A'r orchest, dan dywarchen.

6 Tra 'r ŷm yn chwareu 'n hŷ' ddi-rus,
Uwch ben twyllodrus waelod,
Mae 'r ddaear yn malurio i lawr,
A'r bedd bob awr yn barod.

7 Mae angeu 'n rhodio o'n hôl bob pryd,
Tan fesur hŷd ein camrau;
A phob rhyw enyd fach, heb fêth,
Yn difa peth o'n dyddiau.

8 Dedwydd y sawl a roddo ei fryd
A'i serch ar fyd tragwyddol:
E gaiff, pan ffaelo bydol ffun,
Am fèroes un anfarwol.

Dystaw iawn ydoedd llais cân a moliant ymhlith yr Anghydffurfwyr a'r Ymneillduwyr yn Nghymru yn yr yspaid hwn. Nis gwyddom yn iawn pa fodd i gyfrif am hyn. Fe ddichon fod rhai yn eu mysg yn ammheu y prïodoldeb o ganu mewn addoliad, a gwyddom y bu hyny yn destun dadl am gryn amser yn Lloegr, ac mai trwy anhawsdra mawr y llwyddwyd i ddwyn i mewn ganiadaeth gysegredig i rai o'r eglwysi Ymneillduol.* Neu, o herwydd erlidigaethau a chyfyngder eu hamgylchiadau, eu bod yn ymfoddloni yn y Salmau Cân, a chaniadau y Ficer, heb deimlo, dros ryw hyd, nemawr o duedd at gyfansoddi emynau. Mae yn amlwg mai trwy eu hymdrechion hwy yn benaf y dygwyd allan *Ganwyll y Cymry*, ac y taenwyd y llyfr yn y wlad, yn yr ysbaid dan sylw. Yr oedd rhai ymhlith yr Anghydffurfwyr Cymreig yn alluog i ysgrifenu barddoniaeth, pe derbyniasent gefnogaeth ddigonol. Gallwn enwi

MORGAN LLWYD

yn flaenaf. Mab, y mae yn debygol, oedd efe i Huw Llwyd, o Gynfal, yn Swydd Feirionydd. Galwyd ef trwy weinidogaeth Walter Cradoc yn Ngwrecsam, tebygol, pan oedd efe yn ŵr ieuanc yno yn yr ysgol, a bu yn gweinidogaethu yno ar ol ymadawiad Mr. Cradoc. Yr oedd yn ŵr o gynneddfau cryfion, dwys fyfyrdod, a symlrwydd duwiol; ond er bod llawer o wreiddiolder yn ei syniadau, y mae yn fynych yn anhawdd i'w ddeall, ac o duedd ddirgeledig a chyfriniol. Yr oedd yn bregethwr ymroddgar a llafurus, a theithiodd lawer yn achos yr efengyl trwy y Gogledd a'r Deheubarth. Bu farw o gylch y fl. 1660, a chladdwyd ef yn mynwent yr Ymneillduwyr gerllaw Gwrecsam.

Yr oedd efe yn ysgrifenydd Cymreig medrus. Cyhoeddodd gryn nifer o lyfrau bychain yn yr iaith. Dyma restr o honynt:—

1. Llyfr y tri Aderyn. 1653. Hwn yw yr helaethaf o'i lyfrau.
2. Gair o'r Gair, neu Sôn am Sŵn. 1656.
3. Yr Ymroddiad. 1657.
4. Y Dysgybl a'i Athraw o Newydd. 1657.
5. Cyfarwyddyd i'r Cymry. 1657.
6. Gwyddor Uchod. 1657.
7. Gwaedd yn Nghymru, &c., ynghyda "Llythyr at y Cymry cariadus," a "Hanes ei Fywyd Ysbrydol, a ysgrifenwyd ganddo ei hun." 1727; ond nis gwyddom ai ail argraffiad ydoedd hwn.

Argraffwyd y rhai cyntaf oll yn Llundain; ac y mae rhif 3, 4, 5, a 6, ar yr un plygiad (24 mo.), ac yr oeddent yn cael eu cydrwymo. Ail-argraffwyd hwynt yn y Mwythig hefyd yn 1765. Math o gân neu

* Gwel *Brown's Encyclopædia of Rel. Knowledge. d. g. Psalmody. Buck's Theological Dict. d. g. Singing. Sunday at Home, July*, 1869, *pp.* 472, 473.

bryddest yw rhif 6, "Gwyddor uchod," a'r llythyrenau Ll. G. M. wrthi. Pa beth bynag yw arwyddocâd y llythyrenau hyn, mae ieithwedd a chynnwysiad y gân yn ein tueddu i brïodoli ei hawdwriaeth i Morgan Llwyd. Ymddengys ei fod ef yn dal rhyw ffurf o sywedgoel *(astrology)*, sef, bod gan y sêr a'r planedau ryw ddylanwad ar ddyn tra yn ei gyflwr natur, ond wedi ei ddychwelyd trwy ras, ei fod yn cael ei gyfodi uwchlaw y dylanwadau hyny. Dodwn yma ychydig bennillion fel cynllun yn unig o'i gynghaneddiad, a chyfeiriwn y darllenydd at Dosb. 6, o'i *Gyfarwyddyd i'r Cymry*, fel cynllun o areithyddiaeth effro a thanllyd y pregethwr.

AM ADNABOD DUW.

1 Tad yw Duw, y byd cenedlodd;
Duw yw 'r Mab, y cyfan prynodd;
Ysbryd Duw [yw ein sancteiddydd,
Ein cynnorthwy, a'n dyddanydd].

2 Nid yw Duw ddim ar a welir:
Duw drwy cwbl a ganfyddir:
Ar y ddaear nid oes arall;
Yn y nef mae uwch pob deall.

3 Sôn am helynt, sôn am dynged,
Sôn am adar, bwystfil, pryfed,
Sôn am ddyddiau, gynt neu gwedi,
Sôn am Dduw yw 'r sŵn o ddifri'.

4 Rhyfedd yw, ac agos atom;
Rhyfedd yw yn gwylio drosom;
Rhyfedd! pwy a all ei wadu?
Rhyfedd nad yw pawb i'w garu.

5 Rhyfedd oedd cyn bod y bydoedd;
Rhyfedd pan ddarfyddo 'r oesoedd:
Rhyfedd ei anrhydedd cyntaf,
Rhyfedd fydd ei glod diweddaf.

6 Beth yw Duw? medd llawer enaid;
Mae adnabod Duw 'n angenrhaid:
Neb nis cenfydd ar a lygrir;
Pawb a'i cenfydd ar a gedwir.

7 Cariad dystaw ydyw 'r Arglwydd,
Pur, annhraethol, dirgel, dedwydd;
Duw, heb gâs, heb sŵn, heb dristwch,
Dinewidiad, heb dywyllwch.

8 Calon byd yw Duw ei hunan;
O'i ewyllys y daeth allan:
Yr oedd Duw cyn gwneuthur unlle,
Oll yn oll yn llenwi pob lle.

9 Ni wnaeth Duw mo 'r byd o hir-bell,
Fel rhyw saer yn gwneuthur pabell;
Ond o hóno, mae 'r byd trwyddo,
Ac yn unig sefyll ynddo.

10 Ond mae Ysbryd Duw mewn dynion,
Yn dadguddio rhyfeddodion:
Lle bo hwn, a'r dyn i'w garu,
Mae fe 'n eglur ddangos Iesu.

Dyma ychydig ddyferion o fêl a dynwyd allan o ysgerbwd y llew marw *sywedgoel*, a hyny, gobeithiwn, heb ddim adflas arno; o leiaf gall y dogn hwn wasanaethu i barotôi y cylla a'r chwaeth i dderbyn y dysgleidiau bychain o fwyd blasus sy genym yn awr i'w gosod ger bron. Nid ŷm yn sicr o'r cogydd, ond anturiwn i enwi un oedd yn llafurio ymysg yr Ymneillduwyr, ac wedi cyhoeddi amryw lyfrau crefyddol bychain o fewn y chwarter cyntaf o'r ddeunawfed ganrif; sef,

Y PARCHEDIG THOMAS BADDY,

awdwr "Hymnau Sacramentaidd 'Scrythyrol, &c.," argraffedig yn Llundain yn 1703. Methodd arnom gael gafael ar y llyfr, ond gwelsom gynt gynghaneddiad yr awdwr ar Ganiad Solomon, argraffedig yn Nghaerlleon yn 1725. Yr oedd ei nodiadau eglurhäol ar yr adnodau, o un i un, yn bur dda; ond yr oedd y cyfansoddiad prydyddol yn salw ac anfoddhäol. Yr ŷm yn dyfynu yr emynau canlynol o lyfr bychan o waith Birkitt, a elwir "Cymhorth i'r Cristion, a Chyfarwyddyd i'r Gŵr Ieuanc," argraffedig yn y Mwythig, gan Thomas Jones, yn 1704. Dywed y cyfieithydd, yn ei lythyr "At y Cymry Anwyl," iddo adael

allan yr hymnau oedd yn y llyfr Saesoneg, a gosod yn eu lle hwynt rai a gafodd yn barod i'w law, o waith gweinidog parchedig, enw yr hwn oedd gydnabyddus yn eglwys Dduw, trwy Gymru a Lloegr. Nid ŷm yn gwybod am un ysgrifenydd hymnau yn y blynyddoedd hyn ond T. B., y mae nodwedd ysgrythyrol yr hymnau yn ein tueddu i'w priodoli iddo ef; ond os ŷm yn camsynied, bydd yn dda genym gael ein cywiro. Mae braidd yn sŷn genym nad yw yr emynau hyn wedi cael lle mewn un casgliad hymnau perthynol i un enwad crefyddol yn Nghymru, er y cynnwysant ugeiniau o rai heb fod yn agos cystal.

### 1. AR DDYDD YR ARGLWYDD.

1 Rhoddaist, O Dduw, neillduol ddydd
I fod yr arwydd hyfryd,
O ragorfreintiau uchel iawn:
Mawr ydyw 'r ddawn i'r hollfyd.*

2 Dy Sabbath sanctaidd arwydd yw
Dy fod yn Dduw i'th bobl,
A'th fod yn gwâ'dd pob Cristion da
I gael gorphwysfa nefol.†

3 Ti wneist y nef a'r ddaear faith,—
Clodforwn waith dy fysedd:
Gorphwysaist ar y seithfed dydd,—
Mor ddedwydd yw dy orsedd.

4 Mae 'r haul, a'r lloer, a'r nefoedd lân,
Yn dadgan dy fawrhydi:‡
Anfeidrol yw doethineb Duw,
Rhyfeddol yw 'th ddaioni.

5 D'wedodd y gair, a gwnaeth y byd,
A'i gyfan olud ynddo;
Crëodd y cwbl trwy fawr nerth,—
Mor brydferth y mae 'n gweithio.

6 Erbyn y Sabbath y gwnaeth ddyn,
Yn derfyn ei weithredoedd;
Tywysog têg ar bob peth byw,
Ond gwas i Dduw y lluoedd.

7 Mae pob crëadur yn ei ryw,
Yn ffyddlawn i'w feddiannydd;
Dangoswn ni ffyddlondeb rhwydd
I'r Arglwydd yn dragywydd.

### 2. CREADIGAETH A CHWYMP DYN.

1 Gwnaeth Duw ein corff o'r pridd a'r llaid,
Anadlodd enaid bywiol;
Ar ol ei ddelw bur ei hun
Y crëodd ddyn yn hollol.

2 Gosododd ef yn ddigon dwys
Mewn gardd baradwys hyfryd;
A rhoddodd genad i bob pen
I fwyta o bren y bywyd.

3 Gwaharddodd hefyd, dan fawr sèn,
I brofi pren gwybodaeth,
Rhag i ni golli ein holl fraint,
A myn'd tan haint marwolaeth.

4 Gwrandäwodd Adda, yn ddi-drais,
Ar lais y sarph uffernol;
Gan geisio bod i Dduw yn ail,
Aeth yn anifail marwol.

5 Collodd ei holl ogoniant gwych,
Drwg oedd ei ddrych drwy bechod;
Syrthiodd tan felldith cyfraith Duw,
Mor glwyfus yw 'r gydwybod.

6 Collodd gyfeillach gyda 'i Dduw,
Collodd bob rhyw hyfrydwch;
Collodd bur ddelw Duw, fel ffol,
Collodd dragwyddol heddwch.

7 Ammheuodd sicrwydd cyfraith lân,
Credodd i Satan gyfrwys;
Fe'i gyrwyd allan yn ddioed,
O ganol coed Paradwys.

8 Gosododd Duw gerubiaid pur,
A chleddyf dysglaer, tanllyd,
I gadw allan ddynol lwyth,
Rhag bwyta ffrwyth y bywyd.

### 3. CADWEDIGAETH DYN TRWY GRIST.

*(O flaen y Sacrament.)*

1 Rhyfeddol, O rhyfeddol yw
Mawr gariad Duw a'i rinwedd!
Tosturiodd wrth ein cyflwr gwael,
Yn ol ei hael drugaredd.||

2 Pan oeddem bawb yn ddrwg ein bri,
Ac mewn trueni caled,
Yn agos marw yn ein gwaed,
Yna y caed ymwared.§

* Ex. xxxi. 13. † Heb. iv. 11. ‡ Salm xix. 1.—Mae y cyfeiriadau ysgrythyrol wedi eu cymeryd o'r hen lyfr a nodwyd uchod. || Tit. iii. 4, 5. § Ezec. xvi. 6.

3 Danfonodd y Goruchaf Dad,
O'i gariad rhad i'r ddaear,
Ei anwyl Fab, ond mawr y rhôdd,
Efe a'n trôdd o garchar.

4 Cymerodd arno natur dyn,
Dyoddefodd wŷn, ysywaeth,
A rhoddodd berffaith iawn i Dduw
Tros ddynol ryw ar unwaith.*

5 Collodd ei werthfawr waed ei hun,
I brynu dyn o bechod;
Trwy fyned dan farwolaeth gaeth,
Efe a wnaeth ein cymmod.†

6 Rhoddwn i'r Iesu glod a mawl,
Rhodded y sawl a brynodd;
Rhoddwn ogoniant yn lle 'r groes,
A hyny yn oes oesoedd.

4. MAWR GARIAD CRIST.

*(Ar ol y Sacrament.)*

1 O pa fath ydyw 'r cariad mwyn,
Yr hwn sy 'n dwyn y galon,
Allan o'r hen elynol frad,
I fynwes y tad Tirion!‡

2 Pa gariad ydyw hwn a wnaeth
Y gweision caeth yn rhyddion!
Gweision i Satan yn blant Duw!
Ond tyner yw 'r arwyddion.‖

3 Dyeithriaid a phell oeddem gynt,
Ond drwg oedd helynt dynion;
Yr awrhon etifeddion Duw,
Mewn gobaith byw o'r goron.§

4 Meibion afradlawn fuom oll,
Defaid cyfrgoll hefyd,
Nes i rydd ras yr Ysbryd Glân,
I'r gorlan ein dychwelyd.

5 Lladdodd y Tad aberthau hêdd,
Gwnaeth ini wlêdd freninol;
Gosododd ni ymhlith y plant,
I gaffael mwyniant nefol.**

6 Digonodd ni âg ymborth da,
Sef manna o'r uchelder;
Diwallodd ni â dyfroedd byw,
Mor hyfryd ydyw 'r swper!††

7 Byth fendigedig fyddo 'r Oen,
A ddygodd boen marwolaeth;
Ac a bwrcasodd i'w holl saint
Ragorfraint iachawdwriaeth.

Terfynwn y waith hon gyda dwy emyn sacramentaidd o gyfansoddiad gweinidog Ymneillduol arall; sef,

Y Parchedig Dafydd Lewys,

awdwr "Caniadau Nefol, a rhai Hymnau Ysbrydol," argraffedig yn y Mwythig, gan Tho. Durston, 1740.‡‡

1 AR SWPER YR ARGLWYDD.

1 Pabell ein Duw sy gyda ni,
Ei drigfa sy yn Sïon;
Arlwyodd fwrdd i ni o'i ddawn,
Sy gyflawn o fendithion.

2 Yn y mynydd hwn gwnaeth ini wlêdd,
O aberth hêdd arbenig;
Gwlêdd pasgedigion breision in',
A gölew wîn puredig.

3 Mae ichwi groesaw, a mawr lwydd,
Gan ein gwir Arglwydd tirion;
Bwytëwch, ac yfwch wîn a llaeth,
Yfwch yn helaeth ddigon.

4. Coffäwn ein Prynwr hoff a wnaeth
Yn helaeth ryfeddodau;
Ymlawenhäwn yn ei ŵydd,
Ef yw ein Harglwydd ninnau.

2. AR OL SWPER YR ARGLWYDD.

1 Y gwaredigion, dewch yn nês,
A gawsoch lês ysbrydol;
Molwch ein Prynwr, Tywysog hêdd,
O dyma 'r wlêdd i'w ganmol.

2 Bendigaid yw yr hwn a ddaeth
Ag iachawdwriaeth union;
Ac ini, ddynion, 'wyllys da;
Hosanna y' ngoruchafion.

3 Ein Harglwydd Iôr, i'n caru 'n rhodd,
O'i wirfodd a fu farw;
Ein gwir Oen Pasc yw 'n haberth hêdd;
O dewch i'r wlêdd, fe 'n ceidw.

4 Ei gywir gnawd sy fwyd yn wir,
Gwaed yr Oen pur sy ddïod;
Mewn modd ysbrydol y mae 'n rhaid
Eu derbyn; paid a'u gwrthod.

*1 Tim. ii. 6; Heb. ix. 26. †Col. i. 20—22. ‡2 Ioan vi. 19. ‖Ioan viii. 35, 36. §Ephesiaid ii. 13. **Luc xv. 23, 24. ††Ioan vi. 51. ‡‡Dysgwyliwn y cawn adeg eto i ddwyn ger bron adgofion am y gweinidog hwn, ac hefyd aml Thomas Baddy, yr hyn nis goddef ein gofod i ni wneyd yn bresennol.

# TONYREFAIL.

Y MAE Tònyrefail yn ardal, yn sefyll ar y terfyn rhwng Bro a Blaenau Morganwg. Amddiffynir hi agos o bob cyfeiriad gan gylch crwn o fynyddoedd a bryniau. I'r dwyrain cawn fynydd y Glŷn. Wrth edrych ar yr haul yn codi dros ei goryn, llawer gwaith y buom yn meddwl pe buasem ar ben y mynydd, y gallasem gyda'r hawsder mwyaf ymaflyd ynddo, a'i groesawu ben bore gyda chusan ar ei wyneb siriol. Ychydig i fyny i gyfeiriad y gogledd y mae Craig y Ddinas, yr hon o ran ei huchder a'i hysgythredd, sydd yn dynwared mynyddoedd uchel a moelion y gogledd. I'r gogledd-orllewin y mae y Ddysgwylfa, a mynyddoedd mawrion a meithion Glŷnogwr, y rhai sydd gyfoethog o drysorau nad oes dyn byw yn gwybod eu pen draw. I'r dehau terfynir hi gan fynydd y Rhiw a Garthmaelwg. Ar ddiwrnod hafaidd a chlir, byddai yn anhawdd i ddyn gael golwg brydferthach, ac anadlu awyr iachach, nag a geir ar gopa Garthmaelwg. Y mae yn ardal brydferth, yn cynnwys ynddi beth o'r ddaear oreu, yn gystal â rhai o'r amaethwyr goreu, yn Sir Forganwg. Cynnwysai hyd yn ddiweddar tua phum' cant o drigolion, y rhai oeddynt, gàn mwyaf, yn amaethwyr, ac o ran eu crefydd yn Fethodistiaid. Yn bresennol, y mae y gymydogaeth yn gyflym yn gwisgo diwyg newydd, ac yn cynnyddu yn fawr yn ei phoblogaeth. Y mae bellach wedi ei hanrhydeddu â dwy gledrffordd—un yn perthyn yn hollol i'r gymydogaeth, yn rhedeg drwy ei chanol ar hyd làn Lai, a'r llall, er yn perthyn i Gwmrhondda, yn rhoi gorsaf o fewn dwy filldir i'r pentref, yr hyn sydd yn fantais a chyfleusdra nid bychan. Yn bresennol, y mae ei thrysorau tanddaearol yn dechreu cael eu dadblygu, ac yn addaw dyfodol llwyddiannus i'r lle. Saif y pentref yn nghanol y gymydogaeth, a'r capel yn nghanol y pentref, yn adeilad hardd a phrydferth, wedi ei adeiladu a'i helaethu bellach y drydedd waith, ac yn gôfgolofn o chwaeth dda yr adeiladwyr, yn gystal ag o haelioni yr eglwys a'r ardal. Y mae nifer yr aelodau eglwysig wedi bod yn hytrach yn fychan bob amser. Nid yw yr eglwys yn bresennol ond prin cant, er ei bod yn fwy nag y bu erioed o'r blaen. Eto, wrth edrych ar ei hanes, cawn ei bod ar ei chynnydd o'r dechreuad hyd yr awr hon. A chan ei bod yn tŷnu ar ei chan' mlwydd oed, bydd yn hawdd i chwi weled ei fod yn gynnydd graddol iawn. Ond serch hyny, y mae rhywbeth pur ddymunol a thra gobeithiol mewn peth yn myned ar ei gynnydd, pa mor raddol bynag. Graddol iawn i'n golwg ni y mae y wawr yn tori, a'r haul yn codi, a graddol iawn y mae y dderwen yn tyfu; ond er mor raddol, y mae yn parhâu i gynnyddu am ganrifoedd, ac yn y diwedd yn rhifo ei blynyddoedd wrth y miloedd. Felly, ni obeithiwn, am achos ac eglwys Methodistiaid Tònyrefail—fod, ac y bydd, ei chynnydd fel cynnydd y dderwen, a'i chodiad fel codiad yr haul, yn parhâu yn ei lewyrch tra safo y ddaear. Er nas gallwn mewn un modd gyhuddo ein tadau o fod yn ddeddfol a chul yn cadw drŵs derbyniad i'r eglwys, eto hwyrach na buont mor gymhelliadol ag y dylasent ar eu gwrandäwyr i ddyfod yn aelodau eglwysig, nac mor ofalus ag y buasai ddymunol i roi

help llaw i'r gwan a'r ofnus i groesi y terfyn o'r byd i'r eglwys. Yr ydym yn credu, yn gystal ac yn gobeithio, fod aml un o'n gwrandäwyr yn Iuddew yn y dirgel, ac yn gwybod am enwaediad y galon, er na buont erioed ar enw crefydd, a bod eu dienwaediad wedi ei gyfrif iddynt yn enwaediad. Nid ydym yn gwybod am un enghraifft gryfach nag a geir yn y lle hwn o'r eglwys yn fechan, a dylanwad crefydd yn fawr. Ymddengys i ni fod y fath beth yn bod weithiau a bod nifer yr eglwys yn fychan oblegid fod crefydd yn uchel ynddi; ac, o'r tu arall, fod nifer llawer eglwys yn llïosog oblegid fod crefydd yn isel ynddi. Lle byddo crefydd yn isel, gwelir yn aml weinidog ac eglwys yn ymddarostwng i wneyd aelodaeth eglwysig yn amcan—crefydd neu beidio. Nid oes fawr ofal am brydferthwch ymarweddiad, mwy nag am gyfnewidiad calon. Am ddysgyblaeth eglwysig, nid oes braidd sôn am dani. Unwaith y daw yr enwau i lyfr yr eglwys, byddant yn sicr o fod yno hyd ddydd eu marwolaeth, a thêg a da os na byddant yn cael eu rhifo, am rai blynyddoedd wedi iddynt fyned i ffordd yr holl ddaear, er mwyn cynnal i fyny ymddangosiad o eglwys fawr a llïosog. Ond heblaw y pethau yna, lle y byddo crefydd yn isel, nid oes dim yn awyrgylch gymdeithasol yr eglwys yn anghydnaws ac annymunol, heb sôn am annyoddefol, i ddyn dan lywodraeth ysbryd balch, cnawdol, a bydol. Ond odid na bydd llawer o bethau y cnawd yn llithro i'r gyfrinach, yn gystal â'r ysbryd cnawdol ymha un y trinir pethau yr ysbryd, nes gwneyd y lle yn fagwriaethol i lygredigaeth calon, ac yn hollol gydnaws âg elfen ac ysbryd plant y cnawd. Ond lle byddo gwir grefydd yn uchel, yr eglwys wedi ei bendithio â dynion amlwg mewn crefydd, dynion o burdeb calon yn gystal â sancteiddrwydd ymarweddiad, a gras mawr arnynt, bydd y cyfryw ddynion, yn ddiorchest, ïe, yn ddiarwybod a diamcan, yn creu awyrgylch bur a sanctaidd o'u cwmpas. Fel y mae y llysieuyn peraroglaidd, o angenrhaid, yn perarogli pob cyfeiriad o'i amgylch, felly y mae dynion gwir dduwiol, ac yn enwedig dynion mawr mewn gras a sancteiddrwydd, y mae eu perarogl sanctaidd yn ymwasgaru o'u cwmpas i bob cyfeiriad. Bydd presennoldeb y fath ddynion yn rhoddi naws a thôn mor ysbrydol a sanctaidd i gylch cymdeithasol yr eglwys, nes ei gwneuthur yn lle gwrthodedig ac annymunol, os nad annyoddefol, i ddynion cnawdol a digrefydd, a hyny nid yn gymaint am eu bod yn cau allan bethau y cnawd, ond yn hytrach *ysbryd* y cnawd. Y mae pob ysbryd yn ceisio ei elfen, a phob bywyd yn ceisio ei ymborth. Lle byddo gwir ras a sancteiddrwydd yn elfenau cryf a llywodraethol mewn eglwys, bydd hyny yn gwneuthur dysgyblaeth eglwysig agos yn ddiangenrhaid. Bydd dynion cnawdol a diras yn cadw draw; ac os bydd ambell un o'r cyfryw wedi llithro i aelodaeth eglwysig, buan y gwelir hwynt yn dechreu gŵyro, yn canlyn o hirbell, ac yn y diwedd yn cefnu yn hollol. Ac nid rhyfedd, oblegid nid ydynt yn cael dim pleser mewn pethau sanctaidd, na dim ymborth yn mhethau yr ysbryd. Felly y mae yr hyn a dybir yn brawf fod crefydd yn isel, yn tarddu weithiau oddiar y ffaith fod crefydd yn uchel. Bûom unwaith yn sylwi ar ddwy gymydogaeth lle yr oedd dau weinidog wedi bod yn cydoesi am flynyddoedd lawer. Ystyrid un wedi bod yn llwyddiannus iawn, wedi ennill nid yn unig yr holl gymydogaeth i wrandaw, ond yr holl wrandäwyr yn aelodau, a'i eglwys yn rhifo wrth y cannoedd. Ystyrid y llall

yn hytrach yn aflwyddiannus, oblegid er ei fod wedi ennill y bobl i wrandaw, a diwreiddio hen arferion llygredig y cynoesau, nid oedd nifer ei eglwys ond bychan, rhyw ychydig o ugeiniau. Ond wrth agosâu yn agosach, a chymeryd sylw manylach, bu raid i ni ddyfod i'r penderfyniad fod yr eglwys fechan â llawer mwy o ddylanwad crefyddol o'i chwmpas na'r eglwys fawr, oedd yn rhifo ei haelodau wrth y cannoedd. Yn yr eglwys fawr byddai yn arferiad cyffredin gweinidog a phobl i fynychu tafarndai ar y Sabbath, ac nid yn unig cymeryd rhan yn yr yfed, ond hefyd ymhob ymddyddan a ddygwyddai ar y pryd—pris y ffair a phris y farchnad, neu unrhyw gynhwrf cymdeithasol neu wladol. Am gyfeddach, dïotta, a meddwi tipyn yn awr a phryd arall, nid oedd yn werth sylw, yn enwedig gan fod y gweinidog ei hun yn esgeulus y ffordd hono. Os byddid yn dyfod i'r cymun, a rhyw geiniog at yr achos, byddai hyny yn ddigon i ddïogelu eu haelodaeth mewn bywyd, a sicrhâu claddedigaeth saint iddynt ar eu marwolaeth. Ond am yr eglwys fechan, yr oedd ei safon yn bur, ei chymdeithas yn sanctaidd, a'i hymarweddiad yn anrhydeddus i'r efengyl, yn gystal ag yn halen y ddaear. Ei gweinidog wedi gosod ei wyneb yn gryf yn erbyn llygredigaethau yr oes. Ei gymeriad duwiol yn cael ei deimlo—pob cydwybod yn argyhoeddedig ei fod yn ddyn Duw. Meddai ar ddigon o wroldeb duwiol ac amynedd sanctaidd i barhâu mewn gweddi a gweinidogaeth y gair, gan ddysgwyl yn dawel wrth Dduw am y cynnydd, yn hytrach nag ymddarostwng i ddefnyddio moddion cnawdol, i gynnyddu yr eglwys. Yr oedd ganddo fwy o ymddiried mewn eglwys bur nag mewn eglwys fawr; ac yn hyn nid oedd yn cael ei siomi; oblegid cawsom fod ugeiniau yr eglwys fechan yn dwyn mwy o ffrwyth at bob achos da, na channoedd yr eglwys fawr. Ac er nad ydym am gyfiawnhâu eglwys fechan Tònyrefail ymhob peth, eto yr ydym yn meddwl ei bod hithau yn meddu yr anrhydedd o fod yn fechan, yn hytrach am fod crefydd yn uchel ynddi, na bod crefydd yn isel ynddi. Ond rhag i ni roddi argraff gamsyniol am ei bychandra, hwyrach y dylem ddwyn ar gof nad yw nifer aelodau eglwysi gweledig mewn un modd yn safon i benderfynu nifer y dynion sydd yn cael eu hennill at grefydd drwyddynt. Buom yn ddiweddar yn galw i gof hanes y dynion ieuainc y cawsom y fraint o dyfu i fyny yn eu mysg, a derbyn addysg grefyddol gyda hwy dan aden eglwys fechan Tònyrefail. Y maent wedi eu gwasgaru i bedwar bàn y byd, rhai yn amaethwyr, rhai yn fasnachwyr, rhai yn weithwyr, a rhai mewn swyddi anrhydeddus. Ond nid bychan oedd ein llawenydd eu cael, agos yn ddieithriad, yn gyflawn aelodau dan faner y Gwaredwr, ac amryw o honynt yn weinidogion yr efengyl. Yr ydym yn meddwl fod ein llinynau wedi disgyn yn hyfryd o ran amser, yn gystal ag o ran lle. Yr ydoedd yn adeg cychwyniad y cynhyrfiad dirwestol; a derbyniodd yr Ysgol Sabbothol adnewyddiad mawr. Yr oedd ysbryd gwrando wedi disgyn ar yr holl gymydogaeth, ac ysbryd magu ei phlant yn grefyddol wedi disgyn ar yr eglwys. Y mae yn gof genym ein bod yn ugeiniau yn eistedd ar y meinciau yn *society* y plant yn adrodd ein hadnodau, a chael ein holi, ein hegwyddori, yn gystal a'n cynghori. Yr oedd hefyd yn adeg pryd yr oedd ein hanwyl a'n henwog weinidog yn addfedrwydd a gogoniant uchaf ei fywyd. Yr oedd purdeb duwiol ei chwaeth, gwreiddiolder ei feddwl, cyflawnder ei adnoddau, newydd-deb ei ysbryd, a'i dymher fagwriaethol, yn ei

wneuthur yn fraint o'r radd uchaf cael aros dan ei gysgod, ac ymborthi ar gynnyrchion toreithiog ei gymdeithas. Yr oedd y canu hefyd yn ei lawn ogoniant, yn ganu â'r ysbryd ac â'r deall hefyd. Hen ac ieuanc yn cydweithio dan ddylanwad y teimladau goreu at eu gilydd. Gyda pha ddylanwad y clywsom y geiriau hyny yn cael eu canu lawer tro:—

Pa beth yw 'r cynhwrf mawr sy 'n bod
  Y dyddiau rhyfedd hyn?
A oes rhyw gasglu gwerth y gwaed
  A brynwyd ar y bryn?

Yr oedd y wêdd bryderus ac oedd ar wyneb ein tadau a'n mamau duwiol, yr ofn a'r gobaith, y llawenydd a'r pryder oedd yn ymlinellu ar eu gwynebau, ac yn ymdreiglo yn ffrydiau o ddagrau dros eu gruddiau, yn gadael argraff ar ein calonau nad anghofir byth genym. Fel y crybwyllasom, nid aeth eu llafur yn ofer, ac ni chafodd eu gobaith ei siomi, oblegid fel y gwelir heddyw, nid oedd dim llai yn nghynhwrf y dyddiau hyny na "chasglu gwerth y gwaed a brynwyd ar y bryn."

Cafodd yr achos ei ddechreuad trwy offerynoliaeth teulu anrhydeddus y Collena. Ond gan fod hanes gweddol o fanol am hyn wedi ymddangos yn *Methodistiaeth Cymru*, nid ydym yn bwriadu cerdded yr un llwybr nac adrodd yr un pethau, ond rhyw nodiad bŷr o'r prif ffeithiau. Er ys can' mlynedd namyn pump, yr oedd Mr. a Mrs. Pritchard, Collena, yn mlodau ac ireidd-dra eu bywyd; ond er eu bod wedi derbyn addysg a gwrteithiad yn ol eu gradd a'u sefyllfa anrhydeddus yn y byd, eto ymddengys eu bod yn hollol ddyeithr i syniadau a theimladau crefyddol. Yr oedd Mrs. Pritchard yn foneddiges hoff iawn o wychder a nwyfiant, a Mr. Pritchard yn hoff ac ymroddedig i bleserau boneddigion yr oes hono. Ond rywfodd, tueddwyd hwynt megys yn rhagluniaethol i fyned i wrando Mr. Jones, Llangan, yn pregethu wrth gapel Llanbedr, a bu yr oedfa yn fendithiol er argyhoeddiad a dychweliad iddynt ill dau. Arweiniodd hyn hwynt i helaethach cydnabyddiaeth â Mr. Jones a'r tadau Methodistaidd. Nid yn hir y buont cyn trefnu i gael pregethu i'r gymydogaeth, a thröwyd cegin y palas yn gapel, a'r *settle* yn bulpud, a mawr y tŷru a fu yno i wrando yr efengyl. Bendithiwyd y weinidogaeth i argyhoeddi a dychwelyd llawer, ac felly y dechreuwyd ac y sefydlwyd achos ac eglwys y Methodistiaid yn y lle, yr hyn a fu yn fendith anmhrisiadwy i'r gymydogaeth. Os oedd Mab Duw yn boddloni mewn llawer ardal ar y bythod a'r ysguboriau, cymerodd yma feddiant o'r palas a'r teulu anrhydeddusaf yn yr holl wlad. Nid llawer yn wir o'r fath rai a alwyd, eto fe alwyd *rhai*, ac yn eu plith perchenogion y Collena. Bu i'r teulu parchedig naw o blant, sef dau o feibion a saith o ferched; a chymerodd mab Duw feddiant o'r teulu yn gyfangwbl. Codwyd y ddau fab i'r offeiriadaeth, ond glynodd y merched yn ddieithriad wrth y Methodistiaid. Bu farw Mr. Pritchard yn wyth a deugain mlwydd oed, ond cafodd Mrs. Pritchard weled yr oedran anrhydeddus o chwech a phedwar ugain o flynyddau. Yr oedd wedi ei chynnysgaethu â chynneddfau cryfion, ac wedi cael amaethiad da mewn addysg fydol yn ei dyddiau boreuaf; a phan ddygwyd hi dan ddylanwad yr efengyl, rhoddodd ei bryd ar bethau crefydd, a chyrhaeddodd fesur

helaeth o wybodaeth, yn gystal a phrofiad dwfn o wirioneddau yr efengyl. Bu nid yn unig yn gristion cyson a ffyddlawn, ond yn "*Fam* yn Israel." Gellir dyweyd yr un peth am amryw o'i merched, a hyny nid oblegid iddynt gael oes anrhydeddus, ond yn hytrach am eu bod wedi eu bendithio â holl rinweddau mammaeth ysbrydol yn Sïon. Yr oedd tynerwch mam yn eu mynwesau, a gofal a phryder mam ar eu calonau; beunydd yn gwylied a beunydd yn darparu rhyw ddaioni i Israel. Yr oedd eu gofal yn cyraedd yr amgylchiadol yn gystal a'r ysbrydol. Yr oedd eu bywyd yn esiampl o burdeb i'w ddilyn, a'u caredigrwydd dïarebol yn hoelio ymlyniad pawb wrthynt, ac yn crëu y parch dyfnaf tuag atynt. Yr oedd eu tynerwch yn olew parhäus yn dyferu i archollion briwedig, a'u caredigrwydd yn ymgeledd parhäus ar fwrdd yr anghenus. Cafod yr ysgrifenydd lawer o adnabyddiaeth â phedair o honynt, tair o ba rai sydd wedi gorphen eu gyrfa trwy lawenydd, ac un yn aros hyd y ddydd heddyw. Cyrhaeddodd Mrs. Morris yr henaint têg o bedwar ugain mlwydd oed, triugain a chwech o ba rai a dreuliodd yn ngwasanaeth ei Harglwydd. Ymddengys ei bod yn rhagori ar dduwiolion yn ysbrydolrwydd ei meddwl a gwresogrwydd ei hysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd. Unig ofal ei bywyd oedd byw yn dduwiol, ac yr oedd iddi fronau yn llawn o laeth ysbrydol i faethu babanod yn Sïon. Cysegrodd ei holl fywyd i lafurio yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist, a pharhäodd hyd y diwedd i feddiannu ysbryd yr hen Fethodistiaid, ac i gynnyddu yn ysbrydolrwydd ei meddwl; yn dirf ac yn iraidd, yn ffrwytho yn ei henaint, ymadawodd â'r byd gan dystio ryw dair awr cyn tynu yr anadl olaf, "Y mae yr afon yn gref iawn, ond y mae yr afael yn *gryfach*, a'r Graig yn gadarn."

Cafodd Mrs. Thomas ddeg a phedwar ugain o flynyddau. Nid oedd o dymher mor wresog a'i chwaer Mrs. Morris, ond oblegid hyny nid wyf yn ei thybied yn llai duwiol. Gellid meddwl fod rhai oblegid rhyw dymher naturiol yn byw mwy yn y profiad melus o bethau crefydd, a'r lleill yn fwy yn ngofal pethau crefydd. Un yn byw beunydd i ymborthi ar ddanteithion crefydd, a'r llall yn byw beunydd i wasanaethu crefydd. Un fel Mair, yn anghofio pob peth, ac yn eistedd wrth draed yr Athraw, yn derbyn o'i eiriau; a'r llall fel Martha, yn drafferthus ynghylch llawer o bethau. Da iawn yw hyny: y mae yr Arglwydd yn ddoethach na gwneyd pawb yr un peth. Ac yr oedd rhywbeth felly yn y ddwy chwaer hyn. Os nad oedd Mrs. Thomas mor wresog ei hysbryd, yr oedd yn llawn mor ffrwythlawn ei bywyd. Gwneuthur daioni, a rhoddi a chyfranu, yn fwyd a dïod iddi. "Yn hyn y gogoneddwyd fy Nhad, ar ddwyn o honoch ffrwyth lawer."

Ond er mor uchel oedd rhinweddau y ddwy chwaer uchod, yr oedd eu chwaer ieuengaf, Deborah, yn rhagori arnynt oll. Bendithiwyd hithau â'r henaint têg o ddwy a phedwar ugain o flynyddau. Yr oedd yn un o'r rhai hyny sydd yn grynhöad byw o'r rhagoriaethau sydd yn gwneyd cymeriad crefyddol yn gyflawn. Cynnysgaethwyd hi â dynoliaeth ag oedd yn fantais fawr i ras arddangos ei hun ynddi—ei rinweddau a'i brydferthwch. Yr oedd yn naturiol yn feddiannol i radd uchel ar y rhagoriaethau canlynol:—1. Cynneddfau cryfion. 2. Gwylder a thynerwch benywaidd. 3. Tlysni meddwl, neu allu cryf i weled a gwerthfawrogi y tlws a'r prydferth. Yr oedd ei dynsawd naturiol yn

hynod o dlŵs, a'i chwaeth yn ei gwisgiad yn perffeithio ei phrydferthwch. Gallai wisgo gyda thlysni anarferol, eto pob peth yn hardd ac yn weddus. Hwyrach fod hyn mewn rhan am fod ei gradd a'i bonedd yn galw am hyny; oblegid hyd yn nôd yn y teimlad mwyaf Puritanaidd, gweddus i bawb fyned yn ôl eu gradd a'u sefyllfa. Yr oedd yn dra hoff o'r blodau. Blodau yn yr ardd wedi eu trefnu a'u perffeithio gan ddetholiad a gwrteithiad; a blodau ar y cloddiau a'r caeau, yn eu gwêdd gynhenid a naturiol, heb ôl llaw neb na dim arnynt ond y Crëwr mawr ei hunan. Byddai yn hawdd gweled wrth wêdd ei gwyneb nad oedd y blodau yn y bregeth yn dïanc yn ddisylw. Os byddai rhyw erthygl dlysach nag arall wedi ymddangos yn y cyfnodolion, megys, "Pythefnos yn Llanwrtyd," a'r cyffelyb, byddai ei llygad hi yn sicr o fod wedi syrthio arni, a'i chalon wedi ei mwynhâu. A byddai yn gwneyd i'r tlŵs, fel pob peth arall, droi yn deyrnged o ogoniant i Dduw am ei ddaioni. Pryd y sylwai rhywun fod daioni Duw yn rhyfedd tuag atom mewn rhagluniaeth, yn darparu haul i'n goleuo, a bara i dòri ein newyn, a dwfr i dòri ein syched, a llîn a gwlân i gludo a chuddio ein noethni, "ïe," chwanegai hithau, "A blodau i'n difyru." Ond rhag i chwi dybied mai ar hyn yr oedd yn byw, gan esgeuluso pethau trymach a gwerthfawrocach, gweddus i ni ddwyn ar gof mai pethau gwir grefydd oedd ei bwyd a'i dïod bob dydd. Y Bibl oedd ei chartref. Oddiar ddalenau hwn yr oedd yn sugno ei chynnaliaeth parhäus, ac yn tỳnu ei chysuron sylweddol. Byddai hefyd yn ymborthi llawer ar fwyd cryf duwinyddiaeth iachus yr hen Buritaniaid. Yr oedd hefyd yn darllen, yn deall, ac yn gwerthfawrogi erthyglau galluocaf a meithaf y TRAETHODYDD. Na, nid ar y tlŵs, ond ar y sylwedd yr oedd hi yn byw. At hyn yr oedd yn berchen ar y galon fawr doddedig. Anaml y gwelwyd wedi cydgyfarfod gynneddfau mor gryfion, a natur mor lawn o dynerwch benywaidd. Fel rheol, ymddengys pan y ceir gafael ar y fenyw wrywaidd ei chynneddfau, "*a masculine woman*," fel y dywed y Sais, y mae yn *fasculine* drwyddi, heb ganddi na'r tynerwch, na'r prydferthwch, na'r gŵylder sydd yn gwneuthur ei rhyw mor anwyl a dewisol. Y mae yn anhawdd gwybod lle y dosbarth hwn mewn cymdeithas. Nid ydynt na gwryw na benyw. Yn aml y maent yn amddifad o gallder gwrywaidd, ac yn amddifad o swynion benywaidd. Heb fedru cadw o fewn y terfynau sydd yn gweddu i'w rhyw, ac yn chwithig yn ceisio llanw cylchoedd a chyflawni gwaith gwrywaidd. Ond nid oedd perygl am wrthddrych ein sylwadau, oblegid yr oedd yn orlawn o swynion ei rhyw. Yr oedd diniweidrwydd a thynerwch ei chalon yn ei gwneyd yn anwyl gan bawb.

Cafodd ei dwyn i fyny dan aden crefydd, a chafodd holl fanteision addysg a gwrteithiad yn ol ei rhyw a'i bonedd. Ond ymddengys iddi dyfu i fyny yn ddynes ieuanc cyn i bethau gwir grefydd gael iawn afael arni. Fe ellid meddwl fod llywodraeth deuluaidd a'i chysylltiad allanol â chrefydd yn dechreu myned yn gaethiwed, a hithau yn penderfynu tòri y llyffetheiriau i gael ymroddi i bleserau a dullweddau gwâg a balchaidd yr oes ymysg ei chydradd. Pan yn yr agwedd beryglus hyn o feddwl, aeth ar ei thro i Gastellnedd i ymweled â'i chwaer, yr hon oedd yn trigiannu yno, ac a fu felly hyd ei bedd. Yr oedd ei chwaer yn aelod cyflawn gyda'r Methodistiaid, ac aethant ill

dwy i wrandaw y Parch. Watkin Williams, yr hwn oedd ar daith bregethwrol trwy y wlad, ac yn rymus iawn yn ei weinidogaeth. Trôdd yr oedfa yn fendith am byth i Miss Deborah Pritchard. Gorchfygwyd hi yn llwyr. Cafodd gyfnewidiad trwyadl. Aeth pleserau a gwychder gwâg y byd fel dyrnaid o ûs o flaen y gwynt, ac aeth Mab Duw â'i serch a'i chalon yn gyfangwbl iddo ei hun. Penderfynodd yr oedfa hon yn ddiammheuol gyfeiriad dyfodol ei bywyd am amser ac i dragywyddoldeb. Mor bwysig y foment sydd yn penderfynu ein cyfeiriad am byth! O'r awr hono allan rhoddodd ei holl fryd ar bethau crefydd. Defnyddiai ei holl amser a'i holl fanteision i gynnyddu yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist, a gwasanaethu ei achos. Ac o bawb o'i rhyw a adwaenom, cynnyddodd yn helaethach na hwynt oll. Hwyrach y gwelsom rai mor brofiadol a hithau, pe buasai ond ei chwaer Mrs. Morris, yr hon oedd yn nodedig am ddyfnder ei phrofiad, mawredd ei ffydd, ac ysbrydolrwydd ei meddwl; ond byddai Deborah yn ei churo o ddigon yn ei gwybodaeth oleu ac ëang o athrawiaethau gras a threfn yr efengyl. Gwelsom eraill mor gryfed eu cynneddfau, ac mor oleu eu deall, ond byddai y naill yn pallu o ddiffyg y galon dyner hono sydd yn dyferu fel yr olew a'r myrr dyferol. Byddai y llall yn pallu o ddiffyg gwrteithiad a chaboliad. Ond ynddi hi darparodd natur ac amgylchiadau hapus bob mantais i ras i ddangos ei ragoriaethau, ac ni phetruswn ddyweyd mai ynddi hi y gwelsom y ddynes dduwiolaf, a'r cristion glöewaf a phrydferthaf a welsom erioed.

Yr oedd ei gradd a'i sefyllfa, fel pethau eraill, yn ffafriol. Dyma hi yn dyfod allan o fysg bonedd y byd, gan ddewis tlodion, mewn cyferbyniad, oblegid fod Duw wedi eu gwneyd yn gyfoethogion mewn ffydd. Y mae amgylchiadau fel hyn yn rhoddi mantais i ras i ddangos ei hun. Ni fu troion blin y byd yn ôl o wneyd eu rhan i ddwyn i berffeithrwydd waith gras ar ei chalon. Prïodwyd hi â T. Thomas, Ysw., Pentwyn, a chawsant ferch fechan, unig blentyn ei thad a'i mam. Dywedir ei bod yn un o'r pethau tlysaf ac anwylaf a welodd llygad erioed, fel angeles mewn cnawd yn rhodio y ddaear. A hawdd gwybod fod ei mam yn meddwl yn fawr o hóni, a phob llinyn o'i serchiadau wedi dirwyn ganwaith ar ganwaith am dani. Yr oedd wedi meddwl mil a mwy o feddyliau, a thŷnu llu o gynlluniau am ddyfodol ei bywyd. Ond yn ddisymwth dyna'r nefoedd fawr yn ei chipio o'i mynwes, ac yn ei rhoddi ar ddeheulaw Gwaredwr yn nghanol y nefoedd, i flodeuo byth yn mharadwys gogoniant. A diammheu am dymmor y buasai yn anhawdd i'w mam allu dyweyd pa un fwyaf y sugndŷniad a deimlai oddiwrth ei merch fach yn ymyl Gwaredwr, ai yntau oddiwrth y Gwaredwr mawr ei hun. Ond hyn oedd yn fanteisiol, yr oeddynt bellach yn tŷnu yn yr un cyfeiriad ac i'r un lle. Dywedir fod y môr yn codi yn uwch o lawer pan fydd yr haul a'r lloer yn tŷnu yn y llinell uniawn yn yr un cyfeiriad; a thra thebyg i'r amgylchiadau hyn gael eu dylanwad ar ei chalon i nefoleiddio ei thymher a sugno ei serchiadau ar y pethau sŷdd uchod. Claddodd ei phrïod eilwaith, a gadáwyd hi yn weddw heb na phlentyn na phrïod i ymddiried ynddynt, ond yr Arglwydd yn unig.

Gwasanaethodd ei hoes yn athrawes ffyddlawn ac effeithiol yn yr Ysgol Sabbothol. Ennillai galon ei dosbarth, a gwnaeth ei haddysg, ei chynghor, a'i theimlad da, argraff annilëadwy ar galonau cannoedd o

ferched ieuainc. Yr oedd ei chalon yn pryderu am lwyddiant crefydd, a'i henaid yn dyheu am achubiaeth ei chyd-ddynion. Ac er ei bod yn dra hoff o'r prydferth a'r tlŵs, eto os ca'i fara'r bywyd â naws y nefoedd yn y weinidogaeth, byddai wrth fodd ei chalon yn gwledda. Yr oedd dyfnder ei theimlad yn achos gwir grefydd yn gyfryw, fel y gallai fforddio bod heb gant o'r ail bethau, os gwelai amcan mawr yr efengyl yn cael ei gyraedd: achubiaeth yr annuwiol, ymgeleddu Sïon, a gogoneddu gras Duw. Yr oedd y pethau hyn yn fwyd a dïod i'w henaid. Yr oedd ehangder ei chydymdeimlad a dyfalwch ei gweddi yn ymledu cyfled â'r holl waith a'r holl weision. Nid gweddïo dros ei dewisolion, a chydymdeimlo â'i chyfeillion, a gadael y lleill i ymdaraw fel y gallent; ond byddai y llwydaf a'r gwanaf yn sicr o gael rhan yn ei thaerion ymbiliau ger bron yr orsedd, ac ochenaid o gydymdeimlad yn y capel. Ac os byddai y pregethwr yn ymwybodol fod ganddo rywbeth gwerth ei osod gerbron ei wrandäwyr, byddai ei phresennoldeb yn help mawr i gael cwrdd da. Mawr oedd ei gofal am Sïon. Yr oedd llwyddiant achos Mab Duw goruwch ei llawenydd penaf. Byddai yn gwylio holl symudiadau yr achos, a holl argoelion crefydd, yn ei hawydd am weled rhyw arwydd fod amcan mawr yr efengyl yn cael ei gyraedd. Aflwydd Sïon oedd ei gofid penaf, a llwyddiant Sïon oedd ei gorfoledd uchaf. Byddai weithiau yn methu deall paham na fyddai pawb yn rhedeg at Waredwr, gan faint y tegwch fyddai yn ei weled ynddo. Bryd arall yn gruddfan wrth weled ei chyd-ddynion yn cefnu ar iachawdwriaeth. Yr oedd yn tosturio wrth yr uchelradd, y rhai yn nallineb eu calonau, oedd yn meddwl y byddai yn ddarostyngiad arnynt i ddyfod dros drothwy capel i wrando pregeth gan Ymneillduwr, er yn cael ei thraddodi yn ysbryd a bywyd yr efengyl.

Yr oedd yn drysor anmhrisiadwy yn y cyfarfod eglwysig. Yr oedd ganddi beth newydd yn ei phrofiad bob amser. Yr oedd yn casglu manna o'r newydd bob dydd. Yr oedd yn byw mor agos at yr Arglwydd Iesu, ac yn ymgodi mor uchel uwchlaw y byd, nes yr oedd ei phrofiad yn disgyn bob tro fel gwlith Dwyfol o entrych y nefoedd ar deimlad yr eglwys. Pethau rhyfedd yw pethau gwir grefydd, nid ydynt byth yn myned yn hen a diflas wrth aros ynddynt. Ysbryd a bywyd ydynt, ac y mae prydferthwch ac îrder y bywyd hwnw yn dragywydd ar y dynion sydd ddydd a nos yn myfyrio ynddynt. Mor ddiorchest a naturiol y byddai ei phrofiad yn dyfod allan, fel y tarddiad yn llygad y ffynnon, mor hardd, mor newydd, mor löew, ac yn ildio dwfr hâf a gauaf. Gallem wneyd ein llw fod cyflawnder môr tu cefn yn rhywle, ac y tarddai i fywyd tragywyddol. Yr oedd ganddi adnabyddiaeth ddofn o holl blygiau trueni calon dyn syrthiedig, a phrofiad uchel a goleu o oruchafiaeth drwyadl gras ar holl ddrwg ysbrydol ei natur. Er cymaint yr amlhäodd pechod, gallai ddyweyd yn ddifloesgni, "Rhagor amlhäodd gras." Yr oedd yn dyst byw o gymhwysder a rhinwedd trefn gras ar gyfer holl anghenion ysbrydol dyn colledig.

Am ei bywyd, nid yn unig yr oedd yn ddiargyhoedd, ond yn fywyd o wasanaeth drwyddo i'r Arglwydd Iesu. Nid oedd dim a allai na dim a feddai, yn ormod i Fab Duw. Yr oedd yn anhawdd gwybod pa un fwyaf wrth ei bodd fyddai pan yn eistedd i wledda, ai ynte pan yn sefyll i wasanaethu. Yr oedd yn byw ar freision yr efengyl, yn un o'r cristion-

ogion hyny sydd yn hytrach yn Galfinaidd eu barn, ond yn Arminaidd eu bywyd. A phwy ond y rhai sydd yn byw ar ymborth iachus gwir grefydd a all fforddio gwneyd gwaith crefydd. Dyma'r dynion sydd yn gallu pob peth trwy Grist yr hwn sydd yn eu nerthu. I weithio allan yn ymarferol egwyddorion crefydd Mab Duw, rhaid yw ymborthi beunydd ar y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Yr oedd ei ffydd bob amser megys angor yr enaid, yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llèn, yn angori yn nianwadalwch cynghor Duw, yn holl-ddigonolrwydd Iawn y groes, ac addewidion a llwon y digyfnewid a'r digelwyddog. Dyma y porfëydd gwelltog, lle yr oedd ei henaid yn pori, a'r dyfroedd tawel, yn ymyl pa rai y byddai yn gorwedd ac yn gorphwys, gan ddisychedu ei henaid. Llawer gwaith y gwelsom hi yn tŷnu dwfr mewn llawenydd o ffynnonau iachawdwriaeth, nes y byddai ei phïol yn rhedeg drosodd gan lawenydd. Nid oedd dim os ganddi nad oedd crefydd yn wirionedd, a bod teyrnas Iesu Grist i lanw y byd. Yr oedd mor sicr â'r prophwyd y byddai y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref. Nis gwelsom neb erioed yn rhoddi mwy o werth ar Iawn y groes yn sail bywyd i'r euog, ac eto yr oedd wedi arwain bywyd mor ddiargyhoedd a rhinweddol, fel y gallem feddwl, os oedd neb a allai fforddio gwneyd heb iawn yn sail ei gymeradwyaeth, y gallai hi wneyd hyny. Ond nid oedd ganddi ond golwg wael ar ei phethau goreu fel sylfaen cymeradwyaeth ger bron Duw. Ni wna dim y tro ond cyfiawnder Mab Duw i'r euog, a gwaith ei Ysbryd yn crëu o newydd yn Nghrist Iesu, ac yn sancteiddio yr aflan, gan ei addurno â delw ei Fab Ef. O na welem ein heglwysi yn cael eu haddurno â llawer o'i chyffelyb! Ond pe caem un yn mhob eglwys o'r fath yma, byddai yn gaffaeliad mawr. Un o fil ydoedd. Cafodd eglwys fechan Tònyrefail ei bendithio âg amryw o wragedd duwiol iawn, ond hon a ragorodd arnynt oll.

Am y chwaer sydd yn aros, y mae hithau yn gristion glöew ac yn llawn o rinweddau y teulu. Y maent wedi bod bob amser yn uchel eu cymeriad am eu rhinweddau dynol, yn gystal a'u bod wedi eu haddurno â gras ysbrydol. Y maent yn swp o dynerwch, calon lawn o haelioni, a chydymdeimlad hyd yr eithaf â'r tlawd a'r anghenus: "Ac iddynt air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun." Nid oeddynt un amser yn fwy parod ac wrth eu bodd na phan yn gwasanaethu gweinidogion yr Arglwydd. Cyfrifent ef yr anrhydedd mwyaf a allasai y Nefoedd osod arnynt. Y mae eu tŷ wedi bod yn agored iddynt bob amser er ys pedwar ugain a phymtheg o flynyddau, a phob peth a feddent at eu gwasanaeth yn rhodd ac yn rhad. A bydd eu coffadwriaeth yn anwyl ac yn fendigedig gan yr holl gymydogaeth.

Yr oedd hefyd deulu pendefigaidd arall yn perthyn i'r ardal yn byw yn Garth Hall. Yr oedd y teulu hwn, fel pawb o bendefigion yr oes hono, yn hollol ddyeithr i syniadau a theimladau crefyddol, oddieithr fod yr hen foneddiges yn myned unwaith bob tri mis i'r eglwys i dderbyn ei chymun. Edrychent gyda diystyrwch ar y Methodistiaid, a chredent y byddai yn ddarostyngiad mawr ar bobl o'u gradd a'u sefyllfa hwy i wneyd eu hymddangosiad yn eu cynnulliadau crefyddol. Ond pa fodd bynag, byddai rhai o'r plant yn dïanc yn lladradaidd yn awr a phryd arall i'r capel. Hwyrach fod dylanwad teulu pendefigaidd y Collena yn sugndŷniad iddynt, ac yn cymeryd ymaith ryw gymaint o

warth y capel o'u teimlad. O lithro i'r capel a gwrando yr efengyl yn cael ei chyhoeddi yn ei hysbryd a'i phurdeb, llithrodd gwirioneddau yr efengyl yn ddystaw a dwfn i'w cydwybodau ac i'w calonau. Cyn bo hir, dyma ddau o'r meibion, Herbert a Fred., yn bwrw eu coelbren yn gyflawn aelodau yn y capel. Derbyniodd eu chwaer argraffiadau dwysion iawn, ac er na chyflwynodd ei hun yn gyflawn aelod ar y pryd, ni chafodd lonyddwch i'w meddwl hyd nes bwrw ei choelbren ymysg yr Ymneillduwyr mewn blynyddoedd diweddarach. Ond trôdd allan yn erlidigaeth ofnadwy yn y teulu. Edrychent arno y darostyngiad mwyaf fod eu meibion wedi ymgysylltu â'r Methodistiaid. Os oedd y Methodistiaid yn ddirmygus yn eu golwg o'r blaen, yr oeddynt yn fil mwy felly yn awr. Nid arbedwyd dim dichonadwy i dòri y cysylltiad; casineb, gwawd, dirmyg, a bygythion. Offeiriaid, cydfoneddigion, hen gymdeithion a pherthynasau, mewn cydymgais benderfynol i ennill y gamp. Ac un ofnadwy yw erlidigaeth deuluaidd, tad a mam yn erlid, brodyr a phawb; nid oedd gorphwys i'w cnawd na'u hysbryd ddydd na nos. Ond y cyfryw oedd gafael y gwirionedd arnynt, fel y bu pob ymosodiad yn ofer, a chawsant fodd i lynu yn eu proffes hyd y diwedd. Yr oedd Herbert wedi ei fwriadu i'r India; a chan ei fod wedi ei ddwyn i fyny i hyny, ufuddhäodd i'w rïeni, a chymerodd ei daith i'r India bell; ac aeth ei grefydd gydag ef bob cam, a phrofodd ei hun yn abl dal pwys a gwres y dydd. Byddai yn parhâu i ohebu â'r eglwys trwy ei blaenor, Dafydd Evan. Dywedai ei fod yn teimlo ei syched yn angerddol am foddion gras, a'i fod yn gwneyd defnydd o bob moddion o fewn ei gyraedd; ac na fyddai 50 neu 60 milldir ond bychan yn ei olwg i gael pregeth bob Sabbath o'r fath a arferai wrando gan y Methodistiaid ar Dònyrefail. Ond druan o Fred., dyma efe bellach wrtho ei hun, heb neb o fewn y teulu i'w gysuro a'i gefnogi! Rhaid dwyn baich yr erlidigaeth o hyn allan ei hun. Ac ni bu'r gelyn yn ôl o gymeryd mantais ar ei unigrwydd. Adnewyddwyd yr erlidigaeth, ac aeth yn boeth ofnadwy, fel y penderfynodd gyflogi ei hun yn was i amaethwr. Aeth mor bell a gwneyd prawf o hyny; ond gan fod ei iechyd yn eiddil, ac yntau gwedi ei fagu yn dyner a moethus, buan y deallodd mai cloddio nis gallai, a chardota oedd gywilyddus ganddo. Penderfynodd ddychwelyd, a hawdd yw gwybod mai gorchwyl caled oedd hwnw. Ond cafodd nerth i'w gyflawni. Penderfynodd lynu wrth dŷ ei dad a'i fam, a glynu wrth ei grefydd doed a ddelai. Felly y bu; cadwodd y ddau benderfyniad hyd y diwedd. Casglodd ddigon o nerth i godi addoliad teuluaidd gyda'r tylwyth. Byddai ei frawd oedd wedi ei ddwyn i fyny i'r gyfraith yn aflonyddu arno, gan ddwyn cyfrol o'r gyfraith yn agored i ystafell y gwasanaeth teuluaidd, a darllen â holl nerth ei lais nes byddaru y cwbl o'r gwasanaeth. Cyfarchai Fred. ef yn llariaidd a thawel, "Fy mrawd, y mae hyn a hyn o ystafelloedd yn y tŷ, a chymerwch chwithau eich dewis; os yw hon yn fwy dewisol genych, ni gymerwn ni ryw un arall." A thrwy ei addfwynder a'i ymlyniad diysgog, efe a orfu o'r diwedd. Ni bu iddo hir flynyddau, a bu farw yn fuddugoliaethus yn mhalas ei dad a'i fam, a chafodd "fynediad helaeth," yn ngŵydd ei berthynasau, "i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd Iesu Grist." Ymhen tymmor ar ol hyn, daeth tro ei fam erlidigaethus i farw. A daw tro pob un i farw; nid yw yr erlidiwr yn abl dïanc ei dro mwy na'r

erlidiedig. Mae yr annuwiol yn gorfod marw gystal a'r duwiol. A phan y teimlodd fod marw yn ymyl, torodd allan gan waeddi, "O am grefydd *Fred.* yn awr, O am grefydd Fred. yn awr." Pa un a gafodd drugaredd ai peidio, yr oedd yn rhy ddiweddar am grefydd Fred. Na, nid crefydd am unwaith bob tri mis yn y cymun, na chrefydd gwely angeu chwaith oedd hono. Crefydd yn mlodau ei ddyddiau oedd crefydd Fred., crefydd "yn dewis dyoddef adfyd gyda phobl Dduw o flaen mwyniant pechod dros amser; gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht."

Mewn blynyddoedd diweddarach, ennillwyd pendefig arall, yr hwn oedd yn preswylio yn yr un palasdŷ â'r teulu uchod. Yr oedd y boneddwr hwn wedi cyraedd addfedrwydd blynyddoedd, yn feddiannol ar gynneddfau cryfion, yn bur gyfarwydd â'r gyfraith, yn ustus heddwch, ac yn aelod yn yr Eglwys Sefydledig. Yr oedd yntau hefyd yn ymroddedig i bleserau boneddigion yr oes, megys hela a chyfarfod â'u gilydd i wledda ar ddiwedd y dydd. Ond tueddwyd ef rywfodd i fynychu yr oedfäon yn y capel i wrando y pregethu. Cyn bo hir, dechreuodd fynychu y cyfarfodydd gweddi yn yr wythnos, ac aeth yn fwy o destun syndod a siarad. Llawer yn cellwair, a rhai yn dystaw obeithio y goreu. Yn ffodus, yr oedd teulu o amaethwyr tra chrefyddol yn ei ymyl, ac ymddangosai yntau fel am ymwasgu mwy atynt, a gwneyd mwy o honynt, yn enwedig pen y teulu. Rhyw ddiwrnod yr oedd yn ei ddilyn yn ôl a gwrthol dros y caeau, fel dyn â chanddo rywbeth y teimlai yn awyddus i'w ddyweyd, ond heb wybod pa fodd. O'r diwedd ebai, "Evan, yr wyf mewn trallod meddwl am waith yr Ysbryd Glân. Yr wyf wedi teimlo rhywbeth pur ddyeithr yn ymaflyd ynof trwy y pregethu a'r gweddïo yn y capel. Yr wyf yn eu clywed yn sôn llawer am waith yr Ysbryd Glân, ac yn gosod pwys mawr ar hyny; ond nid wyf yn gwybod yn y byd beth all hyny fod." Meddai ymhellach, "Yr wyf wedi bod yn darllen y gweddïau gosodedig ddwy waith bob dydd er ys tro, ac yr wyf yn myned o gylch y gymydogaeth yn gyson i ymweled â'r cleifion a'r tlodion, ond yr wyf yn ofni yn fy nghalon fod hyn yn rhy fach i bwyso arno; ac am waith yr Ysbryd Glân, nid wyf yn gallu dirnad beth yw hyny." Ond er nas gwyddai ddim am dano fel athrawiaeth a phwnc, ymddengys ei fod eisoes, megys yn ddiarwybod iddo, yn dechreu profi ei waith sanctaidd yn trîn ei ysbryd. Dechreuodd Evan ei hyfforddi goreu byth y medrai. Nid oedd heb deimlo yr anhawsderau yn fawr. Teimlai gryn ŵylder ger bron ei radd a'i fonedd; gwyddai hefyd ei fod yn ŵr cryf ei gynneddfau, uchel ei ddysg, a helaeth ei wybodaeth, ac ofnai gymeryd gormod o ryddid arno ar y naill law, ond teimlai y pwys am fod yn onest ar y llaw arall. Deallodd yn fuan fod ganddo un fantais bwysig, yr oedd yr ymofynydd yn wir bryderus. Yr oedd ei ddifrifwch allan o'r cwestiwn. A dysgodd ef goreu y medrai yn fanylach am drefn Duw trwy ei Lân Ysbryd i gadw a sancteiddio pechadur yn Nghrist Iesu.

Ryw noswaith, dyma ef yn ymostwng fel plentyn i geisio ei le yn yr eglwys. Yr oedd ei ddifrifwch a'i ddiniweidrwydd plentynaidd a dirodres yn amlwg; a chafodd ei dderbyn gyda phob dyledus barch, tynerwch, a gonestrwydd. Yr oedd ei weled yn peri syndod, llawenydd, a pheth dychryn. Nid oedd yr eglwys heb wybod pwy oedd ei hen gymdeithion, a pheth oedd ei hen arferion. Nid oeddynt heb dybied y gallai adeg ei

blentynrwydd fyned heibio, ac oblegid ei sefyllfa, y gallai ddyfod yn ddyn anhawdd ei drîn a'i lywodraethu. Ac, yn wir, nid bendith bob amser yw pendefig mewn eglwys. Ond pa fodd bynag, eu gobeithion ac nid eu hofnau gafodd eu sylweddoli, a'r gelyn a gafodd ei siomi. Heb roi trafferth i neb i ddyweyd wrtho, heb sôn am osod deddf arno, gadawodd ei hen arferion, a chefnodd ar ei hen gyfeillion. Rhoddodd brofion boddhäol o gyfnewidiad cyflwr a chalon. Ymddygodd yn synwyrol, a llawn mor grefyddol ag y gellid dysgwyl i ddyn wedi tyfu i fyny hyd ei flynyddoedd diweddaf yn ddyeithr i bethau gwir grefydd. Y mae yn gof genym y noswaith gyntaf galw y llyfr wedi iddo ddyfod i'r eglwys. Gofynai beth oeddynt yn ei ddysgwyl iddo ef ei roddi, pryd yr atebwyd nad oedd deddf ar neb, ond pob un yn rhoddi y peth a welai yn dda. Gofynai eilwaith beth oedd y mwyaf yn ei roddi, gan hysbysu ei fod yn dymuno rhoddi *dau* cymaint â'r mwyaf. Y mae yn gof genym fod 30p. yn fỳr o glirio rhyw swm perthynol i'r achos; drannoeth dyma *note* a *cheque* am y swm, gan hysbysu ei fod yn dymuno yn ostyngedig ei roddi; ac ni bu yn llai caredig, o leiaf, i'r tlodion, pan oedd dan ras na phan oedd dan ddeddf. Treuliodd ddiwedd ei oes yn Bristol gyda'i ferch, a chymerodd ei le yn *Highbury Chapel* gyda y Parch. D. Thomas, ond nid anghofiodd Dònyrefail yn y fan hono. Byddai yn gohebu â'r Parch. W. Evans, gan ddanfon dau 5p., un at yr achos, ac un i Mrs. Thomas i'w ranu rhwng y tlodion.

Gair am Mr. Noah Morgan, oblegid yr oedd yntau yn perthyn i'r bendefigaeth. Yr oedd, fel y dywedir, yn ddyn *òd*, yn gystal a'i fod yn ddyn duwiol, ac yn dduwiol iawn,—yn ddyn tàl, tenau, yn sefyll yn sŷth, rywbeth uwchlaw dwy lath o uchder, a'i droed yn ystwyth a chyflym. Byddai yr olwg arno bob amser yn hardd ac yn lanwedd iawn, yn enwedig pan fyddai ei het wellt wèn a'i hymylon llydain ar ei ben. Yr oedd yn gwneyd defnydd aml iawn o'r dŵr oer ar ei gnawd. Peth cyffredin oedd ei weled yn plygu i olchi ei wynebpryd a'i ddwylaw lle bynag y ca'i ffrŵd o ddŵr rhedegog. Yr oedd yn hoff iawn o'r gwenyn. Yr oedd yn ddywediad cyffredin, er fod ei frawd yn cadw llu mawr o anifeiliaid, ac yn enwedig o ddefaid, fod *stock* Noah lawer iawn yn lliosocach. Yr oedd ganddo ugeiniau, os nid cannoedd, o lestri drwy y gymydogaeth—ar hyd y perthi, y cloddiau, a'r coedydd, ymhob man. Yr oedd wedi cyraedd y fath adnabyddiaeth o honynt, a hwythau o hóno yntau, fel y byddai yn gallu eu trîn gyda phleser yn gyflëus a diberygl. Teimlid yn ffodus iawn os byddai Mr. Noah Morgan gerllaw pan fyddai y gwenyn yn codi. Ni byddent yn ffoi rhagddo, nac yn chwerwi wrtho, heb son am ei frathu, ond yn addfwyn ac ufudd bob amser yn cymeryd y llestr os byddai Noah gerllaw.

Yr oedd yn ddyn digyfeillach iawn â'i berthynasau. Nid oedd byth yn gallu siarad gair â'i frawd oedd yn cydfyw âg ef. Ond yr oedd yn dwyn y zêl mwyaf drostynt, a'r gofal mwyaf am danynt. Byddai ei deimladau yn angerddol ar eu claddedigaeth. Dywedai mai yr unig beth oedd yn rhoi tawelwch i fôr tymhestlog ei deimladau, oedd darllen gair Duw yn noeth.

Yr oedd yn *òd* yn ei gwbl. Y mae yn gof genym ei fod yn dyweyd wrth fy mam nas gwyddai yn y byd pa olwg oedd ar Noah—ei fod er ys mwy na deugain mlynedd heb edrych ei wynebpryd naturiol mewn

drych. Ond nid oedd diwrnod yn myned heibio heb iddo edrych agwedd ysbrydol ei feddwl yn nrych yr Ysgrythyrau.

Byddai yn barod iawn ar ei adnod bob amser. Rywdro, pan oedd y capel yn orlawn o bobl, fel yr oedd yn bur anhawdd i neb fyned i mewn, dyma Noah i'r drŵs, yn ddyn tàl, o'i ysgwydd i fyny yn uwch na'r cyffredin, ac ebai, "A hi a ddaeth yn y dyrfa o'r tu ol; canys hi a ddywedasai, Os câf yn unig gyffwrdd â'i wisg ef, iach fyddaf." A chyda'r gair, dyna'r dyrfa yn rhanu i roddi ffordd i Noah i fyned i'w eisteddle.

Yr oedd wedi benthyca esboniad Matthew Henry gan Mr. Evans, a phan yn dychwelyd un o'r cyfrolau, taflodd gini i'r bwrdd, ond ni fŷnai Mr. Evans er dim ei derbyn, gan ei fod yn llawn dâl ganddo fod y llyfr yn cael ei ddarllen a'i werthfawrogi, a'i ddychwelyd yn lân ac amserol. Ond, ebai Noah, "Na ato Duw i mi gymeryd llawr dyrnu Ornan y Jebusiad, ond am ei lawn werth;" a ffordd â fe fel dyn gwyllt.

Rhyw dro aeth Mr. Evans ar ei draws yn annysgwyliadwy mewn lle anial, ac adnabu wrth wêdd ei wyneb ei fod wedi bod mewn ymdrech â'r angel; a chan lithro heibio, ebai Noah, "Noah a'r arch, a'r arch a Noah; ac os na chollir yr arch ni chollir byth mo Noah." Ymddengys ei fod wedi cael y fath sicrwydd am ei ddïogelwch fel y teimlai ei fod mor ddïogel â threfn Duw.

Ymwelwyd âg ef gan amryw o'i frodyr crefyddol un o'r nosweithiau diweddaf y bu byw. Wedi aros cryn amser yn ei gyfeillach, aethant i ffarwelio âg ef; ond, ebai wrthynt, "Oni ellwch chwi wylied un awr gyda mi?" Cafodd hyn y fath effaith ar y brodyr fel y bu raid iddynt aros yno hyd y bore. A'r cyfryw oedd ei dynerwch plentynaidd, fel y bu raid iddynt roddi bob un ei gusan iddo ar ei foch wrth ymadael. Fel hyn y terfynodd ei fywyd yn nghanol cariad ei frodyr, a'i lygaid yn gweled iachawdwriaeth Duw.

Hwyrach y bydd rhai yn meddwl ein bod yn diystyru y tlodion; na, nid oes dim yn bellach oddiwrthym na diystyru y tlawd. Ond yr oeddem am gadw mewn cof yr ychydig enghreifftiau uchod o nerth a dylanwad yr efengyl yn darostwng balchder ac uchder dyn, gan faeddu ei ragfarnau, a chymeryd meddiant o'i galon er gwaethaf yr amgylchiadau mwyaf anfanteisiol. "Nid oes arnaf gywilydd o efengyl Crist, oblegid gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu."

---

## ROBERT DAFYDD, BRYNENGAN.

*Englyn anghyhoeddedig o eiddo* Dewi Wyn.

Nodedig o ddawn nid ydoedd,—er hyny
  Rhanai fara 'r nefoedd
O'i law awr i laweroedd,—
  Offeryn Duw a'i ffrynd oedd.

# MURMURON Y GRAGEN.

RHIF I.

MIN diwedydd teithio wneuthum draws y morfa tua 'r traeth,
Tybiais glywed adswn TYNGED yn chwedleua 'n ffri a ffraeth;
Clywais hefyd süol-siffrwd, fel bydd ffrŵd yn sibrwd *Ust*,
Yn y pellder wed'yn clywais,—"*Dyro gragen wrth dy glust.*"
Hyd y feisdòn crwydrai 'r wèndòn, gan ymdaenu dros y traeth,—
Weithiau 'n codi yn ei chwman, weithiau 'n llonydd megys llaeth:
Byddai weithiau 'n hîr a chribog, a chantellog yn ei thro,
A phryd arall yn cynddeiriog ruglo 'r cregyn yn y grô.
Gwelwn yn y du Orllewin dew gymylau 'n dô ar dô,
Rhai 'n fynyddau creigiau gwgus, eraill megys bryniog fro:
Rhuai 'r môr, a thyrfai 'r tònau, môryn ar ol môryn ddaeth,
Fel i ddangos ei wrhydri wrth ymlatnio hyd y traeth.
Sisial 'r oedd y gro a'r cregyn wrth eu rhygnu yn ddi-ball,
Minnau yn y môr-luwch-ddryghin yn palfalu fel un dall.
Tybiwn glywed ar y môrlan yr ymddyddan gyda 'r Ust:—
"*Dos i'r traeth a phiga gragen, dyro hono wrth dy glust,*
*Clywi ynddi 'r Môrforwynion yn clodfori 'r tònog gôr,*
*Clywi hefyd y cyfrinion sydd yn nghadw gan y môr.*"
Eis i lawr i'r traeth i chwilio, cefais gragen yn y man,
Wed'yn myned wnês i wrando 'r hyn a glywswn ar y làn:
Du-fantellog dawch y Dwyrain, i'r Gorllewin rithiog lèn,
Ymdaenasant nes oedd pygddu fwrllwch tew o gylch fy mhen.
Codai 'r môr ei ruwch yn feiddgar,—gwaeddai 'r tònau 'n wallgof groch,
A phob cragen ar y feisdòn oedd yn swnio megys cloch.
Methai 'r gwynt a bod yn llonydd, rhuthrai 'n hŷf gan faeddu poer,
Ac ysgytiai 'r tònau 'n enbyd. Rhwng dau gwmwl corniog loer
Daflodd oleu gwelw, egwan, goleu rhithiog, dawnsiog, gwyllt,
Goleu-arlliw gwibiog fellten, pan fo GRYM yn lluchio byllt
Gwelwn long, neu rywbeth tebyg,—ar amrantiad collodd hon:—
"Soddi, soddi, boddi, boddi," ydoedd stŵr y drystiog dòn.

* * * *

Dyma 'r gragen! Beth yw 'r dwndwr? Sû wylofus ynddi sydd,
Sŵn y tònau 'n curo 'r glànau,—tònau 'r nos ar draeth y dydd:
Sŵn unoldeb anfarwoldeb yn mhellderau 'r byd a ddaw,
Sydd i'w glywed yn y gragen yn ymdyrfu yn ddi-daw:
Ing a gofid, gloes wylofain, braw ac ubain, poen ac aeth,
Glywir draw yn mysg y tònau sydd yn golchi 'r bythol draeth.
Clywaf oer-gri cyfaill difri', cyni 'n cnoi ei enaid caeth,
A gwiberod, seirph a nadroedd, â'u colynau megys saeth
Yn ei bigo,—gwenwyn marwol yn eplesu 'i dyner gnawd,
Dirdyniadau llym losgiadau yn ei ffaglu, druan tlawd!
Ingoedd wleddant ar ei galon, cigfrain sydd yn bwyta 'i fron,
Yntau 'n llefain,—"*O! na fyddwn dan ryw ebargofus dòn.*"

Edrych, gwêl ei lygaid gwelw,—delw angeu yn y ddau,
Yntau 'n llefain nes mae 'r twrw yn y gragen yn lleihâu.
Gwelais ef yn fachgen llawen, cyn i Gynen lâs ei bryd
Ei ddyfetha, drwy wybetta, hyd ei lwybrau yn y byd:
Gwelais ef fel awel dawel yn y coed ar foreu Mai,
Llanw bywyd yn ei gludo draw, heb neb yn sôn am drai.
Gwrando 'i drydar dwfn gwynfanus sydd yn ysu 'r ddwyfron hyn,—
Galarganu mae ei farwnad fel yr alarch ar ryw lŷn.
Os oes eisieu angel-deimlad, gwrandaw ganiad gwlad yr hêdd,
Er mwyn cael gair o dragwyddoldeb, rho dy glust wrth ddrŵs y bedd.

Llong yn colli? Boddi! Boddi! O! mae hyn yn toddi 'nghnawd,—
Gwel'd y dwylaw oll yn suddaw! O! ddolefau 'r truain tlawd!
Ond mi glywaf yn y gragen sôn am drymach peth na hyn,
"Yr adlefau yn ddïalgar sydd yn ceisio damnio 'r gwyn!"—
Dynion *nef* a dynion *daear*, bydd edifar i chwi 'r gwaith,
Ni ddilëir mo 'ch culni gwrthun oesoedd tragwyddoldeb maith.
Sisial sisial mae ryw seiniau, dwsmel-seiniau gwlad yr hêdd,—
*Er mwyn cael gair o dragwyddoldeb, rho dy glust wrth ddrws y bedd.*
Clywi Fwynder, morwyn Hyder, pan yn syber wrth ei swydd
Yno 'n cânu, yn süo-gânu, odlau llawen meibion llwydd;
Clywi Gariad pur yn siarad gwir farddoniaeth ar y graig,
Dau yn uno, doed a ddelo, i fod mwy yn ŵr a gwraig!
Cysegredig fyddo 'r clogwyn! nefol engyl daenont ŵyl
Adenydd drosto, nes y delo eurog ddydd y prïod-ŵyl.
Ond mae sŵn ar fôrlàn einioes gan y gwynt wrth süo Ust,
"Pan ar draethell tragwyddoldeb, cadw 'r gragen wrth dy glust."

* * * *

Mae murmuron glân ysbrydion, miwsig moesol amser gwell
Yn y gragen, ac argoelion clir nad ydyw ddim yn mhell:
Y mae 'r wèndòn ar y feisdòn wrth ymdaenu 'n gwenu 'n awr;
Ciliodd gŵg, diflanodd gofid, o flaen llygaid têg y wawr.
Y mae 'r blodau 'n dechreu agor, blagur ddail sy 'n cuddio 'r coed,
Anian dlôs sy 'n prydferth wisgo esgid feillion am ei throed.
Dros brydnawn y bydd wylofain, yn y bore hyfryd ddydd,—
Mae yn mynwes y dyfodol lawer rhodd i'r teulu rhydd.
Süed tònau cribog amser ar draethellau 'r byd a ddaw,
Canaf finnau heb un pryder tra bo 'r gragen yn fy llaw;
Ac os daw dros fynydd Gofid awel oer i süo Ust,
Dilyn wnaf gynghorion Tynged:—rhof y gragen wrth fy nghlust.

RHIF V.

Pan oedd awel dyner dawel Mai yn dystaw sibrwd Ust,
Rhodio 'r oeddwn hyd y feisdòn gyda 'r Gragen wrth fy nghlust;
Ynddi clywn sü pruddglwyfus, sŵn dolefus ing ac aeth,—
"Cuddia 'r tònau 'n fuan, fuan, lun y troed sydd ar y traeth."
Eis i lawr i grwydro 'r draethell, gwelais yno *lun* y troed,
Ac fel hyn ymholai 'r meddwl (fel gwna plentyn pedair oed):—

"Pwy oedd hwn fu 'n croesi yma? Yn mha blwyf 'r oedd tŷ ei dad?
Pa beth, tybed, oedd ei neges? Ai ymdeithio 'r oedd i'w wlad?
Dyma lun y troed yn amlwg yn y tywod ar y traeth,
Ac yn dangos ei gyfeiriad; ond pa beth o hóno ddaeth?
Os aeth yr ochr *aswy*, tònog feddrod yw ei ran,
Ond os cymerth *dde* gyfeiriad, mae 'n ddïogel ar y làn."
Dilyn wnes yn araf bwyllog *lun* y troed ar draws y traeth,
Er mwyn gweled beth ei dynged, beth yn ddiwedd iddo ddaeth;
Croesais lawer afon lydan, llawer bâs lyn, llawer pwll,—
Ofni 'r oeddwn wel'd ei gorffyn wedi suddo i ryw dwll.
Ond ymlaen yn ddiflin hwyliais ar hyd llwybr llun y troed,
Mewn peryglon enbyd weithiau, ac mewn ofnau mwya' erioed:
Arall brydiau hwylus deithiwn, gan bêr-byncio melus salm,
Llawer emyn hefyd brofais ar fy siwrnai fel yn falm.
Ond o'r diwedd pan yn sefyll clywn greglais uwch fy mhen,
Creglais oer ac annaearol ydyw creglais gwylan wèn.
Synfeddyliais,—braidd nad ofnais, mai rhyw arwydd ydoedd hyn,
Fod y troed, yr ôl ddilynais, wedi suddo i ryw lŷn!
Draw fe swniai 'r môr yn dreiddiol, sŵn parhäol dònog gôr:
Sŵn rhyw bellder annirnadwy, eto 'n agos, sy 'n y môr.
Gwelwn wedi 'n dröad sydyn, yn y *llun* i lŷn gerllaw,
Ac wrth graffu gwelwn hefyd iddo lànio 'r ochr draw:
Ar ei ol dilynais innau, yntau 'n pwyso ar y *dde*,
A mwy amlwg oedd ei gamrau yma nag oedd mewn un lle.
Fe gyfeiriai tua 'r feisdòn,—yna tua phrydferth goed,
Lle ca 'r "un lluddedig orphwys" heb un arlliw llun ei droed!
Sefais innau 'n sŷn pan welais lun fy nhraed ar hyd y traeth,
A murmurai 'r môr wrth lenwi, "Neb yn ôl os trosodd aeth."
Ond pan oeddwn bron a boddi, daeth ryw angel efo bâd,
A dychwelais dros y tònau eto 'n ôl i dŷ fy Nhad.

* * * * *

Y mae awel dyner dawel dwyfol Fai yn sibrwd Ust,
Minnau 'n crwydro traethell einioes gyda 'r Gragen wrth fy nghlust:
Dyfal wrando dwfn-furmuron, iaith ysbrydion yn y gwynt,
Tònog sü y cêlgyfrinion yn mhellderau 'r amser gynt!
Süa 'r awel gyngan angel rhwng dail-frigau 'r goedlan werdd,
Ac encilion cymoedd ceimion sydd yn mud addoli 'r gerdd:
Gwridog flodau pren afalau sydd yn gnydau ar y coed,
A'r brïallu sy 'n diballu fritho 'r ddaear dan dy droed.
Dyma 'r fan tu draw i'r draethell,—tawel fan y ddeheu law,
Lle ca 'r "un lluddedig orphwys," wedi cefnu poen a braw.
Er mor aml y blin gystuddiau yn mâs-lwynau 'r draethell hir,
Ac er dyfned afon-rydiau poen a gofid, caed y tir!
Canaf efo 'r glân ysbrydion odlau mwynion, odlau hêdd,
Odlau 'r nefol-bererinion pan mewn gwlad nad oes un bedd.
Pan dan gysgod pren afalau yn mwynhâu ei ffrwythau pur,
Wedi anghof lwyr anghofio pob blinderau, poenau, cûr.
Canaf newydd gân a sŷna bawb drwy holl orielau 'r nef,—
Gwrando 'n fud wna tragwyddoldeb ar yr anthem, "IDDO EF."

Sefyll wnaf ymysg Cerubiaid a Seraphiaid nefol gôr,
I fwynhâu eu dwfn beroriaeth,—dwfn a thònog fel y môr;
Ond pan welwn UN—YR IESU—gorfydd i'r angelion glân
Ddystaw wrando plant y cystudd yno 'n gorfoleddu cân:
Sôn y byddant am ei burdeb,—am y bywyd drwyddo ddaeth,
A moliannant yn ddiflino LUN Y TROED FU AR Y TRAETH.

RHIF VIII.

Canodd un o'r MOR-FORWYNION gân forwynol am Y GWYNT,—
Cân wyryfol NEFYN NEIFION, pan mewn ogof ar ei hynt;
Dyma 'r sŵn ddylenwai 'r ogof: Telyn-gragen yn ei llaw,—
Mwynder gynghaneddai 'n felus odlau 'r dyfnder yn ddi-daw.

Y GWYNT.

Canaf y Gwynt, adroddaf ei hynt,
  A'i hanes drwy gydol yr oesoedd;
Pa fodd y gwnaeth gam â'r Awel, ei Fam,
  Wrth ddibris anrheithio ei llysoedd;
Ac hefyd y modd ffyrnigwyllt y ffôdd
  A'i yspail i'r gwagle diderfyn:
Ymladdai yn hŷf bob gwron, yn gryf;—
  Ei gryfder ei hun oedd ei erfyn.
Er dechreu y byd, mae 'n crwydraw o hyd
  I chwilio a chwalu 'n ddiseibio
Am enw ei Dad. Pa le 'r oedd ei wlad?
  Ac erlyn ei Fam gan ei rheibio.
Ffyrniga fel llew,—gwna 'r moroedd yn dew
  O ddarnau maluriol y llongau:
A chwardda 'n ddifraw wrth afael yn llaw
  Y creulon,—anniwall, yr ANGAU.
Marchoga 'n ddibaid (pan fydd hyny 'n rhaid)
  Feirch cyflym a höew 'r elfenau;
Dros fynydd a bryn, dros ddyffryn a glŷn,
  Yn wylltion, heb ffrwyn yn eu penau.
Bydd weithiau yn gawr, ar hyd y môr mawr,—
  Yn hynaws, bryd arall yn ellyll;
Dyrwyga ei wêdd,—ysguba ei hêdd,
  A'i dònau ysglisia yn defyll.
O herwydd ei raib, a'i dymher ddisaib,
  Meddyliwyd ei roddi mewn carchar:
Yr Awel, ei fam, roes gychwyn i'r cam,
  Gan ddysgwyl y lluchid e 'n llachar;
A chloddiwyd ei gell,—oer 'stafell ddu hell,
  Gan ddwylaw celfyddgar yr elfau:
A hudwyd e 'n fwyn gan desni a swyn,
  I weled cywreinrwydd eu celfau!
Drwy agen mewn craig, hen loches gwèn ddraig,
  Yr aeth yn eu cwmni yn dawel;
Heb feddwl am frâd, na diffaith waith câd:
  O geudwll chwibianai yr Awel:—

"Ti fyddi cyn hir, o'm golwg yn glir,
  Câf arnat ddialu 'nghasineb:
Dy falchder ar fŷr i'r ogof a'th ŷr,
  Ac yna câf finnau foddineb."
Rhwng dannedd y graig, cilwenai y Ddraig,
  Wrth weled y gelyn ar geulan;
Ac yntau yn llòn, heb arswyd i'w fron,
  Grechwenai nes siglai y *Tryfan*.
Afagddu ab Nos, hen elyn gwawr dlôs,
  Aeth ato dan fantell tywyllwch;
A chollodd y Gwynt ei ffordd ar ei hynt,
  A chwympodd yn nghanol y mwrllwch
I'r ogof yn swrth, ac yna rhoed wrth
  Ei genau ryw feini ofnadwy;
A chladdwyd e 'n fyw, fel gwallgof pob rhyw,
  Dan seiliau y garnedd safadwy.
Bu yno yn rhwym er oerni a thwym,'
  Mewn cadarn gadwyni o greigiau;
Ac er ei holl nerth, ei ben wnaed yn berth
  Glafoerllyd lysnafedd y Dreigiau;
Fe gnöai 'n ddiball y clogwyn diwall,
  Gruddfanai nes ysgwyd mynyddoedd;
Ac wylai mor ddwys, nes llenwi pob cwys
  A rychwyd gan aradr blynyddoedd.
Yr Awel, ei fam, glustfeiniai ei gam,
  Llawenai am fod ei anffodion:
A'r elfau 'n ddirôl a chwarddent fel ffôl,
  Eu gogan am ben ei drallodion.
Och'neidiai y Gwynt,—anghofiai 'r modd gynt,
  Y byddai ei hun yn creuloni:—
Ei lafar oedd leddf, a'i adsain yn feddf,
  Gyrhaeddodd hyd glustiau Tirioni:
Tirioni yn fwyn a dd'wedodd ei gŵyn
  Wrth Gwrddrym, ei chariad mawreddog;
Ac yntau yn sŷn, ymholai fel hyn:—
  "Mewn ogof? mewn carchar carneddog?
Af yno ar frys. Yn barod bo'm llŷs,—
  Dim oedi. Pa le mae fy mwâ?"

* * * * * *

Annelodd ei saeth, i'r garnedd yr aeth,
  Nes agor hen "Gegin y Cythraul"
Yn archoll du hyll, lle cadwai y Gwyll
  Ei gadlys mewn tymher anaraul!
Daeth goleu trwy 'r twll, ac yntau 'r Gwrês mwll
  Gynhesodd at febyn ei faboed:
Aeth ato yn hŷf, a drylliodd y cryf
  Gadwyni, fel gwïail îr mân-goed!
O'i garchar ar hynt, ymruthrodd y Gwynt,—
  Gan ymlid ei Fam yn fileinig

Ar dir ac ar fôr:—ysgubai bob dôr
  Yn chwilfriw drwy fawr-rym arbenig!
Pan welai ryw long ar wŷnfrig y dòn,
  Gwnai lygaid, ac yna fe suddai;
Dadwreiddiai y coed, heb barchu eu hoed,
  A'r goedwig gadarngref a nyddai.
Mae 'r Awel, ei fam, yn grwydryn dinam,
  Yn ceisio cael lle i gael llonydd;
Mewn encil a hudd, mewn coedlan yn nghudd,
  A glànau sibrydol aflonydd.
Ei chydmar y Gwrês, a'i gydfrawd y Tês,
  A'i noddant! mor hyfryd eu gorchwyl!
Ond cuchiai y Gwynt, nes dadrys eu hynt,
  A chrëai 'n ddibeidio ryw adchwyl.
Mae ganddo un brawd, heb esgyrn na chnawd,
  Brïododd ryw ffawd yn ei helynt,
Orchfygodd y Gwynt; mae cofion er cynt
  Yn adrodd gwrhydri y Corwynt.
Cawr wynt ydyw hwn ysgyria 'n ddi dŵn
  Bob gwrthddrych ar wyneb y ddaear:
Tarangras ei lais, a'i fywyd yn drais,
  Ac anian o dano 'n gorddyar.
Fe gymer yn rhwydd, yn adeg ei lwydd,
  Y Gwynt yn ei freichiau;—fe'i gwasga:
Ac yntau yn sŷn, ymsymud nis mŷn,
  Ond tawel fel baban y cysga.

* * * * * *

Cynghreiriant yn nghyd, a siglant y byd,
  Fel cryd ansefydlog chwildröa:
A'r Awel yn awr, a orwedd ar lawr,
  Gan ddychryn ac ofn yr ymröa.
Ond henffych! y Gwynt, mae 'th hanes er cynt,
  Yn tystio dy lês a'th ddaioni:
Gwas hyfwyn i'r byd (ond meistr drwg ei fryd),
  Wyt beunydd dan reol Tirioni.
Ti weithi yn rhwydd, er cysur a llwydd,—
  Anghofi dy lid a'th eiddigedd;
Hyd wyneb y dòn rhoi gysur i fron
  Y morwr, a swyn i'w unigedd.
Organi yn rhydd beroriaeth y dydd,
  A'r nos nid anghofi delori;
Ac felly yn glir ar fôr ac ar dir
  Bydd Anian yn dibaid glodfori.
Gwas ydwyt y Gwynt; mae Un ar bob hynt,
  A'i Air a wna dy reoli:
Yn nghornel ei law, y rhydd arnat daw,
  Pan fyddi di 'n cynnyg meistroli:
Crëadur wrth ddeddf, na fedr yr un *reddf*
  Na *rheswm*, byth, byth, ei dirnadu

Yw 'r GWYNT; ond mae UN, YR HOLL-OLL ei Hun,
Na ddïchon yr anghred ei wadu,
Sy'n peri ei waith,—sy'n hwylio ei daith,
Gan osod pob peth yn gyfarwydd:—
Yr Awel a'r Gwrês, pob elfen er llês,
Sy'n cadw gorchymyn yr ARGLWYDD.

NODIAD.

Defnyddiwyd hen Chwedloneg am y GLUDER FAWR yn Eryri, sef "Carnedd y Gwynt," fel y geilw y bugeiliaid y mynydd, fel cynsail y Gân; ac hefyd, nid esgeuluswyd cymeryd yr Elfenau a'u personoli. Gŵyr llawer, ond odid, am y TWLL DU, neu *Gegin y Cythraul*, yn ochr Nant Ffrancon, gerllaw i'r serthfynydd nodedig hwnw, y Trifaen neu y Tryfan. Y mae amryw Dryfanod yn Eryri, ac un o'r cyfryw ydyw yr un dibynog a diphwysog hwn. Yr oedd chwedlau y Dreigiau yn rhan arbenig o'n RHAMANTAU, neu ein MABINOGION yn yr hen amseroedd; ac nid oes camwedd na phechod eu hadgyfodi o fedd anghof, a gadael iddynt gael rhodiana yn höew ar draws ac ar hŷd ein hanwyl Walia Wyllt, dan dywysiad Cân Môr-forwyn.

---

# LLAFURWYR AMAETHYDDOL LLOEGR A CHYMRU.

MANUAL OF POLITICAL ECONOMY. *By* HENRY FAWCETT, M.A., *Fellow of Trinity Hall, Cambridge.* Macmillan & Co. 1863.

THE ECONOMIC POSITION OF THE BRITISH LABOURER. *By* HENRY FAWCETT, M.P., *Professor of Political Economy in the University of Cambridge.* 1865.

THE EDINBURGH REVIEW. October, 1868.

Y MAE y cynnydd dirfawr sydd wedi bod ar fasnach Prydain, a'r llwyddiant anghyffredin sydd wedi coroni llafur a diwydrwydd gwahanol ddosbarthiadau cymdeithas yn y deyrnas hon, yn ystod y deng mlynedd ar hugain diweddaf, wedi dwyn oddiamgylch gyfnewidiad trwyadl yn sefyllfa wladol a moesol y dosbarth gweithiol. Ffurfiwyd cwmnïau cyfoethog, ymgymerwyd âg anturiaethau pwysig, crëwyd bywyd newydd yn ngwahanol feusydd diwydrwydd; a thrwy hyn oll cyfodwyd pris llafur i'r fath raddau, fel erbyn hyn y mae y dosbarth gweithiol, o ran eu cyfoeth a'u dylanwad, wedi dyfod yn allu pwysig yn y deyrnas hon.

Ond y mae dosbarth llïosog a defnyddiol o'n cydwladwyr, sef llafurwyr amaethyddol Lloegr a Chymru, wedi eu gadael hyd yn hyn mewn cyflwr tlawd ac anniwylliedig. Y mae yn ymddangos nad ydyw y llanw masnachol sydd wedi cyfodi mor uchel yn y deyrnas hon wedi eu cyraedd hwy eto o gwbl. Y maent fel pe byddent wedi eu tòri ymaith oddiwrth ddosbarth cyffredin meibion llafur, ac yn cyfansoddi dosbarth neillduol, ar yr hwn nid oes genym unrhyw enw prïodol. Nid yw

*caethweision* yn enw digon nodweddiadol arnynt; oblegid pe buasent yn feddiant i'w meistriaid, buasai hunan-elw yn eu dysgu i roddi iddynt amgenach ymborth a rhagorach anneddau nag sydd ganddynt yn bresennol.

Y mae y fath gagendor yn gwahanu celfyddydwyr llwyddiannus gogledd Lloegr oddiwrth lafurwyr amaethyddol gorllewin a deheubarth Lloegr, fel y mae y pellder sydd rhyngddynt yn destun dyryswch a gofid i amryw o wladweinwyr a dyngarwyr ein teyrnas. Tra mae crefftwyr cywrain Yorkshire a Lancashire yn ennill y swm gwych o ddwy neu dair punt yr wythnos, y mae llafurwyr diwyd Wilts a Dorset yn gorfod gweithio am y swm truenus o wyth neu ddeg swllt yr wythnos. Mae yn wir fod cyflogau llafurwyr ychydig yn uwch yn ardaloedd llaw-weithfäol Lloegr, yn gystal ag yn ardaloedd y gweithfëydd mŵnau a llechau yn Nghymru; ond yn ol yr ystadegau cywiraf y daethom ni o hyd iddynt, nid yw cyflogau llafurwyr yn Siroedd amaethyddol Lloegr yn ddim uwch na deg swllt yr wythnos, ac nid ydym yn cael ei fod yn ddim uwch yn ardaloedd amaethyddol Cymru, oddigerth yn adeg cynauaf yn unig.

Y mae y *Professor* Fawcett (yr aelod Seneddol presennol dros Brighton), yn rhoddi darlun pruddaidd o gyflwr y dosbarth hwn yn ei *Manual of Political Economy*:—

"Y mae," meddai, "hyd yn nôd y rhai sydd yn coledd yr opiniynau mwyaf unochrog gyda golwg ar gynnyrch llafur a diwydrwydd Lloegr, yn gorfod teimlo fod cyflwr y llafurwyr amaethyddol yn gwbl anfoddhäol; oblegid ychydig o weithwyr sydd mor drwyadl druenus ymhob ystyriaeth â llafurwyr amaethyddol ein gwlad. Y maent mor druenus o dlodion, fel pe tröid hwy oll i fod yn gaethweision erbyn yfory, fe fyddai yn ennill i'w meistriaid eu cyflenwi âg ymborth annhraethol well na'r hyn y maent yn ei gael yn awr.

"Yn yr holl gymydogaethau nad ydynt yn digwydd bod yn gyfagos i'r trefydd llaw-weithfäol, deg swllt yr wythnos ydyw y gyflog amaethyddol yn ystod misoedd y gauaf. Y mae mynyd o ystyriaeth yn ddigon i ddangos fod y fath gyflog yn rhy brin i gyflenwi hyd yn nôd angenrheidiau hanfodol bywyd.

"Nis gallant gymaint ag archwaethu cig ond unwaith yn yr wythnos, a'r rhai sydd yn gorfod byw ar y fath gyfryn brin ydynt yn fwy agored nag eraill i erwindeb ein hinsawdd llym. Nid yw y fath gyflog druenus yn caniatâu gwneuthur y ddarpariaeth leiaf ar gyfer afiechyd neu wendid henaint. Trwy y cymydogaethau amaethyddol ëang y mae genym ni gydnabyddiaeth neillduol â hwynt, yr ydym yn gwybod nad yw y mwyafrif mawr o'n llafurwyr amaethyddol wedi llwyddo i allu cynnilo cymaint ag un geiniog goch.

"Iddynt hwy nis gall bywyd o lafur a diwydrwydd didòr gynnyg unrhyw ragolwg amgen nag ymdreulio allan mewn henaint anghenus; pryd y bydd raid iddynt naill ai bod yn garcharorion yn Ngweithdŷ yr Undeb, neu fod yn ymbilwyr cardotaidd am gymhorth plwyfol.

"Eto, nid y dyoddefiadau corfforol sydd yn gysylltiedig â'u tlodi ydyw yr arddangosiad gwaethaf o'u cyflwr; ond y mae eu hanwybodaeth mor gyflawn â'u trueni. Y mae ysgolion profedig, rhoddion haelionus y Llywodraeth at addysg, ynghyda zêl gyffredinol tuag at addysgu y tlodion, wedi methu hyd yn hyn âg addysgu y llafurwyr amaethyddol. Y mae yr achos o'r methiant hwn yn ddigon amlwg, ond nid yw mor hawdd ei wellâu. Pan y mae y plant yn gorfod gadael yr ysgolion pan yn wyth neu naw oed i ddyfod i ddilyn yr aradr, y maent yn fuan yn anghofio yr ychydig a ddysgasant; a'r canlyniad yw, nad oes mewn llawer o bentrefydd amaethyddol mawrion gymaint âg un dyn ieuanc yn alluog i ddarllen papyr newydd fel ag i ddeall dim o hono.

"Hawdd y gellir cyhuddo y rhieni o fod yn esgeulus o lwyddiant eu plant; ond pa fodd y gellir dysgwyl i rai sydd mor druenus o dlodion, ac yn anwybodus eu hunain, heb ddeall gwerth dysgeidiaeth, i aberthu y ddau swllt yr wythnos y mae y plentyn wyth neu naw oed yn allu ennill mewn gwasanaeth?"

Dyna ddarlun torcalonus mewn gwirionedd o gyflwr dosbarth llïosog iawn o'n cydwladwyr yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg, ac yr ydym yn sicr fod y *Professor* Fawcett yn sylwedydd mor bwyllog fel nas gall neb ei gyhuddo o orliwio y darlun. Mynych yr ydym yn clywed ein huchafiaid yn achwyn ar y dosbarth gweithiol am eu bod yn esgeuluso manteision addysg, pa rai a ddygwyd i'w cyraedd trwy lawer o ymdrech a charedigrwydd. Ond gall llafurwyr amaethyddol Lloegr a Chymru eu hateb gyda llawer o brïodoldeb trwy ddywedyd, "Rhoddwch i ni yn gyntaf fanteision i ennill ymborth a dillad prïodol i ni a'n plant, a ni a adäwn ein plant yn yr ysgolion; hyd hyny yr ydym yn rhwym o'u cymeryd i wasanaeth mor fuan ag y gallont ennill ychydig geiniogau, â pha rai y gallwn brynu yr hyn sydd angenrheidiol i gadw enaid a chorff ynghyd."

I bobl yn y fath sefyllfa anghenus, nid oes gwerth ar addysg, na phris ar wybodaeth. Y mae eu tlodi wedi eu meddiannu mor lwyr, fel nad yw eu holl fywyd ond un frwydr ddiorphwys am eu "bara beunyddiol," yr hon y mae ei chario ymlaen yn cymeryd i fyny eu holl ymadferthoedd corfforol a meddyliol.

Ond tra yr ydym yn credu nad yw y darluniad uchod o gyflwr tlodaidd ein llafurwyr amaethyddol mewn un modd yn eithafol, eto yr ydym yn rhwym o ddyweyd, nad ydyw llafurwyr amaethyddol Cymru, trwy drugaredd, wedi eu gadael i orwedd mewn cyflwr mor anwybodus ac anniwylliedig ag y mae llafurwyr amaethyddol Lloegr. Nis gellir cael na llàn na phlwyf amaethyddol yn Nghymru nad yw y dynion ieuainc, a'r plant, yn wir, yn gallu darllen, a deall yn weddol yr hyn a ddarllenant. I ba beth gan hyny yr ydym i brïodoli y gwahaniaeth hwn? Nid am fod genym ysgolion dyddiol rhagorach, nac ychwaith am fod llafurwyr Cymru yn goddef eu plant yn hŵy yn yr ysgolion; ond yr ydym i brïodoli y gwahaniaeth hwn yn benaf i'r sefydliad digyffelyb sydd yn ein mysg, sef, yr Ysgol Sabbothol Gymreig. Dyma y sefydliad bendithfawr sydd wedi dyrchafu llafurwyr amaethyddol Cymru uwchlaw y tywyllwch a'r anwybodaeth dybryd sydd hyd yn hyn yn nodweddu llafurwyr amaethyddol Lloegr.

Y mae cyflwr ein llafurwyr yn ymddangos yn waeth fyth pan ystyriwn ni fod y fath dlodi ac anwybodaeth yn cael eu hamgylchu â'r fath bentwr o gyfoeth, rhwysg, a gwareiddiad uchel a bostfawr. Tra y mae ein cyfoeth yn ddïarebol, ein llwyddiant yn rhyfeddol, a'n gwareiddiad yn dênu parch y byd, onid yw yn ymddangos yn beth dyeithr fod dosbarth o bobl, pa rai y mae rhan helaeth o gyfoeth a llwyddiant ein teyrnas yn ffrwyth uniongyrchol eu llafur, yn cael eu gadael mewn cyflwr sydd yn îsraddol i'r eiddo llafurwyr gwledydd sydd ganrifoedd ar ol ein gwlad ni mewn masnach a gwareiddiad? Yr ydym yn bur chwànnog i wneyd bôst o'n llwyddiant cenedlaethol; ond os ydyw yn llwyddiant gwirioneddol a chyfiawn, pa fodd na buasai y dosbarth llïosog a defnyddiol hwn wedi cyfranogi i ryw fesur o'i fendithion? Pe byddai ein llafurwyr amaethyddol yn ddigon dysgedig, ac yn neillduol yn ddigon amyneddgar, i ddarllen areithiau hirwyntog a bostfawr rhai o'n gwladweinwyr, pan yn adolygu ein cynnydd masnachol, gallent, gyda llawer o brïodoldeb, ofyn, Am bwy y maent yn llefaru?

Y mae y *Professor* Fawcett yn sylwi, gyda llawer o brïodoldeb, ar y

mater hwn yn ei *Economic Position of the British Labourer*:—

"Y mae ein prif wladweinwyr," meddai, "wedi bod yn rhy dueddol i fesur llwyddiant y wlad bon wrth safon ystadegol twyllodrus. Diau fod o'n hamgylch llaws o brofion tarawiadol o gyfoeth yn cael ei bentyru ar ei gilydd gyda chyflymdra digyffelyb.

"Y mae ein allforiad (*export*), a'n mewngludiad (*import*), mewn ychydig flynyddoedd wedi treblu.

"Y mae y tir yn cael ei drin yn well, a holl adnoddau naturiol y wlad yn cael eu dadblygu gyda'r ddyfais a'r anturiaeth fwyaf; ac y mae yma bob argoelion allanol o gyfoeth dirfawr.

"Pan yn sylwi ar y pethau hyn, yr ydym yn cael ein tueddu i ddyweyd, Ystyriwch y fath yw y profion o'n llwyddiant cenedlaethol!

"Ond cofier y gall y llafurwyr hwythau hefyd ystyried yr *un* profion; ac yn awr gadewch i ni ofyn, Ai ni fydd i ystyriaethau tra gwahanol ymwthio i'w meddyliau hwy gyda golwg ar y profion hyn?"

Bydd yn ddiammheu, ac yn sicr pe byddai i'r ystadegau sydd yn dyfod allan o swyddfa y *Board of Trade* gael eu dal am fynyd ar gyfer cyflwr anghenus ein llafurwyr amaethyddol, byddai i ystyriaethau tra gwahanol ymwthio i feddyliau ein seneddwyr hefyd. Yn sicr fe ddylai yr ystyriaeth bruddaidd fod un dosbarth mawr o'r wladwriaeth yn myned yn aberth i lwyddiant dosbarth arall, o leiaf gymedroli rhyw gymaint ar ein balchder cenedlaethol. Y mae yn beth nodedig yn hanes ein llafurwyr amaethyddol nad oes braidd neb o honynt yn llwyddo i ymddyrchafu o'r cyflwr isel a thruenus y maent ynddo drwy yr oesoedd. Y maent yn rhy weiniaid i gyfodi. Y mae yn ymddangos fod hyd yn nôd y gobaith dirgelaidd am wellâu eu sefyllfa, yr hwn sydd wrth wraidd holl ymdrechion bywyd, ac heb yr hwn nis gall dyn weithio ond fel peiriant, heb ewyllys na phleser, y mae yn ymddangos, meddwn, fod hyd yn nôd y gobaith bywiol hwn, os heb ei lwyr ddiffoddi yn eu mynwesau, eto heb unrhyw nôd i ymgyrhaedd ato.

Fel y sylwa *Professor* Rogers, "Gall celfyddydwr ymgodi i fod yn feistr, llaw-weithydd i fod yn beiriannydd, un yn gweithio yn y *factory* i fod yn *capitalist*, ond nid oes un llafurwr amaethyddol a all feddwl, hyd yn nôd yn ei freuddwydion dysgleiriaf, am ddal, a llawer llai, berchenogi tir."* Yn y fath sefyllfa â hon, nid oes unrhyw ragolwg i dynu dyn allan o hono ei hun—dim addewid i gymhell gweithgarwch, dim gobaith i ennyn diwydrwydd a dyfalbarhâd; ond dyn fel peiriant yn cael ei ysgogi gan allu oddiallan iddo ei hun—ei olwynion yn troi yn ystyfnig y naill yn y llall, heb neb i dywallt olew ar eu hechelydd.

"O gyflwr boreuol ei ddyndod," medd yr *Edinburgh Review*, "pan y mae yn dyfod i dderbyn cyflawn dâl fel llafurwr, y mae yn ymdroi yn yr un cylch o wythnos i wythnos, o fis i fis, ac o flwyddyn i flwyddyn, heb fyned gam ymlaen, nac esgyn cymaint a modfedd uwchlaw y gwastadedd ar ba un yr oedd yn cychwyn, hyd yr amser y byddo wedi treulio ymaith ei nerth yn llwyr gan lafur; heb ddim o'i ennillion yn weddill erbyn henaint a llesgedd, y mae yn cilio o'r maes i fyw ar gardod yr undeb plwyfol, y cam olaf cydrhwng bywyd o lafur bliu a'i orphwysfa yn mynwent llân ei blwyf. * * A ydyw yn ormod i'w ddyweyd fod rhywbeth yn ddiffygiol yn y trafnidedd cymdeithasol hwn, pa un mewn cenedl mor gyfoethog â'r eiddom ni, nad yw yn dal o flaen y llafurwr gonest a diwyd, ddim gwell rhagolwg na bywyd o ludded didòr, wedi ei dòri ymaith oddiwrth y gobaith am unrhyw ddyrchafiad, ac yn dybenu o'r diwedd yn mhorthladd llwm tlodi ac adfyd? Hyd oni byddo i'n cyfundrefn weithiol gael ei sefydlu ar ryw sylfaen ag a arweinia fywyd o lafur gonest at ryw ganlyniadau amgenach na hyn, yr ydym yn rhwym o ystyried y fôst a wneir o'n llwyddiant cenedlaethol digyffelyb fel yn cynnwys mwy o watwaredd nag o wirionedd."

* *History of Prices*, Vol. I.

Y mae tiroedd y wlad hon yn meddiant yr ychydig, mewn cymhariaeth, ac y mae deddf cyntafanedigaeth yn dïogelu cyfanrwydd etifeddiaethau ein tirfeddiannwyr, fel nad oes gan y llafurwr un gobaith am ddyfod i feddiant o gymaint â llêd troed o dir yn ngwlad ei enedigaeth. Rhaid iddo naill ai ymfudo i wlad estronol, neu foddloni ar fod yn alltud yn "ngwlad ei dadau." Y mae rhai yn barnu, pe ceid gwared o ddeddf cyntafanedigaeth, a phe gwneid dosbarthiad doeth ar diroedd y wlad, yr agorid drwy hyny ddrŵs o obaith o flaen ein llafurwyr amaethyddol.

Nid oes genym fawr o ffydd yn y cynllun hwn. Er nad yw y gyfraith yn yr achos hwn ond megys llythyren farw, eto y mae hawl y cyntafanedig wedi gwreiddio mor ddwfn yn syniadau pobl y wlad hon fel nad yw yn debyg y llwyddir i'w newid na'i dirymu yn fuan. A hyd yn nôd pe gwerthid rhai etifeddiaethau yn fân dyddynod yfory, o ba le y ca'i ein llafurwyr tlodion arian i'w prynu? Pan y dygwydd fod ambell dyddyn ar werth yn bresennol, y mae y fath wanc am feddu tir wedi disgyn ar ein masnachwyr cyfoethog, fel y maent yn barod i roddi am dano lawer mwy na'i werth.

Ond gan nad pa fanteision a all ein llafurwyr gael trwy ddosbarthiad tiroedd, credwn fod yn rhaid gwellâu eu sefyllfa fel llafurwyr yn gyntaf, cyn y gallant wneyd defnydd prïodol o unrhyw fanteision eraill. Rhodder iddynt gyflog rhesymol am eu llafur, fel y gallont ddarpar cyflawnder o ymborth prïodol, dillad gweddus, a thai cyfleus i'w teuluoedd, a bydd i dlodi ac anwybodaeth ddiflanu yn raddol o'u mysg.

Ond y mae yn bryd i ni bellach ymofyn pa beth sydd wedi dwyn llafurwyr amaethyddol Lloegr a Chymru i'r fath gyflwr isel a thruenus? Neu yn hytrach, pa beth yw y gallu sydd yn dal y dosbarth yma o feibion llafur yn ôl, tra mae pob dosbarth arall wedi myned gymaint ymlaen yn y deng mlynedd ar hugain diweddaf? Fe allai nad ydyw mor hawdd penderfynu pa un a welodd llafurwyr ein gwlad amseroedd gwell na'r amseroedd presennol ai peidio. Y mae haneswyr cyfrifol, megys Hallam, Froude, a Rogers, yn awgrymu fod y dyddiau gynt yn well na'r dyddiau presennol. Edrycha y *Professor* Rogers ar y drydedd ganrif ar ddeg fel cyfnod o lwyddiant a chyflawnder digyffelyb; a myn Froude mai tua chanol teyrnasiad Harri VIII. y cymerodd "oes euraidd" y dosbarth gweithiol le; ond y mae Hallam, ar ol ystyried yr holl fanteision yr oedd celfyddyd a masnach wedi eu dwyn i ran y gweithiwr Prydeinig mewn amseroedd diweddar, eto er y cwbl yn gorfod addef ei fod yn llawer llai galluog i gadw teulu nag ydoedd ei gynoeswyr dri neu bedwar can' mlynedd yn ol. Dichon fod y llafurwyr yn yr "hen amser gynt" yn fwy galluog i gyflenwi eu teuluoedd â digonedd o ymborth cryf ac iachus nag ydyw llafurwyr ein hamseroedd ni; ond os ystyriwn ni fod y llafurwr wedi ei fwriadu i fwynhâu rhywbeth heblaw ymborth, yr ydym yn rhwym o gydnabod fod cysuron amrywiol a llïosog yr oes bresennol, o leiaf yn mantoli llawnder a digonoldeb yr oesoedd gynt.

Wrth ystyried gymaint y mae celfyddyd wedi ei wneuthur tuag at ddyrchafu y gweithiwr, trwy ei wisgo â dillad gweddus, ac addurno ei dŷ â dodrefn cysurus, gellir dyweyd yn ngeiriau Adam Smith, "Nad ydyw cysuron tywysog Ewropëaidd gymaint yn fwy nag eiddo gwladwr diwyd a chynnil, ag ydyw cysuron yr olaf yn fwy nag eiddo

llawer brenin Affricanaidd, sydd yn feistr hollol ar fywyd a rhyddid deng mil o farbariaid noethion."*

Ond er fod celfyddyd a masnach wedi gwneuthur eu goreu tuag at ddyrchafu a chysuro y llafurwyr, nid ydynt eto wedi llwyddo i'w symud o'r cyflwr truenus y maent yn gorwedd ynddo. Rhaid gan hyny fod rhyw bwysau aruthrol yn gorwedd ar ein llafurwyr amaethyddol, gan nad ydyw y llwyddiant sydd wedi dyrchafu dosbarthiadau eraill cymdeithas i'r fath raddau, wedi llwyddo i ysgogi y dosbarth hwn o'i sefyllfa isel. Rhaid, meddwn, fod rhyw gadwynau haiarnaidd yn eu dal yn ôl, ac yn eu rhwymo yn nghaethiwed a thywyllwch anniwylliedig yr oesoedd gynt, pryd y mae haul rhyddid a gwareiddiad wedi esgyn mor uchel yn ffurfafen ein gwlad, a phryd y mae dosbarthiadau eraill cymdeithas eisoes wedi dryllio eu cadwynau, gan fyned rhagddynt yn y "*march of intellect.*"

Y mae i bob effaith ei achos, a rhaid fod cyflwr truenus ein llafurwyr amaethyddol yn effaith rhyw gamwri ac anghyfiawnder. Nid ydym yn meddwl y gellir olrhain y drwg hwn i ryw un ffynnonell neillduol; ond yn hytrach y mae yn ganlyniad anocheladwy llawer o ddrygau, sydd yn rhy lïosog i ni geisio eu holrain.

Gwyddom fod marchnad llafur yn ddarostyngedig i'r un deddfau ag ydyw marchnad nwyddau. Y *gofyn* a'r *cyflenwad* sydd yn llywodraethu y naill fel y llall. Bydd marchnad llafur yn rhwym o fod yn isel pan y byddo dau weithiwr yn rhedeg ar ol un meistr; a bydd yn rhwym o fod yn uchel pan fyddo dau feistr yn rhedeg ar ol un gweithiwr. Ond y mae masnach llafur fel masnach nwyddau yn agored i gael ei niweidio trwy ryw ddylanwadau anghyfiawn a gormesol. Y mae masnach y wlad hon wedi cael llawer o niwed oddiwrth gyfreithiau anghyfiawn a gorthrymus y llywodraeth. Ond er cymaint a ddyoddefodd masnach y deyrnas yn ei gwahanol ganghenau oddiwrth ormes y llywodraeth, nid oes un gangen wedi dyoddef mwy, os cymaint, a masnach llafur. Hyd yn ddiweddar, ni chafodd llafurwyr ein gwlad ond gwaethaf y llywodraeth. Gwnaeth y senedd yr oll a allasai i gaethiwo masnach llafur, a chadw y llafurwyr mewn cyflwr o gaethwasiaeth. Yspeiliodd hwynt o bob rhith o annibyniaeth, ac amddifadodd hwynt o bob hawl i roddi pris ar eu llafur eu hunain. Ni oddefid hyd yn nôd i gydymgais, *competition*, fod yn eu mysg; heb yr hwn nid yw llafur ond trais, na masnach ond twyll.

Yn nheyrnasiad Edward III., pryd yr ysgubodd yr haint marwol oddeutu hanner gweithwyr y deyrnas hon i'r bedd, y dechreuodd y llywodraeth ymyraeth yn annoeth cydrhwng meistriaid a gweithwyr. Dyma y pryd y pasiwyd "Deddf y Llafurwyr," *Statute of Labourers*, un o'r cyfreithiau mwyaf gorthrymus a ysgrifenwyd ar ddeddflyfrau ein gwlad erioed, pa un a barhäodd am ganrifoedd, mewn rhyw ffurf neu gilydd, i ddirwasgu y gweithwyr i'r llwch. Yr oedd y ddeddf hon yn gorfodi pob dyn a dynes iach, na fyddent yn gelfyddydwyr, masnachwyr, neu dirfeddiannwyr, i weithio pa bryd bynag y gelwid arnynt i wneyd, a hyny am y gyflog a benodid gan y llywodraeth; a pha ddyn neu ddynes bynag a wrthodai weithio am y gyflog hono, a gymerid i'r carchar nesaf, heb raith na dadl. Yr oedd pob llafurwr hefyd a ymadawai

* *Wealth of Nations*, Book I.

o wasanaeth ei feistr i gael ei garcharu yn ddiatreg; ac os ceid fod unrhyw feistr yn rhoddi mwy i'w wasanaethwr nag a benodid yn y ddeddf, yr ydoedd i gael ei ddirwyo i ddwbl y swm a addawsai yn gyflog iddo. Wrth gwrs yr oedd cyflog penodedig y llywodraeth yn rhwym o fod yn druenus fychan, gan nad ydoedd ond yr un swm ag a delid i lafurwyr cyn ymweliad y plâ, pryd yr oedd dau weithiwr i'w cael am bob un a geid ar ol hyny. Ac i attal y gweithwyr rhag osgoi crafangau y gyfraith trwy droi yn gardotwyr, yr hyn oedd yn fwy dewisol gan filoedd o honynt nag ufuddhâu i'r fath ddeddf, yr oedd y senedd yn ei wneyd yn drosedd i neb dan boen carchariad roddi i'r tlawd unrhyw elusen neu gardod, os byddai yn iach. Nid oedd erbyn hyn braidd ddim wedi ei adael i'r llafurwr tlawd, ond naill ai ymostwng i reolau annynol y llywodraeth, neu oddef iddo ef a'i deulu gael eu newynu i farwolaeth.

Wedi i'n deddfwyr, fel hyn, geisio rhwymo y meistriaid a'r gweithwyr â'r un gadwen, yr oeddynt, druain o honynt, yn tybio yr aethai pethau ymlaen yn hwylus yn ngrym y gyfraith. Buasai yr un mor resymol iddynt geisio rheoli y gwynt, neu lywodraethu y môr. Nid rhyfedd, gan hyny, fod y senedd cyn pen y deuddeng mis ar ol pasio Cyfraith y Llafurwyr, yn cwyno yn chwerw nad ydoedd yn cael ei pharchu gan y gweithwyr. Pa beth a wneid yn wyneb hyn? Rhaid chwanegu rhagrith at ormes; ac y mae y llywodraeth yn gwneyd hyny trwy orfodi pob llafurwr fyned ar ei lŵ ddwywaith yn y flwyddyn y byddai iddo ufuddhâu i Gyfraith y Llafurwyr. Ymhen y flwyddyn drachefn, canfu y llywodraeth fod un diffyg pwysig wedi ei adael yn y gyfraith hon, ac yr ydoedd yn llawn bryd ei ddiwygio. Gallasai fod mewn rhyw gŷrau o'r wlad feistriaid tynerach, neu wasanaeth ysgafnach i'w gael; ac i attal y gweithwyr rhag cael un fantais oddiwrth hyn, fe roddwyd adran yn y gyfraith i'r perwyl, nad oedd i'r un llafurwr dan boen carchariad grwydro allan o'i blwyf a'i bentref ei hun i weithio. Erbyn hyn, yr oedd y meusydd yn weigion o lafurwyr, a'r carcharau yn llawnion o segurwyr. Yr oedd yn well gan y bobl fyned yn lluoedd i'r carcharau, nag ymostwng i'r fath ddeddf farbaraidd. Nid rhyfedd fod y dyffryndir wedi myned yn anialwch, a'r meusydd yn ddiffaethwch, o eisieu llafurwyr i'w trîn, gan fod y llywodraeth, trwy y fath wladlywiaeth ormesol, wedi ymlid llafur a diwydrwydd allan o'r tir, a diogi a seguryd wedi ymdaenu dros yr holl wlad.

Drwy y gweddill o deyrnasiad maith Edward III., ac i lawr hyd y chweched flwyddyn o deyrnasiad Harri VII., yr ydym yn cael y senedd yn parhâu i gaethiwo, a'r gweithwyr yn parhâu i ffyrnigo, o flwyddyn i flwyddyn. Dyfeisiai y llywodraeth ryw ddirwyon a chosbedigaethau newyddion, a dyfeisiai y bobl ryw ffyrdd newyddion i wrthwynebu yr awdurdodau, a dïal eu cam. Trôdd gweithwyr gonest allan yn lladron hyfion, a gwasanaethwyr ffyddlawn yn yspeilwyr pen ffordd. Daeth pob coedwig, pob llwyn, a phob ogof yn y wlad, yn ymguddfa yspeilwyr, ac yn noddfa lladron. Yspeilid y praidd o'r corlanau, a dygid ymaith yr ychain o'r beudai. Dyma y pryd y llenwid ogofäau dyfnion mynyddoedd Cymru âg yspeilwyr beiddgar. Ac o'r cyfnod hwn y tarddodd y chwedlau rhamantus am breswylwyr yr ogofäau, pa rai sydd eto ar lafar gwlad yn Nghymru.

Yn nheyrnasiad Harri VIII., pan ydoedd y drwg wedi cyraedd ei

bwynt uchaf, fe basiwyd un o'r deddfau mwyaf gwaedlyd a ysgrifenwyd ar ddeddf-lyfrau Prydain erioed, sef Deddf y Cardotwyr. Ysgrifenwyd y ddeddf hon â gwaed y bobl, a gwnaeth fwy o alanasdra yn nheyrnasiad Harri VIII. nag a wnaeth yr haint echryslawn yn nheyrnasiad Edward III. Yn ol y gyfraith felldigedig hon, yr oedd unrhyw ddyn cyfaddas i waith a ganfyddid yn cardota, i gael ei gosbi am y trosedd cyntaf trwy ei rwymo wrth drol, a'i fflangellu hyd nes y byddai ei holl gorff yn waed dyferol. Am yr ail drosedd, i gael ei fflangellu drachefn, ynghyda thòri ymaith ddarn o fadruddyn ei glust ddehau. Am y trydydd trosedd, *marwolaeth*.

Yn ol haneswyr cyfrifol, megys Hume ac eraill, yr ydym yn cael fod yn nheyrnasiad Harri VIII., yn unig, y nifer aruthrol o *ddeuddeng mil a thriugain* o weithwyr wedi eu dienyddio trwy rym y gyfraith farbaraidd hon, a hyny, cofier, allan o boblogaeth heb fod uwchlaw pedair neu bum' miliwn.

Nid oes genym ofod i erlyn y cyfreithiau llymdost hyn i lawr o deyrnasiad i deyrnasiad am fwy na dau cant o flynyddoedd. Yn unig yr ydym yn crybwyll y pethau hyn i'r dyben o geisio dangos i'r darllenydd fod rhyw gysylltiad dirgelaidd yn aros eto rhwng gwladlywiaeth ormesol y llywodraeth Brydeinig yn yr amseroedd a aethant heibio, â chyflwr tlodaidd ac anniwylliedig llafurwyr amaethyddol Lloegr a Chymru yn ein hamseroedd ni. Y mae yn wir fod yr hen gyfreithiau hyn wedi eu diddymu, rai o honynt, er's talm; ond y mae eu hôl ar y wlad hyd y dydd heddyw, a'u heffeithiau difäol i'w canfod yn eglur yn nghyflwr presennol ein llafurwyr. Y mae deddfau, fel dynion, wedi marw yn llefaru eto. Cyfreithiau gwlad ydyw ei hathrawon, ac y mae cyfreithiau anghyfiawn yn athrawon cyfeiliornus a pheryglus. Rhoddant gyfeiriad cyfeiliornus i feddwl yr oes, gŵyrdröant y *public opinion*, a pharant i genedl gyfeiliorni am ganrifoedd wedi iddynt hwy eu hunain, o ran y ffurf o honynt, gael eu diddymu. Y mae amryw o hen ddeddfau meirwon Prydain wedi llwyddo i wthio eu dylanwad gormesol ymlaen hyd ein hamseroedd ni. Y mae llïaws o dirfeistriaid Toryaidd y dyddiau presennol wedi mabwysiadu eu hegwyddorion, ac wedi yfed yn helaeth o'u hysbryd, fel y profa eu hiaith a'u hymddygiad tuag at y gweithwyr yn adeg yr etholiad diweddar. Trwy drugaredd, y mae crefftwyr, mŵnwyr, a chwarelwyr, ein gwlad mewn sefyllfa i allu herio eu gormes. Ond am ein llafurwyr amaethyddol, er mai hwynt-hwy yw y dosbarth llïosocaf o boblogaeth amaethyddol y deyrnas, eto hwynt-hwy yw y dosbarth gwanaf. Y mae y gorthrwm a ddyoddefasant yn yr amseroedd a aethant heibio, wedi lladd eu grym a diffodd eu hysbryd, fel y maent yn awr yn cael eu nodweddu gan lwfrdra a gwendid.

Tra nad yw cyflog llafurwyr, fel y crefftwyr, yn ngorllewin a deheubarth Lloegr ond oddeutu deg swllt yr wythnos, yr ydym yn cael fod cyflog llafurwyr yn ngogleddbarth Lloegr oddeutu un swllt ar bymtheg yr wythnos. Pa fodd y gellir cyfrif am y gwahaniaeth hwn, ond trwy ei briodoli i'r teimlad lleol ac ymddibynol sydd yn nodweddu ein llafurwyr? Y mae yr un gwahaniaeth i'w ganfod yn nghyflogau llafurwyr yn Nghymru, er nad yn gymaint, fe allai, am y rheswm fod gweithfëydd glô y Deheubarth, a gweithfëydd mŵnau a llechau y Gogledd, oblegid eu hagosrwydd y naill at y llall, yn cario

dylanwad mwy effeithiol ar y Siroedd amaethyddol sydd yn gorwedd rhyngddynt.

Y mae yr un ysbryd llwfr yn nodweddu ein llafurwyr gyda golwg ar ymfudiaeth hefyd. Er mai hwy yw y dosbarth ag y teimlir mwyaf o'u hangen yn y trefedigaethau Prydeinig, yn gystal ag yn Unol Daleithiau America, eto i gyd, hwynt-hwy yw y dosbarth mwyaf cartrefol a diantur o unrhyw ddosbarth yn ein gwlad. Ond nid yw yn rhyfedd yn y byd fod ein llafurwyr amaethyddol mor gartrefol a diantur, os ystyriwn ni eu bod yn y ddau can' mlynedd diweddaf wedi bod yn ddarostyngedig i'r fath ddeddf orthrymus ag ydoedd y *Law of Settlement*, yr hon a gychwynodd ei gyrfa ormesol yn nheyrnasiad Charles II. Yr oedd yr hen ddeddf orthrymus hon yn berthynas agos i'r 43 Elizabeth, sef mamddeddf y *Poor Law* bresennol.

Daeth *Law of Settlement* Charles II. i mewn i gynnorthwyo hen Ddeddf y Tlodion y frenhines Elizabeth; a'i hamcan oedd attal cynnydd tlodi trwy wneyd pob plwyf yn gyfrifol i gynnal ei dlodion ei hun yn unig, a gwisgo yr awdurdodau plwyfol â gallu i attal llafurwyr y naill blwyf rhag symud ac ymsefydlu mewn plwyf arall. Pan y dygwyddai fod prinder gwaith mewn un plwyf, ac i'r llafurwr tlawd fyned i ymofyn gwaith i blwyf arall, lle y gallasai fod dirfawr angen am ei wasanaeth, ymaflai awdurdodau y plwyf diweddaf ynddo fel carcharor, ac anfonent ef yn ol i'w blwyf ei hun, am yr unig reswm y buasai yn fuan neu yn hwyr yn dyfod yn faich ar y plwyf hwnw. Fel hyn yr oedd y llafurwr yn cael ei ddal yn garcharor o fewn terfynau ei blwyf; ac os meiddiai gynnyg ei wasanaeth i rywun tu allan i'w derfynau, hysid ef yn ol gyda'r un dibrisdod âg y coetha yr amaethwr anifail barus ei gymydog allan o'i faes. Yr oedd y fath ddeddf ormesol â hon yn andwyo marchnad llafur, yn cynnyrchu tlodi, ac yn diffodd pob gwreichionen o annibyniaeth yn mynwesau ein llafurwyr. Fel yr oedd tlodi yn amlhâu, a'r trethi yn myned yn drymach o flwyddyn i flwyddyn, fe ddaeth yn fater o ystyriaeth ymysg yr awdurdodau plwyfol pa fodd i gael gwared o'r dosbarth gweithiol, a pha lwybr a geid i'w chwynu allan o'r plwyfydd, fel na byddai yn aros ond y nifer angenrheidiol i drîn y tir. Nis gallasai y tirfeistriaid a'r awdurdodau plwyfol gael gan y llafurwyr anufuddhâu i'r gorchymyn mawr, "Ffrwythwch, ac amlhëwch, a llenwch y ddaear;" ond yr oedd yn eu gallu hwythau i'w hattal i gael tai i breswylio ynddynt, a hyny a wnaethant. Nid yn unig gommeddid lle i adeiladu tai i weithwyr, ond *chwalwyd* cannoedd o dai, a gadäwyd i eraill fyned yn adfeilion mewn gwahanol barthau o'r wlad. Fel hyn, wrth geisio attal tlodi yn y wlad, trwy sarnu yr unig ddosbarth sydd yn cynnyrchu cyfoeth gwirioneddol pob gwlad, llwyddwyd i gynnyrchu y fath bentwr o dlodi ac adfyd, fel yr oedd pob dosbarth yn y wladwriaeth yn gruddfan dano. Mewn canlyniad i hyn, yr oedd y trethi yn trymhâu o flwyddyn i flwyddyn, a llanw y *Poor Law* yn cyfodi yn uwch uwch y naill dro ar ol y llall, fel erbyn dechre y ganrif bresennol yr oedd wedi cyfodi i'r fath uchder fel yr oedd yn bygwth ysgubo pobpeth o'i flaen. Tua diwedd teyrnasiad y frenhines Ann, yn 1714, nid oedd Treth y Tlodion ond oddeutu un filiwn o bunnau yn y flwyddyn; ond yn 1784, yr ydoedd uwchlaw dwy filiwn. Yn 1802, yr ydym yn cael ei bod oddeutu pedair miliwn; ac erbyn 1818, cawn ei bod wedi cyraedd y swm anferth o

dros saith miliwn a hanner—7,870,801p.* Erbyn hyn, yr oedd y gorthrymwyr yn gorfod bwyta yn helaeth o ffrwyth eu ffyrdd eu hunain; ac nid rhyfedd fod rhai o brif seneddwyr y cyfnod hwn yn dyrchafu eu lleisiau yn erbyn y *Law of Settlement*, ac yn ei chondemnio mewn iaith gref. Er hyn i gyd, fe barhäodd y ddeddf orthrymus hon, mewn rhyw ffurf neu gilydd, am yn agos i ddau cant o flynyddoedd, ac ni lwyr ddiddymwyd hi hyd oddeutu tair blynedd yn ôl, pryd y llwyddodd y blaid ryddfrydig i basio yr "*Union Chargeability Act.*" Y mae y *Law of Settlement* erbyn hyn wedi diflanu ymaith o flaen gwawr adfywiol *Political Economy*, ond y mae ei melldith yn aros eto yn nhai llafurwyr amaethyddol Lloegr a Chymru.

Un peth andwyol yn nghyflwr anianyddol a moesol ein llafurwyr ydyw diffyg tai cyfaddas i breswylio ynddynt; ac y mae y drwg hwn yn ganlyniad anocheladwy gwladlywiaeth greulawn y llywodraeth. Y mae cannoedd o deuluoedd llafurwyr yn Lloegr a Chymru yn gorfod byw oes helbulus yn y fath gytiau gwaelion, ag y byddai yn sarhâd ar unrhyw amaethwr cyfrifol oddef i'w anifeiliaid lettŷa ynddynt. Yr ydym yn canfod yn ystod y deng mlynedd oedd yn terfynu yn 1861, fod y boblogaeth wedi cynnyddu yn ol pump a hanner y cant, mewn wyth cant ac un ar hugain o blwyfydd lle yr oedd y tai wedi lleihâu. Y canlyniad o hyn ydyw, fod mewn amryw siroedd, ddau neu ychwaneg o deuluoedd yn cyttuno â'u gilydd i fyw yn yr un bwthyn, er dirfawr niwed i'w hiechyd a'u moesau. "Yr ydym yn cael," medd un ysgrifenydd, "fod teuluoedd cynnwysedig o bedwar o rai mewn oed, ynghyda phump o blant, wedi eu cau i fyny mewn ystafelloedd cyfyng ac isel, a'r *holl* deulu yn gorfod byw ar lai o le nag a ganiatâ y gyfraith i *un* troseddwr yn y carchar."

Dywed Mr. Simon, meddyg swyddol y *Privy Council*, "Fod sefyllfa bresennol cartrefi ein llafurwyr mewn llaweroedd o siroedd amaethyddol Lloegr a Chymru, *yn warth i wareiddiad Prydain.*" Pwy all ddirnad y filfed ran o'r dylanwad niweidiol sydd gan y fath gartrefi ar fywyd a moesau y rhai a fegir ynddynt? Y mae barnwyr oddiar eu meinciau, athrawon o'u cadeiriau, a gweinidogion o'u pulpudau, yn parhâu i gyhoeddi, mewn iaith ddiamwys, fod pob ymgais a wneir tuag at addysgu a diwygio ein llafurwyr yn rhwym o droi allan yn fethiant hyd nes y darperir iddynt dai cyfaddas i fyw ynddynt. Nid oes genym ofod i drafod y mater pwysig hwn yn ei holl gysylltiadau, ac nis gallwn ond cymhell y darllenydd i ddarllen y llyfrau a enwasom uwchben yr ysgrif hon. Y mae y *Professor* Fawcett yn neillduol yn trafod y mater yn ëang, yn oleu, a thêg; ac er ei fod wedi cael ei amddifadu o un o fendithion anmhrisiadwy bywyd, sef ei olwg, er hyny y mae efe, trwy ei ysgrifeniadau, wedi gwneyd braidd fwy nag odid neb y gwyddom ni am dano tuag at wellâu cyflwr truenus llafurwyr amaethyddol y deyrnas. Y mae yn llawen genym weled arwyddion fod caethiwed maith a blin ein llafurwyr yn tŷnu at y terfyn. Y mae gwŷr o ddysg, cyfoeth, a dylanwad wedi dyfod i'r maes i gymeryd eu plaid. Ffurfir cymdeithasau, detholir pwyllgorau mewn gwahanol barthau o'r deyrnas, er amddiffyn hawliau ein llafurwyr gorthrymedig. Y mae amryw o dirfeddiannwyr Lloegr wedi ymgymeryd eisoes âg adeiladu tai cysurus i lafurwyr ar eu hetifeddiaethau

* *History of the English Poor Law.*

ëang. Clywsom fod prif dirfeistriaid Cymru yn bwriadu dilyn eu hesiampl; ond y mae genym seiliau i ammheu gwirionedd y chwedl am rai o honynt o leiaf. Darllenasom yn ddiweddar am un o brif dirfeddiannwyr Cymru, yr hwn a wrthododd roddi tir i adeiladu tai i weithwyr, ac nid hyny yn unig, ond a ommeddai adgyweirio y bwthynod adfeiliedig oedd ar ei etifeddiaeth ëang. Rhaid fod y cyfryw yn feddiannol ar greulondeb gwaeth na'r eiddo yr estrys. Ond "y mae amser gwell yn dyfod," pryd y caiff y llafurwr gorthrymedig breswylio ar y tir y mae yn ei ddiwyllio, ac na bydd mwyach yn alltud yn "ngwlad ei dadau."

---

# ADDYSGIAETH.

## I.

### HANESYDDOL.

Fe ddywed Dr. Morell yn ei erthygl alluog a dyddorol ar addysgiaeth cenedlaethol yn yr *Encyclopædia Britannica*, mai yn hanes y Persiaid y ceir y crybwyllion boreuaf am gynllun neillduol i weinyddu addysg. Er nad oes eto ddealldwriaeth perffaith wedi ei gyrhaeddyd genym ynghylch yr ystyr a ddylid roddi i'r gair addysg, y mae yn ddiammheu genym y bydd i bawb gydweled â ni pan y dywedwn mai ystyr rhy gyfyng o lawer yr oedd y Persiaid yn ei roddi iddo. Cawn eu bod hwy yn ystyried fod addysg dyn yn berffaith, os oedd wedi cymeryd i mewn yn drwyadl y gelfyddyd o farchogaeth, a saethu, ynghyda dyweyd y gwir. Nid oeddynt yn barnu ei fod yn angenrheidiol cael hyfforddiant meddyliol o fath yn y byd er gwneyd dyn yn ddysgedig. Ond yr oeddynt yn gosod pwys arbenig ar ddyweyd y gwir, ac y mae hyn yn profi yn eglur i ni nad oedd y genedl hono yn gwbl anwaraidd, ac hefyd y mae yn profi ymhellach, fel y dywed Morell, fod addysgiaeth foesol yn y cynoesoedd wedi rhagflaenu addysgiaeth feddyliol. Y mae y ffaith olaf hon yn addysgiadol iawn i ni, y rhai sydd y dyddiau hyn mor dueddol i esgeuluso addysg foesol yn hollol yn ein hysgolion, a hyny yn unig am nad oes tâl i'w ddysgwyl oddiwrth y Llywodraeth am ei gweinyddu. Cawn fanylu ar hyn fe allai ar ol myned dipyn ymlaen.

Wedi troi rhyw nifer o ddalenau llyfr mawr Hanesiaeth, a dyfod i ganol croniclau y Groegwr boreuol, yr ydym yn cael fod ganddo ef syniad am addysg oedd yn llawer amgenach na'r hwn oedd gan y Persiaid. Yr oedd y Groegiaid, yn enwedig yn eu hamser mwyaf blodeuog, o Pericles hyd Alexander Fawr, dywedwn, ymhell iawn ar y blaen mewn gwareiddiad, mewn cymhariaeth â chenedloedd eraill y byd oedd yn cydoesi â hwynt, ac o ganlyniad yr oeddynt yn

berchen ar well drychfeddwl ar y pwnc o addysg, a gwell cynllun i'w ddwyn ymlaen, na neb o'u cydoeswyr. Yr oedd nodweddion y Groegwr oedd yn byw yn amser Socrates, Demosthenes, a Plato, yn wahanol iawn i nodweddion trigolion gwledydd eraill y byd. Nid ydym yn cael ar ddeall fod y Persiaid, y Carthaginiaid, na'r Rhufeiniaid, nac yn wir yr un genedl yn y dwyrain neu y gorllewin, yn meddu ar ogwyddiad mor naturiol at Athroniaeth ag oedd gan y Groegiaid. Yr oedd y Groegiaid er yn fore iawn yn feddiannol ar syniadau hynod o gyflawn am enaid a thragywyddoldeb; yr oedd yn bur hoff o edrych i mewn i'w fynwes ei hun, er cael allan ei dirgelion, a myfyriai yn ddwys yn aml uwchben y cyfansoddiad dynol, gan geisio ei ddeall, a deall hefyd yr effaith yr oedd ei gymdeithas â

Natur fawr
Yn oleu gan ryw ddwyfol wawr

yn gael, a'r effaith a *ddylai* gael ar ei feddwl. Yr oedd ganddo chwaeth uchel iawn; yr oedd yn medru gwerthfawrogi i raddau helaeth y pur, y prydferth, a'r arddunol. Yr oedd iddo ddarfelydd cryf a threiddgar, a meddwl dwfn a gafaelgar; ac, i goroni y cwbl, yr oedd ganddo yr iaith fwyaf melodaidd, fwyaf perffaith ac ëang, i osod ei feddyliau ynddi, o bob iaith a ddefnyddiwyd ar y ddaear yma erioed. Rhaid oedd llenwi prif ddinasoedd ei wlad â'r cerfluniau mwyaf hardd a godidog, y rhai sydd hyd heddyw i'w hystyried y perffeithiaf a'r godidocaf o holl gerfluniau y byd. Yr oedd yn talu sylw arbenig i addysgiaeth gorfforol, yn gystal ag i wrteithiad meddyliol, gan gofio, ni allwn dybied, fod mesur ei lwyddiant gyda golwg ar yr olaf yn dibynu i raddau helaeth ar ei lwyddiant gyda'r blaenaf. Yr oedd hefyd yn orawyddus yn gyffredin am ddedwyddwch personol; a chanfyddai yn eglur nad oedd yn hawdd iddo gael hyn heb i gymdeithas fod wedi ei gosod ar sylfaen hollol safadwy; ac eto nid oedd modd i gymdeithas fod ar seiliau cedyrn heb i'r gyfundrefn wladyddol fod yn meddu gradd mawr o berffeithrwydd. Felly, ynte, a siarad yn gyffredinol, nid oedd byth yn colli golwg ar sefyllfa llywodraeth ei wlad; a phrif amcan ei addysg ef oedd ei wneyd yn aelod cymhwys o gymdeithas. Nid oedd a fyno âg ymwneyd llawer â'r ymarferol a'r defnyddiol y sonir cymaint am danynt gan brif ddynion ein hoes ni, ond amcanai bob amser at y prydferth mewn natur a chelfyddyd. Cael syniad priodol am y têg, y pur, a'r mawreddog, oedd o bwys gan y Groegwr yn y dyddiau gynt; ac yn y fan yma, yn benaf, yr ydym yn cael fod y gwahaniaeth mawr a phwysig oedd yn bodoli rhyngddo â'r Rhufeinwr boreuol. Yr ydym yn cydnabod y gwahaniaeth hwn fel un pwysig, am ein bod o'r farn mai iddo ef, yn fwyaf neillduol o bob peth, y mae yn rhaid i ni ddysgwyl am esboniad ar ddarostyngiad yr hen Roegwyr gynt i'r genedl Rufeinig. Cenedl ymarferol iawn oedd y Rhufeiniaid, yn enwedig pan yn ei gogoniant; ac nid oes gwell enghraifft i'w chael o'r gwahaniaeth mawr oedd rhwng y Groegwr athrylithgar â'r Rhufeinwr ymarferol na'r hon y mae yr hanesyn canlynol yn ei chyflwyno i ni:—Yn y flwyddyn c.c. 146 syrthiodd Corinth, wedi brwydr galed tu allan i'r muriau, i ddwylaw y fyddin Rufeinig dan Mummius, yr hwn, wedi iddo ddyfod i feddiant llawn o hóni, a laddodd â min y cleddyf bob gwryw oedd o herwydd henaint neu glefyd wedi methu

dïanc gyda'r llïaws oddiyno, a werthodd fel caethion yr holl wragëdd a'r plant, ac a roddodd brif adeiladau y ddinas yn ymborth i'r tân. Yr oedd Corinth yr amser hwnw y gyfoethocaf o holl ddinasoedd Groeg, ac wrth gwrs yr oedd yn cynnwys cerfluniau a delwau o'r radd a'r gwerth uchaf, ymhlith pa rai yr oedd y ddelw ardderchog hono o Bacchus, am yr hon y cynnygiodd Attalus y swm aruthrol o bum' miliwn o bunnau! Wel, ynte, ni ddinystriwyd yr oll o'r delwau hyn, ond gosodwyd y rhai penaf o honynt o'r neilldu yn ddiseremoni ddigon gan Mummius, er cael eu trosglwyddo dros y môr i Rufain. Er fod y cadfridog tra enwog hwn yn ddyn o sefyllfa, o barch, ac o angenrheidrwydd yn ŵr o ddysg uwchlaw y cyffredin, eto, er hyn i gyd, yr oedd ei syniad am y mawreddog a'r arddunol mewn celfyddyd y fath fel ag y gwnaeth gyttundeb â chadben y llong oedd i ddwyn o Gorinth i Rufain y gorchest-gampau hyn o eiddo Aristides, ac eraill, i'r perwyl canlynol:—Fod y cadben, os äi rhai o'r delwau hyn ar goll, i'w ystyried yn gyfrifol i Mummius am ddelwau eraill o *lawn cymaint gwerth* â hwynt!

Nid oedd y dyn hwn, er uched ei sefyllfa, yn medru canfod y gronyn lleiaf o wahaniaeth rhwng cerfluniau a delwau îsraddol ei wlad ei hun â cherfluniau anghymharol Corinth ac Athen; ac, yn wir, yn hyn, nid oedd nemawr o wahaniaeth rhyngddo â'r mwyafrif mawr o'i gydwladwyr. Pobl ymarferol iawn mewn cymhariaeth oedd y Rhufeiniaid, ac at y *defnyddiol*, yn benaf, yr oedd pob ysgogiad o'u heiddynt mewn perthynas i addysg yn tueddu. Pan yn astudio Rhifyddiaeth neu Ddaearfeidraeth, er enghraifft, nid amcanent fel y Groegiaid at feithrin craffder ac ystwythder meddyliol, ond eu hunig amcan fyddai cyraedd y wybodaeth hono a'u galluogai i fod yn amgenach milwyr, i ddwyn rhyfeloedd ymlaen yn fwy llwyddiannus, ac i ddwyn masnach ymlaen yn y ffordd fwyaf manteisiol. Yr oedd y Rhufeiniaid yn gystal a'r Groegiaid yn talu sylw arbenig i bob math o ymarferiadau corfforol, ond amcanion hollol wahanol oedd gan y ddwy genedl wrth wneyd hyny. Prif amcan y Groegiaid oedd gwneyd y corff yn fwy lluniaidd; tra ar y llaw arall, prif amcan y Rhufeiniaid oedd gwneyd eu hunain yn ddynion cryfach, ac felly yn fwy cymhwys i ddefnyddio y cleddyf a'r bŵa. Wrth reswm, yr oedd y Groegiaid pan yn talu cymaint o sylw i addysgiaeth gorfforol, a'u golwg ar y goronbleth o ddail olewwydd oedd yn disgyn i feddiant buddugwr yn y campau Olympaidd; ond fel y dywedwyd eisoes, eu prif amcan oedd gwneuthur y corff yn fwy têg yr olwg arno, yn fwy hardd, yn fwy perffaith. Yr oedd gan y Rhufeiniaid ysgolion dyddiol fel sydd genym ni y dyddiau presennol, ymha rai y cyfrenid addysg mewn rhifyddiaeth, ysgrifenu, a darllen. Yr oedd sylw arbenig hefyd yn cael ei dalu yno i ramadeg. Cawn fod y Rhufeiniaid yn astudio yr iaith Roeg, fel ag yr ydym ninnau heddyw; yn chwilio yn fanwl i'w chyfansoddiad, yn pwyso ac yn mesur ei geiriau swynol, ac yn ceisio dyfod o hyd i'r rheolau neillduol hyny wrth ba rai yr ymddengys fod Plato ac Aristotle wedi eu harwain pan yn ei hysgrifenu. Hefyd, dysgid ychydig o ddaearyddiaeth a hanesiaeth yn eu hysgolion gan y Rhufeiniaid, y rhai oeddynt yn destynau dyeithr braidd i'r Groegiaid; ac eto, nid ydym yn barod i gredu fod cyfundrefn addysg y blaenaf yn welliant ar eiddo yr olaf. Na, braidd na chredem mai fel arall yr oedd pethau, mai dirywio wnaeth addysg ymhlith cenedloedd Ewrop am rai

canrifoedd ar ol darostyngiad Groeg. Mae yn sicr fod addysgiaeth fel yr oedd blynyddoedd yn ymdreiglo ymlaen, yn raddol yn cymeryd ystyr helaethach, helaethach o hyd mewn un cyfeiriad; ond yr oedd yr effaith ddaionus a gynnyrchid gan y cynnydd hwn yn cael ei orbwyso gan effaith dirywiad mewn cyfeiriad arall. Tra yr oedd y Groegiaid yn myned i eithafion ynghylch yr *ideal* mewn addysgiaeth, yr oedd eu hol-oeswyr yn syrthio i eithafion gwaeth, sef esgeuluso yn gwbl yr *ideal*, ac ar draul hyny yn talu gormod o sylw i'r *ymarferol* neu'r *defnyddiol*.

Ymhen amser machludodd haul gogoniant ymherodraeth Rhufain, a llithrodd awenau llywodraeth y byd gwareiddiedig yn naturiol i ddwylaw teyrnasoedd ac ymherodraethau eraill; ac yn awr wele Gristionogaeth yn cymeryd meddiant cadarn o brif wledydd Ewrop, ac yn dechreu arfer ei dylanwad ar addysgiaeth; ond aeth rhai canrifoedd heibio hefyd cyn y daeth gwir effaith y dylanwad hwn arno i'r golwg. *Chivalry* oedd y drychfeddwl mawr oedd yn ysgwyd y byd yn y canoloesoedd, ac y mae yn rhaid addef fod y byd wedi derbyn llawer o lês oddiwrtho. Ond aethpwyd gyda hwn eto i eithafion, ac un o brif orchwylion Cristionogaeth oedd ei ymlid i ffwrdd yn glir o'r byd. Bod yn ŵr *chivalrous* oedd uchelgais bywyd bron pawb yn ystod y canoloesoedd, ac er teilyngu yr enw nid oedd yn ofynol i neb fod yn meddu ar wybodaeth o fath yn y byd o'r elfenau hyny sydd, yn ol ein tyb ni, yn myned i wneyd i fyny yr hyn a elwir yn ddysgeidiaeth. Yr oedd gramadeg, ieitheg, a rhesymeg, ynghyda seryddiaeth, rhifyddiaeth, a cherddoriaeth yn cael eu hastudio a'u dysgu yn ysgolion dyddiol y canoloesoedd, ond nid gyda llawer o fanylwch a brwdfrydedd. Nid ystyrid y pynciau hyn yn angenrheidiol i ddyn i'w gyfaddasu i fod yn *foneddwr;* nid oedd angen hyd yn nôd darllen nac ysgrifenu ar y dyn oedd yn amcanu at enwogi ei hun fel gŵr *chivalrous;* yr oedd y pethau hyn o ganlyniad yn cael eu hesgeuluso i raddau helaeth iawn gan y mwyafrif mawr am ganrifoedd lawer, fel pethau diddefnydd a diwerth. Ond gydag amser, daeth prif elfenau *chivalry* pur, sef geirwiredd, dewrder, hunanbarch, &c., i'w cydnabod a'u hadwaen fel pethau yn perthyn yn fwyaf neillduol i Gristionogaeth; ac fel yr oedd Cristionogaeth yn ymehangu, yr oedd cymdeithas, yr hon oedd wedi bod am gymaint o amser yn myned yn fwyfwy llygredig ac ansicr bob dydd, yn raddol yn dyfod fel yn seiliedig ar egwyddorion gogoneddus Cristionogaeth; ac fel hyn yr oedd y byd yn myned dan fath o driniaeth ragbarotöawl, er ei wneuthur yn addfed i dderbyn y drychfeddwl o addysgiaeth wedi ei seilio ar seiliau cadarn a pherffaith. Ac fel y dywedir am yr ystorm, fod ei hechryslonrwydd yn gyffredin i'w fesur yn ol dyfnder y dystawrwydd oedd yn ffŷnu ychydig cyn iddi dòri allan, gellir dywedyd gyda llawer o brïodoldeb am addysgiaeth,—ei bod ychydig cyn tòriad allan y Diwygiad Protestanaidd yn amser Luther, yn fwy truenus a dilun, nag y bu am oesoedd cyn hyny ymhlith cenedloedd Ewrop, a bod cyflymder y cynnydd a wnaed mewn perthynas iddo wedi amser Luther i'w fesur yn ol dyfnder truenusrwydd y sefyllfa yr oedd ynddi ychydig o amser cyn hyny.

Cyn manylu ar yr effaith neillduol a gafodd y Diwygiad Protestanaidd ar y pwnc o addysgiaeth, nid anmhrïodol yn y fan hon fyddai gwneyd crybwylliad bŷr am y dylanwad a gafodd anrheithiad dinas Constantinople gan y Tyrciaid yn 1453 ar addysg. Achosodd y dygwyddiad

pwysig hwn i'r Groegiaid alltudiedig gyfeirio eu camrau i'r gorllewin, ac ymsefydlu yma a thraw yn y prif wledydd fel athrawon; a thrwy eu hymdrechion diflino fel ysgrifenwyr, yn gystal âg fel athrawon, darfu iddynt ymhen ychydig amser gynnyrchu chwaeth lled gyffredinol at iaith eu gwlad enedigol, ac wele addysgiaeth yn yr iaith Roeg yn dyfod yn rhan dra phwysig o'r addysg a weinyddid yn y dyddiau hyny yn yr ysgolion.

Fe wnaeth darganfyddiad Caxton o'r gelfyddyd o argraffu, drwy achosi gostyngiad yn mhris llyfrau, hwylysu llawer ar bethau ynglŷn âg addysg. Ond o bob peth a gymerodd le erioed ar y ddaear yma, y Diwygiad a dorodd allan gyda chymaint o nerth yn Germany yn 1517, gafodd yr effaith fwyaf ar addysgiaeth, mae yn ddiddadl. Yr oedd y byd cyn yr amser hwn wedi cael math o gipolwg ar y ffaith fod yn ofynol cael rhywbeth yn amgenach na gwrteithiad meddyliol y Groegwr, neu lwyddiant tymmorol y Rhufeinwr, yn sylfaen llwyddiant, a gwir gysur bydol; ond gwelodd Luther lawer iawn ymhellach na hyny. Deallodd Luther fod pob dyn i'w ystyried yn gyfrifol yn y farn ddiweddaf am ei enaid ei hun. Ar yr un pryd hefyd gwelodd fod yn angenrheidiol i ddyn er sylweddoli y ffaith ofnadwy hon gael golwg iawn ar druenusrwydd ei sefyllfa, ynghyda'r feddyginiaeth oedd wedi ei pharotôi gan y Duwdod Mawr ar ei chyfer. Cyn y gellid cyraedd cymaint a hyn, yr oedd yn rhaid i ddynion gael yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn eu dwylaw, i'w darllen a'u hastudio; ond eto, nid oeddynt, a siarad yn gyffredinol, yn medru darllen llyfr o fath yn y byd! Mewn gair, yr oedd y lliaws yn annysgedig. Yr oedd yn rhaid crefyddoli y byd; ond cyn yr oedd modd gwneuthr hyny, yr oedd yn rhaid ei addysgu. Dyma gychwyniad yn yr iawn gyfeiriad yn cael ei wneyd yn union. Dygwyd rhesymeg, gramadeg, rhifyddiaeth, a phethau eraill, i sylw mwy arbenig nag oeddynt wedi ei dderbyn erioed o'r blaen; ac er mai yr hen ddulliau a ddilynid yn ngweinyddiad addysgiaeth yn y pynciau hyn, eto llwyddwyd yn bur fuan i daenu gwybodaeth tra helaeth am danynt, ac i roddi gwêdd hollol newydd i'r pwnc o addysg yn y byd.

Yn y flwyddyn 1560 daeth dyn i fodolaeth, yr hwn a achosodd gyfnewidiad trwyadl yn y *dull* o astudio a dysgu gwyddoniaeth naturiol. Bydd ein byd ni o hyn hyd ddiwedd amser dan rwymau neillduol i dalu parch a gwarogaeth i enw Arglwydd Bacon am y cyfnewidiad mawr a phwysig hwn. Derbyniodd yr athronydd ei addysg orphenol yn Mhrifysgol Caergrawnt, ond nid yw yn ymddangos ei fod yn ystod ei arosiad yno wedi rhoddi ei hun i astudio y pynciau hyny y byddid yn gyffredin yn eu hefrydu yno gyda dim tebyg i ŷni neu frwdfrydedd. A phan yr ystyriom ddull Bacon o feddwl, fel y cawn ef wedi ei osod allan ger ein bron yn ei weithiau, nid oes dim sydd yn fwy naturiol i ni gredu am dano na hyn. Darganfyddodd Bacon ddull hollol newydd i ddeall anian. Dysgodd i bawb oedd a'u bryd ar gyrhaeddyd gradd helaeth o wybodaeth am natur a'i helfenau i weled yr angenrheidrwydd mawr o fyfyrio llawer uwchben natur ei hunan. Ystyriai ef y wybodaeth am natur a dderbynid yn ail law oddiwrth lyfrau, yn gwbl annheilwg o'r enw gwybodaeth. Cynghorai Bacon bob dyn, ar ei ben ei hun, yn annibynol ar bawb, i afaelyd mewn ffeithiau allanol; ac wedi myfyrio uwch eu pen, a rhoddi iddynt ystyriaeth fanwl, i dynu ei gasgliad ei hun, mewn

perthynas i'w natur, ac i'r deddfau neillduol hyny oedd yn eu rheoli, ac, fe allai, wedi rhoddi bodolaeth iddynt. Cafodd yr athroniaeth hon ddylanwad neillduol ar y byd. Dadymchwelodd yr hen gyfundraethau addysgol gyda buander mawr, a bu yn offerynol i sefydlu yn eu lle gyfundrefn newydd, yr hon mewn gwirionedd sydd yn bodoli hyd heddyw, ac sydd, a dyweyd y lleiaf, wrth wreiddyn y dull o weinyddu addysg sydd yn gyffredin yn cael ei fabwysiadu yn y dyddiau presennol.

Ryw bedair blynedd wedi marwolaeth Bacon, ganwyd yr athronydd enwog John Locke, i'r hwn eto y mae y byd yn ddyledus am yr ymdrechion egnïol a wnaeth yn ystod ei fywyd o blaid y pwnc o addysgiaeth. Y mae yn ddiammheu fod Bacon yn gyfrifol i raddau mawr am y cyfeiriad a gymerodd ymdrechion Locke mewn perthynas i addysg; byddai Bacon, pan yn ieuanc, mewn cymhariaeth, yn arferol o daflu dirmyg ar y dull o addysgu a arferid yn Rhydychain, a siaradai am yr athroniaeth a ddysgid yno, fel peth tebyg iawn i wê y pryf copyn, yr hwn oedd yn cael ei nyddu yn ymenyddiau yr athrawon yno, a'r hwn, er ei holl dlysni a'i feinder cywrain, nid oedd o un defnydd yn y byd; a chawn Locke hefyd yn siarad am y pethau hyn bron yn yr un cywair. Byddai yn siarad yn wawdus am y sylw manwl oeddid yn ei hawlio yn y ddwy brifysgol i'r ieithoedd Lladin a Groeg, a hyny ar draul esgeuluso i raddau mor bell byncíau ymarferol, megys celfyddyd a gwyddoniaeth. Cyhoeddodd Locke lyfr ar addysg, yn yr hwn y dadleua, gyda hyawdledd gorchfygol, dros ddysgu mwy o'r *ymarferol* a'r *defnyddiol* yn ein hathrofäau a'n prifysgolion. Trwy fod safle Locke fel llênor ac fel athronydd mor uchel, cafodd y llyfr hwn ddylanwad mawr iawn ar feddyliau prif ddynion Ewrop, ac y mae ei effaith ar addysg i'w ganfod yn amlwg hyd heddyw.

Wedi ymddangosiad llyfr meistrolgar Locke, nid ydym yn cael fod ond ychydig o gyffro wedi cymeryd lle yn y wlad hon nac ar y Cyfandir mewn perthynas i addysg hyd y flwyddyn 1760, pan y cyhoeddwyd llyfryn gan Rousseau, y Ffrancwr enwog, o dan yr enw *Emile*. Gosodiad Rousseau oedd, fod y natur ddynol yr amser hono, ac erioed cyn hyny, yn berffaith amddifad o bob tuedd at lygredd a phechod; fod pob dyn pan yn cael ei eni i'r byd yn gwbl amddifad o dueddiadau pechadurus, ac fod modd iddo ddal yn y perffeithrwydd hwnw hyd ddiwedd ei oes, pe buasai cymdeithas y peth y dylasai fod. Yr oedd Rousseau yn eithaf ymwybodol o druenusrwydd y sefyllfa yr hon yr oedd cymdeithas ynddi yr adeg hono; ac yn wir, yr ymwybodolrwydd trwyadl hwnw a greodd yn ei fynwes yn y cychwyn y teimlad hwnw a'i cynhyrfodd i ysgrifenu ei lyfr. Hanes bywyd dyn dychymygol o'r enw *Emile* yw y llyfryn—dyn, yn ol yr awdwr, oedd yn meddu ar natur hollol ddilwgr pan y daeth i'r byd, a'r hwn, drwy iddo dderbyn addysg neillduol, mewn modd neillduol, ar wahân hollol oddiwrth gymdeithas a'i myrdd temtasiynau, a lwyddodd i gadw ei natur berffaith hyd y diwedd. Hynod y fath effaith a gafodd y llyfryn cywrain hwn ar y byd gwareiddiedig!

For then he was inspired, and from him came
Those oracles, which set the world in flame.

Heb fanylu llawer ar yr effaith hwn, gallwn ddyweyd fod *Emile* wedi dysgu y byd i gymeryd golwg ëang ar addysg, a dyweyd y lleiaf. Hefyd

bu yn foddion i dynu sylw y byd at y cyflwr isel a thruenus yr oedd cymdeithas ynddo, ac ar yr un pryd yr oedd yn awgrymu yr unig foddion i'w hadferyd hi; hyny yw, awgrymai yn y modd egluraf mai addysg drwyadl, addysg yn ol ystyr helaethaf y gair, oedd yn eisieu ar y byd er ei wneyd yn well. Yn y cyfeiriad yma hefyd yr effeithiodd ar y dynion dyngarol hyny, y rhai dan yr enw *Illuminati*, a ymunasant â'u gilydd yn yr Almaen tua chanol y ganrif ddiweddaf, er ceisio gwneyd cyfnewidiadau er gwell yn nghyflwr cymdeithas. Bu y bobl hyn yn foddion i wneuthur lles i achos addysg, mae yn ddiddadl, ond nid cymaint ag a feddylia rhai, fe allai. Gyda hyn o grybwylliad ynte gadäwn hwynt, a dyma ni yn awr wedi dyfod at enw mawr iawn eto yn hanes addysgiaeth, enw sydd yn teilyngu y parch mwyaf ar law pawb sydd yn medru gwerthfawrogi y cyflwr addawol ymha un y mae addysg ynddo yn bresennol. Yr ydym yn cyfeirio at Pestalozzi. Yr ydym yn teimlo mai nid anfuddiol fyddai rhoddi yn y fan yma grynodeb byr o brif ffeithiau bywyd y dyngarwr enwog hwn. Ganwyd John Henry Pestalozzi ar y 12fed o Ionawr, 1745, yn Zurich, un o brif drefydd Switzerland. Yn unol â dymuniadau ei rïeni, pan nad oedd eto ond yn ieuanc, cawn fod Pestalozzi wedi dechreu ymgysegru at waith y weinidogaeth; ond wedi ymlyniad byr wrth y gwaith hwnw, rhoddodd yr *idea* o fod yn glerigwr i fyny, a thrôdd ei feddwl at y gyfraith. Nid oedd y gyfraith eto yn ei foddloni, ac ymhen ychydig amser gosododd hithau o'r neilldu. Yr oedd erioed yn meddu ar deimladau dwys iawn, a byddai bob amser yn dra thueddol i fyfyrio yn orddifrifol uwchben amgylchiadau a sefyllfa ei wlad, ynghyda'r eiddo gwledydd eraill. Yr oedd wedi ofni a synu llawer uwchben ansefydlogrwydd ac anniogelwch cymdeithas yn gyffredinol, ond heb erioed fe allai ganfod y feddyginiaeth effeithiol oedd wedi ei bwriadu i bethau. Beth bynag am hyny, tua'r adeg yma cawn fod llyfr Rousseau, *Emile*, yr hwn y cyfeiriwyd ato eisoes, wedi dyfod i'w feddiant. Darllenodd ef yn fanwl a chyda gradd helaeth o frwdfrydedd, a'r canlyniad fu, iddo grëu ynddo y fath gasineb at gyflwr llygredig cymdeithas, fel y penderfynodd ymneillduo oddiwrthi yn ddiatreg, a myned i fyw i fan anghysbell o'r wlad, lle y cawsai hamdden a manteision i astudio amaethyddiaeth. Wedi iddo gyrhaeddyd gradd helaeth o fedrusrwydd fel amaethwr, prynodd ryw nifer o erwau o dir anffrwythlawn, yr hwn dan ei ofal manwl ef yn fuan a newidiodd ei wêdd er gwell. Ond yn nghanol y cwbl, yr oedd meddwl Pestalozzi yn sefydledig beunydd ar gyflwr isel a thruenus y mwyafrif mawr o drigolion ei hoff Switzerland, a byddai ei holl oriau hamddenol yn cael eu troi at dynu allan gynlluniau er gwellâu eu cyflwr. Yr oedd erbyn hyn wedi dyfod i gredu yn ddiysgog mai *addysg* drwyadl oedd yr unig feddyginiaeth ar gyfer y drygau lliosog ac amrywiol oedd yn amgylchynu cymdeithas, ac yn ei gwneyd y peth oedd; a chredai hefyd yn llawn mor ddiysgog nad oedd y byd eto wedi deall yn iawn y gwir ystyr oedd i'w roddi i'r gair addysg. Y mae addysg, meddai holl fywyd a llafur Pestalozzi, yn rhywbeth gwahanol iawn i hyfforddiant geiriol. Y mae addysg, meddai, yn sylfaenedig ar brofiadau meddyliol; a'r ffordd a ddylid gymeryd pan yn amcanu cyflwyno i feddwl plentyn wybodaeth am rywbeth, rhifyddiaeth, er enghraifft, ydyw, dechreu gyda'r *concrete*. "Dau a dau wnaiff bedwar," meddai; ond ni fyddai ar y cychwyn yn

dywedyd hyn wrth yr addysgydd ieuanc, heb osod o'i flaen, *ddau fŷs* a *dau fŷs*, er gwneyd *pedwar o fysedd*; neu *ddwy geiniog* a *dwy geiniog*, er gwneyd *pedair ceiniog*, &c. Yn y flwyddyn 1775 agorodd ysgol ddyddiol yn ardal Neuhof; ond ymhen tair blynedd gorfodwyd ef gan amgylchiadau dyrys a gwrthwynebus i'w rhoddi i fyny yn llwyr. Yr oedd erbyn hyn wedi myned drwy ei eiddo i gyd, ac hefyd drwy fod ei ymdrechion aflwyddiannus mewn cysylltiad â'r ysgol wedi achosi i'w gyfeillion golli pob ymddiried ynddo, ystyrid ef gan bawb fel dyn wedi ei andwyo am byth. Ymhen ychydig amser ar ol hyn, dygwyddodd iddo ysgrifenu erthygl fechan, dychanol, ar ryw fesur gwleidyddol neillduol, yr hon a anfonodd i gyfaill oedd ganddo o'r enw Fuseli, brawd yr enwog arlunydd o'r un enw, iddo gael edrych drosti. Yr oedd y Fuseli hwn yn cymeryd dyddordeb mawr yn Pestalozzi, ac yn awyddu gwneyd yr hyn a allai drosto bob amser. Rhyw ddiwrnod galwodd ei frawd yn ei dŷ. Yr oedd ysgrif Pestalozzi yn dygwydd bod ar y bwrdd yn yr ystafell lle yr oedd y ddau yn ymddyddan â'u gilydd; a chan roddi ei fŷs arni, "Mae'n resyn," ebai Fuseli, "nad allem rywfodd neu gilydd gael allan gynllun effeithiol tuag at osod yr awdwr anffortunus uwch ben ei draed unwaith eto." "Gadewch i mi weled," ebai'r arlunydd, wedi iddo ddarllen yr erthygl ddoniol drosodd, "mae'n ymddangos i mi y gall awdwr yr ysgrif hon ofalu drosto ei hun; gall, fe all hwn, os dewisa, ddyfod yn enwog iawn yn y dyfodol fel awdwr. Ewch ato a dywedwch wrtho fy mod i yn dyweyd hyn am dano." Gyrodd Fuseli am Pestalozzi yn union, a mynegodd iddo beth yr oedd ei frawd yn ei dybied am dano, yr hyn a wnaeth argraff ddwys ar ei feddwl. Aeth yn ôl i'w dŷ yn ddyn gwahanol iawn i'r peth ydoedd pan yn ei adael ychydig cynt, ac heb golli amser dechreuodd ar ei waith y diwrnod hwnw; a'r canlyniad fu iddo lwyddo yn ystod y flwyddyn 1781 i yru drwy'r wasg ei lyfr cyntaf, "*Leonard and Gertrude.*" Y mae Gertrude yn wraig i Leonard, ac y mae wedi cymeryd arni ei hun y cyfrifoldeb o ddwyn ymlaen addysg ei phlant, a'i dull neillduol hi o wneyd hyny a fynai Pestalozzi i'r byd ei gofleidio fel y dull goreu i gyflwyno addysg o dan bob amgylchiad. Derbyniwyd y llyfr gyda ffafr neillduol gan rai o brif ddynion Ewrop, a chafodd gylchrediad helaeth, ond nid mor helaeth ychwaith ag i wellâu llawer ar amgylchiadau bydol yr awdwr. O'r flwyddyn 1781 hyd 1798, ymneillduodd Pestalozzi yn gwbl oddiwrth y gwaith o addysgu, a siarad yn gyffredinol, gan droi ei feddwl yn hollol at gyfansoddi a chyhoeddi llyfrau.

Ond yn 1798, gadawodd Neuhof, lle y bu yn trigiannu am ddeng mlynedd ar hugain, ac ymsefydlodd yn Stanz, fel prif athraw yr ysgol oedd yno. Yma y gwelodd yn angenrheidiol, o herwydd nifer gormodol y plant i gyfateb i nifer yr athrawon, i osod rhai o'r plant henaf i addysgu y plant lleiaf, ac felly i roddi cychwyniad i'r dull hwnw o addysgu plant a ddefnyddiwyd gyda'r fath lwyddiant gan Bell a Lancaster ychydig o flynyddoedd wedi hyny, a'r hwn sydd erbyn heddyw yn myned dan yr enw *Pupil Teacher System.* O Stanz gyrwyd Pestalozzi gan y Ffrancod, y rhai oedd wedi goresgyn y wlad, dan Bonaparte, i Burgdorf, lle, gyda chynnorthwy ychydig o athrawon dyngarol eraill tebyg iddo ei hun, y sefydlodd ysgol unwaith eto. Gan ymwrthod â gwneyd unrhyw fath o adolygiad yn bresennol ar ddull Pestalozzi o

addysgu ei ysgoleigion, yr hwn sydd yn cael ei osod allan yn bur eglur mewn llyfr a gyhoeddodd tua'r adeg yma dan yr enw, "Y modd yr addysga Gertrude ei Phlant," rhoddwn y desgrifiad bywiog canlynol o hóno pan yn Burgdorf, yr hwn sydd wedi ei ysgrifenu gan un o'i ddysgyblion ffyddlonaf. Er gwneuthur y dyfyniad canlynol yn ddealladwy i'r darllenydd, angenrheidiol dywedyd fod Pestalozzi bob dydd yn rhoddi i'r plant fel math o wers mewn siarad, frawddegau fel y rhai canlynol, i'w hadrodd ganddynt ar ei ol ef, a chyda'u gilydd,—

Ceffyl hir gynffonog,—
Ceffyl býr gynffonog,—
Mwnci hir gynffonog, &c.

Wel ynte, dyma fel y dywed Ramsauer am athraw ysgol Burgdorf: "Y tro cyntaf y dygwyd fi ger bron Pestalozzi i'w ysgol, croesawodd fi yn y modd mwyaf cynhes, a chusanodd fi; yna gosododd fi i eistedd mewn man penodol, a chyda hyn o sylw, gadawodd fi heb ddyweyd gair wrthyf wed'yn y bore hwnw mewn un ffordd na'r llall. Gan fy mod yn hollol ddyeithr i bob peth a ddygid ymlaen yno, pan y bloeddiai y plant y gair *mwnci, mwnci,* mor egnïol, dychrynwyd fi yn fawr; a chan fod Pestalozzi, yr hwn o ran pryd a gwedd oedd yn ddyn hagr anarferol, yn rhedeg o gwmpas yr ystafell fel dyn gwyllt, heb goat, ac heb gadach am ei wddf, a llewys hirion ei grŷs yn hongian i lawr dros ei freichiau a'i ddwylaw, braidd nad oeddwn yn barod i dybied mai Pestalozzi ei hun oedd y *mwnci* hwn." Yn y flwyddyn 1804 symudodd o Burgdorf, ac aeth i gadw ysgol mewn hen fynachdŷ yn Buchseer, yr hwn a osodwyd at ei wasanaeth gan lywodraeth Berne. Yn yr ardal hon, mewn lle o'r enw Hofwyl, y preswyliai yr enwog ddyngarwr Fellenberg, i'r hwn y talai athrawon ysgol Buchseer fwy o barch ac edmygedd nag oeddynt yn dalu i hyd yn nôd Pestalozzi ei hun. Achosodd hyn i'r olaf ymadael yn llwyr â'r lle, ac ymsefydlu fel prif athraw ysgol yn Yverdun, lle y bu iddo aros bellach, am rywbeth fel ugain mlynedd. Yn ystod ei arosiad yma, fe wnaeth fwy o elynion nag a wnaeth fe allai ar hyd ei holl fywyd blaenorol. Yma y syrthiodd ei îs-athrawon allan â'u gilydd, a chydag amser ymadawsant bob yn un ac un â'r sefydliad; y medrus Schnid yn 1810, yr addfwyn Verusi yn 1816, ac yn y flwyddyn ganlynol y dwfnfeddylgar Niederer, nes o'r diwedd aeth yr ysgol mor brin o ysgoleigion, ac mor amddifad o gynnorthwy y wlad, fel ag y gorfu i Pestalozzi ei rhoddi i fyny yn hollol yn 1825, a myned yn hen ŵr 80 oed yn ôl i Neuhof, at ei ŵyr, yr hwn oedd yn byw yno mewn sefyllfa bur gysurus. Yr oedd Pestalozzi yn awr yn agosâu at ddydd ei farwolaeth. Ar ol cystudd bŷr, bu farw y 15fed o Awst, 1827, a chladdwyd ef ar yr 17eg mewn pentref bychan cyfagos o'r enw Birr. Rhwystrodd yr hîn, mae yn ddiammheu, lawer o ddyeithriaid rhag dyfod i'r angladd, ond eto er bod eira o drwch anarferol yn gorchuddio wyneb y ddaear y diwrnod hwnw, daeth ynghyd i'w gynhebrwng holl ysgolfeistri yr ardaloedd, a'u hysgoleigion hefyd i'w canlyn, y rhai a ganasant dôn neu ddwy uwchben ei fedd yn hynod darawiadol ac effeithiol.

Wrth adael Pestalozzi, mae y cwestiwn canlynol, neu rywbeth tebyg iddo, yn codi yn naturiol i feddwl y darllenydd,—Pa effaith a gafodd bywyd llafurus Pestalozzi ar y mater o addysg? neu mewn geiriau eraill,

Pa faint a wnaeth Pestalozzi tuag at hyrwyddo pethau mewn perthynas i addysgiaeth? Mewn ffordd o atebiad i ofyniadau o'r fath, gallwn ddywedyd, yn fyr, fod holl fywyd Pestalozzi yn fath o wrthdystiad yn erbyn yr hen ddulliau o addysgu a fabwysiedid yn ei amser ef, a chanrifoedd lawer cyn ei oes ef. Er enghraifft, pan yn addysgu plentyn mewn gramadeg neu rifyddiaeth, yn ol yr hen ddull, ni fyddai yr athraw yn ystyried fod i'r plentyn reswm, yr hwn yr oedd yn ofynol ei feithrin a sicrhâu ei gydweithrediad er gwneyd un o'r pynciau hyn yn ddyddorol a dealladwy iddo; felly yn gyffredin gorfodid ef i ddysgu ar ei dafod leferydd rhyw liaws mawr o eiriau, o frawddegau, ac o reolau; ac wedi iddo eu cael yn iawn i'r cof, ystyrid ef gan ei athraw a chan bawb, fel un wedi meistroli ei waith yn berffaith. Gwelodd Pestalozzi yn amlwg mai addysg mewn *enw* yn unig oedd peth fel hyn, ac o un eithaf rhedodd yn naturiol i'r eithaf cyferbyniol, ac yn lle rhoddi *dim*, mynai efe roddi *gormod* o sylw i'r rheswm. Pan yn hysbysu i blentyn mai hanner deuddeg yw chwech, neu, mai dau chwech wnaiff ddeuddeg, cyn myned un cam ymhellach, barnai Pestalozzi yn angenrheidiol dangos hyn iddo yn fwy eglur, drwy osod o flaen ei lygaid ddeuddeg o geiniogau, a'u rhanu, &c. Yr oedd hyn yn angenrheidiol iawn pan yn cychwyn gydag addysgiaeth y plentyn mewn rhifyddiaeth, ac yn yr oes hono yr oedd yn beth hollol newydd; ond pan dybiai Pestalozzi ei bod yn ofynol esbonio pethau yn y dull manwl hyn i'r plentyn wedi iddo gyraedd cryn fedrusrwydd mewn rhifyddiaeth, dywedwn, yr oedd, mae'n sicr genym, yn myned i eithafion; yr oedd fel pe yn anghofio fod gan y plentyn gynneddfau i'w alluogi i ddirnad yn drwyadl bethau nad allesid byth brofi eu bodolaeth drwy *arddangosiad gweledig*. Yn y fan hon y byddai Pestalozzi yn colli fwyaf; yr oedd yr hen addysgwyr yn eithafol un ffordd, ac yntau lawn cymaint felly y ffordd arall. .Ond dyna, fe allai, oni bae ei fod fel hyn na fuasai wedi gwneyd cymaint o les gyda'i hoff bwnc; fe allai fod yn ofynol iddo, er gwneyd i ffwrdd yn effeithiol â'r drwg oedd ynglŷn âg addysgiaeth o herwydd eithafion pobl mewn un cyfeiriad, fyned yn eithafol yn y cyfeiriad arall. Beth bynag am hyn, gallwn ddyweyd fod angerddoldeb ei frwdfrydedd fel athraw ac fel addysgydd wedi bod yn foddion i ennyn tân yn mynwesau eraill, y rhai sydd erbyn heddyw i'w cofio fel rhai a gymerasant ddyddordeb mawr yn y pwnc o addysg, ac a weithiasant yn hynod o lwyddiannus o'i blaid, a'r rhai hefyd, oni buasai Pestalozzi, fuasent wedi rhoddi cyfeiriad hollol wahanol i'w hymdrechion.

Er enghraifft, ni fuasai y byd wedi cael y fath ddyn a Fellenberg i weithio fel ag y gwnaeth o blaid addysg, gyda'r fath zêl, a chyda'r fath lwyddiant, oni buasai Pestalozzi. Y mae ffeithiau bywyd Fellenberg yn profi hyn yn eglur. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1771, yn Berne, prifddinas Switzerland. Yr oedd ei deulu yn perthyn i'r dosbarth pendefigol, a'i fam yn disgyn yn uniongyrchol oddiwrth yr enwog Van Tromp, y câdlyngesydd Isellmynaidd. Soniai Fellenberg lawer iawn ar hyd ei oes am ofal meithrinol ei fam dda a dysgedig, a chanddi yn benaf y derbyniodd ei addysg foreuol. Yr oedd ei dad yn dra adnabyddus o Pestalozzi, ac yn meddwl llawer iawn o'r egwyddorion yr oedd efe yn gweithio mor egnïol o'u plaid; ac fel y mae yn naturiol i ni dybied, crëodd yn mynwes ei fab, pan nad oedd ond ieuanc mewn

cymhariaeth, awydd cryf i ddilyn camrau Pestalozzi, a chysegru ei oes at wellâu cyflwr gwladol a moesol ei wlad. Er cario ei fwriad allan, trôdd ei sylw at y gyfraith, gan feddwl cyfaddasu ei hun i fod yn gyfreithiwr. Astudiodd y gyfraith yn Heidelberg am beth amser, gyda grâdd mawr o lwyddiant, ac yna rhoddodd ei hun i fyny i faterion politicaidd, gan dybied y buasai yn cyraedd ei amcan yn gynt fel hyn, na phe buasai yn cymeryd cyfeiriad arall. Ond yn bur fuan rhoddodd ffarwel bythol i'r bywyd politicaidd, a'i dwyll a'i wagedd, a phrynodd ystâd ëang yn ardal Berne, mewn lle a elwir Hofwyl, lle y sefydlodd ysgol i addysgu plant yn yr elfenau cyffredin, rhifyddiaeth, &c., ac ynglŷn â hyn, i gyfranu iddynt addysg mewn amaethyddiaeth. Am rai blynyddoedd, ni thŷnodd y sefydliad ond ychydig o sylw; ond yn raddol cynnyddodd, a daeth yn y diwedd i gynnwys ysgolheigion o bob parth o'r byd, bron. Wrth reswm, drychfeddwl Pestalozzi oedd hwn, ond fe'i gweithiwyd allan yn llawer mwy llwyddiannus gan Fellenberg na chanddo ef; ac i lwyddiant y sefydliad yn Hofwyl yr ydym i brïodoli bodolaeth nifer mor fawr o *Industrial Schools* a *Reformatories* yn ein gwlad ni y dyddiau presennol. Bu Fellenberg yn athraw yn Hofwyl am bum' mlynedd a deugain; ac yno, yn Tachwedd, 1844, y bu efe farw.

Barna rhai hefyd mai i Pestalozzi yn benaf yr ydym yn ddyledus am yr egwyddorion hyny a wnaethant Lancaster a Bell mor enwog rhyw ddeugain mlynedd neu lai yn ôl. Nid ydym yn barod i hawlio pwysigrwydd neillduol i'r dybiaeth hon, ond yr ydym yn gweled fod yn rhaid i ni gyfaddef fod Pestalozzi a Fellenberg, ar gyfrif llwyddiant eu hymdrechion zelog o blaid addysg, wedi tŷnu sylw difrifol holl Ewrop at y pwnc, ac wedi rhoddi y wlad hon mewn cryn râdd o barodrwydd i dderbyn diwygiadau Bell a Lancaster mewn materion addysgol. Prif nodwedd *systems* Bell a Lancaster oedd y lle pwysig a roddid ynddynt i *Monitorial Teaching*, sef gosod y plant i ddysgu eu gilydd; ac o ran dim a wyddom ni i'r gwrthwyneb, fe ddarganfyddwyd ei werth arbenig gan Bell a Lancaster, fel gan y Swiss clodfawr, yn hollol ddamweiniol. Rhoddwyd prawf ar y drefn yn y wlad hon gyntaf gan Lancaster, ac wed'yn gan Bell, ac yn ganlynol i hyn sefydlwyd y ddwy gymdeithas addysgol, y Frytanaidd a Thramor, a'r Wladwriaethol, i geisio cario syniadau y ddau i weithrediad; ac erbyn heddyw, y mae genym yn ein gwlad ein miloedd o Ysgolion Brytanaidd a Gwladwriaethol fel profion fod llwyddiant cyflym ac anarferol wedi dilyn ymdrechion y cymdeithasau clodwiw hyn. Y mae llawer eto i'w wneyd cyn y gellir ystyried fod addysgiaeth yn cael ei ddeall yn drwyadl genym, ac yn derbyn y sylw oddiar ein dwylaw y mae yn ei deilyngu; ond ar yr un pryd, y mae yn rhaid cyfaddef fod llawer wedi ei wneyd. Wrth derfynu ein hysgrif, gosodwn yn y fan yma grynöad bŷr o hanes bywyd y ddau ddyn y cyfeiriwyd atynt eisoes, sef Bell a Lancaster.

Ganwyd Andrew Bell yn St. Andrews, Scotland, yn y flwyddyn 1753. Derbyniodd ei addysg yn mhrifysgol ei dref enedigol. Offeiriad yn perthyn i'r Eglwys Sefydledig oedd efe. Treuliodd ran fawr o'i oes foreuol yn America; ac yno yr oedd pan y derbyniodd yr appwyntiad i fod yn gaplan i'r milwyr oedd yr adeg hono yn gwylio amddiffynfa St. George, ac yn weinidog Eglwys St. Mary, yn Madras. Yma hefyd

gosodwyd ef i arolygu ysgol oedd yno i blant amddifaid y milwyr Prydeinig, lle y bu yn gweithio yn egnïol ryfeddol am tua saith mlynedd. Nid oedd athrawon wedi eu cyfaddasu i'r gwaith i'w cael i'w gynnorthwyo am un arian, ac yr oedd nifer y plant oedd dan ei ofal yn rhy fawr iddo ef ei hun eu meistroli a'u haddysgu yn brïodol; pa beth, ynte, oedd i'w wneyd? Daeth i'w feddwl roddi prawf ar y drefn o osod y plant henaf i addysgu y plant lleiaf, a thyma gychwyniad yn Madras i'r *Monitorial System*, a chychwyniad llwyddiannus y trôdd allan i fod. Wedi agos gweithio ei hun allan, daeth Bell yn ôl i Loegr yn 1797, a chyhoeddodd hanes ei lafur yn India fel addysgydd, mewn llyfryn o'r enw, "*An Experiment in Education made at the Male Asylum of Madras*," yr hwn a ddaeth i gryn sylw wedi i Lancaster ddechreu ar ei lafur fel ysgolfeistr yn Southwark. Bell sydd i'w ystyried fel sylfaenydd yr Ysgolion Gwladwriaethol, a Lancaster fel cychwynydd yr Ysgolion Brytanaidd. Bu Bell farw yn Cheltenham yn 1832, a chladdwyd ef yn Westminster Abbey. Gadawodd yn ei ewyllys 120,000p. tuag at gynnorthwyo rhai o sefydliadau cenedlaethol ei wlad.

Mab i filwr, ar y llaw arall, oedd Joseph Lancaster, a ganwyd ef yn Llundain, yn y flwyddyn 1778. Pan nad oedd amgen na hogyn ieuanc a di-brofiad, mewn cymhariaeth, agorodd ysgol ar yr egwyddor o *Mutual Instruction*, yn ardal Southwark. Cyn ei fod yn dair ar hugain oed, yr oedd ganddo dros dri chant o ysgoleigion dan ei ofal. Tua 'r adeg yma cyhoeddodd lyfryn bychan ar *The Amelioration of Education*, yr hwn a dderbyniwyd yn ffafriol iawn gan y wlad, a'r hwn hefyd a fu yn foddion i'w ddwyn i gydnabyddiaeth â rhai o brif ddynion y deyrnas, megys y Duc o Portland, ac hyd yn nôd y brenin Sior III. Perthyn i'r Crynwyr yr oedd Lancaster, ac felly nid oedd yn rhwystro neb i ddyfod i'w ysgol o herwydd ei broffes grefyddol, yr hyn a achosodd gryn gynhwrf ymhlith clerigwyr y wlad, y rhai, o'r diwedd, a geisiasant gan Bell ddyfod i'r maes i wrthweithio dylanwad Lancaster, trwy roddi mewn gweithrediad yr egwyddorion hyny y bu yn gweithio mor lwyddiannus o'u plaid yn Madras. Fe ddaeth Bell allan, a gweithiodd yn egnïol anarferol gydag addysg, fel yr ydys wedi hysbysu yn flaenorol. Yn y flwyddyn 1818, gorfodwyd Lancaster gan amgylchiadau i ymfudo i'r Unol Daleithiau; ac oddiyno drachefn, yn y flwyddyn 1829, ymfudodd i Canada, lle y bu yn gweithio o blaid addysg am beth amser yn dra zelog, ond nid gyda grâdd helaeth o lwyddiant, y mae yn rhaid cyfaddef. Ymhen tipyn, gadawodd Canada, ac aeth i New York, lle, yn nghanol ei drallodion bydol, y bu farw yn y flwyddyn 1838. Y mae addysg wedi gwneyd *progress* dirfawr yn Mhrydain Fawr y blynyddoedd diweddaf yma, ac y mae yn sicr genym fod llawer iawn o'r cynnydd hwn i'w brïodoli i ymdrechion zelog a diflino Joseph Lancaster.

# GWAITH GWALLTER MECHAIN.

[GWAITH Y PARCH. WALTER DAVIES, A.C. (*Gwallter Mechain*). Dan olygiad y Parch. D. SILVAN EVANS, B.D., Periglor Llan ym Mawddwy, Meirion. Caerfyrddin: William Spurrell. Llundain: Simpkin, Marshall, a'u Cyf. MDCCCLXVIII.]

DYMA ychwanegiad pwysig a gwir werthfawr at ein llênyddiaeth genedlaethol. Bu yr awdwr hybarch yn llewyrchu yn ddysglaer yn ffurfafen llênyddiaeth ei wlad am oes faith; ennillodd iddo ei hun enw ac anrhydedd fel gŵr dysgedig, bardd, hynafiaethydd, a beirniad; a diammheu genym y bu ei ddylanwad yn ëang ac iachusol, fel y cyfryw, ar ein llênyddiaeth a'n barddoniaeth. Wele ei ysgrifeniadau lliosog ac amrywiaethol yn awr wedi eu casglu ynghyd a'u dwyn allan mewn tair cyfrol wythplyg harddwych, yn cynnwys uwchlaw chwe' chant o du dalenau bob un, o'r argraffwaith goreu, gan y cyhoeddwr anturiaethus, dan olygiad llênor dysgedig, yr hwn, o ran ei wybodaeth ëang a manwl o iaith, hynafiaethau, a defodau ein cenedl, oedd y cymhwysaf i gymeryd y fath orchwyl mewn llaw. Cyflawnodd ei waith yn dra gofalus a chanmoladwy; ac yr ydym yn ystyried y cyfrolau hyn yn deilwng neillduol o sylw dysgedigion ein gwlad, ac i gael lle yn y llyfrgelloedd goreu. Ni ddylai un llênor Cymreig, hynafiaethydd, hanesydd, bardd, na beirniad, fod hebddynt, na bod yn ddyeithr i'w cynnwysiad. Maent hefyd o ddyddordeb cyffredinol i bob Cymro sydd yn caru ei genedl, ei iaith, a'i wlad. Y maent o ran eu hansawdd o duedd i wneuthur lles i'r darllenydd, trwy ehangu ei feddwl, dyrchafu ei chwaeth, a nawseiddio ei ysbryd. Nid oes yma ddim o anianawd isel, gwammal, na sarhäus,—dim i beri tramgwydd i neb, hyd yn nôd y sawl a fo ar rai pethau, fe allai, o farn wahanol. Mae y cyfansoddiadau manylaf, mewn rhyddiaith a barddoniaeth, y beirniadaethau, a'r gohebiaethau, yn dwyn nodau amlwg eu bod yn gynnyrch meddwl cryf a diwylliedig, deall goleu, a barn bwyllog ac addfed. Er fod yma rai o'i gyfansoddiadau boreuol y dylid cofio hyny wrth eu darllen, eto yr ydym yn tybied mai pur ychydig a gynnwysant sydd yn gofyn trostynt un math o esgusawd. Ein syndod yw eu bod, gyda'r fath amrywiaeth, mor bur a disothach. Ceir hefyd rai englynion a phennillion wedi eu cyfansoddi yn ddiragfyfyr, y rhai a gadwyd yn unig er mwyn rhyw amgylchiadau perthynol iddynt. Ychydig ydynt, byrion, difyr, a hollol ddiniwed. Ni ddarostyngodd efe ei ddawn a'i athrylith un amser i wasanaeth llygredigaeth: ei nôd a'i amcan ef yn wastad oedd ehangu gwybodaeth fuddiol, cefnogi rhinwedd, meithrin athrylith, a dwyn ymlaen y lles cyffredin.

Cymerwn olwg ar gynnwysiad a theithi y gwahanol gyfrolau hyn. Cynnwysa y gyntaf Farddoniaeth yr Awdwr, gyda chyfres o gofion barddonol, a beirniadaethau. Mae ei farddoniaeth, gàn mwyaf, yn y mesurau caethion, fel eu gelwir, yr hyn a all fod yn annerbyniol gan ryw ddosbarth o'r werin, er bod ei iaith, ar y cyfan, yn eglur a sathredig, a'i syniadau yn cael eu gosod allan yn drefnus, bywiog, a barddonol.

Mae dosbarth arall o ddarllenwyr i ba rai y mae y dull henafol hwn o farddoni yn dra deniadol, ac yn rhoddi iddynt gryn fwynhâd a hyfrydwch. Ond gyda'r nifer lïosocaf, dyrifau ar fesurau rhyddion sydd yn fwyaf cymeradwy. Mae yn y gyfrol hon nifer o ganiadau ystwyth a blasus yn y math yma o brydyddiaeth, ac y mae rhai o honynt wedi myned yn dra phoblogaidd ar eu hymddangosiad cyntaf, fel y cawn sylwi eto. Gellir dosbarthu cyfansoddiadau barddonol yr awdwr dan y penau canlynol, er mwyn cymeryd eu hansawdd a'u rhagorgamp dan ystyriaeth wahanredol:—1. Barddoniaeth Hanesiol. 2. Barddoniaeth Ddesgrifiadol. 3. Cyfansoddiadau Addysgiadol, Moesol, a Rhybuddiol. 4. Galargwynion. 5. Anerchiadau Cyfeillgar. 6. Dychanion. 7. Englynion. 8. Beddargraffau. 9. Carolau. 10. Emynau.

1. *Awdlau a Chywyddau Hanesiol.* Ar ben y rhestr yn y dosbarth hwn, ac yn flaenaf yn y llyfr, y saif yr "Awdl ar Gwymp Llewelyn, y Tywysog diweddaf yn Nghymru." Hwn oedd testun Cymdeithas y Gwyneddigion yn y fl. 1821. Mae cynllun yr awdl yn rhagorol, ac wedi ei weithio allan yn fedrus a galluog; ac y mae'r nodiadau ar waelod y dalenau yn dra buddiol, difyr, a gwasanaethgar. Dywedodd yr enwog Dewi Wyn am yr awdl hon, ei bod yn rhagori ar un darn hysbys iddo ef o waith yr awdwr, ac yn wir awdlau cyffredin yr oes hefyd. Dengys y dyfyniadau canlynol ei gywreinrwydd yn plethu cynghaneddion barddoniaeth Gymraeg, ac ar yr un pryd gywirdeb yr hanesydd a darfelydd y bardd. Dyma adroddiad o flin helynt y Tywysog a'i ddeiliaid, gan ruthrau parhäus y gelynion, a'r gorthrymderau a'r creulonderau a ddilynent:—

Nid oedd iddo un dydd o heddwch,
Na nawdd i'w gael o ddïogelwch
I'w ddeiliaid, trueiniaid trwch,—gan blaid
Y llu estroniaid â llaw ystrinwch.*

Haid y Normaniaid mynent
Fro Dyfrdwy, a Gŵy, a Gwent,
Braesder y wlad wastad wèn,
Hyfryd o Gaer i Hafren,
A'r morgylch, ei hamgylch hi,
Hyd afon Aber Dyfi.

O ddydd i ddydd da 'i newydd niwed,
A nos i nos yn dangos tynged,
A mwy na mwy o glwy' i'w glywed,
Y beïau mawrion heb ymwared;
Cymry yn goddef cnif† afrifed—beunydd,
Trwy chwith âwydd y tra-chaethiwed.

Codwn yn nesaf ei ddarluniad bywiog o Wynedd yn ymarfogi wrth wŷs eu Tywysog i wrthladd trais a gormes brenin Lloegr a'i fyddinoedd, neu i farw yn yr ymdrech:

Arwraidd feib Eryri,
Mal cywion eryron ri',
Yn hedeg ar waneg wynt,
Draidd effrom,‡ draw i ddyffrynt;

* Cynhen, ymryson. † Blinder, trallod, gofid, helbul,—yr ŷm yn rhoddi y geiriau eglurhaol hyn, er mwyn yr anghyfarwydd, ar ein cyfrifoldeb ein hunain. ‡ Pybyr, gwrol, ffrom, angerddol.

Ni chilient i ddychwelyd
O'r lle bônt, er allo byd,
Nes olwyfo yr ysglyfaeth,
Ei faglu a'i gyrchu 'n gaeth,
A rhudd glwyf, er rhoddi gwledd
Ar galonau 'r gelanedd.
O greigiau, bryniau, heb rus,
Dylifent, haid wylofus;
Yn groch gref clywid llef llu,
Trwy Wynedd yn tarianu,
A'u galwad ar eu gilydd :—
'Tra byddwn—rhodiwn yn rhydd;
Os byw—byddom byw heb aill;*
Os marw—ein marw am eraill
Yn ufell† caeth anafod,
Gwell na byw—golli ein bod!
Rhyddid! heb lid, a heb loes—
Yn llawn!—neu golli einioes!'
Nid un briw hyd wanu bron,
A dŷr goel y dewr-galon:
Nid un maes, â'r aes ar ôl,
A ludd gawr, lywydd gwrol;
Mae yn ôl—ond mŷn eilwaith
Hwylio i'r gâd lawer gwaith;
Byth i'r rhiw ei obaith rhêd,
Ni ŵyra ar ei waered;
Saif ei rych yn fynych faith,
Er dengwaith o arw dynged.

Felly yr uchel Lywelyn—â'i Fôn
Tan faniar ei elyn;
Gyrai daith, ragora' dyn,
I annog Dê i ennyn.

Ond er llwyddiant ei arfau yn flaenorol i attal ymgyrch byddinoedd yr estroniaid, syrthiodd ein gwron trwy fradwriaeth yn ngwlad Buallt!

Oferedd fu oll a fyfyriwyd!
Ei hoew-fryd awchus a fradychwyd;
Cyfeillion gwaelion a ry goeliwyd,
O waith y rhai 'n efe aeth i'w rhwyd.

Brâd mawr! ni bu erioed mwy—o un brâd
Yn Brydain lygradwy—
Y brâd yn Aber Edwy‡
A gofir tra gwelir Gŵy!

* * hael Lywelyn * *
Heb waew na saeth—poenus hyn!
Diarfawg daeth i'w derfyn.

Yn y Cwm, is Llwyn Camwedd,—daiarwyd
Y dewraf o Wynedd:
"O cofiwn byth—Cefn y Bedd,"
Llym iawn gawr, lle mae 'n gorwedd!

Wedi desgrifio y trychineb a'r golled genedlaethol yn marwolaeth y Tywysog, mae y bardd yn olrhain tröadau tröell rhagluniaeth yn

* Arall. † Hyblyg, gwasaidd. ‡ "Mae Edwy yn llifaw i Wy, islaw Llanfair yn Muallt; o fewn chwe' milldir i y coed y lladdwyd Llywelyn ynddaw," (td. 19).

nhreiglad amser, er dwyn o amgylch o'r golled ddaioni annhraethol fwy, yn uniad Lloegr a Chymru yn un deyrnas, dan frenhinoedd yn deilliaw o frenhinllwyth cysefin Prydain Fawr.

Y golled hon, gwell y daeth
Yn darian i 'n gwladwriaeth.

Os collasom
Dalaeth hendrom,
Ennillasom mwyna' llesiant;—
Na gwyllt frythwch,*
Mil fwy elwch †
Ydyw heddwch a dyhuddiant.

Seison yn Gymry llonydd,
A Brython yn Seison sydd;
Cydgyfeillach masnach mwyn,
Llawforwyn eu Lleferydd.

Seison a Brython heb rithiau,
Yn frodyr, heb hen afradau;
Gelynion yn un galonau,
A nawdd addfwyn tan un ddeddfau.

*Un* goron, yn llôn, *un* llŷs,
Yn enwog mewn *un* ynys,
Mae 'n gryfach, dewrach na *dwy*,
I arddel rhag trais gorddwy.‡

Gweded pob Cymro gwiw-daith,
"Hir oes i hîl Harri saith!"
A hîl Llywelyn olaf
Fo benaf heb wahaniaeth.—(td. 20—22).

Y nesaf o'r dosbarth hwn yw yr "Awdl ar ymdrech Caswallawn a Lluoedd Ynys Prydain yn erbyn y Rhufeiniaid," sef Testun y Cymmrodorion yn Llundain, Mai 22ain, 1823. Mae yr awdl orchestol hon yn agor gyda sylwadau difrifol ar effeithiau pechod fel y maent yn tòri allan mewn rhaib, gormes, rhyfeloedd, a thywallt gwaed.

Am hen oesoedd mae hanesiaeth,—o lwyr
Alarus ystyriaeth * *

"Trechaf treisied—gweidded gwan"—oedd reol
I ddirywiaw anian;
Mynai ŵr hyf mwy na 'i ran,
A'i rwygo o law 'r egwan.—(td. 23, 24.)

Gwedi dysganu trachwant Iwl Caisar, ac ymgyrch y Rhufeiniaid yn erbyn Ynys Prydain, mae yn myned ymlaen gyda desgrifiad grymus o ddewrder Caswallawn a lluoedd y Prydeiniaid i'w gwrthsefyll, ac i amddiffyn eu rhyddid.

Ail i'r eryr o hîl eryrau
Gylfin euraidd,§ y goelfan‖ orau,
A chwala frain ar uchel fryniau,
Neu adar mân ar odir Mynnau,**
Oedd Caswallon, gwron dig aerau,
A'i bawl, a'i darian, a'i bladuriau,
Yn gawr hy balch yn agor bylchau;
A'i wŷr un anian, glân galonau.
Gyrent i'w gwersyll gaerau, yn danbaid,
Y Rhufeiniaid o bob rhyw fanau. * *

Pendragon†† a'i ddynion byddinawg,
Ar gerbydau, rhodau rhüadawg,
Ac ar orwyllt feirch gweryrawg,
Aent drwy restrau llengau gollyngawg,
Mal hen eirth milain nerthawg—yn gallu
Tarfu—a chwalu torf ochelawg.

Ail yw rhuthr Brython, pan ddigllonant,
I ffrŵd Geirw‡‡ yn hyll fwrw i'r llifeiriant—
Ni saif creigiau yn eigiau§§ 'r nant,—syflir,
Chwyrn ddryllir—dymchwelir—a chwalant.

* Terfysg. † Llawenydd, gorfoledd. ‡ Gorthrymder. § Eryr euraid, y penaf o lwyth yr eryrod. ‖ Arwydd, argoel. ** Llethr alpau neu fynyddoedd uchel. †† Pentywysog, prifarweinydd. ‡‡ Rhaiadrau. §§ Eigionau, dyfnderau.

Yng nghwrth aruthr dihafarch ruthrau,
Llwyr egwan oedd gwŷr y llurigau;
Eu dewrion ar flaenion pladuriau
A nyddent—hwy wingent yn angau;
Gwelwn eiddil gelaneddau 'n gorwedd
Hyd wastadedd yn dew ystodiau.*

Mal fflam y goelcerth mewn aberthau,
A'i rhwyf yn oddaith ar fynyddau;
Mal y corwynt yn ymyl caerau,
Yn rhu ar dôn yr awyr denau—
Felly Frython gwychion yn gwau, heb unon,†
Drwy 'u gelynion, â dewr galonau,

I'w cerbydau, mal ceirw, heb oediad,
Neu lamidyddion lym dueddiad,
Neidient,—ergydient i'r gâd—disgynent—
Aerwibient‡—brathent ym mhob rhithiad.

Eu helw a'u hawl, gwir fawl gorfoledd,
Pe bai o rinwedd mewn pybyr anian;
O'u dewredd, rhyfedd pob rhan o'r gadres,
Cysur yw hanes Caisar ei hunan.

Yn ei hanesiaeth am ein hynysoedd,
Bu i'w ddoniau roi clod i'n byddinoedd,
Eu gwychder, a'u glewder, mai gloew ydoedd—
Mal y gwasgarent, tarfent ei dorfoedd!
Y gair da—gywired oedd—a'i traethai!
Ciliai—ymofalai am ei filoedd.—(td. 30—32.)

Gan ymorfoleddu ar enciliad Caisar, a chanmawl y Prydeiniaid am eu hymdrech ymhob oes dros eu rhyddid, mae yr Awdl yn tŷnu at ei therfyniad trwy ddangos na orchfygwyd mo Brydain erioed ond trwy *fradwyr* o'i mewn ei hun; ac er darfod ei goresgyn felly gan y Rhufeiniaid, goruwch-reolwyd hyny gan Ben-Llywydd mawr y byd er agor ffordd i ddyfodiad yr efengyl i'n gwlad, ac wedi hyny, yn nhrefn amser, cafodd iau gormes ei dryllio, ac awdurdod Rhufain baganaidd ei symud o'r tir. Ac er i eglwysi Prydain, ar ol gwrthsefyll yn egnïol am oesoedd, gael eu darostwng dan iau drom Rhufain Babaidd, caed ymwared o'r caethiwed hwnw trwy y Diwygiad Protestanaidd.

Rhaith bur i'n cysur cawsom,—nef angor
Efengyl yn eiddom;
Heb gaeth lywodraeth lawdrom
Pab a'i saint—Ie, pob siom!

Yn lle creiriau, delwau hudolion;
Yn lle adroddiad llu Derwyddon;
Yn lle cromlechau, muriau meirwon,
Tân-ffaglau, gwyliau ofergoelion.
O! y mawr gyfnewid—Rhyddid yr Ion!
A gwawl dawn yn goleuaw dynion:
Mawl a rodder â mil arwyddion
I'n Ior, am ragor o'i anrhegion.—(td. 36, 37.)

☞ Darllener, mewn cysylltiad â'r Awdl hon, hanes "Rhyfelgyrchoedd Iwl Caisar i Ynys Prydain," am eglurhâd ychwanegol: Cyf. II. td. 311—330.

"Cywydd ar Frwydr Maes Bosworth," Testun Cymdeithas y Gordofigion, erbyn Eisteddfod Gadeiriol Llerpwll, Mehefin, 1840, sydd gyfansoddiad arall o deithi hanesiol. Mae ei gynllun ar ddull ymddyddan

* Gwanafau. † Heb ammeu neu betruso. "Ni raid unon," nid oes achos petruso neu ofni. Mae y gair *unon* ar lafar gwlad yn Mhowys. ‡ Amredent yn yr alanas.

dychymygol; tybia yr awdwr ei hun yn fardd o'r bymthegfed ganrif yn ymddyddan â Brudiwr, yr hwn sydd yn traethu, ar ddull brud, yr holl hanes o làniad Iarll Richmond a'i lynges fechan yn Aberdaugleddeu, ac ymuniad y Cymry â'i fyddin, hyd y frwydr ar Faes Bosworth, lle y lladdwyd y gormesdeyrn Richard III., ac y dodwyd y goron ar ben yr Iarll, ei chyfiawn etifedd, trwy yr hyn y dyrchafwyd ef i orsedd Prydain dan yr enw Harri VII. Terfyna gyda desgrifiad o'r gelanedd echryslawn ar faes y gwaed, a dau filwr Cymreig yn ymuno mewn gweddi ar i Brydain gael ei chadw o hyny allan oddiwrth derfysgoedd mewnol a rhyfeloedd cartrefol.

Cyfansoddodd ei "Awdl ar farwolaeth Syr Thomas Picton," yr hwn a laddwyd yn mrwydr waedlyd Waterlw, Meh. 18, 1815, erbyn Eisteddfod Fawr Caerfyrddin, Gor., 1819.

Picton! ceir cwynion, cur cant,
Lladdwyd ym mreichiau llwyddiant!

Prudd Iwerddon
A Chelyddon,*
Am eu dynion mwya 'u doniau;
Cymru dirion,
Am ei Phicton,
Wylai heilltion ddyfnion ddafnau!

Yr awdl hon a ennillodd y gadair yn yr Eisteddfod enwog hono.

Yn ei awdl "Awyrain y Jubili," sef y ddegfed flwyddyn a deugain o deyrnasiad Sior III., Hyd. 25, 1809, a'r "Awdl ar Deyrnasiad Sior III.," yr hwn a fu farw Ion. 29, 1820, mae yn gosod allan gymeriad crefyddol a rhinweddol yr hen frenin, ac yn adolygu dygwyddiadau pwysig ei deyrnasiad maith o driugain mlynedd, y meithaf ar ddalenau hanesiaeth ein gwlad.

Rheoliad ar wlad lydan,—tra agòs
Tri ugain mlwydd allan;
Einioes hir ac enw seirian
Rho'i Duw i'r glyw—rhodiwr glân.

Sior y Trydydd, bydd yn bêr—ei gofiant
Oedd gyfaill cyfiawnder;
Dawn oedd ei nawdd dan Dduw Nêr,
A bendith o bob iawnder.

Mae y cyfansoddiadau uchod oll yn cynnwys adroddiadau am ryfeloedd a brwydrau, ymosodol ac amddiffynol, ond mae y bardd yn cymeryd achlysur yn fynych i ddarlunio echryslonderau rhyfel, gan ei olrhain i'w achosion yn rhaib a thrachwant dynion diofn Duw, gan ddangos mai rhyfel amddiffynol yn unig sydd gyfreithlawn. Mae yn fynych yn tòri allan i ddadgan mawr werth bendithion heddwch a rhyddid.

Ai anghyfraith† dylaith del,
Yw rhifo gwŷr i'r rhyfel?
Dau ryfel diau rifwn,—
Un iawn dêg, a'r llall yn dwn;
Un cyfiawn, dinag hefyd,
Llall yw bâr, ellyll y byd!
Un llawn broch, yn llunio brad,
Un yw ffòn amddiffyniad.

* Caledonia—Scotland. † Angeu creulawn.

2. *Barddoniaeth Ddesgrifiadol.* Gallwn nodi dan y pen hwn yr "Awdl ar yr Olygawd o Ben y Fâl, gerllaw y Fenni," (td. 45). Mae yr awdwr hybarch yn yr awdl hon, fel mewn rhai o'i gyfansoddiadau eraill, yn cymeryd ei ryddid i ddilyn dull y Ddosbarth gysefin neu Ddosbarth Morganwg yn hytrach na'r pedwar mesur ar hugain cyffredin, gan ystyried Gorchest y Beirdd, y Tawddgyrch Cadwynawg, ac eraill cyffelyb o'r mesurau hyny, yn rhy gaeth ac anystwyth i allu cyflwyno trwyddynt nemawr synwyr, a llawer llai farddoniaeth ddiledryw. Mae hefyd yn hawlio mwy o ryddid mewn cynghanedd, heb ymostwng i gydnabod mân reolau a gwaharddiadau dibwys y gyfundrefn gaeth. Mae y bardd yn desgrifio y golygfëydd yn brydferth a naturiol. Nid ffug ond ffaith oedd ei esgyniad i Ben y Fâl,* ac y mae hyn yn mwyhâu teilyngdod y darluniadau. Ni oddef ein gofod i ni roddi dyfyniadau o hon, nac ychwaith o'i "Gywydd ar Ddyffryn Morganwg," (td. 92). Mae y cyfansoddiadau hyn yn dangos cydnabyddiaeth fanwl y bardd â phob parth a rhan o Dywysogaeth Cymru, fel y mae megys gartref ac yn ei gynnefin ymhob rhandir a chwmmwd o hóni. Mae yn adnabod bob carn a bàn, pob mynydd a bryn, moelydd a gelltydd; pob glŷn, a dyffryn, a dôl; pob ffynnon ac afon, pob nant ac aber, pob rhaiadr a phob llŷn; pob plwyf a llàn, pob hafod a hendref, pob plas, pob castell, maenor, a chantref, o Fôn i Fynwy, a'u perthynas â hanes a helyntion gwlad ei enedigaeth, o'r cynfyd i waered hyd ei oes ei hun. Mae ehangder ei wybodaeth a chryfder ei gof yn ymddangos yn hynod ac anghyffredin yn y pethau hyn a'u cyffelyb.

3. *Caniadau Addysgiadol, Moesol, a Rhybuddiol.* Gallwn alw sylw yma at "Aletheia; neu Arwyrain Gwirionedd," un o febinogion yr awdwr, gan iddo ei chyfansoddi yn 1791. Ceir profion ynddi ei fod yn astudio Duwinyddiaeth y pryd hyny, ac yn gydnabyddus âg awduron efengylaidd. Mae efe yn rhoddi y lle blaenaf i wir grefydd, ac y mae ei olygiadau yn ymddangos yn unol â chysondeb y ffydd, a'r athrawiaeth sydd yn ôl duwioldeb; gan gadw ymhell oddiwrth ryfyg anffyddol ar y naill law, a ffoleddau coelgrefydd ar y llaw arall, (td. 257).

Un o gyffelyb anianawd yw yr "Awdl ar Ansawdd Gwybodaeth a Dysg, ar glöad y Ddeunawfed Ganmlwydd," (td. 317). Dyddiad hon yw Rhagfyr 30, 1800. Olrheinir ynddi gynnydd gwybodaeth, a'r mawrllês sydd yn ei dilyn, fel y mae yn gweinyddu i ddefnyddioldeb a dedwyddwch dynolryw. Mae yn terfynu trwy ddynoethi ynfydrwydd, creulonderau, a galanasdra rhyfel, celfyddyd ddinystriol y dyddiau hyny, oedd mor anffafriol i gynnydd dysg a gwybodaeth, a chyda dyhëad am fyd gwell,—"gwâr heddwch, a gwir ryddid."

Yn ei "ragfynag" i'r awdl hon, dywed fel hyn:—"Bu yr Awdwr er ys hir amser yn gresynu fod barddoniaeth ei wlad yn rhwym dan lyffetheiriau ffolineb a gwâg orchestion diansawdd, a roddwyd arni gan D. ab Edmwnt ac eraill, yr hyn a allai fod yn gymeradwy yn yr hirnos dywyllwch; ond wedi i haul gwybodaeth dywynu, bai ar ddyn o'i wirfodd gymeryd ei drosglwyddo ar hyd y fath *glogyrneich* a chlogwynau anwastad, gan fod anian awen a deddfol grebwyll wedi llwybreiddio tramwyaeth esmwyth ddiflin ar fedr awenyddion o bob oes, a gwlad, a chenedl." Mae yn amddiffyn ei hun yn llwyddiannus dros dòri drwy

* Hyny yw, Pen y Foel; mae y geiriau *bal* a *moel* yn gyfystyr.

yr hen drefnidiau ofer hyny, gán ddangos y fantais o ddilyn trefniant mwy ëang a rhydd. Yr ydym yn tybied y gellir cario allan yr egwyddorion hyn yn llawer pellach nag y meddyliodd yntau, a bod o fewn terfynau cyfreithlawn gwir farddoniaeth. Ceir cynllun ganddo ef ei hun o brydyddiaeth ddigynghanedd yn y ddyri fèr—"Myfyrdod ar Gyflymder Amser," (td. 81,) a rhai o'i ganiadau eraill, a'i emynau.

Mae y gân arwest, "Arwyrain* y Gwenyn," a gyfansoddwyd yn 1845, cyflwynedig i'r bendefiges urddasol GWENYNEN GWENT, yn dra difyrus ar hanes a thriniaeth Gwenyn, ac yn gwahardd eu lladd i gael eu mêl, ond defnyddio y math hyny o gychod y gellir ei gael heb y creulondeb hwnw. Darllenasom mewn misolyn yn ddiweddar y gallai dyn tlawd wneyd tua 75p. yn y flwyddyn trwy feithrin gwenyn ar gynllun cyffelyb i'r un a gynnwysir yn y gân hon, a'r nodiadau perthynol iddi, (td. 126—134).

Mae y gân "Cwynfan Prydain," (td. 77,) yn rhoddi cerydd llym a llwyr haeddiannol i ladron glàn y môr, oddiar achlysur a gymerodd le yn y fl. 1818. Cyfansoddwyd yr "Englynion Rhybuddiol yn erbyn Meddwdod a Dïotta," (td. 175) i ddangos mawr ddrwg, ac effeithiau dinystriol y pechodau hyny, ac i gefnogi yr *Athraw* (cyhoeddedig gan y Parch. H. Gwalchmai, gynt o Lanidloes), a'r *Dirwestydd*, (cyhoeddedig gan y diweddar Mr. Richard Jones, Dolgellau), dau fisolyn dirwestol, "yn eu hymgais i gyfyngu teyrnas Satan yn y byd."

Bodd i enaid na bo i ddynion—byth,
Gobeithied pob Cristion;
Beth yw meddwdod? syndod sôn—
Gwall cwrw, i golli coron!

4. *Galar-gŵynion.* Nis gallwn ond yn unig gyfeirio at "Awdl Alarnad y Dywysoges Siarlot Augusta" (tu dal. 120); "Awdl Galargwyn am y Frenhines Siarlot Sophia" (tu dal. 135); Englynion "Cof am y Parch. David Rowland," y Cenadwr (tu dal. 283); "Coffadwriaeth am yr Ysgolhaig gwiwgof Petr Roberts, A.C." (tu dal. 309); "Cywyddgofiant Iolo Morganwg" (tu dal. 58); a "Galarnad Dafydd Frenin ar ol ei fab Absalom, ar dôn a elwir Trymder" (tu dal. 112). Maent oll yn dangos teimlad, ac y mae yr olaf yn gymeradwy iawn gan y werin.

5. *Anerchiadau Cyfeillgar;* at Ifor Ceri a Nest, sef y Parch. John Jenkins, Ebrwyad Ceri, a Mrs. Jenkins,—siriol, serchog, a destlus (tu dal. 150—154); "Cywydd Anerch" i Gymdeithas y Gwyneddigion, yn y fl. 1822 (tu dal. 155, 156), ynghydag amryw eraill sydd i'w cael yn y gyfrol hon.

6. *Dychanion.* "Goroïan† Tudur," a ymddangosodd yn gyntaf yn y *Seren Gomer*, pan oedd yn newyddiadur, tua'r fl. 1814, sydd yn llawn arabedd a digrifwch: dynoethi y mae ryw syniadau arwynebol mewn llênyddiaeth Gymreig gan ohebydd dan yr enw *Tudur* yn y papyr hwnw. Yr ŷm yn cofio i'r "Oroïan" roddi cryn ddifyrwch i ni pan yn ieuanc; ond nis gwyddem pwy oedd ei hawdwr hyd yn awr, pan yn ei chyfarfod fel un o'n hen gydnabyddiaeth ar ol dyeithrwch o hirfaith flynyddoedd (tu dal. 288).—Mae y fflangell i "D. W." yn ffraeth, ond yn fwy llym na'r Oroïan. Dychan "ddiymanerch" ydyw i ryw berson "oedd yn elyn brych i iaith a llênoriaeth gwlad ei dadau," ac yn ysgrif-

* Molawd, neu gân o ganmoliaeth. † Buddugawd, neu wawd-gân.

enu yn eu herbyn mewn papyrau a misolion Seisonig, o gylch y fl. 1820. Terfyna fel hyn:—

D. W. a'i blaid yn dew blêth,
D. W. yn wan—yn dlu y nyth,
D. W. a r fall—dau ar fêth,
D. W. bach! gwnaed dewi byth!

Cymered ei gyffelyb rybudd oddiwrtho, rhag y dygwydd iddynt hwythau syrthio dan ryw ffrewyll o'r fath. Nid yw ffrewyllau y beirdd yn bethau i wneyd yn ysgafn o honynt. Gwelir atebiad cyflawn i haeriadau a gwrthddadleuon D. W., cyf. III., tu dal. 321—328.

7. *Englynion.* Rhestrir Englynion Gwallter Mechain ymhlith y goreuon yn yr iaith. Mae yr un i'r "*Nos*," o'r awdl ar Gwymp Llewelyn, a'r llall ar "Y Delyn newydd-dant," yn enghreifftiau digon hysbys: llyma un arall ar

EINIOES DYN.

Mae dyn yn *frigyn* foreugwaith—gwywa
Mewn gwewyr ar noswaith;
I'r amdo mae 'i fêr ymdaith,
Buan daw i ben ei daith.

8. *Beddargraffau.* Mae amryw o'r rhai hyn yn gynlluniau rhagorol (tu dal. 376—380); wele yma un:—

Pridd ar bridd mor fêr ei oes;
Pridd i'r pridd trwy angeu loes;
Pridd mewn pridd y sydd fel sarn
Nes cyfyd pridd o'r pridd i'r farn.

*Yr un yn Saesoneg.*

Earth on earth soon casts its bloom;
Earth to earth each mortal 's doom;
Earth in earth a while remain,
Then earth from earth shall rise again.

9. *Carolau.* Mae y cyfansoddiadau hyn ar hen fesurau arferedig yn y ganrif flaenorol, a dechre y bresennol, ac yn null cyffredin y cyfryw ganiadau o ddyddiau Huw Morus hyd Fardd Maes y Plwm (tu dal. 326—361). Y mwyaf nodedig yw y "Carol Nadolig," i'w gânu ar y mesur, "*Gwlad yr Aipht,*" neu, "Hyfrydwch y Brenin Sior." Mae genym gopi o'r argraffiad cyntaf o hwn, dan yr enw,—"Esboniad yr Amseroedd, neu Dröell Rhagluniaeth; sef y perthynas sydd rhwng Pechod a Barn, Edifeirwch, Maddeuant, ac Ufudd-dod: Cerdd Newydd ar ddull Carol Nadolig, am y fl. 1816—17. O gyfansoddiad y Parch. Walter Davies. '*Gwrandëwch y wïalen, a phwy a'i hordeiniodd.* MICA.' [Llanfyllin:] Argraffedig gan R. a J. Pugh, tros T. Jehu. 1817." Mae cyfeiriad yn y gân at gynauaf drwg 1816, a helyntion blynyddau blaenorol, fel ceryddon a barnau Duw o herwydd pechod. Mae yr athrawiaeth a ddysgir yn y Garol yn hawdd ei chanfod wrth gynnwysiad y rhagddalen. Beth a ddywed Rhesymoliaid yr oes hon wrth hyn? A roddant hwy chware têg i reswm i ystyried y pwnc yn wyneb y Bibl? Mae y cyfargraff gwreiddiol yn cynnwys lliaws o gyfeiriadau ysgrythyrol; yn eu mysg y rhai hyn:—Rhuf. xv. 4; Dad. xiv. 15; Jonah iii. 10; 1 Cron. xxi. 15. Gwel "Barnedigaethau Duw," cyf. II., tu dal. 381, &c.

10. *Emynau.* Ychydig iawn o Emynau a ysgrifenodd G. Mechain, ond y maent yn dda, er nas gellir eu rhestru oll ymysg ein hemynau mwyaf awenyddol. Yr ydym yn hoffi yr Emyn o flaen y Cymun Sanctaidd, ac Emyn y Pasc.—(Gwel tu dal. 291, 292, 368—375). Odid na chyfeiriwn at y rhai hyn eto.

Mae y "Cofion Barddonol" (tu dal. 437) yn ddifyr a gwerthfawr, a rhai o honynt yn nodedig felly. Y Beirniadaethau ar ganiadau cystadleuol i'r Eisteddfodau ydynt alluog, gonest, a thêg, a byddent braidd bob amser yn rhoddi boddlonrwydd. (Gwel Awdl Caledfryn er Coffadwriaeth am yr Awdwr, cyf. I., tu dal. 20). Gweddai i ni grybwyll yma fod Gwallter Mechain yn un o gefnogwyr penaf adsefydliad yr Eisteddfod Genedlaethol yn 1819. Yr oedd efe yn fuddugol ar amryw destynau yn Eisteddfod Caerfyrddin yn y flwyddyn hono. Wedi hyny ystyrid ef yn un o brif golofnau y sefydliad, a dewisid ef yn feirniad y cyfansoddiadau ar brif destynau eisteddfodol, ac achlysuron cystadleuol eraill. Am lawer o flynyddoedd, efe oedd y mwyaf ei ddylanwad fel beirniad llênyddol a barddawl. Yr ydym yn tybied mai gydag ef y dechreuodd y dull presennol o ysgrifenu a chyhoeddi beirniadaethau, a bod gwneyd hyny gan wŷr diduedd ac anrhydeddus, yn meddu cymhwysderau i'r gwaith, ac nid gan gynnygwyr y gwobrau, y cadeiriau, a'r tlysau, na chan lywyddion neu gyfarwyddwyr y cynnulliadau. Ni fu neb mwy cydwybodol, unionfryd, a chraff, fel beirniad, nag efe; a theilwng yw dywedyd, ei fod, ar yr un pryd, y mwyaf gochelgar rhag rhoddi tramgwydd, ac i ddwyn ymlaen "fwy o undeb a brawdgarwch, yn lle grwgnachrwydd a chynghorfynt." Hoffai arddangos y cywir, y prydferth, a'r canmoladwy, a gwaith anhyfryd iddo ef oedd pigo beïau; ond pan orfyddai gwneyd hyny, nodai allan y gwallau mewn modd esmwyth, hyfforddiadol, meithringar, ac mewn tymher hynaws. Amcanai ddysgu yr anwybodus, diwygio y gwallus, helpu y gwan, ac nid ei daraw yn ôl. Gellir edrych arno fel tad y beirniaid a'i dilynasant, a'r mwyaf athrawus o honynt oll. Nid ŷm yn ammheu dim am onestrwydd didwyll y diweddar fardd *Caledfryn;* ond yr oedd braidd yn amddifad, fel beirniad, o dynerwch a lledneisrwydd Gwallter Mechain. "Gwron" oedd efe ar y goreu, a llefarai yn arw, ac weithiau yn fyrbwyll, gan drîn bechgynos braidd yn dôst am fân droseddau a cholliadau llênyddol. Yr oedd y diweddar *Huw Tegai* yn meddu cryn lawer o graffder mewn rhai pethau; ond prin y gellir ymddiried i'w arweiniad bob amser ar byneiau gwir bwysig. Yr oedd dysgeidiaeth ddofn a gwybodaeth eang Gwallter Mechain yn ei wneuthur yn bwyllog, ac yn ei gadw rhag eithafion, a rhag syrthio i amryfuseddau. Yr oedd ei brofiad ei hun yn moreuddydd ei dymmor, yn ei ddysgu i gydymdeimlo â rhai yn llafurio am wybodaeth dan anhawsderau, a bod yn barod i roddi iddynt law o gymhorth pan y caffai gyfleusdra.

Terfyna y gyfrol hon gyda thair o Erthyglau byrion. Un ar "Gyfansoddiad y Salmau, gan Edmund Prys;" un arall ar "Y Mesur Penrhydd," ar fath o ffug hysbysiad neu rybudd i ddal crwydryn o wlad Hengist, a'i enw *Blank Verse. &c.,* fel y gellid ei ddwyn i brawf, a'i alltudio, o herwydd drygu o hóno farddoniaeth ein gwlad. Mewn dull chwareüs felly y dangosai Gwallter Mechain ei anghymeradwyaeth o'r "Cânu Diawdl," fel y mae yn ei alw. Dichon ei fod yn myned braidd

ymhell yn y cyfeiriad hwnw.—Mae yr erthygl olaf ar Ieithyddiaeth, ynghylch iawn a phrïodol arferiad amserau *gorphenol* ac *anorphenol* y prifeiriau yn y Gymraeg, er gwrthsefyll yr arfer lygredig o ddefnyddio y naill yn lle y llall, y ceisid gynt ei dwyn i mewn, trwy gamddealltwriaeth o'r Saesoneg. Traethawd rhagorol, a gwir angen am dano ar y pryd, oedd hwn, ac y mae o werth a gwasanaeth eto.

Mae yr ail gyfrol yn cynnwys Traethodau Rhyddieithol (Cymreig) yr awdwr, y rhai a ysgrifenwyd ganddo ar wahanol amserau, ac ar amrywiol destynau. Y cyntaf o honynt yw ei draethawd rhagorol ar *Ryddid*, "a ennillodd Ariandlws Cymdeithas y Gwyneddigion ar ei thestun i Eisteddfod Llanelwy, B.A. MDCCXC." Ysgrifenodd y traethawd hwn pan ydoedd yn ddyn ieuanc, a chyn ei fyned i'r Brifysgol. Mae yn dangos ei fod eisoes wedi darllen llawer, ac yn meddu gwybodaeth ëang, a'i fod yn dra chyfarwydd mewn hanesiaeth hen a diweddar, gwladol ac eglwysig. Mae rhaniadau y traethawd yn drefnus a naturiol. 1. Amrywiol geinciau Rhyddid—yr anianol—y wladwriaethol. 2. Caethiwed a Gorthrymder: hanesion, &c. 3. Codiad a gostyngiad Rhyddid wladwriaethol o'r cynfyd hyd ei sefydliad yn Mhrydain. 4. Caethfasnach, y Gyfraith hely, &c., am dalu trethi a bod dan nawdd y gyfraith. 5. Rhyddid Grefyddol. 6. Rhyddid Meddwl a Chydwybod. 7. Rhyddid yr Ewyllys. Mae yn trîn ei faterion yn oleu ac ymarferol, ac y mae ei olygiadau yn ymddangos yn dêg a chymedrol. Mae yn ochelgar i ymgadw ar ganol y ffordd, ac nid i ruthro yn wysg ei ben i astrusi ammheugarwch. Yr oedd yr awdwr o'i ieuenctyd wedi ei wreiddio yn dda mewn gwybodaeth ysgrythyrol, ac yn egwyddorion y gwirionedd. Mae yr ail argraffiad hwn yn ol diwygiad yr awdwr.* Fe'i hargraffwyd y tro cyntaf yn Llundain, gan T. Rickaby, 1791. Cyfansoddodd ei awdl, "Arwyrain Rhyddid" (cyf. I., tu dal. 210), tua'r un amser a'r traethawd hwn.

Ysgrifenodd y "Traethawd ar Lywodraeth a Defodau y Brytaniaid" yn 1792, ar destun Cymdeithas y Gwyneddigion yn Llundain (tu dal. 110—163). Ceir yn hwn eglurhâd tra boddhäol ar henafiaethau y Prydeiniaid, eu cyfreithiau, eu defodau, a'u traddodiadau, o'r cynfyd hyd amser Llywelyn ab Gruffydd. Mae yn cynnwys cymaint ag a ellid yn rhesymol ddysgwyl o fewn cylch traethawd lled fŷr; ac yn werth i'w ddarllen i bwy bynag a ddymunai ymgydnabyddu â hanes ei wlad a'i genedl yn yr oesoedd boreuaf.

"Llythyrau Garmon" (tu dal. 187—242), sydd yn rhoddi yr adroddiad cyflawnaf a goreu a gafwyd eto am gyfieithiad yr Ysgrythyrau Sanctaidd i'r Gymraeg. Cyfroddion oedd y Llythyrau gwerthfawr hyn i'r *Gwyliedydd*,† yn y blynyddoedd 1826—28—29. "Yn lled fuan ar ymddangosiad y degfed o honynt, daeth attal am fisoedd ar gyhoeddiad

* Un o brif neillduolion Cymreigiaeth y traethawd hwn, a'r un canlynol, yw dull yr awdwr o ddefnyddio yr enw gwan yn fynych o *flaen* yr enw cadarn y perthyna iddo, ac nid ar ei *ol*, yn ol trefn gyffredin y geiriau yn Gymraeg, oddieithr dan rai amgylchiadau neillduol, ac mewn barddoniaeth. Yn ei gynnyrchion cynnaraf y canfyddir y neillduolrwydd hwn yn ei arddull, gan ddilyn, fe allai, ddullwedd cyfieithiad y gweddïau a rhai rhanau eraill yn y Llyfr Gweddi Cyffredin. Nodwn yma enghraifft neu ddwy:—"*anianol* ryddid," "*ysgrythyrol* wirionedd," "*crefyddol* broffes," "*cyhoedd* wrthryfel," &c.

† Yr oedd Gwallter Mechain yn un o brif ysgrifenwyr y cyhoeddiad misol uchod, ond hysbysir ni gan awdurdod ddilys na bu efe erioed yn *Olygydd* iddo. Gweinidogion eglwysig o amgylch y Bala, megys Llanycil, Llandderfel, &c., oedd y Golygwyr.

y *Gwyliedydd;* a hyny, ond odid, a barodd i'r awdwr beidio â myned rhagddo ymhellach, er arfaethu o hóno unwaith wneuthur hyny." Ond gwneir y diffyg i fyny i ryw raddau trwy yr Adolygiad ar argraffiad Rhydychain o'r Testament Newydd, dan olygiad Tegid, 1828 (tu dal. 542), a'r gohebiaethau ar lythyraeth y Gymraeg rhwng yr awdwr a phrif ddysgedigion y genedl, o'r fl. 1805 hyd 1828. (Cyf. III. tu dal. 210—263). Mae llythyrau Garmon yn ffrwyth llafur ac ymchwiliad manwl. Ceir ynddynt grynodeb o hanes y cyfieithwyr cyntaf, William Salesbury a Dr. William Morgan; a'r diwygiad a wnaed ar eu gwaith hwy gan yr Esgob Parry a'r Dr. John Davies, gydag adolygiad o'r gwahanol argraffiadau dilynol o'u hamser hwy hyd 1828. Yn y 10fed llythyr, cawn ei sylwadau eglur a chynnwysfawr ar y ddadl a gyfododd tua'r flwyddyn 1804, yn fuan ar ol sefydliad y Fibl Gymdeithas Gartrefol a Thramor, ynghylch llythyraeth y Gymraeg.* Mae y Parch. Edward Morgan, o Syston, yn y Cofiant Seisoneg am y Parch. Thomas Charles, o'r Bala (tu dal. 294, &c.), yn rhoddi adroddiad am y ddadl hono, trwy ein hysbysu fod y Gymdeithas, yn Medi, 1804, wedi penderfynu dwyn allan argraffiad newydd ystrydeb o'r Bibl Cymraeg, ac i Mr. Charles gael ei benodi i barotôi copi diwygiedig i'r wasg. Barnodd yntau yn rheidiol wneyd amryw gyfnewidiadau yn y llythyraeth, gan ddilyn, fel y tybir, drefniant y Dr. Puw. Cyfododd gwrthwynebiad cryf yn erbyn Mr. C., yn enwedig oddiwrth y Parch. John Roberts, Tremeirchion, yr hwn a wrthdystiai yn egnïol yn erbyn y cynnygiad fel newyddbeth peryglus. Mewn canlyniad bu cryn lawer o ymohebu rhwng gŵyr dysgedig ac urddasol ar y pwnc, a galwyd ar Mr. C. i roddi eglurhâd, yr hyn a wnaeth i foddlonrwydd, mor bell a hyn, nad oedd efe yn amcanu *cyfnewid dim ar y cyfieithiad.* Gan nad oedd swyddwyr y Gymdeithas yn deall yr iaith, nid oeddent yn alluog i farnu prïodoldeb y cyfnewidiadau a fwriedid yn llythyraeth y Bibl, a daethant i'r penderfyniad i roddi y mater mewn dadl at farn y Parchedig Walter Davies, Meifod, yr hwn a'i penderfynodd ymhlaid Mr. Roberts. Yr oedd teilyngdod Mr. D. fel ysgolaig Cymreig uwchlaw ammheuaeth, er hyny yr oedd gosod y pwnc i'w benderfyniad unig ef

* Prif benau y ddadl oedd, (1.) y llythyrenau dyblyg *cc, mm, nn, pp, rr, ss, tt*, y rhai a wrthwynebid gan bleidwyr y dull newydd, ond lle byddai y gwreiddeiriau yn eu gofyn; ond sefid yn egnïol drostynt gan bleidwyr yr hen ddull, er mwyn aceniad, megys yn y geiriau, *accw, mammau, calonau, happus, carreg, attom;* ac ni oddefent eu newid i *acw, mamau*, &c. (2.) Aceniad geiriau unsill, *bŷr* a *hîr:* megys *can, cân; glan, glân; tan, tân, &c.*, y mỳnai rhai eu nodi fel hyn er eu gwahaniaethu, *càn, can; glàn, glan; tàn, tan, &c.* (3.) Y llythyren *h* yn nherfyniad prifeiriau ac enwau, megys, *bywhau, parhad, parhaus*, &c., allan o ba rai y mỳnai pleidwyr y dull newydd ei dileu, fel hyn:—*bywâu, parâad, parâus*, &c. (4.) Y dylid gwahaniaethu rhwng y terfyniad llïosog *au*, megys yn *arfau, tadau, mamau*, &c., a'r terfyniad *eu* mewn enwau gweiniaid a phrifeiriau, megys, *goleu, goreu, teneu, dadleu, dechreu, &c.*, ac nid eu terfynu yn ddiwahaniaeth yn *au*, yn ol yr hen ddull. (5.) Y blaenddod cadarnhäol *dy*, a'r nacäol *di*. Mỳnai pleidwyr yr hen fod *di* hefyd yn gadarnhäol dan rai amgylchiadau, yr hyn, debygem, a ellid ei oddef pan na bo hyny yn arwain i amwysedd.—(6.) Y blaenddod *am* nagyddol o flaen geiriau yn dechreu â p; megys, *pur, parod; ammhur, ammharod*, ac nid *anmhur, anmharod*, yn ol y dull newydd. Hefyd *yng* ac *ym* o flaen geiriau yn dechreu â'r llythyrenau *c, g, p*, megys, *yng nghyd, yng ngwlad, ym mhen*, &c., ac nid *yn nghyd, yn ngwlad, yn mhen*, &c. (7.) Y terfyniad *awl, awg, lawn*, megys, *dwyfawl, bywiawl, godidawg, digllawn.* Ymddengys *dwyfol, bywiol, godidog*, yn well na'r tri blaenaf, fel y daliai pleidwyr yr hen ddull; ond prin y gwna *digllon* am *digllawn*, nid oes dim a fyno *llon* âg ê. Dichon y gwnai *hyfrydlon, rhadlon*, yn gystal a *hyfrydlawn, rhadlawn*, &c. Cynghor GARMON i'r dadleuwyr oedd, "Byddwch heddychlon â'ch gilydd." "Amen," meddwn ninnau, a heddychlawn hefyd; *llawn* a *llon, llon* a *llawn*,—hyn a'i gwnai yn hyfryd!

yn gyffelyb i ddewis gŵr o Rydychain i derfynu dadl rhwng y brifysgol hono a Chaergrawnt. Modd bynag, ymostyngodd Mr. C. yn bwyllog a thawel, ac aeth ymlaen gyda'i waith mor ddiwyd a llafurus ag o'r blaen, gan gynnorthwyo yn wirfoddol hyd yr oedd yn ei allu i ddwyn allan yr argraffiad newydd, er bod ei gynllun ef o ddiwygiad yn yr orgraff wedi cael ei wrthod a'i ddodi heibio. Dyna sylwedd yr hyn a ddywed Mr. Morgan; ond y mae yn gamsyniol yn y sylw a wna ynghylch y rhan â gymerodd Mr. D. yn yr ymdrafodaeth. Oddiwrth lythyrau Garmon, a'r gohebiaethau yn y drydedd gyfrol, ymddengys yn ddigon amlwg fod Mr. D. wedi gweithredu yn dêg a gonest fel canolwr rhwng y ddwy blaid. Caniatäodd rai cyfnewidiadau fel yn ddymunol a manteisiol, ond nis gallai gymeradwyo y cyfan o honynt; ac felly llwyddodd ar y pryd i ranu yr ymrafael rhwng y pleidiau. Buasai o'i ran ei hun, fe allai, yn myned beth ymhellach, ond er mwyn heddwch, barnodd yn well ymfoddloni ar ychydig na bod heb ddim. Parhäodd y ddadl er y cwbl am flynyddau meithion ar ol gorphwys o Mr. C. oddiwrth ei lafur, ac nis gellir dywedyd ei bod wedi llwyr dawelu eto. Da fyddai i rai yr ymddiriedir gofal a golygiaeth argraffiadau newyddion o'r Bibl ymdrechu i ddilyn golygiadau cymedrol Gwallter Mechain yn y llythyraeth, a gwneyd ymgais hefyd i symud y gwallau a'r anghysonderau sydd, rai o honynt, wedi eu gadael heb eu cywiro yn y naill argraffiad ar ol y llall, ymron yn ddieithriad, er dyddiau yr Esgob Parry hyd yn bresennol. Gresyn yw fod yr awdurdodau y perthyna iddynt ofalu am hyn, wedi bod er ys maith amser y rhai anghymhwysaf i farnu beth sydd gywir, a pha adgyweiriadau sydd wir angenrheidiol. Gellir cymhwyso y sylw canlynol o eiddo Gwallter Mechain mewn perthynas i'r Llyfr Gweddi Cyffredin yn ddigon prïodol at yr argraffiadau cyffredin o'r Bibl. "Y ffaith yw," medd efe, "fod argraffiad cywir eto yn beth i'w ddymuno, ac nid wyf yn gweled un tebygolrwydd o'i gael yn fuan, gan na oddefir i'r rhai yr ymddiriedir iddynt ddiwygio y wasg i sylwi ar ddim ond beïau yr argraffydd, a bod iddynt fel eu gilydd ymfoddloni ar gywirdeb tybiedig unrhyw argraffiad blaenorol; ac felly gadewir y gwallau mwyaf dybryd i barhâu o un argraffiad i'r llall, ac o'r naill genedlaeth i arall."* Mae hwn yn sylw pwysig, ac yn deilwng o ystyriaeth mwyaf difrifol. Mae yr awdwr a'i ohebwyr dysgedig oll wedi rhodio y llwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelir, ond gadawsant ar eu hôl ffrwyth eu hymchwiliadau yn drysor o werth er cyfarwyddyd i'r oes hon a'r oesau dilynol. Perchir eu coffadwriaeth am yr hyn a wnaethant.

Mae sylwadau yr awdwr ar Ieithyddiaeth Gymreig yn y "Traethawd Cynnadleddol" ar y Llythyrau H. (td. 176) yn werth eu darllen. Mae y traethawd wedi ei ysgrifenu yn ddifyr, ar ddull cynnadledd mewn llŷs barn. Gall yr efrydydd ddarllen mewn cysylltiad â hwn "Lythyrau Idris Fychan" (td. 451—460), a ysgrifenwyd i *Seren Gomer*, pan oedd yn newyddlen, yn y fl. 1814. Mae yr awdwr, mewn tipyn o ddadl ynghylch llythyriaeth y Gymraeg, a phethau eraill, yn trin ei wrthwynebwyr† yn lled'ysmala, ac yn eu plith Tegid, oedd yn ŵr ieuanc y

*Cyfieithiad o ran o lythyr yr Awdwr at y Parch. Thomas Richards, Aberriw, Cyf. III. td. 212. †Y gwŷr hyny oeddynt y Parch. Joseph Harris, Golygydd Seren Gomer, Ioan Tegid, y pryd hyny yn ŵr ieuanc mewn ysgol yn Nghaerfyrddin, a'r Parch. Elieser Williams, Llanbedr. Yr oedd y ddau flaenaf yn dra "brwdfrydig dros eithafion yr ysgol newydd mewn Llythyraeth," a'r olaf "yn bur wydn o blaid yr hen ysgol," ond yn ymresymu yn blentynaidd a digrif ddigon, yn enwedig wrth bleidio arfer y rhagddod *di* yn gadarnhäol, yn gystal a nacäol. (Gwel y Nodiad, td. 451).

pryd hyny, ac yn lled hŷf a hyderus; mae Idris Fychan braidd yn ffraethlym a gwatwarus wrtho ef, ond daethant ar ol hyny i fod yn gyfeillion mynwesol, ac yn gydweithwyr cariadus ac effeithiol.

Gallwn nodi yn nesaf y "Traethawd ar Brydyddiaeth Gymreig," &c. (td. 164), fel yn dra theilwng o sylw y rhai a ewyllysiant ddeall trefn ac ansawdd barddoniaeth ein gwlad. Mae yr awdwr yn y traethawd hwn yn dangos "bod effeithiau y pedwar mesur [pennill] ar hugain cyffredin yn fwy niweidiol i'n *prydyddiaeth* nag i'n *hiaith*, a hyny o achos eu cyfyngder gwrthun a dibwyll: ond pe canlynid rheolau y Ddosbarth gysefin, fel ei gelwir yn *Nghyfrinach y Beirdd*, ymddangosai ein mydryddiaeth yn harddach ei diwyg, a chynnwysai enaid cerdd yn lle ei chysgod." Byddai yn fanteisiol darllen mewn cysylltiad â hwn yr adolygiadau ar y "Powysion," I. ac II., ac ar "Gywydd y Diluw," gwaith Dafydd Ionawr, a'r Rhagymadroddion, yn y rhan olaf o'r Gyfrol hon (td. 461—490; 498—509; 553—599). Ceir eglurhâd ychwanegol yn y Traethawd Seisonig o'r un natur (Cyf. III. td. 135—172), a'r Nodiadau (td. 278—285; 233—340), a'i lythyrau at *Erfyl* (td. 389, 395, 399). Pe byddai i feirdd ieuainc Cymru ddarllen ac astudio y rhai hyn yn ofalus, caent lawer o oleuni ar amrywiol ganghenau barddoniaeth Gymraeg; ac o ganlyn yr egwyddorion a ddysgir ac a amddiffynir gan yr awdwr, cânt weled fod maes ëang o ryddid yn ymagor o'u blaen mewn amrywiaeth diderfyn ymron; a pha un bynag ai gyda, ynte heb, gynghanedd y cyfansoddant, y byddant, yn ol *Cyfrinach y Beirdd*, o fewn terfynau cyfreithlawn "Pedwar mesur ar hugain Cerdd Dafod." Peidied gwroniaid rhyddid âg anghofio hyn, a throi i ddadleu yn gyndyn dros gaethder mwyach. Yr awdwr hybarch oedd y cyntaf o feirdd Powys a Gwynedd a anturiodd i dòri llyffetheiriau caethiwus Dafydd ab Edmwnd; er fod Edmwnd Prys a Goronwy Owain yn achwyn rhag eu caethder, ni wnaethant hwy ddim tuag at ei symud, ond gadael pethau fel ag yr oeddent. Addefwn ein bod ni yn myned ymhellach, ond odid, nag y buasai yr awdwr ei hun yn teimlo yn ddïogel i fyned, ond yr ŷm yn meddwl fod yr egwyddorion a amlygodd efe yn ein cyfiawnhâu.

Rhaid i ni brysuro ymlaen, gyda dim ond cyfeirio yn fŷr at yr ysgrif ddyddorol ar "Afonydd Deheubarth Cymru," ac un arall ar "Lŷn Cwm Llwch," a'r "Dr. Siôn Dafydd Rhŷs." Mae "Llythyrau Cassius" (td. 235—272), "Ymddyddanach Gwyddon a Chanhebon ar y Sêr Llosgyrnog," ac "Atebion Bach Buddugre," ymhlith pethau eraill, yn dynoethi ynfydrwydd brudiau, ac ofergoelion, a swyngyfareddion y Cymry. I fyned heibio i amrywion lawer, nodwn y Cofiaint am y Parch. John Jenkins, A.C. *(Ifor Ceri)*; Robert Vaughan, o'r Hengwrt, Yswain; y Cadben William Miltwn *(Gwilym Ganoldref)*; a'r Gwir Barchedig Thomas Burgess, gynt Esgob Tŷ Ddewi, fel yn deilwng o ddarlleniad; (td. 413—441). Yr oedd cyfeillgarwch personol serchog rhwng yr awdwr â'r blaenaf, ac yr oedd yn gydnabyddus â'r olaf, ac yn ei barchu yn fawr, fel y mwyaf rhydd a diragfarn o esgobion Cymru; ac er ei fod o ran enw a genedigaeth yn Sais, yr oedd o waedoliaeth Cymreig lledryw, ac yn awyddus dros i'r Cymry gael eu rhagorfreintiau crefyddol, gan y teimlai "y dylai pawb gael eu dysgu, mewn pethau o bwys tragywyddol iddynt, yn yr iaith a ddeallent oreu."

Mae y drydedd gyfrol ymron yn gwbl yn Saesoneg, yn cynnwys

traethodau a ysgrifenodd yr awdwr yn yr iaith hono i gyhoeddiadau Seisonig. Y pedair ysgrif flaenaf ydynt, Hanes Plwyfau Llanymyneich, Llansilin, Llanwynog, a Meifod, yn rhoddi desgrifiad manwl o'u sefyllfäoedd, terfynau, hynafiaethau, ystadegau, poblogaeth, iaith, crefydd, arferion, &c.; ac ystyrir hwynt yn gyffredinol gan feirniaid cymhwys yn meddu ar deilyngdod uchel. Maent yn gynlluniau rhagorol i draethodau o'r fath.

Athronyddol yw teithi yr "*Essay on the Influence of Climate upon National Manners and Character,*" h.y. Traethawd ar Effeithiau Hinsawdd ar Arferion a Nodwedd Cenedlaethol (td. 178); a hynafiaethol yw "Marchogion y Dderwen Freninol," "Bala Lake," "Pwll Ceris," a rhai darnau eraill yn y Gyfrol hon. Mae yr "*Essay on the Establishment and Propagation of Christianity among the Cymry, by the Three Zealous Families of Bran ab Llyr, Cunedda Wledig, and Brychan Brycheiniog*" (td. 304), yn rhoddi i ni gip-drem ar Hanesiaeth Eglwysig foreuol ein gwlad.

Yn ei lythyr amddiffynol i "Feithriniad Iaith a Llênyddiaeth Gymreig," yn erbyn ymosodiad y Parch. D. Williams, curad Romsey, Hants td. 321), cawn y sylwadau canlynol, y rhai a gyfieithwn:—

"Llywyddiaeth gibddall ein huchafiaid (er y pryd y daeth teulu Hanover i'r orsedd) ydoedd gwthio gweinidogion Seisonig ar gynnulleidfäoedd Cymreig, yr hyn a barodd yr eneiliad pwysig oddiwrth y ffurf addoliad sefydledig, yr achwynai D. W. mor uchel o'i herwydd.

"Fel hyn y gweithiodd y peiriant a fwriadwyd er dymchwelyd yr iaith Gymraeg yn groes i ddysgwyliad; a thrwy gymeryd llwybr arall, cynnorthwyodd yn fawr i dyfiant a chynnydd y gallu mwyaf effeithiol er cadwedigaeth yr iaith y bwriedid ei diddymu. Nis gall awdurdod brenin, arglwyddi, a chyffredin, ynghyd, yn y wlad hon o ryddid, feddu un reolaeth uniongyrchol dros y gallu yma. Y gallu hwn yw yr achos ymneillduol, gyda'i gorff gweithgar o weinidogion, llawer o ba rai ŷnt yn feddiannol ar alluoedd cryfion, o hyawdledd yn eu hiaith enedigol, er na fedrant ond ychydig o Saesoneg. Maent yn y meddiant o amddiffynfa na fydd iddynt yn hawdd ei rhoddi i fyny; a chyda hwynt, pa un ai er drwg ai er da, yr erys tarian yr iaith Gymraeg. Cynnorthwy arall cryf iawn yw sefydliad cyffredinol yr Ysgolion Sul Cymreig. Y mae pump o Siroedd y gellid eu hystyried yn hollol Gymreig; chwech eraill y mae tair rhan o bedair ynddynt o'r iaith hono; yn y ddwy weddill y Saesoneg sydd gryfaf. Yn y cyfan, gall fod o saith gant i fil o Ysgolion, yn y rhai y cyfrenir addysg gan athrawon Cymreig, er y dysgir y Saesoneg hefyd yn rhai o honynt."

[Ysgrifenwyd hyn yn 1821.] . . . . Terfyna gyda dyfyniad o araeth yr esgob Heber yn Eisteddfod Gwrecsam:—

"Os bydd i ni, gan hyny, anghefnogi, diraddio, neu esgeuluso, iaith un genedl pa bynag, yr ydym yn esgeuluso, diraddio, neu yn anghefnogi, yn cloffi, ac yn llyffetheirio, a hyd y mae ynom, yn diffodd athrylith gynenid y bobl hyny. Gan fy mod yn teimlo hyn mor ddwys, nis gallaf edrych yn ol heb dristwch a chywilydd ar, ni ddywedaf esgeulusdra oer, ond gelyniaeth cyson a pharhäus, ar ran ein llywiawdwyr Seisonig, y bu yr iaith Gymraeg am lawer o flynyddau yn wrthddrych iddo. Afraid yw, a phoenus fyddai myned yn ol at achosion y gelyniaeth hwnw, neu at y dull ei dygwyd ymlaen; ond er clod i'ch hynafiaid a chwithau, bu ei effeithiau yn aflwyddiannus."

Yn y td. 286, cawn anerchiad a draddodwyd mewn cyfarfod i Fibl-Gymdeithas ganghenol Swydd Drefaldwyn. Ni ddywedir ymha le na pha bryd ei traddodwyd, ond y mae henŵr penllwyd, iadfoel, yn agos iawn atom pan yn ysgrifenu hyn, yn cofio cyfarfod o'r fath yn cael ei gynnal yn llofft ëang y Marchnattŷ yn y Trallwng, yn y fl. 1819, pryd yr oedd Marchog y Sîr gynt, y Gwir anrhydeddus C. W. Williams

Wynn, Llywydd Cangen-Gymdeithas Swydd Drefaldwyn, yn Gadeirydd, ac yr oedd y Parchedig Walter Davies yn un o'r rhai oedd yn cyfarch y gynnulleidfa ar yr achlysur. Yr oedd y traddodiad yn hyawdl a grymus, a'r areithydd yn cael cryn arwyddion o gymeradwyaeth. Tebygol mai ar yr achlysur arbenig hwnw y traddodwyd yr anerchiad crybwylledig; ond na fyddai yn arferol o wneyd parotöad mor fanwl ar gyfer cyfarfodydd cyffredin o'r fath, namyn traethu yr hyn a ddeuai i'w feddwl ar y pryd oddiwrth y penderfyniad a roddid yn ei law i'w gynnyg neu i'w gefnogi, neu oddiwrth yr adroddiad a ddarllenid gan yr ysgrifenydd.

Mae tua hanner y gyfrol yn cael ei gwneyd i fyny o lythyrau rhwng yr awdwr a dysgedigion ei oes. Cyfeiriasom eisoes at y gohebiaethau ynghylch orgraff y Bibl Cymraeg; y llythyrau eraill, tua 111 o nifer, ydynt, gan mwyaf, yn dwyn perthynas â hanesiaeth, hynafiaeth, a llênyddiaeth gyffredinol Cymru, ac yn gyfaddas i daflu goleu ar lawer o'r materion hyny; ac yr ydym yn teimlo y gallant fod o ddyddordeb hefyd i ddarllenwyr cyffredin. Mae un llythyr wedi ein taraw ni yn neillduol, a chan ei fod wedi ei ysgrifenu yn Gymraeg, ac yn amlygu hynawsedd, rhyddfrydedd, a thynerwch teimladau yr ysgrifenydd, tueddir ni i'w osod yma yn llawn. Yr achlysur o hóno ydoedd i'r Parchedig Thomas Jones, gynt o Ddinbych, gyfansoddi Marwnad ar farwolaeth Sior III., erbyn Eisteddfod Gwrecsam, yn 1820, ond cyn dyfod yr eisteddfod yr oedd yntau wedi dilyn ei frenin i'r byd tu draw i'r llèn; yr amgylchiad hwn a barodd i Gwallter Mechain, fel beirniad y cyfansoddiadau, ddywedyd fel hyn:—

"Am yr awdl gyntaf yn y cagliad, o waith y Parch. T. JONES, o Ddinbych, nid oes genym ddim i ddyweyd ond canmoliaeth:—

'*Nil de mortuis nisi bonum.*'"

Ac yn ei ragymadrodd i'r llyfr* ychwanegodd:—

"Pe buasai achos am dystiolaeth yn rhagor ymhlaid enw pêr ac ymfucheddiad moesol a chariadus ein diweddar radlonaf Frenin, gellid ei gael yn hyn, sef, bod yn y cyhoeddiad hwn awdl o gofiant serchog a thirionaidd am ei rinweddau ef, gan fardd na ymddangosodd erioed o'r blaen ymhlith rhedegwyr am 'goron lygredig;' ac un, a dybygid, na halogai ei awen i wenieithio i un brenin daiarawl, er dim gwobr a ellid ei osod o'i flaen. Ni welwyd ei waith barddonol ef un amser, ond a weinyddai i adeiladaeth buddiawl ei ddarllenyddion. Cyn dyddiau yr Eisteddfod, symudwyd ef, gobeithiwn ar sail, i orsedd uwch na chadair Powys, nac un orsedd ddaiarawl arall. Ei weddw ef a roddes genad yn dirion i argraffu yr awdl sydd dan yr enw *Ab Iorwerth.*"

Teimlodd cyfeillion yr ymadawedig yn garedig iawn at y beirniad am ei sylwadau tirion, ac ysgrifenodd y Parchedig John Humphreys, o Gaerwys, ato i gyflwyno eu diolchgarwch, fel y gwelir, wrth lythyr Mr. Davies mewn atebiad iddo, fel y canlyn:—

"*At Mr. John Humphreys, Caerwys.*

"Y Cymro Parchus,

Yn ol cyhoeddiad y *Powysion* ddwy flynedd yn ôl, derbyniais lythyr caredig oddiwrthych, o herwydd i mi, yn rhagymadrodd y llyfryn hwnw, roddi cofnod dyledus i goffawdwriaeth y gweinidog ffyddlawn hwnw yngwinllan yr efengyl a nodasai ei awdl ar farwolaeth Sior III. âg *Ap Iorwerth.* Yr oeddwn yn barnu yr awdl ymhlith y goreuon; ac ni allwn lai na chrybwyll yn barchedig am yr awdwr a'i cyfansoddasai. Yr oedd genyf erioed er yn herlod barch neillduol i'r cyfryw ddynion ag oedd ef; a gobeithiaf y bydd felly genyf tra bwyf yn anialwch y byd hwn; a

* Powysion, Llyfr I.

phan orfydd i mi symmud fy mhabell, caffwyf trwy drugaredd eu cymdeithas yn dragywyddol yn y trigfanau gwynfydedig hyny lle nad oes onid un blaid yn seinio yr un gerdd orfoleddus.

"Yn ol eich llythyr chwi, yr hwn a lònodd fy ysbrydau, ac a barodd gynhwrf yn nghilfachau tyneraf fy nghalon, mi a gefais y dywenydd o dderbyn y cyffelyb lythyr, ond ei fod yn Seisoneg, oddiwrth weddw hybarch y gŵr parchedig uchod. Os yw hi yn fyw ac yn iach, pan weloch hi yn nesaf, cofiwch fi yn garedig ati; a dywedwch wrthi na wneis i ond yr hyn oedd yn ddyledus arnaf, pan grybwyllais ei phrïod anwyl; a bod ei chofiant am danaf o'r achos wedi peri i mi foddlondeb lled anhawdd ei ddarlunio.

"Yr ydwyf yn cael y cyfleusdra o anfon hyn o fŷr atebiad gyda'ch cymydog, gweinidog Caerwys, yr hwn sydd ar ei daith yn ymweled â'r Ysgolion Rhâd. Y mae rhifedi beirdd Cymru yn amlhâu yn rhyfeddol. Ni wyddwn i fod y diweddar Barch. Thomas Jones yn fardd, nes y dywedodd rhyw un i mi mai efe oedd awdwr yr awdl. Ni wyddwn chwaith am danoch chwithau, nes y derbyniais eich llythyr. Yr oedd llithrigrwydd eich rhyddiaith yn dangos i mi fod Awen yn agos; ac yna tua'r diwedd gwelwn hi yn tòri allan mewn mesurau cerdd reolaidd.

"Llwyddiant i chwi yn mhob daioni.

"Ydwyf yr eiddoch yn garedig,

"WALTER DAVIES."

Er prawf chwanegol o'i ysbryd cristionogol a rhyddfrydig, cyfieithwn ran o'i lythyr at ei gyfaill y Parch. T. Richards, Aberriw, dyddiedig Awst 6ed, 1816:—

"Cymhellir fi i beidio attal unrhyw gynnorthwy o fewn fy nghylch bychan fy hun tuag at ddwyn ymlaen amcanion ac ymdrechion gwir gristionogol Cymdeithas Genadol yr Eglwys. Ar wawriad dysglaer ddydd yr efengyl, yr wyf yn llawenhâu wrth weled aelodau yr Eglwys Sefydledig yn uno eu hymdrechiadau gyda phersonau eiddgar o enwadau eraill i daenu goleuni y gwirionedd tragywyddol ymhlith ebyrth anwybodaeth a chefnogwyr cyfeiliornadau. Rhaid ei fod yn ystyriaeth hyfryd i bob meddwl duwiol, i ganfod ysbryd dyhewyd bleidiol wedi ei ddïosg o wisg dygasedd, ac yn trengu yn raddol o'r ffordd; canfod Eglwyswyr ac Ymneillduwyr, Bedyddwyr a Morafiaid, yn cydymuno mewn gwresogrwydd cariadus yn un Fibl-Gymdeithas, ac yn anfon allan eu Cenadon i efengyleiddio y byd cenedlig; ac yn ysbryd cariad cristionogol yn dymuno i'w gilydd hawddammor yn enw (ac yngwaith) yr Arglwydd. Dylem lawenhâu fod unrhyw blaid gristionogol, ag sydd yn adeiladu ei ffydd ar y sylfaen ddïogel, yn llwyddo i droi y paganiaid oddiwrth eilunaddoliaeth i wasanaethu y Duw byw. Pwy na lawenychai glywed bod holl drigolion Ynysoedd Môr y Dê yn gristionogion o'r grêd Galfinaidd? Pwy na dderbyniai gyda llawenydd calon y newydd bod holl frodorion Affrica a'i hynysoedd wedi cofleidio y credo Arminaidd? a bod holl boblogaeth lïosog China a Japan yn Lutheriaid? Ond yr hyn a ddylai ein gwneyd ni yn fwy pryderus dros gynnaliaeth a llwyddiant y Cenadaethau Eglwysig yw diddymiad yr achos o'r anair hwnw sydd yn dywedyd ein bod ni o'r Sefydliad yn cysgu ar ein dysgwylfäoedd; nad ydym ni ar y goreu ond Laodicëaid claiar. Dylem ni, sydd yn cael ein gwala a'n gweddill o fara, ddeffro mewn tosturi at gyflwr y miliynau o'n cydgrëaduriaid sydd yn marw o newyn. Bydded iddo Ef yr hwn a roddodd y cenedloedd yn etifeddiaeth i'w Fab Iesu,—Efe yr hwn sydd yn gwrandaw gweddi,—yr hwn a ddichon wneuthur yn dra rhagorol, fendithio ein hymdrechiadau gweiniaid, a lïosogi ein hatlingau yn filfil mwy, fel y byddo i derfynau eithaf y ddaear lawenychu wrth sain yr efengyl, a chaffael yr iachawdwriaeth y mae hi yn ei dïogelu i'r rhai oll a ufuddhânt i'w galwadau." (Cyf. III. td. 386, 387.)

Terfynwn ein sylwadau ar gynnwysiad y cyfrolau dyddorol hyn, gydag ychydig gofnodau byrion o hanes personol yr hyglod Gwallter Mechain.* Ganwyd y Parchedig Walter Davies yn mhlwyf Llanfechain, yn Swydd Drefaldwyn, Gor. 15fed, 1761. Bedyddiwyd ef yn eglwys y plwyf hwnw â dwfr o ffynnon St. Garmon, yr hon fel yr eglwys sydd

* Yr ŷm yn ddyledus am y cofnodau hyn yn benaf i "Ragymadrodd" y Golygydd, ac i ysgrif Dr. Carl Meyer, Cyf. III. td. 569. Hefyd i erthygl arno yn y *Geirlyfr Bywgraffiadol*, cyhoeddedig gan Isaac Foulkes, Liverpool.

gysegredig i goffadwriaeth y cenadwr Llydawaidd hwnw y dywedir iddo ymweled â'n gwlad tua chanol y bummed ganrif o'r cyfrif cristionogol. Llanarmon ym Mechain ydyw enw y plwyf yn gyflawn; talfyriad o hono ydyw Llanfechain. (Nid *Llanfechan*, fel y mae yn cael ei gamargraffu yn fynych gan rai anhysbys o'r lle). Cantref yw Mechain yn Swydd Drefaldwyn, gynt yn rhan o dywysogaeth Powys, yn gynnwysedig o ddau gwmmwd, Mechain Uwchcoed a Mechain Iscoed. Yn yr olaf y mae Llanfechain, mewn dyffryn hyfryd, trwy ba un y dolena yr afon Cain. Oddiwrth enw yr afon gyda y gair *ma* (man) yn cyfnewid i *me*, gan feddalhâu yr *c* yn *ch*, y ffurfir yr enw Mechain, yn arwyddo *man cain* neu *brydferth*, ac felly yn ddesgrifiadol a chyfaddas. Mae y gair *ma* i'w ganfod yn nghyfansoddiad amryw o enwau lleoedd, megys, Mathrafal, Machynlleth, Cegidfa, Gwŷnfa, Adfa, &c. Mewn cyfeiriad at ei le genedigol y cymerodd Mr. Davies ei enw barddol *Gwallter Mechain*, ac oddiwrth ei fabsant y defnyddiodd yr enw *Garmon* wrth ei lythyrau ar y Bibl Cymraeg. Yr oedd ei rïeni yn hanu o hen deuluoedd anrhydeddus Powys, sef y Dafisiaid o Nant yr Erw Hardd, y Cyffiniaid, &c. Ymgyfenwa ef ei hun fel "Un o Hîl Gwaethfoed o Bowys;" (Cyf. II. 430). Wedi gwneyd defnydd da o'i amser boreuol, ac o'r manteision cyrhaeddadwy iddo i gynnyddu mewn dysg a gwybodaeth, "aeth i Brifysgol Rhydychain yn nechre y flwyddyn 1792, ac ymaelododd ar y cyntaf yn Neuadd St. Alban; ond symudodd wedi hyny i Goleg yr Holl Eneidiau, lle y cymerodd râdd Baglor y Celfyddydau yn yr Hydref, 1795; ac ymraddiodd yn Athraw y Celfyddydau, fel aelod o Goleg y Drindod, yn Nghaergrawnt, yn 1803. Gwnaed ef yn Isgeidwad y Gywreinfa Ashmolaidd yn 1792. Urddwyd ef yn ddïacon ar guradaeth Meifod, gan yr Esgob Bagot, yn Llanelwy, Rhagfyr 6, 1795, ac yn offeiriad ar y 25ain o Fedi, 1796. Yn 1799, rhoddodd yr Arglwydd Mostyn iddo guradaeth barhäus Yspyttŷ Ifan; cafodd bersonoliaeth Llanwyddelan gan yr Esgob Horsley, Mai 20, 1803; cyflwynodd yr Esgob Cleaver ef i berigloriaeth Manafon, Gorphenaf 7, 1807; a dyrchafodd yr Esgob Carey ef i fywoliaeth Llanrhaiadr Mochnant, Tachwedd 18, 1837. Ar y 15fed o Hydref, 1799, ymbrïododd â Mary, gweddw Rice Pryce, Yswain, o Ros Bryn Bŵa, yn mhlwyf Meifod; a bu iddynt bedwar o blant; sef (1.) Cecil Leland, ac (2.) Amelia Cecilia, y rhai a fuant feirw yn eu mabandod; (3.) y Parchedig Walter Cecil Davies, A.C., yr hwn a fu farw yn 1863, ac a gladdwyd yn mynwent Tywyn, Meirion, yn ymyl ei geraint a'i gyfeillion mynwesol, John Vaughan, Yswain, o Benmaen Dyfi, a Mrs. Vaughan, ei hanner chwaer; (4.) Jane, yr hon sydd yn awr yn fyw. Bu farw Gwallter Mechain [yn dawel, wedi ychydig ddyddiau o saldra, yn y 89 mlwydd o'i oed,] yn Mhersondŷ Llanrhaiadr, Rhagfyr 5, 1849; a chladdwyd ef yn y fynwent hono, ar fîn yr afon Rhaiadr, dan gysgod ywen friglas, yr hon a blânesid dan ei arolygiad ef i hun." Mae y dyfyniad hwn yn rhoddi coffadwriaeth gywir o brif amgylchiadau ei fywyd, wedi eu codi yn ofalus o gofnodau ymhlith ei bapyrau y rhai a adawodd ar ei ol.

O ran ei berson, yr oedd o ymddangosiad parchus ac urddasol, yn ŵr o gyfansoddiad cryf, yn dàl a chadarn o gorffolaeth, ei bryd wedi ei nodi gan y frech wèn, a gwallt gwineu goleu, wedi cadw ei ireidd-dra a'i liw, heb odid flewyn gwŷn, hyd y diwedd. Nid oedd ei olwg chwaith wedi

tywyllu, er ei oedran mawr, ond ymddangosai arwyddion henaint yn rhychau ei wynebpryd a'i osgedd ogwyddedig. Daliodd ei gynneddfau, ei feddyliau, a'i deimladau, yn fywiog hyd y diwedd. Cyfansoddodd "Awdl y Grëadigaeth," yr olaf yn ei waith (cyf. I., td. 426), oddeutu chwe' mis cyn ei farwolaeth. Dywedir ei fod, y Sadwrn diweddaf y bu fyw, yn arfaethu ysgrifenu ar ryw fater i un o'r cyfnodolion Cymreig y Llun canlynol, ond erbyn i'r diwrnod ddyfod yr oedd wedi ei gymeryd yn glaf, a'r dydd Mercher canlynol, gorphenodd ei yrfa.

Dïau fod Gwallter Mechain yn un o'r dynion hynotaf a welodd Cymru mewn un oes, o ran ei athrylith gref, a helaethrwydd ac amrywiaeth ei ddoniau, ac ehangder ei wybodaeth gyffredinol. Cyfrifid ef yn ysgolaig Celtaidd rhagorol, yn hynafiaethydd tra chyfarwydd, yn fardd diledryw, ac yn feirniad o'r radd uchaf. Dengys yr hyn a ysgrifenodd ar Amaethyddiaeth Cymru ei fod wedi astudio fferylliaeth yn fanwl. Llênyddol yw ei ysgrifeniadau cynnwysedig yn y casgliad presennol o'i waith, ac felly nid ŷnt yn rhoddi mantais i ni wybod beth oedd ei olygiadau duwinyddol a gwleidyddol; ond oddiwrth rai awgrymiadau a gyfarfyddwn yn awr ac yn y man, gallwn dybied ei fod yn y pethau hyn, fel mewn pethau eraill, yn ochelgar a chymedrol; ac er y meddai ei farn bersonol ei hun, a'i fod yn sefydlog ynddi, eto ymddygai yn oddefgar at rai a fyddent o farn wahanol. Tybygem nad oedd efe o duedd anturiaethus, ymhòngar, ac uchelgeisiol; a'i fod yn ŵr rhydd, siriol, a dirodres yn ei gyfeillach, ac ymysg ei gymdeithion o gyffelyb dueddiadau a chwaeth âg ef ei hun. Clywsom un a fuasai yn ei wrandaw lawer gwaith yn eglwys Manafon, pan oedd yn ei amser goreu, yn dywedyd y byddai yn pregethu yn dda, yn oleu, ac ysgrythyrol; a soniai yn enwedig am un bregeth o'i eiddo, ar Dduwdod y Gwaredwr, gyda chanmoliaeth mawr. O ran ei gymhwysderau, ni phetruswn ddywedyd y buasai Gwallter Mechain yn addurn i'r fainc esgobawl, ac y buasai yn dda i'r Eglwys yn Nghymru pe buasai gwŷr o'i fath ef, o blith y genedl, yn medru iaith y wlad, ac yn meddu cydymdeimlad â thueddiadau ac arferion y bobl, yn lle estroniaid, yn cael eu dewis i arolygu ei hachosion ysbrydol, a'i hamgylchiadau allanol. Yr oedd efe mewn gwth o oedran pan ei dyrchafwyd i fywoliaeth led dda yn Llanrhaiadr Mochnant, ac esgeulusdra yr awdurdodau, os nad rhywbeth gwaeth, oedd yr achos yn ddiammheu na chawsai ddyrchafiad uwch, a hyny flynyddau lawer yn gynt. Er hyny nid ŷm yn tybied ddarfod i hyn flino dim erioed ar ei feddwl ef. Pa fodd bynag, yr oedd yn foddhâd a chysur mawr iddo gael treulio gweddill ei ddyddiau fel olynydd yr enwog Dr. Morgan, cyfieithydd y Bibl, ymhen tua dau gant a hanner o flynyddau ar ei ol, a gweinidogaethu yn yr eglwys ëang a henafol hono, a phregethu yn yr un pulpud ag y buasai ei ragflaenor yn moreu y Diwygiad yn llafurio er llesâd eneidiau. Fel hyn y cysylltwyd yn hanes Llanrhaiadr Mochnant enwau dau o ddysgedigion penaf ac o brif gymwynaswyr Cymru,—y Dr. William Morgan a Gwallter Mechain.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

